# Y TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1862.

LLYFR I. O'R DRYDEDD GYFRES, A LLYFR XVII. O'R DECHREUAD.

TREFFYNNON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS.
MDCCCLXII.

# CYNNWYSIAD.

# Y TRAETHODYDD.

## GORONWY OWEN.

[GRONOVIANA. *Gwaith y Parch.* GORONWY OWEN, M.A. Llanrwst, 1860.]

MEWN plwyf anghysbell yn Ynys Fôn, yn agos i'r ffordd fawr sydd yn arwain o Bentraeth i Lanerchymedd, oddeutu cant a deugain mlynedd yn ol, y ganwyd yr enwog Goronwy Owen. Ychydig o hanes ei ddyddiau boreuol sydd ar gael, a therfynodd ei oes yn America, na wyddis yn iawn pa bryd, ond tybir mai tua'r flwyddyn 1769, ac felly pan oedd mewn ystyr yn mlodau ei ddyddiau, sef o gylch saith mlwydd a deugain oed. Fel hyn y mae dechreu a diwedd ei einioes yn colli o'r golwg megys dan lèn; a'i dalentau yn unig a fuont yn foddion i wneyd i ganolddydd ei fywyd ymddysgleirio yn y fath fodd nes gwneyd pob rhan o'i einioes yn enwog, a'i enw yn anfarwol, ymysg ei gydwladwyr. Mewn cyfrol ddestlus a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn Llanrwst, ceir casgliad o'i farddoniaeth a'i lythyrau, y rhai ydynt yn rhoddi i ni y cynnorthwy goreu tuag at ffurfio rhyw ddrychfeddwl ynghylch helyntion ei oes helbulus, tra bu yn preswylio yr ochr yma i'r Môr Werydd. Ceir hefyd yn y llyfr un o'i lythyrau, ac awdl ar farwolaeth Lewis Morris, Ysw., a anfonwyd drosodd ganddo ar ol iddo ymsefydlu yn America. Dywedir i ni mai eurych oedd ei dad; ac mae yn amlwg bod ei rieni mewn sefyllfa isel yn y byd; ond methwyd dyfod o hyd i'w enw yn nghoflyfr eglwys ei blwyf genedigol, sef Llanfairmathafarneithaf, er y gellir bod agos yn sicr y dylasai fod yno ryw bryd o gylch y flwyddyn 1722. Nid ydym ychwaith yn gallu cael allan i foddlonrwydd pa fodd y cafodd ei ddwyn i fyny yn offeiriad; canys y mae yn amlwg bod amgylchiadau ei rieni yn gyfryw nad oeddynt hwy eu hunain yn alluog i gyfarfod y costau angenrheidiol tuag at roddi iddo addysg gymhwys i fyned i Rydychen, ac i'w gynnal ar ol hyny, yn ystod ei arosiad yno. Cymaint a allwn gasglu oddiwrth ei lythyrau ef ei hun ydyw, iddo fod yn yr ysgol yn Llanallgo, ac ar ol hyny yn ysgol Rammadegol Bangor. Mae ysgrifenydd diweddar yn y *Quarterly Review* yn dywedyd mai Mr. Lewis Morris a'i cynnaliodd yn yr ysgol, ac a'i hanfonodd i Rydychen; ac yn hanes bywyd y gŵr enwog hwn, yn y *Cambrian Register* am 1796, dywedir yr un peth; ond nis gwyddom beth oedd y sail i'r naill ddywediad na'r llall. Mae'r ysgrifenydd yn y *Quarterly Review*, pa fodd bynag, yn syrthio i gamgymeriad pan yn dywedyd mai yn ysgol Beaumaris y bu cyn iddo fyned i Rydychen; canys mae ei dystiolaeth ef ei hun yn benderfynol ar y mater

hwn. Yn y bywgraffiad sydd yn rhagflaenu ei gyfansoddiadau, nid oes ond hanes byr ac anmherffaith iawn i'w gael o fywyd yr awdwr; ac mae un rhan o hono, er byred ydyw, yn gwrthwynebu y rhan arall fwy nag unwaith. Mewn un man dywedir i Goronwy Owen adael tŷ ei dad pan oedd yn un mlwydd ar ddeg oed, a myned at berthynasau iddo yn Sir Ddinbych, lle cafodd gyfleusdra i ymdrin â llyfrau Cymraeg, Saesonaeg, a Lladin; ac er fod ganddo waith i edrych ar ol tyddyn ei berthynasau, ac nad oedd ganddo ond un neu ddau yn yr ardal a allent roddi iddo hyfforddiant, eto yr oedd ei syched am wybodaeth mor fawr, fel ag yr oedd yn abl i fyned drwy yr arholiad cyntaf yn y llys Eglwysig, pan gafydd ei urddo yn ddiacon, neu îs-offeiriad, yr hyn a gymerodd le oddeutu y flwyddyn 1745. Ond nid allwn gysoni yr adroddiad uchod â'r hyn a ddywed ef ei hunan yn y llythyr Lladin a ganfyddir yn y bywgraffiad hwn wedi ei gyfieithu, yr hwn a anfonodd at Owen Meyrick, Ysw., o Fodorgan, yn Môn. Yn y llythyr hwnw, dywed Goronwy Owen, pan yn gofyn am gynnorthwy y boneddwr uchod, megys arolygwr ar ryw elusenau oeddynt wedi cael eu rhoddi at gynnorthwyo y myfyrgar ymysg y tlodion i fyned i'r Prifysgolion, mai gŵr ieuanc ydoedd, deunaw mlwydd oed, wedi ei eni yn Llanfairmathafarneithaf, yn Swydd Fôn; ac iddo, trwy ddiflin ddiwydrwydd ei rieni, y rhai oeddynt yn dlodion iawn, allu myned i ysgol gyhoeddus Bangor, ac aros ynddi o'r flwyddyn 1737 hyd 1741, pryd yr oedd yn ysgrifenu. Ac wedi iddo gyrhaedd ei bennod eithaf yn yr ysgol, a myned trwy yr hyn a ddysgir yn gyffredin yno, dychwelodd at ei rieni. Ond wedi marw ei fam, priododd ei dad wraig arall, a bu raid iddo yntau ymladd ei ffordd ei hun. A chan nad oedd wedi ymarfer â gwaith, nid oedd ganddo olwg ar un ffordd i ennill ei fywioliaeth; ac meddai, yn niwedd ei lythyr campus at Mr. Meyrick, "Nid yw dysgeidiaeth ddim i mi yn amgen nag ychwaneg o lewyrch i ganfod yn amlycach wrtho y trueni sydd o'm blaen."

Nis gwyddom pa lwyddiant a ddilynodd ei gais at Mr. Meyrick am gynnorthwy; ond yr ydym yn deall iddo yn fuan ar ol hyn fyned i Goleg yr Iesu, yn Rhydychen, lle yr hynododd ei hun fel ysgolaig yn yr ieithoedd dysgedig Groeg a Lladin; ac oddiyno cafodd ei urddo yn ddiacon yn y flwyddyn 1745. Mewn un hanes dywedir mai Mr. Edward Wynne, o Fodewryd, yn Môn, a'i cynnorthwyodd i fyned trwy'r athrofa; ac mewn hanes arall, fel y crybwyllasom yn barod, dywedir mai Mr. Lewis Morris a fu ei noddwr. Ond nid oes fawr o sicrwydd yn y naill dystiolaeth na'r llall. Gwelsom yn un man ei fod yn îs-athraw yn ysgol Pwllheli pan yn bymtheg oed; ond nid ellir cysoni hyn ychwaith â'r dystiolaeth a geir ganddo ef ei hun yn ei lythyr at Mr. Meyrick. Ond yr ydym yn lled dybied mai rhwng yr amser y gadawodd ysgol Bangor, a'r pryd yr aeth i Rydychen, y bu yn Mhwllheli, sef o gylch y flwyddyn 1742; ac mae ei gywydd, "Calendr y Carwr," yr hwn, meddir, a gânt y bardd yn Mhwllheli, o gylch y flwyddyn 1743, ac a ddiwygiodd ychydig arno yn 1753, yn myned ymhell i gadarnhâu y dyb hon.

Nid ydyw'r hanes a geir yn ei lythyrau yn taflu ond ychydig iawn o oleuni ar y gyfran hon o'i fywyd; canys dywed mewn un man nad gwiw ganddo ddechreu sôn am y rhan gyntaf o'i einioes, ac mai prin y talai un rhan arall o honi i'w chrybwyll, am nad oedd yn cynnwys dim hynod, oddigerth trwstaneiddrwydd a helbulon. Yr oedd cyn priodi, meddai,

yn byw fel dynion ieuainc eraill, weithiau wrth ei fodd ac weithiau yn anfoddlawn; ond pa fodd bynag, â digon o arian i'w gyfreidiau ei hun; a pha raid oedd wrth ychwaneg? Yr ydym yn synu na buasai rhyw gyfeiriad mwy uniongyrchol yn rhai o'i lythyrau at yr amser y bu yn y coleg, a'r dygwyddiadau a gymerasant le yn ystod ei arosiad yn Rhydychen. Edrycha agos i bob dyn a gyrhaeddodd i enwogrwydd, ar y cyfnod a dreulir ganddo yn y coleg megys rhan bwysig iawn o'i einioes, ac mae yn cael achos mynych i gyfeirio at y cyfnod hwn wrth ysgrifenu at ei gyfeillion a'i gydnabod. Ond nid felly Goronwy Owen; canys nid oes y cyfeiriad lleiaf at ei arosiad yn Rhydychen yn yr un o'i lythyrau. Ychydig o wybodaeth sydd genym hefyd am ei gyrhaeddiadau fel ysgolaig, heblaw ambell gyfeiriad a geir yma a thraw yn ei lythyrau, ei awdlau Lladinaidd, a'i gyfieithiad i'r Gymraeg o rai darnau o waith Anacreon, y rhai ydynt i gyd yn dangos ei fod yn feistr ar yr ieithoedd gwreiddiol, sef y Groeg a'r Lladin. Nid oedd y prawfholiadau a geir yn bresennol wedi eu sefydlu yn y Prifysgolion yn ei amser ef, ac felly nid oedd gradd ynddynt yn brawf o ddim yn ychwaneg na bod y sawl a'i meddiannai wedi bod yn y coleg am ryw yspaid penodol o amser. Gellir casglu oddiwrth ei lythyrau hefyd ei fod yn gydnabyddus i ryw raddau gyda'r Hebraeg, yr Arabaeg, y Galdeaeg, a'r Syriaeg; a chan iddo wneyd ei hun yn gydnabyddus â'r ieithoedd hyn yn fwy wrth ei bleser nag o anghenrheidrwydd, gellir barnu ei fod yn meddu ar dalentau nodedig at ddysgu ieithoedd; ac yn ol pob tebygolrwydd, pe buasai yn myned trwy Rydychen yn ein dyddiau ni, buasai ei enw yn sefyll yn uchel yn y *Class List*. Dywedai un o'i edmygwyr am dano, iddo ddysgu yr Arabaeg mewn tair wythnos, fel ag i fedru yn hawdd ateb yr holl gwestiynau a ofynid iddo yn yr iaith hono. Ond rhyw dipyn o ychwanegiad at y gwirionedd ydyw dywedyd i neb ddysgu iaith mewn tair wythnos, yn enwedig y fath iaith ag yw'r Arabaeg.

Cafodd ei ordeinio yn ddiacon yn y flwyddyn 1745, fel y crybwyllasom yn barod; a'i guradaeth gyntaf ydoedd yn ei blwyf genedigol, sef Llanfairmathafarneithaf. Ond yn ol yr hanes a gawn ganddo ef ei hun ar y mater, ni bu yn gwasanaethu yno ond tair wythnos. Dywed mai caplan yr Esgob a'i hanfonodd yno, pan oedd yr esgob ei hun oddicartref; a bu i'r Esgob, mae yn debyg, heb fod yn gwybod beth a wnaethai ei gaplan, anfon un arall yno o'r enw Mr. John Ellis, o Gaernarfon, gŵr ieuanc o gyfoeth, yr hwn oedd wedi bod yn hir grefu ac ymbil ar yr Esgob am ryw le; a bu raid i Goronwy Owen ymadael, a myned i Sir Ddinbych, lle y cafodd hanes curadaeth yn ymyl Croesoswallt, yn Sir y Mwythig. "Ac o hyny hyd y dydd heddyw," meddai, "ni throediais mo ymylau Môn, nag ychwaith un cŵr arall o Gymru, onid unwaith, pan y gorfu i mi fyned i Lanelwy i gael urdd offeiriad." Bu yn gurad yn nhref Croesoswallt ynghylch tair blynedd, lle y priododd yn Awst, 1747. O Groesoswallt, symudodd i le a elwir Donnington, yn Sir y Mwythig, o gylch pedair milldir o'r Mwythig, a phump neu chwech o Shiffnal, yn mis Medi, 1748. Yma yr ydym yn ei gael megys yn dechreu ar ei fywyd cyhoeddus, am ein bod o hyn allan yn gallu ei ddilyn trwy gynnorthwy ei lythyrau a'i gyfansoddiadau barddonol am y gweddill o'i fywyd, nes iddo ymadael o'i wlad enedigol i ymsefydlu yn America. Ac mae un peth yn galw am ein sylw arbenig yn y lle hwn, sef bod agos yr oll o'i gyfansoddiadau sydd

ar glawr yn gynnyrchion rhyw bum' mlynedd neu chwech o'i oes, yn gystal ei farddoniaeth a'i lythyrau. Y rhan fwyaf o honynt a ysgrifenwyd ganddo pan yn Donnington a Walton-on-the-Hill, sef o'r flwyddyn 1752 hyd y flwyddyn 1755. Tebygol yw i lawer o'i ysgrifeniadau fyned ar goll, yn enwedig ei lythyrau; canys nid oes fawr o'r rhai hyn ar gael oddigerth y rhai a anfonodd at ei hen gyfeillion, Lewis Morris, Ysw., a'i ddau frawd Richard a William. Pan yn ysgrifenu at Mr. Richard Morris o Donnington, yn Mehefin, 1752, rhydd grynodeb byr o hanes prif ddygwyddiadau ei fywyd hyd y pryd hwnw. Dywed fod ganddo ddau lanc teg yr amser hwnw, enw yr hynaf o honynt yn Robert, yr hwn oedd yn dair blwydd oed er dydd Calan, ac enw y llall yn Goronwy, yr hwn oedd yn flwydd oed er y 5ed o Fai. Ac mae yn myned rhagddo yn ei ddull naturiol ei hun i ddesgrifio amgylchiadau ei fywyd,—

"Am fy mywioliaeth," meddai, "nid yw ond go helbulus, canys nid oes genyf ddim i fyw arno ond a ennillwyf yn ddigon drud; pobl gefnog, gyfrifol, yw cenedl fy ngwraig i, ond ni fum i erioed ddim gwell erddynt, er na ddygais moni heb eu cenad hwynt, ac ni ddigiais monynt chwaith. Ni fedr fy ngwraig i ond ychydig iawn o Gymraeg; eto hi ddeall beth; ac ofni 'rwyf, onid äf i Gymru cyn bo hir, mai Saeson a fydd y bechgyn, canys yn fy myw ni chawn gan y mwyaf ddysgu gair o Gymraeg. Mae genyf yma ysgol yn Donnington, ac eglwys yn Uppington, i'w gwasanaethu, a'r cwbl am 26 punt yn y flwyddyn; a pha beth yw hyny tuag at gadw tŷ a chynnifer o dylwyth, yn enwedig yn Lloegr, lle mae pob peth yn ddrud, a'r bobl yn dostion ac yn ddigymwynas? Er hyny, na ato Duw i mi anfoddloni, o herwydd *po cyfyngaf gan ddyn ëangaf gan Dduw.* Nid oes ond gobeithio am well tröad ar fyd. Fe addawodd eich brawd Llewelyn o Geredigion, yr edrychai ryw amser am ryw le i mi yn Nghymru; ac nis gwaeth genyf fi o frwynen ymha gŵr o Gymru. Duw a gadwo iddo ef iechyd a hoedl, ac i minnau ryw fath o fywioliaeth, ac amynedd i ddysgwyl. Nid oes genyf yn awr neb arall i ddysgwyl wrtho. Ni waeth gan y bobl yma, am a welaf fi, er yr hwyaf y cadwont ddyn danodd, os cânt hwy eu gwasanaethu, deued a ddelo o'r gwasanaethwr; ni phrisiant hwy ddraen er gwario o hono ei holl nerth a'i amser; ïe, a gwisgo o hono ei gnawd oddiam ei esgyrn yn eu gwasanaethu hwynt. *Ysgotyn* yw y gŵr yr wyf fi yn ei wasanaethu yn awr, a *Douglas* yw ei enw. Ysgatfydd chwi a'i hadwaenoch; y mae yn Llundain yn awr, a'r rhan fwyaf o'i amser, gyda Iarll Baddon *(Earl of Bath),* yn dysgu ei fab ef. Efe yw y gŵr a gymerth blaid y prydydd Milton yn erbyn yr enllibiwr adgas gan Lauder. Pa wedd bynag, tost a chaled ddigon ydyw hwnw wrthyf fi; yr wyf yn dal ryw ychydig o dir sy'n perthyn i'r ysgol ganddo ef, ac er ei fod yn rhy ddrud o'r blaen, eto fe yrodd eleni i godi fy ardreth i, rhag ofn y byddai i Gurad druan ennill dim yn ei wasanaeth ef, neu gael bargen ry dda ar ei law ef."

Ymhellach yn ei lythyr mae yn dywedyd—

"Nid wyf ond bwngler am ysgrifenu llythyr Cymraeg, o eisieu arferu, er fy mod yn deall yr iaith yn o lew; am hyny, gwell i mi bellach droi'r ddalen."

Y Douglas y sonir am dano uchod a ddaeth yn Esgob Carlisle yn y flwyddyn 1788, ac yn Esgob Salisbury yn 1799. Mae yn debyg iddo gael bywioliaeth Donnington gan y Duc o Sutherland, canys perthyn i'r teulu hwnw y mae y lle. Mewn llythyr arall mae yn cŵyno o herwydd toster y gŵr uchod tuag ato; ac meddai mewn llythyr o Walton at Mr. William Morris—

"Beth mor galeted a chigydded oedd yr Ysgotyn brwnt hwnw gan Douglas! Mae'r gwalch hwnw yn cynnyg yn awr 30ain punt, a'r tŷ a'r ardd, &c., yn Donnington, ac er hyny yn methu cael Curad; byth na chaffo! Pe rhoisai hyny i mi, nid aethwn lêd fy nhroed oddiyno. Ammheuthyn iawn i mi y troad yma ar fyd. Duw a gadwo i mi fy hen *Batron* Brooke; am y bawgi gan Douglas gyrrith, draen yn ei gap a hoel helyg.'

Dywed nad oedd ond bwngler am ysgrifenu llythyr Cymraeg o eisieu arferu, ond yn hyn mae yn camgymeryd ei alluoedd a'i fedr yn fawr iawn, canys mae ei iaith yn ei lythyrau yn llithrig a dealladwy dros ben, a'i arddull bob amser yn berffaith Gymreig. A gellir dywedyd yr un peth hefyd am ei Saesoneg; a gwelwn ef yn ei lythyrau yn troi o'r naill iaith i'r llall gyda rhwyddineb digyffelyb.

Bu yn Donnington am agos i bum' mlynedd, sef o Medi 1748, hyd y Pasg bychan, 1753; ac yr ydym yn ei gael yn cŵyno yn fawr rhag y lle yn ei lythyrau y flwyddyn ddiweddaf y bu yno. Dyma a ddywed yn ei lythyr at Mr. R. Morris, wedi ei ddyddio yn mis Medi, 1752,—

"Mae yr ysgol ddiflas yma agos a'm nychu fi. Pa beth a all fod yn fwy diflas a dihoenllyd i ddyn sydd yn myfyrio na gwastadol gurnad a rhincyn cywion Saeson? Prin y caf oedfa i fwyta fy mwyd ganddynt, a bychan fyddai fod cell haiarn i bob un o honynt o'r neilldu, gan yr ymdderu a'r ymgeintach y byddant; ac fel tynu afanc o lŷn yw ceisio eu gwastrodedd. Ond nid hyn mo gorff y gainc chwaith; mae y rhieni yn waeth ac yn dostach na'r plant; pobl gïaidd, galedion, ddigymwynas, anoddefus, ydynt oll, a'r arian yn brin, a'r cyflog yn gwta, a'r cegau yn aml, a'r porthiant yn ddrud gyda minnau. Duw a'm dycco o'u mysg hwynt, i'r nef neu Gymru, yr un a welo yn oreu."

A thrachefn mewn llythyr arall at Mr. W. Morris, yn y mis Rhagfyr canlynol, mae yn myned rhagddo fel hyn,—

"Waeth, waeth, yr ä y byd wrth aros yma; prin y gellir byw yr awr hon; a pha amgen, tra bo y brith-ŷd am goron y mesur *Winchester*, a'r ymenyn am saith geiniog, a'r caws am dair a dimai y pwys? a pha sut y gellir dysgwyl byw, tra y cynnydda y teulu, ac ni chynnydda y cyflog? Y llanciau a änt fwyfwy i'r clwt, ac fwyfwy i'r cadach; ac ymhell y bwyf (ïe, pellach o Fôn nag ydwyf), os gwn i pa fyd a'm dwg. Nis gwybum i mo'm geni, er clywed gan fy mam ganwaith, nes dyfod i fysg y Saeson yma. Och finnau! mi a glywswn ganwaith son am eu cynneddfau; mawr na fynasai genyf eu gochel; mi allaf ddywedyd am danynt fel y dywed Brenines Seba am Solomon:—'Gwir yw y gair a glywais yn fy ngwlad fy hun am danat, eto ni chredais y geiriau nes i mi ddyfod ac i'm llygaid weled; ac wele, ni fynegasid i mi yr haner.'"

Yr ydym yn meddwl ei fod yn gwneyd anghyfiawnder gyda nodweddiad y bobl y preswyliai yn eu mysg, yn y llythyrau a nodwyd; canys nid allwn gredu bod pobl Sir y Mwythig yn waeth na rhai rhyw gŵr arall o'r deyrnas, ïe, hyd yn nôd pobl Ynys Fôn. Ond, gwelwn yma yn Goronwy Owen, yr hyn a ganfyddir yn fynych mewn dynion o athrylith, sef rhyw anfoddlonrwydd parhâus gyda phawb a phobpeth o'i amgylch. Mae yn wir nad oedd ei sefyllfa yn gysurus, canys yr oedd yn gorfod cadw ysgol, a gwasanaethu ei eglwys, am gyflog nad oedd yr amser hwnw yn fawr iawn gwell na chyflog gweithiwr; ac yr oedd ei deulu yn cynnyddu, a'r hyn a ennillai ef ei hun, trwy ei lafur diorphwys, yn rhy fychan i ddarparu ar gyfer eu hanghenion i fyw yn gysurus. Ond nid ar y bobl yr ardal y preswyliai ynddi yr oedd y bai o hyn, ond yr oedd y bai mwyaf—os bai oedd hefyd—yn gorphwys wrth ei ddrws ef ei hun, am daflu ei hunan pan yn ieuanc i sefyllfa nad allai fod yn gysurus ynddi yn yr amgylchiadau yr oedd ef ynddynt ar y pryd. Mewn llythyr arall o Donnington, ychydig fisoedd o flaen yr un uchod, dywed nad oedd ei sefyllfa yno yn un o'r rhai goreu, nac yn un o'r rhai gwaethaf, ond ei bod yn llawer gwell na rhywbeth a gynnygid iddo yn Môn ar y pryd, ac os nad allai gael rhywbeth gwell a mwy sicr na churadaeth, nad oedd yn werth y drafferth iddo symud i Gymru. "Mae genym ddiareb,"

meddai, "ac yn un pur wir hefyd—'Y gareg a dreigla ni fwsogla.'" A dywed ei fod yno ymysg cyfeillion caredig, y rhai oeddynt yn barod i'w helpu pan byddai amgylchiadau yn galw, ond nad allai addaw iddo ei hun y fath ddedwyddwch â hyny yn Môn. Ac wrth gymeryd dan ystyriaeth swm bychan ei gyflog, rhaid i ni gofio y cyfnewidiad mawr sydd wedi cymeryd lle yn amgylchiadau arianol y deyrnas hon er ys dros gan' mlynedd o amser. Yr oedd £26, yn amser Goronwy Owen, yn llawn cymaint â £80 yn bresennol. Nid oedd fawr guradaeth yn Nghymru yn ei amser ef yn werth mwy nag £20 yn y flwyddyn. Ystyrid Llanrhaiadr, ger Dinbych, yr amser hwnw yn fywioliaeth eglwysig oreu yn Esgobaeth Bangor, er nad oedd ei gwerth blynyddol dros gant a hanner o bunnau. Yr oedd Goronwy Owen yn cael lle i fyrddio, nes i'w deulu ddyfod ato, pan aeth gyntaf i Walton, am yn ol wyth punt yn y flwyddyn. Cymharer hyn â'r pris a gostia i ddyn o'i sefyllfa ef am le i fyrddio yn Walton yn bresennol; ni fyddai yn llai na £60 neu £80 yn y flwyddyn.

Y flwyddyn nesaf, sef yn Ebrill, 1753, gwelwn ef yn nhref Amwythig yn prynu rhyw bethau anghenrheidiol tuag at wneyd ei hunan yn drefnus i ymddangos yn ei le newydd, sef Walton-on-the-Hill, yn ymyl Llerpwll, lle yr oedd wedi cael curadaeth yn werth o gylch £44 yn y flwyddyn rhwng pob peth, trwy gynnorthwy ei gyfaill ffyddlawn Mr. William Morris. Ac yn ei lythyr at y gŵr uchod, Ebrill 30ain, 1753, gwelwn ef yn ei ddechreu fel hyn,—

"Dyma fi yn Walton o'r diwedd, ar ol hir ludded ar fy nhaith. Mi gyrhaeddais yma bore ddoe ynghylch dwy awr cyn pryd gwasanaeth, a'r Person a'm derbyniodd yn groesawus ddigon. Ond er maint fy lludded, fe orfu arnaf ddarllen y gwasanaeth a phregethu fy hun yn y bore, a darllen y gwasanaeth yn y prydnawn, ac yntau a bregethodd. Y mae y gŵr yn edrych yn ŵr o'r mwynaf; ond yr wyf yn deall fod rhaid ei gymeryd yn ei ffordd. Mae y gwas a'r forwyn (yr hyn yw yr holl deulu a fedd) yn dywedyd mai cidwm cyrrith, anynad, drwganwydus aruthr yw; ond pa beth yw hyny i mi? Bid rhyngddynt hwy ac yntau am ei gampau teuluaidd; nid oes i mi ond gwneyd fy nyledswydd, ac yna draen yn ei gap. Hyn a allaf ddywedyd yn hy am dano, na chlywais erioed haiach well pregethwr na mwynach ymgomiwr. Climach o ddyn amrosgo ydyw—garau anfaintunaidd—afluniaidd yn ei ddillad, o hŷd a llêd aruthr, anhygoel, ac wynebpryd llew, neu rywfaint erchyllach, a'i drem arwguch yn tolcio ymhen pob chwedl ddigrif, yn ddigon er noddi llygod yn y dyblygion, ac yn cnoi dail yr India hyd oni rêd dwy ffrwd felyngoch hyd ei ên. Ond ni waeth i chwi hyny na phregeth; y mae yn un o'r crëaduriaid anferthaf a welwyd erioed y tu yma i Affric. Yr oedd yn 'swil genyf ddoe wrth fyned i'r eglwys yn ein gynau duon fy ngweled fy hun yn ei ymyl ef, fel bâd ar ol llong."

Dyna y darluniad a gawn ganddo o beriglor Walton yr amser hwnw. Ond a gadael fod y darluniad ychydig yn farddonol, fe wêl pawb fod cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle yn sefyllfa pethau yn y parth hwn o'r wlad yn gystal a phob man arall. Mae plwyf Walton yn awr bron wedi cael ei lyncu i fyny gan dref fawreddog Llerpwll, ac yn cynnwys dim llai na chan' mil o drigolion, ac fe allai lawer iawn mwy na hyny. Ac mae ynddo lawer o eglwysi yn bresennol, a dau neu dri o weinidogion yn perthyn i bob un o honynt, yn lle Goronwy Owen yn gorfod arolygu ysgol ddyddiol, a gwneyd agos holl ddyledswyddau y plwyf mawr hwn ei hunan, am ryw £44 yn y flwyddyn. Gyda golwg ar y wlad, mae yn cwyno mai lle drud anial ydoedd am bob ymborth; ond fel y crybwyllasom yn barod, yr oedd wedi cael cynnyg ar le i fyrddio nes dwyn

ei deulu ato yn ol wyth punt yn y flwyddyn; ac mae yn gofyn pa faint rhatach na hyny y gallasai fyrddio yn Môn. Am y bobl, dywed nad oeddynt, hyd y gallai ef weled, ond un gradd uwchlaw *Hottentots*, a'u bod yn grëaduriaid anfoesol, didoriad. "Wrth eu cyfarfod ni wnaent ond llygadrythu," meddai, "yn llechwrus, heb ddywedyd pwmp mwy na buwch." Ond er hyny yr oedd yn clywed mai llwynogod henffel, cyfrwysddrwg, a dichellgar oeddynt. Dyna y darluniad a rydd o drigolion Walton-on-the-Hill yr amser hwnw, sef yn agos i gant a deng mlynedd yn ol.

Pymtheg punt ar hugain oedd ei guradaeth, ac yr oedd yn cael chwe' phunt neu saith yn y flwyddyn a thŷ am arolygu yr ysgol rad heblaw hyny. Yr oedd y clochydd ganddo yn athraw ar yr ysgol dano, yr hwn oedd yn cael wyth punt yn y flwyddyn am ei drafferth. Yr oedd trigolion y plwyf yn dymuno am i hyny gael ei wneyd, am fod y clochydd wedi bod o'r blaen yn y sefyllfa hono cyn iddo ef ddyfod yno. Nid oedd yn rhaid i Goronwy Owen wneyd dim ei hun yn yr ysgol, meddai, oni ddeuai yno rai i ddysgu Lladin. Yn ei lythyr at Mr. W. Morris, dyddiedig Mehefin 2, dywed fod y wraig a'r plant wedi dyfod ato er ys pythefnos, a'u bod wrth eu bodd, oddigerth eisieu dodrefn i fyned i fyw yn y tŷ yn y fynwent. Yr oedd wedi gorfod gwerthu ei ddodrefn yn Donnington i dalu i bawb yr eiddo, ac i gael arian i ddwyn y costau i symud i Walton, ac o herwydd hyny cwyna ei bod yn llwm iawn arnynt yno y chwarter cyntaf. Eisieu gwely neu ddau oedd arnynt fwyaf, gan fod digon o gypbyrddau a silffoedd yn perthyn i'r tŷ. Yr oedd ganddynt ddigon o lenllieiniau a llieiniau bwyd, &c., heb eu gwerthu. "O gylch pum punt," meddai, "a'm gosodai i fyny yn bin yrwan. Ac o'r pum' punt (y welwch chwi!) dyma Dduw a haelioni Llewelyn wedi taflu i mi ddwy heb eu dysgwyl. Duw a dalo iddo yn ganplyg. Anrheg i'r ddau lanc ydynt." Gofidus gweled dyn o'i alluoedd a'i ddysg ef mewn sefyllfa mor gyfyng; a gresyn na chawsai fwy o gefnogaeth yn ei wlad ei hun, lle yr oedd yn mawr ddymuuo bod yn preswylio. Dywed yn niwedd y llythyr uchod at Mr. William Morris, "Mawl i Dduw, nid oes arnaf un ffyrling o ddyled i neb, fel y bu o fewn ychydig o flynyddoedd." Yn ei lythyr nesaf, ymhen mis neu chwech wythnos, cwyna mor brysur yr oedd wedi bod yn gosod ei hunan i fyny yn Walton; ac mae yn myned rhagddo fel y canlyn:—"Tra thrafferthus y gwelaf fi hel ychydig ddodrefnach ynghyd, a hyny oedd raid i mi ei wneuthur mewn byr o amser oni fyddai yn well genyf werthu fy hun am a dynai fy nannedd. Hawdd yw cadw un pen; ond mae pedwar pen yn gofyn cryn lafur. Pa fodd bynag, dyma fi, i Dduw bo'r diolch, yn y tŷ yn y fynwent, a'm teulu gyda myfi, ac ar ddarparu byw yn ddigon taclus, os Duw rydd hoedl ac iechyd."

Nid ydym yn meddwl iddo fod yn Walton am fwy na dwy flynedd, ac nid allwn ychwaith ganfod oddiwrth ei lythyrau, na dim arall, i berffaith foddlonrwydd, paham yr ymadawodd oddiyno. Cwyna mewn dau neu dri o lythyrau nad oedd y wlad yn dygymmod âg ef, ei bod yn oerach o lawer na Sir y Mwythig. Mewn llythyr at Mr. Richard Morris, Tachwedd 9, 1754, dywed ei bod yn anfantais fawr iawn iddo ei fod yn byw yn y fath gongl anghysbell; "ond y peth a fo yn rhan dyn ni chaiff ceffyl," meddai. Yna aiff ymlaen gan ychwanegu, "Gwyn ei fyd a fai yn

Nghymru, ni waeth pa gŵr. Ni welaf ddim o'm gwyn ar y Saeson mewn gwlad yn y byd, oni ddygwydd i ddyn fod yn ymherodr o gywaeth." A thrachefn,—"Yr ydych yn gofyn paham yr ydwyf yn gadael i'r awen rydu. Pe cawn bris gweddol am dani, mi a'i gwerthwn hi. Beth a dâl awen lle bo dyn mewn llymdra a thlodi? A phwy a gaiff hamdden i fyfyrio tra bo o'r naill wasgfa i'r llall mewn blinder ysbrydol a chorfforol? Mae yr hen ddiareb, 'Mor dlawd â phrydydd,' yn ddigon a pheri i un wadu yr awen a phobpeth a berthyn iddi." Ganwyd iddo eneth pan yn Walton, yr hon a alwyd Elen, a bu farw cyn iddo ymadael oddiyno, a chanodd y Bardd farwnad drallodus ar ei hol, yr hon a ddaw eto dan ein sylw. Y blinder a'r trallod a gafodd pan anwyd hi a ddarlunir ganddo yn ei lythyr at Mr. W. Morris, pan yn ymesgusodi am nad oedd wedi ysgrifenu ato yn gynt. Fel hyn y dywed ei hanes ar y pryd:—

"Fe aeth y wraig Elin yn ddwy Elin o fewn y pum' wythnos yma; a gwae a gaffo eneth, meddaf fi; ni fu yma ddim gwastadfod ar ddim er pan welwyd ei hwyneb hi; codi ddengwaith yn y nos, a dihuno'r cymydogion o'u gorphwysfa i'w hedrych, a dysgwyl iddi drengu bob pen.awr, ac wylofain a nadu o'i phlegid, a fu y gwaith penaf yma er pan anwyd hi, hyd o fewn yr wythnos neu naw diwrnod yma, a llawer dychryn ac oer galon o'i hachos hi ddydd a nos. Mi a'i bedyddiais hi fy hun y noswaith y ganwyd hi; ac yr wyf yn gobeithio bellach ei bod, gyda Duw, wedi gorchfygu y *convulsion fits*, ac y deil i fyned i'r eglwys i gael bedydd cyhoedd ddydd gwyl Domos; oblegid ni cheir dim bedyddio yma ond naill ai ar y Sul ai gŵyl; ac mae y Ficer yn addaw o hono ei hun ei bedyddio, a chymeryd rhan o'm ciniaw; a rhoi i mi alwyn o hen *rum* i fod yn llawen gyda'r tad bedydd ac yntau, &c. Dyna hen ŵr gwiw."

Mae yn amlwg bod ei gyfeillion yn ymdrechu cael lle iddo yn Nghymru yn barhâus, ond yn aflwyddiannus yn eu hymgais. Yn ei lythyr at Mr. W. Morris, dyddiedig Rhagfyr 2, 1754, cwyna yn fawr o achos aflwyddiant rhyw gais o'r fath. "Nid oes mo'r help," meddai; "ni wiw wylo ar ol llaeth wedi colli." Yna ymgysura trwy ddywedyd ei fod yn hollol foddlawn i'w dynghedfen, deued a ddeuai, ac mai gwell oedd iddo beidio meddwl byth am Gymru, a gwneyd ei oreu i ollwng y Gymraeg dros gôf, fel ag yr oedd yn gweled llawer o'i gydwladwyr yn gwneuthur yn Lloegr, nes oedd yn *swil* ganddynt glywed sôn am Gymru, Cymry, a Chymraeg. Ond yn ei fyw ni fuasai yn medru gwneyd hyny. Yr un modd â'r hen philosophydd paganaidd gynt, yr hwn oedd yn methu dygymmod â Christionogaeth o herwydd ei symlrwydd, ei hawsdra, a diffyg dysgeidiaeth ei hathrawon, ac a ddywedai, "Bydded fy enaid i gyda'r philosophyddion;" felly yntau, ei ddywediad oedd, "Bydded fy nghorff innau gyda'r Cymry, ïe, a'm rhandir, a'm coelbren, a'm hetifeddiaeth yn y byd yma, os gwela Duw yn dda."

Y llythyr olaf a gawn oddiwrtho o Walton, sydd wedi ei gyfeirio at Mr. R. Morris, dyddiedig Mawrth 18, 1755. Mae yn debyg iddo ymadael oddiyno rywbryd cyn dechreu haf, o herwydd fod ei lythyr nesaf o Lundain, dyddiedig Mehefin 7, 1755. Nid oes dim neillduol yn ei lythyr olaf o Walton; ond yn ei un blaenorol, wedi ei ddyddio Ionawr 1af yr un flwyddyn, cwyna ei fod wedi bod yn glaf iawn. Cafodd ei darawo gan fath o dwymyn *(fever)*, pan oedd wedi myned i edrych am ei gyfaill a'i gydwladwr, Mr. Owen o Crosby, yn agos i Lerpwll, yr hwn oedd yn offeiriad yno. Dychwelodd adref drannoeth, a phrin y medrai sefyll ar ei geffyl. "A dydd Sul," meddai, "fe ddaeth Mr. Owen yma, o hono ei hun, i bregethu drosof, ac a yrodd i gyrchu'r Dr. Robinson, a

Mr. Gerard yr apothecary ataf, a thrwy help Duw fe fynodd ganddynt fedru gwastrodedd ac ymlid y cryd a'r pigyn, ond mae y peswch yn glynu yma eto. Mi wylais lawer hidl ddeigryn hallt wrth feddwl am fy Robin fychan sydd yn Môn. Ond beth a dâl wylo! gwell cadw fy nagrau i beth anghenrheidiach. Corff a meddwl yn cael eu dirdynu a'u gwisgo allan gan ofalon a thrallodion nid allant ddal yn hir. Gwnaed Duw a fyno. Ni bûm yn glaf galan erioed o'r blaen, am hyny mi wnaethum ryw fath ar gywydd i hyn." Yma mae yn newid ei dôn yn uniongyrchol, ac yn dechreu son am Ellis y Cowper o Lanrwst. Fel hyn yr aiff rhagddo ar ol sôn am ei glefyd:—"Tân a'm twymno, onid digrif o gorffyn yw Elisa Gowper. Mae yn sicr ped fuasai yr hychgrug arnaf, yn lle y cryd poeth, na buasai raid i mi wrth amgen meddyginiaeth nag Englynion Ellis." Yna mae yn anfon iddo yr englynion a geir mewn cŵr arall o'r gwaith, ar y rhai y cawn wneyd sylw pellach eto. Yn niwedd y llythyr hwn, dywed ei fod wedi rhoddi rhybudd i ymadael o Walton er ys gwell na mis, a dymuna ar Mr. William Morris am ymwrando am offeiriadaeth iddo erbyn Calanmai. Yr ydym yn deall wrth yr awgrym a geir yn y llythyr hwn mai meddwl bod yn offeiriad Cymreig yn Llundain yr oedd ar y pryd, a hyny drwy ryw ymgom a fuasai rhyngddo â Mr. R. Morris ynghylch y peth. Ond mae yn rhyfedd iddo roddi rhybudd i ymadael â'i le heb ryw sicrwydd gwell na hyny am fywioliaeth arall; ac y mae yntau ei hun, wrth sôn am y peth, yn lled awgrymu nad oedd wedi ymddwyn yn ddoeth. Canys fel hyn yr ychwanega ynghylch y peth:—"Gan nad wyf yn clywed gair oddiwrtho, ofni yr wyf i'r cynllun ffaelu, ac yr ydwyf bron yn edifarhâu o herwydd fy rhybudd byrbwyll yma. Ni oddef fy amgylchiadau i mi fod yn segur am un wythnos."

Yn mis Mehefin, fel y dywedasom yn barod, yr ydym yn ei gael yn Llundain; ac mae yn debyg mai dyma y pryd y cyfansoddodd ei Arwyrain y Nennawr; ac mae yr ysgrifenydd y cyfeiriasom ato yn barod yn y *Quarterly Review*, yn dywedyd ei fod yn byw mewn nennawr, neu *garret*, tra bu yn Llundain, mewn tlodi mawr, fel y gellid yn naturiol ddysgwyl, ac fel y lled awgryma ef ei hun yn y cywydd dywededig. Beth bynag oedd y cynllun a fwriedid gyda golwg ar ei gael yn offeiriad Cymreig yn Llundain, mae yn amlwg iddo fethu, ac mae yn amlwg iddo yntau gael achos i edifarhâu o herwydd ymadael mor fyrbwyll o Walton. Cwyna, yn ei lythyr o Lundain at Mr. W. Morris, ei fod yn lluddedig ar ol ei daith o'r Gogledd, ac nad oedd trefn yn y byd arno, a'i fod yn gobeithio na byddai yn hir heb sefydlu mewn rhywle, am fod y Cymmrodorion i gyd yn gyffredinol, ac yn enwedig y ddau frawd, sef y Meistriaid Lewis a Richard Morris, mae yn debyg, yn ymwrando ac yn ymofyn am le iddo. Dywed bod ei holl deulu gydag ef bob y pen, ond ei ferch fechan, yr hon a fynai aros yn mynwent Walton, o fewn deurwd neu dri at y fan y ganwyd hi. Os oedd Goronwy Owen mewn tlodi y pryd hwn yn Llundain, nid oedd sefyllfa rhai o enwogion llênyddol Lloegr fawr well yno yr amser hwn. O gylch yr un amser, neu ychydig o flynyddoedd cyn hyny, yr oedd Dr. Johnson yn gorfod cerdded trwy yr heolydd ar hyd y nos, am nad oedd ganddo ychydig o geiniogau i dalu am letty; a bu efe, Goldsmith, Thompson, a Collins, mewn cymaint o gyfyngder nes eu bod yn cael eu herlyn gan geisbyliaid. Mae yn wir i'r tri blaenaf ddyfod ymlaen i enwogrwydd a llwyddiant ar ol hyny; ond buont yn hir ar ol

dyfod i Lundain yn waeth arnynt nag oedd Goronwy Owen yn ei *garret*.

Yn mis Hydref, gwelwn ef wedi symud o Lundain i le a elwir Northolt, pentref bychan yn y gymydogaeth, yn gurad i Dr. Nicholls, *Master of the Temple*, yn Llundain. Yr oedd yn cael 50 punt yn y flwyddyn yno, ac mewn lle heb ond ychydig o waith ynddo; y plwyf yn fychan, a'r ddyledswydd yn fechan bach. Yr oedd wedi ymuno â'r Cymmrodorion ar ol dyfod i Lundain, ac y mae yn addaw gwneyd llawer o bethau, sef ysgrifenu a phrydyddu iddynt. Dywedai am y fan yr oedd yn byw, ei fod yn lle iachus ddigon, ac yn dygymmod yn burion gydag ef a'i deulu. Nid ydyw y manylion a geir yn ei lythyrau o hyn allan ddim yn gyffelyb i'r hyn oeddynt pan yn Donnington a Walton. Ond y mae yma un llythyr lled faith at Mr. R. Morris, wedi ei ddyddio yn Northolt, Mai 20, 1756; a'r peth mwyaf nodedig ynddo ydyw hanes rhyw anghydfod oedd wedi dygwydd rhwng yr ysgrifenydd â'i hen gyfaill ffyddlawn a'i noddwr, Mr. Lewis Morris. Fel hyn y sonia am y mater:—

"Un peth (os rhaid cyfaddef) sydd i'm digaloni yn gethin, sef na chlywais o'r Allt Fadog oddiwrth y Llew na'r nai. Rhyfedd na chlywid oddiwrth Ieuan Owen fwynaidd, os yw yn fyw; am y Llew yr wyf agos a chanu yn iach iddo, oblegid fod lle i ofni ei fod wedi digio dros byth bythoedd, o ran na chefais ganddo ond sen yn y llythyr diweddaf byth a welais oddiwrtho. Y mater sydd fel hyn (a mater garw yw hefyd) dygwydd a wnaeth i'r Llew ddal sylw arnaf yn *ysmocio* fy nghetyn yn nghyfarfod y Cymmrodorion, ac uthr oedd ganddo weled y Bardd (fel iâr mewn mwg), a'r niwl gwyn yn droellau o amgylch ei ben (*like glory in a picture*). Dyna ei air; ond am Foulkes, &c., nid oedd ryfedd ganddo. Yr oedd yn taeru yr un amser fy mod wedi hanner crapio; ac yn wir mae yn adgof genyf yfed o honof ran o phialaid *bwynb* yn nhŷ y câr H. Prys cyn dyfod yno. Ond gadewch i hyny fod; nid aml y bydd y gwendid hwnw arnaf (goreu byth po'r anamlaf), a diau yw bod maddeuant i fwy trosеddau na hyny, er ei gymaint. Sen iachus er fy lles i oedd y sen, a diolchgar ydwyf am dani; ond nid arwydd dda ar neb fod yn anfaddeugar. Nis gwn i achos arall yn y byd iddo ddigio, a bod mor dŷn. Mae genyf yma yn fy ymyl brophwydoliaeth a ysgrifenwyd cyn gweled o honof Lundain erioed, sy'n dywedyd, mai os fi (pan ddeuwn yma) a fethwn yn yr hyn lleiaf ddal y ddysgl yn wastad i'r Llew, na wnai ond fy nirmygu a'm cablu, a'm coegi, ar air a gweithred byth, heb obaith na chymmod, na hawddgarwch, na mwynder, yn oes oesoedd, Amen."

Yr ydym yn ofni fod achos i Mr. Lewis Morris deimlo yn ddig wrth ei hen gyfaill ag yr ewyllysiai ei lwyddiant gymaint, o herwydd ei duedd i ymddwyn yn y dull a nodwyd uchod. Dywed awdwr y "*Dictionary of Eminent Welshmen*," bod ger ei fron ef lythyr o eiddo Mr. Lewis Morris yn cwyno yn fawr o herwydd tuedd Goronwy Owen i anghymedroldeb a chyfeddach, a bod hyn yn un achos mawr o'i dlodi, a'i fod mor anffortunus yn ei swydd. Nis gellir dywedyd dim yn benderfynol ar y mater hwn yn awr; ond mae ei farwolaeth gynnarol yn rhoddi achos i ni ofni nad oedd wedi troi yn Ddirwestwr ar ol myned drosedd i'r America. Dywedir mai o herwydd yr anghydfod uchod gyda Mr. Lewis Morris y cyfansoddodd ei Gywydd i'r Diawl, ac mai Mr. Morris ydyw y person y cyfeiria ato yn y darn olaf o'r cywydd hwnw.

Yr ydym yn meddwl i ryw anghydfod fod rhyngddo â Mr. Richard Morris yn fuan ar ol hyn, canys mewn darn o lythyr a anfonodd ato yn mis Medi, mae yn ymddangos ei fod yn ysgrifenu mewn ysbryd digllawn iawn. Dyma fel y mae yn myned ymlaen,—

"Am eich llyfrau chwi a fenthyciais, chwi a'u cewch pan fynoch; ni bum erioed ar gyngyd na'u bwyta, na'u hyfed, na'u gwerthu, na gwneuthur ffagl o honynt. Ac

am y Davies yna, mae iddo groeso i'r dodrefn (sydd heb dalu am danynt) pan fyno; nid oes arnynt nemawr o geiniogwerth, a phan ddelo amser cyfaddas, mi ddiolchaf i'r wyneb lleuan gadach am ei gastiau llechwraidd. Yr oedd y llechgi brwnt yn ddiswydd ddigon i ddyfod yma gyda'r cynrhonyn coesgam hwnw o fachgen i hel chwedlau, ac yn cydgoethi a chydgablu arnaf gyda'r dafarnwraig briglas yma, fel y mae hi ei hun yn addef wedi cymmodi o honom."

Arwydda y llythyr uchod "Y Bardd Gwyllt;" enw digon cymhwys, feddyliem, ar awdwr y fath epistol. Yn mis Tachwedd, 1757, anfonodd ei lythyr tra adnabyddus at Gymdeithas y Cymmrodorion, i erfyn am eu cynnorthwy i ymfudo i America. Yn y llythyr hwn dywed am dano ei hun:—

"Dyn wyf fi (fel y gŵyr amryw o honoch) a welodd lawer tro ar fyd, er na welais nemawr o dro dà; ac mi a allaf ddywedyd wrthych fel y Patriarch Jacob i Pharaoh gynt, Ychydig a blin fu dyddiau 'ch gwas, hyd yn hyn; ond yn awr yr wyf yn gobeithio bod y Nef yn dechreu gwenu arnaf, ac y bydd yn wiw gan yr Hollalluog, sy'n porthi cywion y gigfran pan lefont arno, roi i minnau fodd i fagu fy mhlant yn ddiwall, ddianghen. Er eu mwyn hwy yn unig y cymerais yn llaw y fordaith hirfaith hon, heb ammheu genyf mai galwad Rhagluniaeth ydyw. Hir a maith yn ddiau ydyw y daith i Virginia; ond eto mae yn gysur pan elir yno gael *dau gan' punt yn y flwyddyn* at fagu y plant. Mae hyn yn fwy nag a ddysgwyliais erioed yn Mrydain na'r Iwerddon; a pha fodd yr atebwn i'm teulu pe gwrthodwn y fath gynnyg trwy lwfrdra a difrawch? Er eu mwyn hwy ynte mi deflis y dis, gan roi fy einioes yn fy llaw, a diystyru pob perygl a allai fy ngorddiwes, a hyny nid yn fyrbwyll, ond o hir ystyried ac ymgynghori âg amrai. Ond er hyny, wedi ystyried ol a blaen, mi welaf yn awr lawer o anghaffael na fedrais graffu arnynt nes bod yn rhy hwyr. Erbyn cyttuno â pherchenog y llong, mi welaf nad ydyw yr holl arian a gaf at fy nhaith, a'r oll a feddaf fy hun (wedi talu i bawb yr eiddo) ond prin ddigon i ddwyn fy nghôst yno; ac erbyn caffwyf fy nhroed ar dir yr addewid, byddaf càn llymed o arian a phan ddaethum o groth fy mam. Gwaith tost yw i bump o bobl fyned, nid i deyrnas, ond i fyd arall, heb ffyrling at eu hymborth. A gwaethaf oll yw, nad â'n llong ni o fewn 30 milldir i Williamsburgh; ac Och Dduw! pa fodd yr ymlusgir hyd fôr na thir heb arian? Fe ŵyr Duw mor llwm ac annhrwsiadus ydym oll i fyned i'r cyfryw le; ond nid yw hyny ddim os ceir bara."

Dyna agos yr oll a wyddys yn bresennol am ei ddyben yn myned i America, a'i amgylchiadau cyn cychwyn. Clywsom mai fel un o'r athrawon yn Ngholeg William a Mary yn Williamsburgh, yr oedd wedi cael y lle gwerth dau gant yn y flwyddyn, ac yr ydym yn barnu bod hyny yn wirionedd. Williamsburgh oedd prif ddinas Virginia, un o'r Unol Daleithiau Americanaidd y pryd hwnw; ond mae wedi peidio bod yn brifddinas yn awr er ys llawer o amser. Yr oedd y fordaith o'r wlad hon i America yn cael edrych arni yn amser Goronwy Owen megys newid dau fyd, ac yn cael ei dilyn gyda llawer o beryglon ac anhawsderau dirfawr mewn cymhariaeth i'r hyn ydyw yn awr. Lle dyeithr, anadnabyddus i drigolion Brydain gan mwyaf, ac yn enwedig i'r Cymry, oedd talaeth Virginia yn yr oes hono, er bod hon, a'r Unol Daleithiau eraill, yn cael eu hystyried megys cymydogion i ni yn awr. Ond dylem gofio, ar yr un pryd, eu bod oll yn perthyn i Brydain yr amser hwn, am fod y rhyfel gyda'r America, mewn canlyniad i ba un y daethant oll yn anymddibynol, heb gymeryd lle eto. Yr ydym yn canfod i Gymdeithas y Cymmrodorion roddi iddo gynnorthwy ar yr achlysur uchod mewn atebiad i'w gais, a dywedir i'r tri brawd, Meistri Lewis, William, a Richard Morris, fod yn dra haelionus iddo. Mae yn debyg ei fod yn cael talu côst ei fordaith gan y rhai oeddynt yn ei gyflogi i fyned dros-

odd; ond mae yn amlwg ei fod mewn sefyllfa mor gyfyng fel nad allai geisio pethau anghenrheidiol at symud mor bell heb gael cynnorthwy gan ei gyfeillion. Y llythyr olaf a ysgrifenodd yr ochr yma i'r Môr Werydd, oedd oddiar fwrdd y *Trial*, y llong yr oedd yn myned drosodd ynddi o *Spithead;* ac y mae yn ddrwg genym orfod dywedyd, er byred ydyw y llythyr hwn, y gwnaethai y Golygydd gymwynas â choffadwriaeth yr awdwr pe gadawsai ddarnau o hono allan, canys mae wedi ei ysgrifenu mor ddiofal gyda golwg ar weddeidd-dra a chwaeth, fel y gellir dywedyd ei fod mewn man neu ddau yn anghymhwys i'w roddi mewn argraff. Cwyna eu bod wedi cael llawer o dywydd garw pan yn aros yn y *Downs*, ac o'r *Downs* i *Spithead*. Dywedai bod y lladron a'r lladronesau ar chwydu eu perfeddau allan gan y tywydd garw. Yr ydym yn barnu mai cludo alltudion yr oedd y llong y mordwyai ynddi, gan ei fod yn son am ladron a lladronesau, o herwydd fod drwgweithredwyr yn cael eu halltudio yr amser hwnw i'r America, ac nid i *Van Dieman's Land* a *Norfolk Island*, yr un modd ag yn ein hamser ni. Cwyna yn enbyd o herwydd y Cadben, na welwyd erioed fwystfil o ddyn gwaeth nag oedd; ac yr oedd yn ofni y byddai iddo rywbryd neu gilydd ei ddigio gymaint, nes gwneyd iddo redeg ei gleddyf dan ei asenau byrion ef. Dywed eu bod i hwylio mor gynted âg y byddai y gwynt yn deg, gyda'r gweddill o'r llynges, yr hon oedd yn cynnwys o gylch 300 o longau. Ni chafodd ei gydwladwyr ond ychydig iawn o'i hanes, hyd yn ddiweddar, ar ol ei fynediad i'r America, ac nid ydyw yr hyn a gafwyd eto ond pur anmherffaith. Mae un llythyr a ysgrifenodd o Brunswick, dyddiedig Gorphenaf 23, 1767, yn argraffedig yn y gyfrol ger ein bron; a dyna y cwbl o'i hanes a geir ganddo ef ei hun, a hyny ar ol iddo fod yn preswylio yn America am agos i ddeng mlynedd. Mae yn cwyno yn fawr yn y llythyr hwn am yr anhawsdra o anfon llythyrau yn y wlad hono, nad oedd yno ddim *post* yr un modd ag yn Mrydain; dim ond ymddiried llythyr i'r cyntaf a welid yn myned yn agos i'r lle, ac weithiau byddai naw mis neu flwyddyn yn ymlwybro 30 milldir o ffordd, ac yn aml ni chyrhaeddai byth ben ei siwrnai. Cymharer hyn â sefyllfa pethau yn yr Unol Daleithiau yn bresennol, lle mae llythyrau yn myned o'r naill fan i'r llall mor rheolaidd ag yn y wlad hon. Dywed mai hiliogaeth lladron o bob gwlad oedd y rhan fwyaf o drigolion y lle yr oedd yn preswylio ynddo, yr hyn sydd yn cadarnhâu y crybwylliad a wnaethom yn barod, sef mai i'r parthau hyny yr oeddynt yn anfon alltudion yn yr amseroedd yma. Ymhellach, dywed y byddai raid iddo ef fyned driugain milldir o ffordd neu ragor, i roddi y llythyr hwnw i ryw gadben ar fwrdd llong, onidê na ddeuai byth i ben ei siwrnai, os deuai er hyny. A sonia am liaws o lythyrau oedd wedi ysgrifenu atynt yn Mrydain o gylch wyth mlynedd cyn hyny; ond mae yn debyg na ddaeth yr un o honynt drosodd i'r wlad hon. Cymaint o'i hanes deuluaidd a geir ydyw, nad oedd yr un o'i deulu a anwyd yn y wlad hon yn fyw, oddigerth ei fab Robert; a'i fod yn briod gyda'i drydydd gwraig, a chanddo dri o blant wedi cael eu geni yn y wlad hono; ei fod ef ei hun yn iach heinyf, a'r wlad yn dygymmod âg ef yn burion.

Dyna agos yr oll o'i hanes sydd ar glawr, ar ol ei fynediad i America, hyd ei farwolaeth. Tua'r flwyddyn 1798, anfonodd rhai o'i gyfeillion drosodd at ei fab, am gael rhyw gymaint o hanes ei dad oddiwrtho; ond

yr oll a dderbyniwyd oedd ateb sarug yn gofyn pwy a dalai iddo am ei drafferth. Ond yn y flwyddyn 1858, boneddwr o'r enw Mr. J. Gordon Jones o Cincinnati, a ysgrifenodd i'r newyddiadur Cymreig a gyhoeddir yn yr Unol Daleithiau, hanes ei ymchwiliadau ynghylch Goronwy Owen, yn y parth o'r wlad lle yr oedd wedi gorphen ei yrfa ddaearol ynddi. Bu farw yn Beriglor plwyf St. Andrews yn Virginia, yn y flwyddyn 1779, lle yr oedd wedi bod yn gwasanaethu er y flwyddyn 1760. Gadawodd ar ei ol bedwar o feibion, sef Robert, Richard, Goronwy, ac un arall. Bu Robert, ei fab hynaf hefyd farw, a gadawodd ar ei ol amryw blant, ac yr oedd dwy o'i ferched yn fyw yr amser yr oedd Mr. Jones yn ysgrifenu. Bu Goronwy Owen yn un o'r Athrawon yn Ngholeg William a Mary, yn Williamsburgh, am ryw gymaint o amser; a bu yn gwasanaethu mewn un neu ddau o blwyfydd heblaw plwyf St. Andrews, ar ol ei fynediad drosodd i'r wlad hono. Yr oeddid yn meddwl y gallasai rhai o'i ysgrifeniadau fod ar gael yn y coleg uchod, a rhai llyfrau yn perthyn iddo yn y llyfrgell yno; ac yr oedd Mr. Gordon Jones wedi penderfynu myned i Williamsburgh i wneyd ymchwiliadau pellach i'r mater; ond yn fuan ar ol hyny, aeth coleg William a Mary ar dân, sef yn mis Mawrth, 1859, a llosgodd y llyfrgell, a phob peth oedd yn perthyn i'r coleg. Ac y mae yn debyg i'r anffawd uchod ddigaloni Mr. Jones; canys yn niwedd ei ysgrif addawa ei fod yn bwriadu myned i Virginia cyn hir, a chasglu pob ffaith a allai mewn cysylltiad â Goronwy Owen; ond ni welsom ddim yn rhagor oddiwrtho ar y testun, oddigerth yr hanes am losgiad y coleg, a chwyna ei fod wedi oedi am gyhyd o amser heb gyflawni ei fwriad. Yr ydym fel hyn wedi dilyn hanes y dyn enwog hwn yn lled fanwl, o herwydd y dyddordeb a deimla y Cymry yn gyffredinol ynddo; ond ni chaniatâ ein gofod y waith hon i ni wneyd unrhyw sylwadau ar ei gynnyrchion llênyddol a'i athrylith; ond ymdrechwn wneyd hyny eto mewn erthygl yn un o'r rhifynau dyfodol. Nid ydyw ei waith barddonol yn faith; o gylch tair mil o linellau, feddyliem, ydyw y y cyfan. Mae y cwbl o hono ar y mesurau caethion, oddieithr un dernyn byr.

Ei lythyrau ydynt gan mwyaf yr hyn a ysgrifenai mewn dull cyfrinachol at ei gyfeillion mynwesol, ac felly prin y gellir eu hystyried yn enghreifftiau teg o'r hyn a allesid ddysgwyl oddiwrtho, dan amgylchiadau gwahanol. Yn ei farddoniaeth a'i lythyrau, dengys ei hun yn feistr perffaith ar yr iaith Gymraeg, er ei fod wedi myned i breswylio yn Lloegr, ac aros ymhell o wlad ei enedigaeth, dros y rhan fwyaf o'i oes. Mae hyn yn dangos mor drwyadl yr oedd wedi dysgu yr iaith yn ei fabandod, ac nad oedd ei wybodaeth o ieithoedd eraill wedi gwneyd dim ond coethi ei wybodaeth yn y Gymraeg, yn lle gwneyd iddo ei hanghofio. Mae ef ei hun yn crybwyll am ei feistrolaeth ar y Gymraeg, ac yn priodoli y peth i'r gofal a gymerasai ei fam gydag ef, i wneyd iddo seinio pob gair yn briodol, a defnyddio ymadroddion cymhwys. Dyna fel y dywed,—"Yr wyf yn gwenieithio i mi fy hun fy mod yn feistr ar hyawdledd mewn geiriau a phurdeb iaith; ac os felly, bydded y dalent farddonol byth càn lleied, rhaid bod yr holl gynghaneddion yn gyffelyb, os byddis yn eu deall y naill yn gystal â'r llall. Rhoddir clod mewn hanesyddiaeth i Cornelia, mam Grachii, am ddysgu ei meibion yn eu babandod yn mhurdeb yr iaith Lladin; a gallaf finnau ddywedyd, mewn

cyfiawnder i goffadwriaeth fy mam, nad adnabum fam erioed, nag hyd yn nôd athraw, a fyddai yn fwy gofalus i ddiwygio ymadrodd anmhriodol neu anghymhwys, neu ddadganiad trwsgl; a bu hyny, rhaid i mi addef, o les dirfawr i mi." Cywyddau ydyw y rhan fwyaf o'i ddarnau barddonol, a'r achos o hyn yn benaf, fel y gallwn gasglu oddiwrth yr hyn a ddywed ef, ydyw, nad oedd yn gydnabyddus am hir amser gyda'r Pedwar Mesur ar Hugain. Yn ei lythyr at Mr. W. Morris, o Donnington, dywed mai yr holl fesurau yr oedd yn gydnabyddus â hwynt y pryd hwnw oeddynt Englyn Unodl Union, Cywydd, Gwawdodyn Byr, ac Englyn Milwr. Yr oedd agos â diflasu, meddai, yn canu yr un dôn fel y gôg, ac yr oedd Cywydd wedi myned iddo mor ddiflas â photes wedi ei ail dwymno. Yna, mae yn dymuno am i'w gyfaill yru iddo un neu ddau o'r mesurau nad oedd yn gydnabyddus â hwynt, ymhob llythyr, fel y gallai eu dysgu.

Er bod ei farddoniaeth a'i lythyrau yn dra rhagorol, ac yn ddiddadl ei farddoniaeth yn well na dim a gynnyrchwyd gan neb arall yn yr oes yr oedd yn byw ynddi, eto nid ydym yn meddwl y buasai ei enw mor uchel yn Nghymru o herwydd ei gynnyrchion llênyddol yn unig, pe na buasai rhywbeth mwy na chyffredin yn hanes ei fywyd, yn enwedig ei ymadawiad o'i wlad enedigol, i wlad a ystyrid yn anial a phellenig yr amser hwnw, ac iddo derfynu ei oes na wyddai ei gydwladwyr pa bryd na pha fodd yn iawn. Ond nid ydym yn meddwl i'r Cymry wneyd cyfiawnder eto â'i goffadwriaeth, canys byddai yn hawdd iawn iddynt gael mwy o'i hanes yn America na dim a gafwyd eto. Rhoddwyd Marwnadau iddo yn destun Eisteddfodau fwy nag unwaith; ond mae y rhai hyny wedi bron fyned i lwch anghof. Cyfodwyd cofadail iddo yn Eglwys Gadeiriol Bangor, gan ei gydwladwyr a'i edmygwyr; ond ychydig iawn o'i hanes a gyrhaeddodd atom dros y Môr Werydd, mewn cymhariaeth i'r hyn a allesid ddysgwyl, oddiwrth fod cynifer o'n cenedl yn preswylio y parthau hyny o America yn bresennol, a miloedd o honynt yn gydnabyddus âg enw Goronwy Owen. Ni chlywsom a oes un math o gofadail yn hynodi ei feddrod, yn y tir pell y gorphwysa ei weddillion ynddo, neu a ydyw y lle wedi myned yn awr yn anadnabyddus i'r ymofynydd ymchwilgar a allai fyned at y fan i chwilio am dano. Ond bydded hyn fel ag y bo, darfu i gyhoeddydd ei waith wneyd mwy at gadw enw y bardd mewn bri ymysg ei gydwladwyr nag a allai gwyddfa ddaearol o un math wneyd; ac os ydyw ei weddillion marwol yn gorphwys yn Nghyfandir America, na wyddys yn iawn ymha le, ennillodd iddo ei hun enw anfarwol yn ei wlad enedigol, yr hwn na lygra amser, ac na ddinystria y bedd.

# ANSELM AR Y BOD O DDUW.

[S. Anselmi Opera Omnia, accurante J. P. Migne. Paris, 1853.]

Dywed Hegel yn rhywle yn ei waith gorchestol, ond niwlog, ar Athroniaeth y Meddwl, fod yn hawdd cyfrif mewn modd hanesyddol am darddiad a pherthynas y gwahanol ddulliau o brofi bodolaeth Duw. Llafuria i brofi mai y prawf bydonegol *(cosmological)* yw yr hynaf o'r cwbl, yr hwn a sylfaenir ar y ffaith noeth o fodolaeth y byd ar wahân oddiwrth bob ystyriaeth o'i briodoleddau neu ei ddeddfau, ac mai hwn sydd yn rhoddi y meddylddrych am achos tragywyddol, ond nas gall estyn yr un meddylddrych am Lywodraethwr moesol. Wedi hyny cawn y prawf oddiwrth gyfaddasrwydd moddion i gyrhaedd dybenion *(teleological)*, yr hyn a ganfyddir drwy holl gylch natur, yr hwn a'n galluoga i ffurfio y syniad am Gynlluniwr neu Adeiladydd Dwyfol yn gweithio holl natur i ffurfiau prydferth a defnyddiol, ond nad oes yma ddim i ffurfio y medddrych am Grëawdwr i'r hwn y gellid priodoli dygiad sylweddau *i fod* yn gystal ag *i ffurf*. Yn olaf cawn y prawf bodegol neu arddansoddol *(ontological)* fel cynnyrch diweddaf ac eithaf dealltwriaeth dyn. Prawf ydyw hwn nad ydyw yn ymddibynu ar ffeithiau profiad, eithr yn hollol ar "feddylddrychau y rheswm pur." Tebyg i hynyna, hyd yr ydym yn cofio, y dywed yr athronydd Ellmynaidd crybwylledig. Nid ydym yn sicr a ydyw yr awgrymiad uchod yn gywir ar bob golygiad; braidd na thybiem nad ydyw, o herwydd gellir dyfod o hyd i gnewyllyn arddansoddiaeth Descartes yn Plato, ac yn dechreu tyfu yn yr ysgol Alexandriaidd, fel erbyn yr unfed canrif ar ddeg y ceir ef yn bren mawr yn ngardd hen Archesgob Caergaint, yr hwn yr edrychir arno fel Awstyn ei oes. Mae yn eglur, pa fodd bynag, fod y naill athronydd wedi arfer gosod mwy o arbenigrwydd ar y naill brawf, ac arall ar un arall, yn ol tuedd ei feddwl ei hun, neu deithi y gyfundraeth a ddilynai; ac na ddeuwyd i osod y pwysigrwydd priodol ar y prawf arddansoddol hyd ddyddiau Anselm. Mae yn wir fod y dull hwn o ymresymu i'w ganfod yn ysgrifeniadau Awstyn a Boëthius, ond i Anselm y rhaid priodoli ei ddwyn allan mewn gwisg athronyddol.

Yr ydym yn ofni na chaniatâ ein gofod i ni draethu llawer ar hyn o bryd, pe medrem, ar ddyfnderoedd bodeg, ac felly ni a gyfyngwn ein sylwadau at ymresymiad Anselm yn y *Proslogion*, gan gofio wrth gychwyn reol feirniadol y bardd:—

> "In every work regard the author's end,
> Since none can compass more than they intend."

Fel y canlyn y dywed Anselm yn ei Raglith i'r Proslogion,—

"Wedi i mi ar annogaeth daer rhai o fy mrodyr gyhoeddi traethawd byr fel enghraifft o *fyfyrdod ar seiliau ein ffydd (exemplum mediandi de ratione fidei)*, ymha un y dadblygir ymresymiadau annibynol un yn ceisio cael allan yr hyn nid yw eto yn ei wybod; ac wrth ystyried fod y traethawd hwnw yn gyfansoddedig o gadwyn gyfan

o ymresymiadau, mi a ddechreuais ymholi ai nid oedd yn bosibl dyfod o hyd i ryw un ymresymiad, cyflawn ynddo ei hun, yr hwn ni byddai raid iddo wrth yr un arall, ac a fyddai yn ddigonol o hono ei hun i brofi fod Duw yn wir yn bod, mai efe yw y daioni penaf, nad rhaid iddo wrth ddim, ond bod yn rhaid i bob peth arall wrtho ef fel ffynnonell bodolaeth a dedwyddwch; ac felly yn ddigonol i brofi pobpeth a gredir genym yn gyffredinol o barth i'r Natur Ddwyfol."

Pa mor bell y llwyddodd Anselm yn yr ymgais hwn, caiff y darllenydd farnu drosto ei hun ar ol darllen y traethawd ei hun, ynghyd a'r sylwadau a ganlyn. Y mae yr ymresymiad wedi ei chwilio a'i chwalu gan brif haneswyr athroniaeth, megys Rixner, Reinhold, Tenemann, a Ritter, ac wedi ennill sylw a chanmoliaeth y fath feddylwyr â Descartes a Leibnitz. Yn wir, barnai Leibnitz mai benthycia ei ymresymiad oddiar Anselm a wnaeth Descartes,* oblegid gan ei fod wedi bod cyhyd yn astudio yn y *College des Jésuites de la Flèche,* rhaid ei fod yn gydnabyddus âg ysgrifeniadau Anselm. Sicrhëir i ni gan yr un awdurdod na ddarfu i'r Ysgolwyr (*Scholastics*) ddeall ymresymiad Anselm. Siaradent hwy am dano fel twyllreswm (*paralogism*), tra mewn gwirionedd nad ydyw ond arbrawf (*demonstration*) heb ei orphen. Hyd yr ydym yn gallu ei ddeall, dyma yr ymresymiad:—Nid yw yr awdwr yn ceisio profi yn uniongyrchol fodolaeth Duw, ond ymdrecha brofi bodolaeth rhyw wrthddrych neu fôd goruchaf ag y meddir syniad am dano yn bodoli yn annibynol, diammodol, a'i hanfod ynddo ei hun; yna pan y creda ei fod wedi llwyddo i wneuthur hyny, gesyd i fyny y syniad hwnw fel yr un a'r unrhyw â'r syniad sydd genym am Dduw. Nid yw chwaith yn myned rhagddo ar unwaith i brofi mai Duw yw y bôd hwn, ond y cwestiwn cyntaf ganddo ydyw, a oes y fath fôd yn bodoli. Ysgrifenodd un Gaunilo, mynach anadnabyddus i Anselm, i'w wrthwynebu, a rhaid cyfaddef fod ei ymresymiad yn anatebadwy, os caniatëir fod ganddo syniad cywir am y bôd y mae ei hanfodiad mewn dadl; ond gan fod holl nerth ymresymiad Anselm yn gorphwys ar natur arbenig y bôd hwnw, a bod ei wrthwynebwr yn cychwyn gyda syniad hollol wahanol i'r hyn oedd gan Anselm mewn golwg, y mae yr holl wrthddadl yn syrthio i'r llawr. Bôd mwy na phob peth arall sydd yn hanfodi, yw y syniad oddiwrth ba un y cychwyna Gaunilo; ond bôd nas gellir ffurfio syniad am ei fwy—bôd sydd yn cynnwys ynddo ei hun bob perffeithrwydd dichonadwy, a hyny o anghenrheidrwydd, yw syniad Anselm. Ni chymer ef arno hòni bod ei ymresymiad yn gymhwysiadol at unrhyw fôd heblaw hwn; ond os gellir ffurfio syniad am fôd yn meddu bodolaeth *anghenrheidiol,* rhaid caniatâu iddo fodolaeth *wirioneddol.* Byddai tybied i'r gwrthwyneb yn wrthun. Y mae y syniad am un yn bôd o anghenrheidrwydd yn cau allan y syniad o'r posibilrwydd iddo beidio a bod. Erbyn hyn fe welir fod yr ymresymiad wedi cilio i le bach, ond eto yn dal gafael mewn gwirionedd mawr, sef bod y syniad am y bôd hwn yn profi ei fodolaeth wirioneddol. Yr hyn sydd yn ddiffygiol yn yr ymresymiad, medd Leibnitz, ydyw dangos fod y bôd mewn dadl yn bosibl, ac os gellir gwneyd hyny, barna ef fod yr ymresymiad yn arbrawf (*demonstration*) perffaith o'i fodolaeth, er na ddaliai yr ymresymiad ond wrth ei gymhwyso at y Duwdod yn unig. Os felly, gallem dybied fod y ddadl ar ben, o herwydd onid ydyw pa beth bynag y gellir *ffurfio syniad* am dano yn bosibl? Neu a ydyw yn perthyn

* *Nouveaux Essais sur l'Entandement Humain, Liv.* 4.

i natur bodolaeth fod yn anmherffaith? neu fod perffeithrwydd bodolaeth yn gynnwysedig yn ei anmherffeithrwydd? A raid i bob bôd ymddibynu ar yr hyn nid yw fôd? Os yw yn *anmhosibl*, dyna derfyn ar y cwbl; eithr os nad ydyw (ac ni hòna yr un Atheist goleuedig ei fod), onid ydyw yn *bosibl?* Gan y credwn y bydd yr ateb a ymgyfyd yn meddwl y darllenydd i bob un o'r cwestiynau uchod yn gyffelyb i'r un sydd yn meddwl yr ysgrifenydd, gadawn iddo weithio allan y prawf o'r posiblrwydd o fôd perffaith drosto ei hun.

Gyda golwg ar y cyfieithiad, digon yw dywedyd ein bod wedi ei wneyd o'r argraffiad y cyfeiriwyd ato yn y dechreu o weithiau Anselm, gan gadw mor agos ag y gallem at ystyr ac arddull y gwreiddiol. Buasai aralleirio mwy, ond odid, yn peri iddo ddarllen yn fwy ystwyth; ond gwell genym ni bob amser gael hen awdwr mor debyg iddo ei hun ag y byddo modd. Mewn rhai manau, cynnorthwywyd ni i wneyd ein meddwl i fyny o barth yr ystyr gan gyfieithiad Ffrengig y Proffeswr H. Bouchitte.

## PROSLOGION, NEU GYFARCHIAD AR FODOLAETH DUW.

### PENNOD I.

O ddyn ofer! dianc yn awr am ychydig enyd oddiwrth dy orchwylion arferol, cuddia dy hun am ychydig rhag dy feddyliau trystiog: tafl dy ofalon o'r neilldu, a gohiria dy negeseuau trafferthus. Ymgyflwyna am ychydig i Dduw, a gorphwys am eiliad ynddo ef: dos i mewn i gysegrfa dy enaid; bwrw allan oddiyno bobpeth ond Duw a'r hyn a'th gynnorthwyo i gael gafael arno; ac yna wedi cau dy ddrws, cais ef. Dywed yn awr, O fy holl galon! dywed yn awr wrth Dduw, Ceisiaf dy wyneb; *dy wyneb, O Arglwydd, a geisiaf.* Am hyny, yn awr, O Arglwydd fy Nuw, cyfarwydda fy nghalon pa le a pha fodd i chwilio am danat, pa le a pha fodd i'th gael. Os nad wyt yma, O Arglwydd, pa le yr äf i'th geisio pan wyt yn absennol? Ond os wyt ymhob man, paham nas gwelaf di yn bresennol? Dïau dy fod yn preswylio yn y goleuni nas gellir dyfod atat! Ond pa le y mae y goleuni diymgyrch hwn, neu pa fodd y gallaf ddynesu at y fath oleuni? Pwy a'm harwain ac a'm tywys i mewn iddo, fel y caffwyf dy weled di ynddo? A thrachefn wrth ba arwyddion neu ymha ffurf y'th geisiaf? Nis gwelais di erioed, O Arglwydd fy Nuw, ac nid wyf yn adnabod dy wedd. Pa beth, O Arglwydd Goruchaf, a wna dy alltud pellenig hwn? Pa beth a wna dy was sydd yn llosgi gan gariad atat, wedi ei fwrw ymaith ymhell o'th ŵydd? Y mae yn dyheu am dy weled, ond rhy bell yw dy wyneb oddiwrtho. Dymunai nesâu atat, ond nid oes lwybr i'th breswylfod; carai gael gafael arnat, ond nid adwaen dy drigle; ceisia dy gael allan drwy chwilio, ond nid yw yn adnabod dy wyneb. Tydi, O Arglwydd, yw fy Arglwydd a'm Duw, ac eto ni'th welais erioed! Tydi a'm crëaist *(fecisti)* ac a'm hadnewyddaist *(refecisti)*, ac a'm cynnysgaethaist â phobpeth da, ac eto hyd yma nid wyf yn dy adnabod. Mewn gair, mi a grëwyd i'r dyben o gael dy weled, eithr hyd yn hyn nid ydwyf wedi cyrhaedd dyben fy nghrëadigaeth. O dynged druenus dyn wedi colli yr hyn ei crëwyd er ei fwyn! O gyflwr trwm ac enbyd! Ow! pa beth a gollodd a pha beth a gyrhaeddodd? Pa beth a'i gadawodd a pha beth sydd wedi aros? Collodd ddedwyddwch er mwyn yr hyn ei crëwyd, cafodd drueni er mwyn yr hyn ni chrëwyd ef; ymadawodd yr hyn nas gellir dedwyddwch hebddo, ac y mae yn aros yr hyn ynddo ei hun nad yw ond trueni. Y pryd hwnw bwytäai dyn fara angylion, am yr hwn y mae yn awr yn newynu; yn awr bwyty fara gofidiau, am yr hwn y pryd hwnw ni wyddai ddim. Och! gystuddiau holl deulu dyn, grudd-fanau cyffredinol plant Adda! Efe (Adda) a lenwid â digonedd, ninnau ydym yn curio gan newyn. Efe yn meddu dedwyddwch yn warthus a'i gollyngodd i golli, ninnau yn amddifad o ddedwyddwch ydym yn helbulus yn hiraethu am dano; ond Ah! aros yr ydym heb ein diwallu. Gan y gallasai yn hawdd wneuthur hyny, paham na buasai yn cadw i ni yr hyn y buasai arnom gymaint o'i anghen? Paham y cadwodd efe y goleuni oddiwrthym ac yr amdôdd ni mewn tywyllwch? Paham y dygodd ein bywyd oddiarnom ac y poenydiodd ni â marwolaeth? O ba le yr alltudiwyd ni, grëaduriaid truenus, ac i ba le y gyrwyd ni? O ba uchder y dymchwelwyd,

ni? i ba ddyfnder yr hyrddiwyd ni? O wlad ein genedigaeth i dir alltudiaeth; o bresenoldeb Duw i dir tywyllwch; o hyfrydwch anfarwoldeb i chwerwder a dychryn marwolaeth. Y fath gyfnewidiad galarus!—o ddaioni mor fawr i ddrwg mor erchyll! O gollfarn drom, ofid trwm, drwm bobpeth! Ys truan o ddyn ydwyf! Un o feibion helbulus Efa wedi ymddyeithrio oddiwrth Dduw! Pa beth a gymerais mewn llaw? pa beth a gyflawnais? I ba le y cyfeiriais fy nghamrau? ymha le y cefais fy hun? At ba beth y dyrchefais fy nghalon, ac am ba beth y mae fy nghalon yn hiraethu? Ceisio daioni yr oeddwn, ond wele gythrwfl: cychwyn at Dduw-yr oeddwn, ond ymddyrysu a wnaethum ynof fy hun! Ceisio gorphwysdra yr oeddwn yn y dirgel, ond gofid a gwae a gefais yn fy mynwes fy hun. Ewyllysio yr oeddwn chwerthin gan lawenydd, yn lle hyny rhuo yr ydwyf gan flinder calon. Gobeithiaswn am lawenydd, ond wele o hyn aml yw fy ocheneidiau. Tithau, Arglwydd, pa hyd? Pa hyd, Arglwydd, y'n hanghofi? Pa hyd y cuddi dy wyneb oddiwrthym? Pa bryd y sylwi arnom ac ein gwrandewi? Pa bryd y dadguddi di ein llygaid ac y troi dy wyneb atom? Pa bryd y dychweli atom? Edrych, Arglwydd, gwrando ni, goleua ni, eglura dy hun i ni. Gâd i ni dy gael drachefn fel y byddo da i ni; mor ddrwg yw arnom hebot. Tosturia wrthym yn ein llafur a'n hymdrechion am danat ti; hebot ti nis gallwn lwyddo mewn dim. Cymhell ni; cymhorth ni. Yr wyf yn attolygu arnat, O Arglwydd, na âd fi i anobeithio yn fy hiraeth, ond yn hytrach ymadnewyddu yn fy ngobaith. Blinderog yw fy nghalon gan ei hanghyfannedd-dra ei hun; esmwythâ dithau arni â dyddanwch dy bresennoldeb. Yn newynog, Arglwydd, y dechreuais ymofyn am danat; na âd i mi roddi i fyny nes fy llenwi â'th gyflawnder: ar farw o newyn y dynesais atat; na âd i mi ymadael heb fy nigoni: yn dlawd y daethum at gyfoeth, yn druenus at dosturi; na âd i mi ddychwelyd yn wag ac yn wrthodedig. Ac os ydwyf, cyn cyfranogi o'r ymborth hwn, yn dyheu am dano, caniatâ, wedi i mi ei brofi, roddi digon i'm diwallu. O Arglwydd, crymwyd fi tua'r llawr, fel nas gallaf edrych ond tua'r ddaear; cyfod di fi fel y gallwyf edrych i fyny. Fy nghamweddau a aethant dros fy mhen; y maent yn fy ngorchuddio, ac fel baich trwm yn fy llethu. Gollwng fi yn rhydd, a gwared fi oddiwrth fy mhechodau, rhag i'w pwll hwynt gau ei safn arnaf. Gâd i mi weled dy oleuni pa un bynag ai o'r pellder ai o'r dyfnder. Dysg i mi dy geisio, ac wrth i mi chwilio amlyga dy hun i mi; oblegid nis gallaf dy geisio oni bydd i ti fy nysgu, na'th gael oni bydd i ti ddadguddio dy hun. Bydded i mi dy geisio trwy dy ddymuno, a'th ddymuno trwy dy geisio; dy gael drwy dy garu, a'th garu wrth chwilio am danat. Yr ydwyf yn dy gydnabod, O Arglwydd, ac yn diolch i ti am grëu o honot dy ddelw hon ynof fel y'th gofiwn di, y myfyriwn arnat ac y'th garwn; ond y mae drwy gysylltiad â phechod wedi ei llychwino i'r fath raddau, ac wedi ei thywyllu i'r fath raddau gan darth pechod, fel nas gall ateb y dyben y crëaist hi, oni weli di yn dda ei hadnewyddu a'i ffurfio o newydd. Nid wyf yn amcanu treiddio i'th uchelder di, o herwydd yn ofer y gosodwn unrhyw gymhariaeth rhwng fy neall egwan i â hwnw, eto dymunwn ddeall i ryw fesur dy wirionedd, yr hwn y mae fy nghalon yn credu ac yn caru: oblegid nid ceisio deall mewn trefn i gredu yr ydwyf, eithr credu yr ydwyf mewn trefn i ddeall, o herwydd yr wyf yn credu pe na chredwn nas gallwn ddeall.*

## PENNOD II.

Am hyny, O Arglwydd, yr hwn wyt yn rhoddi deall i ffydd, caniatâ i minnau, i'r graddau y gwyddost y byddai yn fuddiol, ddeall i wybod dy fod, fel yr ydym yn credu, a'th fod yr hyn yr ydym yn credu. Ac yn wir, yr ydym yn credu dy fod yn rhywbeth ag nas gallwn ffurfio syniad am ei fwy. A raid i ni gan hyny dynu y casgliad nad oes y fath Fôd yn unig o herwydd dywedyd o'r ynfyd yn ei galon, "Nid oes un Duw" (Ps. xiv. 1.)? Ond y mae yn sicr, pan glywo yr ynfyd hwn fi yn crybwyll am rywbeth nas gellir synied am ei fwy, ei fod yn deall yr hyn y mae yn glywed; ac os ydyw yn ei ddeall y mae ganddo syniad am dano, hyd yn nôd pe na bae yn gwybod ei fod yn bodoli. O herwydd un peth yw fod gwrthddrych yn y meddwl, a pheth arall yw gwybod ei fod yn bodoli. O herwydd pan y mae yr arlunydd yn cynllunio yr hyn y mae ar fedr ei wneuthur, y mae y peth yn ei feddwl *(in intellectu)*, eithr nid yw eto yn gwybod ei fod yn bodoli, gan ei fod eto heb ei wneuthur; ond wedi ei orphen y mae ganddo y syniad am dano yn ei feddwl, ac y mae yn gwybod ei fod yn

* Dengys y bennod hon yr ysbryd rhagorol, er i raddau yn bruddglwyfus, yn yr hwn y dygai yr hen Athronydd Cristionogol ei ymchwiliadau ymlaen.

bodoli. Felly argyhoeddir hyd yn nôd yr ynfyd fod yn bodoli yn ei syniad rywbeth nas gellir synied am ei fwy; o herwydd pan yw yn clywed hyn, y mae yn ei ddeall, a pha beth bynag a ddeallir, rhaid ei fod yn y syniad. Ond y mae yn ddiammheu nas gall yr hyn nas gellir ffurfio syniad am ei fwy fodoli mewn syniad yn unig. O herwydd tybier ei fod yn bodoli yn y syniad neu y deall *(intellectu)* yn unig, yna gellir synied am rywbeth mwy, gan y gellir synied am dano yn bodoli yn wirioneddol, yr hyn sydd fwy. Felly, os yn y syniad yn unig yr hanfoda yr hyn nis gellir ffurfio syniad am ei fwy, yna y mae y peth hwnw ei hun yn rhywbeth ag y gellir ffurfio syniad am ei fwy, yr hyn sydd anmhosibl. Y mae gan hyny, yn ddiddadl, nid yn unig yn y deall a'r syniad, ond hefyd yn wirioneddol, rywbeth nas gellir ffurfio syniad am ei fwy.

## PENNOD III.

Mor wirioneddol, yn wir, y mae hwn yn bod, fel nas gellir synied am dano yn peidio bod. Oblegid y mae yn bosibl ffurfio syniad am fodolaeth rhywbeth ag nas gellir synied am dano yn peidio bod; yr hwn sydd fwy na'r un y gellir synied am dano yn peidio bod. Gan hyny os gellir synied am yr hyn y mae yn anmhosibl ffurfio syniad am ei fwy yn peidio bodoli, felly y mae yr un peth yn gyfryw ag nas gellir ffurfio syniad am ei fwy, ac hefyd yn gyfryw ag y gellir ffurfio syniad am ei fwy; yr hyn sydd wrthddywediad. Y mae mor wir fod rhywbeth yn bod ag nas gellir ffurfio syniad am ei fwy, fel y mae yn anmhosibl synied am dano yn peidio bod. A thydi, O Arlwydd ein Duw, ydyw hwnw! Mor wirioneddol, gan hyny, yr ydwyt yn bod, O Arglwydd fy Nuw, fel nas gellir synied am danat yn peidio bod. Dylai fod felly. Oblegid pe gallai unrhyw feddwl ffurfio syniad am rywbeth gwell na thi, yna gallai y crëadur ymddyrchafu uwchlaw y Crëawdwr, a rhoddi barn ar y Crëawdwr; yr hyn sydd dra gwrthun. Gellir, yn wir, synied am bobpeth arall heb dy law di yn unig yn peidio bod. Tydi, gan hyny, yn unig o bob peth wyt yn meddu bod yn yr ystyr fwyaf priodol, ac felly i'r graddau uchaf; oblegid nid oes dim arall ag sydd yn bodoli yn bodoli mor wirioneddol, ac felly nid oes gan ddim arall ond bodolaeth israddol. Paham ynte y dywedodd yr ynfyd yn ei galon, "Nid oes un Duw?" gan ei fod mor amlwg i feddwl rhesymol mai dy fodolaeth yw y gwirionedd sicraf o bobpeth. Paham hefyd, ond am ei fod yn ynfyd ac yn amddifad o synwyr!

## PENNOD IV.

Ond pa fodd y dywedai yr ynfyd yn ei galon yr hyn nis gellir ei synied? neu pa fodd nad yw alluog i synied yr hyn a ddywedai yn ei galon, gan y tybiem mai yr un peth yw dywedyd yn y galon a synied? Eithr os gwir iddo ei ddywedyd yn ei galon am ei fod yn medru synied am dano, ac hefyd na ddywedodd yn ei galon am na fedr synied y fath beth, yna y mae mwy nag un ystyr ag y gellir synied am beth neu ei ddywedyd yn y galon. Felly, yn y naill ystyr yr ydys yn ffurfio syniad am beth pan y mae y gair a'i ddynoda yn cael ei gynnwys, ac mewn ystyr arall pan y mae y peth ei hun—yr hyn ydyw, yn cael ei gynnwys yn y deall. Yn y naill ystyr, gan hyny, gellir synied am Dduw yn peidio bod; yn y llall y mae hyny yn anmhosibl. Oblegid nis gall neb sydd yn deall pa beth yw tân a dwfr gynnwys y meddwl mai tân yw dwfr, mewn gwirionedd, er y gall synied felly o ran sŵn y geiriau. Felly, gan hyny, nis gall neb sydd yn amgyffred pa beth yw Duw ffurfio syniad am Dduw yn peidio bod; rhaid iddo ddyweyd y geiriau hyn yn ei galon heb un ystyr, neu ynte mewn ystyr dyeithr i'r pwnc. Oblegid Duw yw yr hyn nas gellir synied am ei fwy. Ac fe ddeall yr hwn a ddeallo hyn yn iawn fod y rhywbeth hyn yn bodoli yn y fath fodd ag nas gall hyd yn nôd mewn syniad beidio bodoli. Gan hyny nis gall yr hwn sydd yn deall fod Duw yn bod gynnwys y meddwl o iddo beidio bod. Diolch i ti, O Arglwydd, diolch i ti, fy mod yn awr yn deall, drwy dy oleuni di, yr hyn oeddwn o'r blaen yn ei gredu drwy dy rodd *(te donante*—ffydd); fel, pe bawn yn anfoddlawn i gredu dy fod, nas gallwn lai na deall.

## PENNOD V.

Pa beth gan hyny wyt ti, O Arglwydd Dduw, yr hwn nas gellir synied am dy fwy? Pa beth ydwyt, oddieithr yr hwn sydd goruwch pob peth â'i hanfod ynddo ei hun, ac a grëodd pob peth arall o ddim? Oblegid beth bynag nid yw felly sydd lai na'r hyn y gellir synied am dano. Eithr anmhosibl yw synied am danat ti felly.

Pa ddaioni gan hyny a all fod yn ddiffygiol yn y *daioni penaf*, o'r hwn y mae pob daioni yn deilliaw? Felly yr wyt ti yn gyfiawn, a chywir, a dedwydd, ac yn bob peth y mae yn well bod na pheidio bod; canys y mae yn well bod yn gyfiawn na pheidio, ac yn well bod yn ddedwydd nag yn annedwydd.

Gan fod ymresymiad Anselm yn gynnwysedig, yn benaf, yn y pennodau uchod, yr ydym yn gadael y *Proslogion*, ac yn brysio i osod ger bron y darllenydd ymosodiad Gaunilo, ynghyd ag Amddiffyniad Anselm

## LLYFR O BLAID YR YNFYD, AC YN ERBYN YMRESYMIAD ANSELM YN Y PROSLOGION. GAN GAUNILO.

1. Pan ammheuir neu y gwedir bodolaeth y cyfryw Fôd ag nas gellir synied am ei fwy, fel prawf ei fod yn bod er hyny, dywedir yn y lle cyntaf fod y cyfryw fôd yn barod yn neall yr hwn sydd yn gwadu neu yn ammheu, gan fod yr ammheuwr wrth glywed ei grybwyll yn deall yr hyn a ddywedir. Yn nesaf, y rhaid i'r hyn y mae efe yn ei ddeall fodoli o anghenrheidrwydd, nid yn unig yn ei ddeall ef, ond hefyd mewn gwirionedd; yr hyn a brofir fel hyn, o herwydd fod meddu bodolaeth yn y deall ac mewn gwirionedd yn rhywbeth mwy na meddu bodolaeth yn y deall yn unig. Ac os yn y deall yn unig yr hanfoda y bôd mewn dadl, yna bydd yr hyn a fêdd fodolaeth wrthddrychol hefyd yn fwy nag ef, ac felly bydd yr hyn sydd yn fwy na phobpeth yn llai na rhywbeth, yr hyn sydd wrthddywediad. Gan hyny rhaid i'r hyn sydd fwy na phobpeth, yr hyn y profwyd yn barod ei fod yn y deall, feddu bodolaeth nid yn y deall yn unig, ond hefyd mewn gwirionedd, o herwydd pe amgen nis gallasai fod yn fwy na phobpeth.

2. Dichon y gellid ateb, mai yr unig reswm dros ddyweyd fod y bôd hwn yn barod yn fy neall yw fy mod yn deall yr hyn a ddywedir pan yn clywed ei grybwyll. Onid ellir dyweyd, yr un modd, am lïaws o bethau twyllodrus, na feddant ynddynt eu hunain fodolaeth o fath yn y byd, eu bod yn fy neall, oblegid pe llefarai rhywun am danynt mi a ddeallwn pa beth bynag a ddywedai? oddieithr fe ddichon ei bod yn amlwg nas gallwn ffurfio syniad am y bôd hwn yn yr un modd ag am bethau twyllodrus ac ammheus; ac am hyny pan grybwyllir y bôd hwn, ni ddywedir fy mod yn synied yr hyn a glybuwyd neu ei fod yn fy meddwl, eithr fy mod yn deall, a bod y peth yn fy neall; oblegid eglur yw nas gallaf ffurfio syniad am dano mewn un ffordd arall heblaw drwy ddealltwriaeth, hyny ydyw drwy gynnwys yn fy ngwybodaeth ei fod yn meddu bodolaeth wirioneddol. Ond os felly y mae, yna yn y lle cyntaf nid ellir dywedyd mai un peth yw fod rhywbeth yn y deall, ond mai peth arall yw gwybod ei fod yn bodoli, neu fod y syniad yn rhagflaenu gwybodaeth o'i hanfodiad, fel yn amgylchiad y darlun, yr hwn yn gyntaf a fodolai yn meddwl yr arlunydd, wedi hyny mewn gweithred. Heblaw hyny, o braidd y gellid credu na byddai mor hawdd i'r hwn a glywai enwi y bôd hwn synied am dano yn peidio bod, ag oedd iddo synied am Dduw yn peidio bod. Oblegid os nad ydyw hyny yn bosibl, paham y dadleuir cymaint yn erbyn yr hwn sydd yn gwadu neu yn ammheu fod y fath un? Yn olaf, profer i mi drwy resymau diwrthdro, fod y bôd hwn yn gyfryw ag y mae yn anmhosibl lai na chyrhaedd perffaith sicrwydd o'i fodolaeth, mor fuan ag y synier am dano yn y meddwl; ond nid digon o brawf ydyw dywedyd ei fod eisoes yn fy nealltwriaeth pan wyf yn deall y geiriau a'i dynodant; oblegid yr un ffunud gall pethau eraill gwag a thwyllodrus fod yn fy nealltwriaeth, gan y medrwn ddeall yr hyn a ddywedid am danynt, ac yn fwy gwirioneddol o ran hyny, gan fy mod yn aml yn cael fy nhwyllo ac felly yn credu yn modolaeth y pethau hyn, tra nad ydwyf eto yn credu bodolaeth y bôd mewn dadl.

3. Am hyny, nid yw yr engraifft hono oddiwrth yr arlunydd, a'r darlun oedd ar fedr ei wneuthur o'r blaen yn ei feddwl, yn dal digon o gysylltiad â'r mater. Oblegid bodola y darlun hwn cyn ei wneuthur yn meddwl yr arlunydd fel rhan o'i gelfyddyd *(in ipsa pictoris arte)*, ac nid yw y cyfryw beth yn nghelfyddyd celfyddydwr ond rhan o'i ddealltwriaeth; o herwydd fel y dywed Awstyn, pan y mae crefftwr ar fedr gwneyd arch, yn gyntaf y mae yr arch yn ei gelfyddyd; nid peth byw yw yr arch a wnaed; y mae yr arch yn ei gelfyddyd ef yn fyw, canys y mae yn byw yn meddwl y celfyddydwr, lle y mae yn gorwedd holl gynnyrchion ei athrylith cyn eu gweithio allan. Paham ynte y dywedir fod y pethau hyn yn fyw yn enaid byw y celfyddydwr, oddieithr am nad ydynt amgen gwybodaeth neu ddealltwriaeth yr enaid

ei hun? Ond, ar wahân oddiwrth y pethau hyn, y rhai y gwyddys a berthynant i natur y meddwl ei hun, diammheu fod pa wrthddrych bynag y deuir i wybod am dano —drwy glywed y glust neu drwy weithrediad y deall—yn rhywbeth ar wahân oddiwrth y deall sydd yn gweithredu arno; gan hyny os gwir yw fod rhywbeth nas gellir synied am ei fwy—nid am fy mod yn deall yr hyn wyf yn glywed—eto rhaid ei fod yn dra gwahanol yn ei natur i'r darlun yn meddwl yr arlunydd.

4. Cysyllter â hyn yr hyn a awgrymwyd uchod, nas gallaf fi synied am y peth hwn ag nas gellir synied am ei fwy, pan glywaf ei grybwyll—yr hwn y dywedir nad yw amgen Duw ei hun—ac nas gallaf ei gynnwys yn fy neall fel peth anadnabyddus mewn na rhyw na math *(specie vel genere)* mwy nag y gallaf gynnwys Duw, yr hwn, oblegid yr un rheswm, yr wyf yn synied am dano yn peidio bod. Oblegid nid wyf nac yn adnabod yr hyn yw Duw, nac yn alluog i gyrhaedd adnabyddiaeth o hono drwy ddim tebyg iddo, gan eich bod chwithau hefyd yn dadleu nad oes dim cyffelyb iddo yn bod. Pe bawn yn clywed rhywbeth am ryw ddyn perffaith anadnabyddus i mi, hyd yn nôd pe na buaswn yn gwybod ei fod yn bod, eto drwy gymhorth yr unrhyw wybodaeth neillduol neu gyffredinol ag yr ydwyf yn gwybod beth yw dyn neu ddynion, gallwn edrych arno yn ol fy syniad am yr hyn sydd yn cyfansoddi dyn; ac eto gallai fod fy hysbysydd yn fy nhwyllo, ac nad oedd i'r dyn am yr hwn y ffurfiaswn y syniad fodolaeth, er mi synied am dano yn ol meddylddrych cywir—nid am yr hyn oedd y dyn hwnw, eithr am yr hyn ydyw unrhyw ddyn. Nis gallaf, gan hyny, pan glywyf grybwyll Duw, neu *rywbeth mwy na phob peth arall,* gynnwys hwn yn fy syniad neu yn fy neall yn yr un modd a'r dyn ffugiol. Tra y gallaf, yn ol y meddylddrych cyffredinol, a'm hadnabyddiaeth innau o'r naill, ffurfio syniad am dano, nis gallaf mewn modd yn y byd ffurfio syniad am y llall (Duw) oddigerth drwy sain y geiriau; ac o braidd, os byth, y gall hyny yn unig gyfleu syniad cywir am ddim. Os cydnabyddir yr hyn sydd wirionedd cyffredinol, sef mai nid y gair noeth, neu sain y llythyrenau neu y sillau, eithr ystyr yr hyn a glywir, sydd yn cyfansoddi gwir wrthddrych meddwl, pan ffurfir syniad am rywbeth yn y modd hwn; eto ystyr dra gwahanol a gyflëir i feddwl un sydd yn adnabod y gwrthddrych a ddynodir yn gyffredin drwy unrhyw air, ac felly yn alluog i ffurfio yr unig syniad cywir, i'r hyn a gyflëir i feddwl un arall, yr hwn fel y tybir sydd yn berffaith anwybodus o'r gwrthddrych, ac i gael ei ddysgu am y tro cyntaf o berthynas iddo, yr hwn hefyd sydd o dan yr angenrheidrwydd o ffurfio syniad am dano yn ol yr effaith a gaiff sain y gair ar ei feddwl, ac y modd hwn i ymdrechu cyrhaedd meddylddrych cywir am y gwrthddrych: byddai yn beth pur hynod yn wir os caffai hwn byth afael ar y gwirionedd. O dan yr amgylchiadau hyn, gan hyny, yn hollol yr ydwyf yn derbyn unrhyw syniad pan yn clywed ac yn deall un yn son am rywbeth yn bod mwy na phob peth arall y gellir synied am dano: hynyna ar yr haeriad fod y Bôd goruchel hwnw eisoes yn fy neall.

5. Ond, ei fod nid yn unig yn fy neall, ond hefyd o anghenrheidrwydd yn meddu bodolaeth allanol *(in re)* a brofir i mi fel y canlyn; oddieithr ei bod felly fod yr hyn sydd yn meddu bodolaeth allanol yn fwy na hwn, a thrwy hyny nad yw hwn, yr hwn a brofwyd ei fod yn fy neall, yn fwy na phobpeth. I hyn yr ydwyf yn ateb: os gellir dyweyd fod yr hyn sydd yn fy neall yn unig o ran sain y geiriau, er nas gellir meddwl am dano mewn unrhyw ffurf allanol, os gellir dyweyd fod y fath beth yn fy neall, yna nid wyf yn gwadu fod y Bôd mewn dadl yn fy neall yn yr ystyr hon. Eithr gan nad yw yn canlyn oddiwrth hyn ei fod yn meddu bodolaeth allanol, nid wyf eto yn cwbl ganiatâu hyn, hyd nes y profer imi drwy ymresymiad diwrthdro; ac nid yw yr hwn sydd yn dyweyd na fuasai y bôd hwn—mwy na phobpeth—yn fwy na phobpeth oddieithr meddu o hono fodolaeth allanol, yn ystyried yn briodol â phwy y mae yn siarad; oblegid nid wyf fi eto yn addef, ïe, yr wyf yn gwadu, neu beth bynag yn ammheu, fod hwn yn fwy na phobpeth sydd yn meddu bodolaeth wirioneddol. Nid wyf chwaith yn caniatâu iddo unrhyw fodolaeth oddigerth y fodolaeth (os priodol yr enw) a rydd y meddwl iddo yn ei ymgais i bortrëadu iddo ei hun ryw wrthddrych sylweddol perffaith anadnabyddus, mewn canlyniad i glywed ei enw. Pa fodd gan hyny y profir i mi yr hanfoda y bôd tra mawr hwn mewn gwirionedd, oblegid ei bod yn eglur ei fod yn fwy na phobpeth, tra yr wyf finnau hyd yn hyn yn gwadu, neu o'r hyn lleiaf yn ammheu, fod hyn yn eglur? Onid allaf yn wir haeru mai yn yr un ystyr y mae y bôd mawr hwn yn fy neall neu fy syniad ag y mae lliaws o bethau ammheus ac ansicr? Yn gyntaf oll, y mae yn anghenrheidiol dangos ei fod mewn gwirionedd yn bodoli yn rhywle; yna oddiwrth y ffaith ei fod yn fwy na phobpeth, nis gellid ei ammheu mwy fel gwirionedd diamwys.

6. Er enghraifft: dywedir fod yn rhywle yn y môr ynys, yr hon, o herwydd yr

anhawsder, neu yn hytrach yr anmhosiblrwydd, i ddyfod o hyd i'r hyn nid yw, a elwir gan rai yr *ynys golledig;* dywed y chwedl ei bod yn tra rhagori ar bob ynys adnabyddus mewn cyflawnder o bob cyfoeth a ffrwythlondeb, a phob math o foethau, er nad oes dyn yn ei meddiannu nac yn ei chyfanneddu. Pe dywedai rhywun wrthyf fod y pethau hyn felly, gallwn yn rhwydd ddeall yr hyn a ddywedai, gan nad oes yma unrhyw anhawsder. Ond ped ychwanegai fel casgliad ymresymiadol, nas gallwn ammheu yn hŵy fod yr ynys hon sydd yn tra rhagori ar bob ynys arall yn meddu bodolaeth wirioneddol yn rhywle o herwydd fy mod yn addef ei bod yn fy neall, a chan fod meddu bodolaeth wirioneddol yn beth mwy rhagorol na meddu bodolaeth yn y deall yn unig, ei bod gan hyny yn canlyn o anghenrheidrwydd fod yr ynys yn bod mewn gwirionedd; oblegid pe na bae yn canlyn felly, byddai unrhyw ynys a feddai fodolaeth wirioneddol yn rhagori ar hon, a minnau wedi ffurfio syniad am dani yn rhagori ar bob ynys;—pe bae rhywun, meddaf, yn y modd hwn yn ceisio fy narbwyllo i gredu bodolaeth wirioneddol yr ynys, ac nas gallwn ammheu hyny yn hŵy, mi a dybiwn ei fod ef yn cellwair, neu ynte nis gwn pa un i'w ystyried y ffwl mwyaf—pa un ai myfi os cymerwn fy narbwyllo, ai efe os tybiai ei fod wedi profi bodolaeth yr ynys gydag un gradd o sicrwydd heb iddo yn gyntaf brofi bod ei rhagoroldeb yn wirionedd hanfodol a diammheuol, ac nid mewn un modd yn syniad gau ac ansicr o eiddo y meddwl.

7. Y cyfryw, ar hyn o bryd, ydynt atebion yr ynfyd i'r hyn a ddygwyd yn ei erbyn; ac o hyn allan pan haerir yn ei wyneb fod y bôd hwn yn gyfryw ag nas gellir meddwl am dano yn peidio bod, ac mai yr unig ymresymiad anghenrheidiol i brofi hyny yw, na byddai, oddieithr ei fod felly, yn fwy na phobpeth, gall yntau drachefn ateb gan ofyn, Pa bryd y caniatëais i fod y fath wrthddrych, ag sydd yn fwy na phobpeth, fel y profid i mi drwy hyny fod ei hanfodiad mor wirioneddol ac anghenrheidiol ag nas gellir synied am dano yn peidio bod? Rhaid, gan hyny, profi drwy ryw ymresymiad cadarn fodolaeth rhyw wrthddrych goruchaf, mwy a gwell na phob peth arall, fel y gallom mewn canlyniad brofi yr holl briodoleddau sydd o anghenrheidrwydd yn perthyn i fôd mwy a gwell na phob peth. Eithr pan ddywedir nas gellir synied am y bôd goruchaf hwn yn peidio bod, hwyrach mai mwy priodol fyddai dyweyd nas gellir gwybod nad yw yn bod neu y gall beidio bod; oblegid yn ol ystyr briodol y gair hwn, nis gellir gwybod *(intelligi)* pethau twyllodrus; er y gellir ffurfio syniad am danynt, fel y gwnaeth yr ynfyd am Dduw yn peidio bod. Gwn yn ddiau fy mod i fy hun yn bod, ond gwn hefyd y gallaf beidio bod; gwn hefyd fod y bôd goruchaf hwnw —Duw—yn bod ac nas gall beidio bod. Nis gwn pa un a allaf ffurfio syniad am danaf fy hun yn peidio bod, tra y gwn yn sicr fy mod yn bod; eithr os gallaf, paham nas gallaf wneyd yr un peth gyda golwg ar unrhyw wrthddrych arall er meddu perffaith sicrwydd o'i fodolaeth? Ond os nad allaf, nid Duw yw yr unig wrthddrych ag nas gallaf synied am dano yn peidio bod.

Yn awr rhag blino archwaeth y darllenydd â gormod o'r bwyd sych hwn, yr ydym yn barnu mai goreu gadael ar hyn yn bresennol, gan addaw dychwelyd at Atebiad Anselm mewn rhifyn dyfodol.

---

# AIPHTYDDIAETH.

[Egypt in its Biblical Relations and Moral Aspects. *By* J. Foulkes Jones, B.A. London: Smith, Elder, and Co.]

Y mae yr Aipht yn y blynyddoedd diweddaf hyn, fel un o'i themlau mawrion ei hunan, wedi ei chloddio allan o'r tywod lle y gorweddasai yn

dawel am ganrifoedd lawer; ac wedi ei dwyn i'r golwg, y mae yn chwedleua â ni am ryfeddodau yr hen amseroedd mewn dull sydd yn peri i ni deimlo ein bod yn cael ad-daliad helaeth am bob sylw a dalwn iddi. Y mae yn rhywbeth i ddyn gael ei argyhoeddi fod y byd yma yn hŷn nag ef, mai nid gydag ef y ganwyd doethineb, ac fod yn dra thebyg yr ä y byd yn ei flaen, ac y bydd doethineb fyw, gryn lawer o amser wedi iddo ef fyned o'r golwg. Nid oes dim a duedda i argraffu teimlad fel yma ar y meddwl yn ddyfnach na hanes yr Aipht. Yr ydys yn ei ystyried yn rhywbeth i fyned yn ôl at rai o gyfnodau mawrion hanes y byd, a sylweddoli i ni ein hunain y cymeriadau a'r egwyddorion a'u dygent o amgylch. Ond yr ydym yn y fan yn dyfod i deimlo fod amser maith wedi myned heibio er pan gymerasant le. Y mae y Diwygiad Protestanaidd bellach yn hen. Y mae tiriad Cesar yn Mhrydain draw ymhell iawn o'n golwg. Y mae sefydliad gwladwriaeth Rhufain ar goll ymhlith y breuddwydion. Y mae codiad a chwymp yr hen ymherodraethau rywle yn yr eithafion mewn pellder a thywyllwch. Ond y mae yr Aipht yn ymaflyd yn ein llaw ac yn ein harwain ymlaen, gyda gradd o oleuni, o adeg i adeg, nes ein cymeryd i bellder y mae pob henafiaeth arall, oddieithr eiddo y Bibl, yn diflanu o'r golwg. Cyn i Rufain gael ei geni, a chyn i Athen weled y dydd, cyn i Homer ddechreu prydyddu, a chyn i'r un o dŷrau Caerdroia ymddyrchu tua'r nen, draw, draw, pan adeiledid dinasoedd Assyria, a phan oedd bugeiliaid Caldea yn ffurfio eu dychymygion am y sêr, yr oedd yr Aipht yn wlad gyfoethog a gwareiddiedig. Y mae, yn sicr, wedi gweled llawer tro ar fyd. Y mae wedi myned trwy lawer o helyntion ei hunan, ac wedi gweled y cenedloedd o'i hamgylch yn myned trwy gyfnewidiadau rif y dail; ond y mae wedi aros trwy yr holl oesoedd ar làn ei hafon ardderchog, sydd yn llifo, am ddim a wyddys, er creadigaeth y byd, ac wedi cymeryd nodiadau yn dawel o'r hyn a gymerai le, a'u hysgrifenu yn y graig dros byth. Er ys llawer canrif yn awr nid oedd neb yn meddwl fawr am dani. Yr oedd ei braich wedi colli ei chryfder, ac yr ydoedd yn cael ei sathru dan draed y cenedloedd. Yr oedd yn parhâu i siarad, mae yn wir; ond yr oedd ei hagwedd mor dlawd, a'i hacen mor floesg a henafol, fel nad oedd fawr o werth gan y byd droi ei ben i sylwi arni, na cheisio gwrando ar ei chwedl.

Yn lled ddiweddar, sut bynag, fe feddyliodd rhai dynion mawr ac amyneddgar y gallai fod gan yr Aipht rywbeth i'w ddyweyd, a cheisiasant ddyfalu beth ydoedd. Dyfalu a dyfalu a fu am amser maith, heb gael ond ychydig o foddlonrwydd eu bod yn ei deall. Yn y cyfamser yr oedd y byd yn myned yn ei flaen, yn llawn ffrwst, yn ymladd ei ryfeloedd, yn prynu ac yn gwerthu ei nwyddau, yn mawrhâu y cryf ac yn sathru'r gwan, fel y gwnelai trwy yr oesoedd. Ond yn un o'i ymgyrchoedd mawrion, pan oedd yr Aipht yn asgwrn cynhen rhwng Napoleon Buonaparte a'r deyrnas hon, dygwyddodd i gaib milwr godi i fyny gareg yn Rosetta, yn agos i ymarllwysiad un o ffrydiau y Nilus i'r môr, sydd wedi bod o werth annhraethol i'r byd fel agoriad i ddoethineb yr Aipht. Daeth o law gŵr y gaib i law yr athronydd. Deallwyd fod yr Aipht yn siarad arni; a rhag i'r oesoedd dyfodol ei chamddeall, ei bod yn dyweyd ei stori mewn tair o wahanol ffyrdd. Yn gyntaf, yn ei Hieroglyphig ei hunan. Yn ail, mewn ffordd rwyddach o ysgrifenu yr un peth yn null cyffredin y wlad. Ac yn drydydd, yn yr iaith Roeg. Trwy lafur dirfawr a medr-

usrwydd digyffelyb ymron, daeth Dr. Thomas Young o'r diwedd i wneyd allan rai o'r lluniau oedd ger ei fron, ac i weled y lle oedd iddynt fel arwyddion sain ac ystyr. Daeth ei hegwyddor o'r diwedd i'r golwg. A chyda'r Alphabed ryfedd yma ger eu bron, aeth efe, Champollion, Rosellini, ac eraill, ymlaen i astudio ac ymofyn beth oedd gan yr Aipht i'w ddyweyd. Y maent bellach yn ei deall yn lled dda. Y mae yr Aipht, wedi i'w thafod fod yn nghlo am ganrifoedd lawer, wedi dechreu siarad; ac O, y ffwdan sydd yn y byd! Ni gawn allan ddoethineb y cynoesoedd. Ni gawn weled y gwersi a roddai yr Aipht i'r byd mewn crefydd ac athroniaeth a gwareiddiad. Ni gawn fod darganfyddiadau gwerthfawrocaf yr oesoedd diweddaf mewn gwyddiant gan yr Aipht yn y cynfyd, ac mewn ystâd berffeithiach nag y maent genym ni. Ac yn arbenig, ebe'r anffyddiwr, ni gawn faen prawf newydd i brofi gwerth a gwirionedd ysgrifeniadau Moses. Nid allem yn iawn wadu ei dystiolaethau, am nad allem eu gwrthbrofi; ond nid allem eu derbyn, am nad oedd ganddo neb i'w gadarnhâu. Ond y mae yr Aipht yn gwybod am y cynfyd; ac os nad yw Moses yn cyd-ddywedyd â'r Aipht, y mae Moses yn rhwym o fod yn gyfeiliornus. Yr oedd yr anffyddiwr yn carlamu yn frysiog ryfeddol i'w gasgliadau. Yr oedd ei galon wedi cymeryd ei hochr ymlaen llaw. Ymchwiliai, nid i weled a oedd Moses yn gywir, ond i edrych ai nid oedd modd i'w brofi yn anghywir, ac felly cau ei enau. Y mae yr Aipht, meddai, yn condemnio Moses! Os ydyw ef yn dyweyd y gwir, rhaid fod yr Aipht mewn llïaws o amgylchiadau yn ei gadarnhâu. Ond nid yw yr Aipht yn dyweyd gair o'i blaid. Ië, y mae, yn anuniongyrchol, yn dyweyd llawer o bethau sydd yn troi gyda phwysau mawr yn ei erbyn. A mwy fyth, y mae yr Aipht yn myned dan wraidd Moses trwy daflu ei amseryddiaeth i warth,—yr oedd yr Aipht yn wlad gref, gyfoethog, a gwareiddiedig, filoedd o flynyddoedd cyn i Adda, yn ol Moses, gael ei grëu! Nid rhyfedd fod hyn yn peri crechwen orfoleddus yn "heolydd Ascalon." Prawf arall nad yw y Bibl ond ffug, ac nad yw ei grefydd yn ddim ond twyll! Ac nid rhyfedd fod llawer o "drueiniaid ei bobl ef," wrth glywed peth fel yna, yn tristâu ac yn ofni. Ai tybed eu bod yn dyweyd y gwir?

Y mae yr ymchwiliad wedi cael ei gario ymlaen bellach am amser maith gan elynion a chyfeillion, a chan lawer nad ydynt yn proffesu dim ond dymuniad gonest am wybod y gwirionedd. Y mae y dystiolaeth, mewn llïaws o bethau, yn llawer mwy diffygiol nag oedd y byd yn ddysgwyl. Nid ydyw wedi peri dim chwyldröad yn ein gwyddiant nac yn ein hathroniaeth; nid ymddengys ychwaith fod yr Aipht wedi ein rhagflaenu yn y darganfyddiadau; ac y mae ei hamseryddiaeth, hyd yn hyn, yn aros yn dryblith. Ond am y mater mawr, beth a ddywed am Moses a'r Bibl, y mae yn llawenydd dwfn i gyfeillion y gwirionedd weled fod yr Aipht yn cadarnhâu Moses, ac yn selio mai geirwir yw Duw.

Y mae y gyfrol sydd ger ein bron yn dangos, gyda llawer o fedr a dyddordeb, sut y mae y mater yn sefyll. Yr ydym yn meddwl y dylasai fod wedi ei hysgrifenu yn Gymraeg, oblegid y mae gan bobl yr "iaith nesaf" lawer o gyfleusderau i wybod rhywbeth am yr Aipht, ac i gael rhyw ddrychfeddwl am ddirgelion Aiphtyddiaeth; ond yr ydym ni, hyd yn hyn, yn dra amddifad o fanteision i wybod nemawr yn eu cylch. Pa fodd bynag, y mae yn ddiammheu y byddai yn dda gan ein darllenwyr,

er mwyn yr awdwr yn gystal ag er mwyn y pwnc, gael gradd o gydnabyddiaeth â'r gyfrol hon.

Mae ei henw yn swnio yn dda; "Yr Aipht yn ei chysylltiadau Biblaidd a'i hagwedd foesol." Ond nid ydym yn sicr ei fod y mwyaf priodol i gyfateb i'r gwaith. O leiaf y mae yn codi dysgwyliad yn ein meddwl sydd braidd yn cyfarfod â siomedigaeth. Disgwyliem gael traethawd ar yr Aipht a'r Bibl; meddyliem mai baich y llyfr a fyddai y dystiolaeth a ddyry yr Aipht i'r Gyfrol sanctaidd, ac y buasai holl ymchwiliadau yr awdwr yn ei fyfyrgell, yn gystal a'i sylwadau personol yn y wlad, yn cael eu cyfeirio at yr amcan pwysig i ddwyn allan y dystiolaeth hono yn glir ac yn gyflawn. Yn lle hyny, ei gynllun ydyw rhoddi hanes ei ymweliad â gwlad yr Aipht, ac aros yn awr ac yn y man i gymeryd ei anadl megys, a myned i fewn i'r cwestiynau y mae y gwahanol wrthddrychau a gyferfydd yn eu hawgrymu i'w feddwl. Wrth reswm y mae y rhan fwyaf o'r *digressions* hyn ar "gysylltiadau Biblaidd" y wlad; ond yr ydym yn meddwl y buasai yn fwy cyson mewn llyfr ar yr Aipht yn ei chysylltiadau Biblaidd (nid oes nemawr a fyno y gwaith â'r "agwedd foesol)," gadw grym yr afon i redeg yn y cyfeiriad yma o'r dechreu i'r diwedd, a chymeryd mantais ar y lliaws cyfleusderau a fuasent yn ymgynnyg i'w sylw, i droi y ffrydiau ar rai o'r pynciau eraill sydd o anghenrheidrwydd yn gwneyd argraff ddofn ar feddwl teithiwr deallus mewn gwlad mor ddyddorol. Pa fodd bynag, nid awn i gwerylu â'r awdwr am hyn. Mae yn debyg y meddyliai y rhoddai y cynllun a ddewisodd fantais iddo wneyd y llyfr yn fwy darllenadwy, ac felly i boblogeiddio yn fwy dystiolaeth bwysig yr Aipht i wirionedd llyfr Duw. A garai y darllenydd gael ambell drem ar wlad y cofadeiliau? Y mae Mr. Jones yn ysgrifenu am dani gyda gwir ddyhewyd teithiwr, fel dyn sydd wedi gadael pob gofal ar ei ol, ac yn benderfynol o fwynhâu pobpeth a ellir fwynhâu yn ngwlad ryfedd ei ymdaith.

Y mae Rheilffordd yn yr Aipht!

"Beth bynag a ddaw o Gamlas Suez, y mae Rheilffordd Suez erbyn hyn yn ffaith. Y mae wedi ei hagor er ys hir amser i Cairo wrth gwr uchaf y Delta, ac yn fuan fe fydd ein teithwyr Indiaidd yn cynniwair hyd y ffordd haiarn trwy dywod yr anialwch. Pe buasai Joseph yn fyw yn awr, beth fuasai yn feddwl o ymdeithio trwy wlad Gosen yn ngherbyd *first class* y Rheilffordd! Lliosog yw bendithion yr ager, yn foesol ac yn gymdeithasol. Gallai y Ffelach tlawd gyttuno yn dda â'r camelod a'r ychain i gadw dydd o ddiolchgarwch cyffredinol; y mae yr haiarnfarch eisoes wedi tynu llawer baich trwm oddiar ei gefn, ac arbed iddo lawer diwrnod o lafur caled. O leiaf dylai pob Arab doeth ddeall nad oes ond ychydig bethau yn rhagori ar y Rheilffordd fel gorchest diwydrwydd ac athrylith. Rhaid i'r Pyramidiau eu hunain roi y ffordd i 'Dân-Frenin Birmingham.' Ond y mae llawer o honynt yn meddwl yn wahanol; ac am y bobl yn gyffredin nid ydyw yn ymddangos fod ganddynt fawr o feddwl, os dim, am y mater; yn unig edrychant arno fel peth rhyfedd iawn, ac ymostyngant iddo yn dawel fel y maent wedi arfer gwneyd efo phobpeth. Beth feddylient, tybed, am yr agerbeiriant, pan welent ef yn cipio heibio iddynt gyda'i ysgrech hir, grâs, annaearol! Gallwn fod yn sicr fod yno beth llygadrythu a synu a gofyn cwestiynau; ond nid ydynt yn ei ddeall eto. Nid yw Rheilffordd yn cyfateb i'w syniadau am deithio—y mae yn rhy gyflym iddynt. Yr oeddwn yn cael fy nifyru wrth edrych arnynt yn *Station* Alexandria yn ffwdanu ymlaen gyda'u beichiau trymion, fel nifer o ymfudwyr Gwyddelig; a'r fath drwst a wnaent, a'r fath gamgymeriadau—colli eu tocynau, myned i'r cerbyd chwith, ac ymrafaelio am y lle goreu. Yr wyf yn cofio am un dyn y taflwyd ei glud oddiar ei ysgwydd, nes yr ydoedd ei gynnwys amrywiol yn ymchwalu ar yr esgynlawr; ac yna yr ydoedd yn giprys am y rhai hyny, i'w dwyn ynghyd drachefn cyn i'r *train* gychwyn."—Tu dalenau 25, 26.

## Ond rhaid newid y dull o deithio.

"Yma bu raid i ni ymwadu â'r hyfrydwch o deithio gyda'r Rheilffordd, a myned ar fwrdd agerlong fechan fudr ddiog, o eiddo y Pasha, yr hon a'n cadwodd ni allan trwy y nos, fel na chyrhaeddasom Cairo hyd wyth y boreu drannoeth; sut bynag yr oeddwn ar y Nilus, yr afon ryfeddaf yn y byd, ac nid oeddwn yn gofalu. Yr oeddwn yn wir yn dysgwyl gweled mwy o'r wlad; ond yr oedd yr afon y pryd hyn mor isel, a'i glànau mor serth, fel na welem ond ychydig heblaw y pentrefi fry, gydag ychydig o adar dyeithrol ambell dro, rhai palmwydd, *minaret* yn awr ac yn y man, a bedd gwyngalchedig rhyw sant Mahometanaidd, yr hwn a barai i ni feddwl am 'feddau wedi eu gwyngalchu' yr hen Iuddewon."—27.

## Nid yn gyflym yr oeddynt yn teithio hyd yr afon.

"Nid yw *dahabiah* yr Aipht yn annhebyg i'n camlas-gychod ni. Y mae yn hir, yn gul, a chaban yn un pen wedi ei drefnu yn ddwy neu dair neu ychwaneg o ystafelloedd; a phan nad oes gwynt, neu pan mae y gwynt yn groes, y mae y dynion yn llusgo y cwch o'r làn gyda rhaff wedi ei gwneyd o ddail palmwydd, yr hon a rwymir yn gyffredin wrth ei ben blaen. Weithiau byddem yn teithio felly am amryw ddyddiau yn olynol, 'gan lusgo ein harafaidd hyd ymlaen,' yn ol pump neu chwe' milldir y dydd. Gallai rhai fod yn anfoddlawn i hyn, a'i alw yn flinderus; o'm rhan i, nid oeddwn yn meddwl hyny, ond yr oeddwn braidd yn ei hoffi, fel yr wyf yn credu fod pob teithiwr yn gwneyd sydd yn dyfod yma gyda'r iawn ysbryd; hyn oedd yn rhoddi cyfle i ni fyned i'r làn i weled y wlad, yr hyn wrth reswm oedd y prif beth. Ac yn annibynol ar hyn yr oedd yna ryw swyn rhyfedd i mi yn y teithio ei hun. Byddwn yn meddwl y fath beth ydoedd teithio i lawr ac i fyny y wlad yn debyg iawn fel y byddai yr hen Aiphtiaid yn gwneyd. * * * Wedi cychwyn buom amryw ddyddiau heb wynt. Dyma yr amser, fel y dywedais, i fyned a gweled y wlad,—y cnydau, y coed, yr adar, a'r pentrefydd. Pan mae y teithiwr yn myned i'r làn, yr hyn sydd yn ei daro gyntaf yw y pentrefydd, y rhai ydynt yn sicr yn eu ffordd bron mor ryfedd a dim yn yr Aipht. Byddem yn eu gweled bob dydd yn eu holl fawredd lleidiog. Safant ar uchelfanau bychain yn agos i'r làn, yn amgylchynedig gan balmwydd, ac yn gyffredin gan gymylau o golomenod, y rhai ydynt yn hofran o'u deutu. Y mae llawer o'r tai yn fythod hollol, heb na drws na ffenestr; ac yn lle tô y mae ychydig o gorsenau milet wedi eu taflu ar draws, y rhai a'u cysgodant rhag yr haul a'r gwlith. Nid oes gan y bythod hyn ond ychydig neu ddim o'r hyn a alwn yn ddodrefn; yr hyn a welais i yn gyffredin ydoedd dwfrlestr neu ddau, ffwrn, llawfelin, ac ychydig o fatiau i gysgu arnynt."—63.

## Afon ryfedd ydyw y Nilus.

"Yr oedd Herodotus er ys llawer dydd wedi galw yr Aipht yn 'rhodd y Nilus;' y mae hyn yn wir eto, ac heb ei ffrwd gyfoethog hi fe äi y wlad yn fuan yn ddiffaethwch o dywod. Y mae pawb wedi clywed am ei gorlifiad blynyddol, yr hwn a achosir, nid gan doddiad yr eira ar fynyddoedd Abyssinia, fel y tybid unwaith, ond gan y gwlawogydd mawrion a lliosog a ddisgynant yn flynyddol o fewn y trofegau; a dyma yr achos fod yr holl afonydd sydd â'u tarddiad yn agos i'r cyhydedd yn gorlifo eu ceulanau. Y mae yr Aiphtiaid yn dysgwyl i'r Nilus godi bob haf, bron fel y dysgwyliant i'r haul godi bob bore; ac y mae bob amser wedi gwneyd felly—gan ymdaenu dros y wlad a llanw y tir â llawenydd a digonolrwydd. Ac yna y mae ganddynt gamlesydd neu ffosydd yn aneirif, y rhai sydd yn myned ar draws y gwastadedd. Dyma redweliau yr Aipht, y rhai sydd yn cludo dwfr yr afon i'r parthau hyny na chyrhaeddir gan y llif, yr hwn a ddefnyddir i ddyfrhâu y ddaear. Y mae y Nilus, er yr oll a ddygir oddiarni gan y ffosydd a'r haul, yn treiglo ei ffrwd fawreddog ymlaen heb gymaint ag un afon yn rhedeg iddi am dros fil o filldiroedd;—'ffaith ar ei phen ei hun,' ebe Humboldt, 'yn hanes dyfroedd y ddaear.' Yn wir y mae yr holl ddyffryn yn gynnyrch yr afon; hyny yw, yr hyn a ddygodd yr afon gyda hi flwyddyn ar ol blwyddyn o fryniau Abyssinia. Y mae yr Aipht yn dramoraidd iddi ei hun. Y mae pob modfedd o'r tir wedi ei ddwyn o bell, o ardaloedd y trofegau. Y mae y deng miliwn hyny o erwau wedi dyfod i lawr y rhaiadrau. Yr hyn sydd yn awr yn ddyffryn gwyrddlas, gyda'i feusydd cotwm, a'i lwyni o balmwydd, a'i blanigfeydd o siwgr-gorsenau,—ïe, bythod clai y Ffelachod diweddar, yn gystal a phyramidiau priddfeini yr hen Aiphtiaid,—y maent oll wedi dyfod o'r afon anhysbyddadwy; y maent oll wedi nofio i lawr o'r dehau pell."—64.

Dyma olwg a gafodd Mr. Jones o ymyl Siout ar y dyffryn gogoneddus:

"Oddiyma y cefais yr olwg brydferthaf ar ddyffryn y Nilus. Yr ydoedd yr effaith yn cael ei ychwanegu yn fawr gan ei wrthgyferbyniad tarawiadol i ymddangosiad llwydaidd a noethlwm bryniau Lybia. Lle yr oeddwn i yn sefyll nid oedd ond diffaethwch a marwolaeth: i lawr obry yr oedd yr oll yn wyrddlas a blodeuog; dim gwrychoedd o un math, ond un môr annherfynol o wyrddlesni, gwinllanoedd cyfoethog a ffrwythlawn yn amgylchu y bryniau, planigfeydd cotwm a siwgr, llwyni o balmwydd ac olewydd, a'r cwbl yn ymestyn i'r pellder ac yn ymgolli yn haul-lewyrch dysglaer y prydnawn hyfryd. Os oes y fath beth a gwlad y tylwyth teg, meddwn wrthyf fy hun, dyma hi, a'r Nilus yn ymdreiglo trwy ei chalon gyfoethog fel Afon Bywyd. Gan fod yr awyrgylch mor hynod o sych, nid oedd yna fawr os dim amrywiaeth lliwiau i'w weled y pryd hyn; tua'r prydnawn y ceir hyny, ac nid oes dim yn fwy gorwych na machludiad yr haul ar y Nilus. Wedi i'r awyr oeri ychydig, yr oedd y cymysgedd lliwiau yn brydferth annesgrifiadwy. Yr oedd yr afon, yr hon trwy y dydd ydoedd fel arian toddedig, yn awr o liw *lilac* tyner; yr oedd y wybren yn borphor, y creigiau llwydion o liw dwfn eurafalau, ac ymddangosai yr holl ddyffryn fel emerald gwyrdd dirfawr wedi ei osod mewn ffrâm o aur."—269.

Ond gwlad y cofadeiliau ydyw yr Aipht. Mae ei dyddordeb yn awr yn gynnwysedig yn benaf yn yr hyn a ddaeth gyda hi o'r oesoedd pell, a'r olwg a ddyry i ni ar nodweddiad y bobl a'i preswylient draw yn "mabandod y byd." Nid yw ei phreswylwyr bellach er ys llawer oes ond crëaduriaid gwaelion iawn. Y mae yr Aipht er ys cynifer o oesoedd wedi ei sathru dan sawdl gormes, i'r fath raddau fel nad oes mwyach ysbryd ynddi. Ond gynt yr oedd yn wlad ogoneddus iawn, a'i phreswylwyr yn ddynion o'r mawrfrydigrwydd uchaf. Yr oedd ei breninoedd a'i thywysogion yn wŷr a deimlent eu bod yn arglwyddi ar y ddaear, ac y maent wedi gosod eu nôd arni yn y fath fodd fel nad all y ddaear byth eu hanghofio. Ac yr oedd ei hoffeiriaid yn bobl sydd yn ein synu yn fwy fyth trwy ëangder eu gwybodaeth a dyfnder eu doethineb. Y mae Mr. Jones yn myned i'r hen amseroedd gydag ysbryd gwresog. Mae y beddrodau, y pyramidiau, a'r temlau, gyda'u maintioli anferth a'u cywreinrwydd mawr, ac yn enwedig gyda'u cofnodau dyddorol o'r cynoesoedd mewn darluniau, arwyddluniau, &c., a'r cwbl wedi eu cerfio yn y graig, fel pe na fuasai yn werth ganddynt ysgrifenu yr un cyfnod, na throsglwyddo yr un drychfeddwl i'w holafiaid ond mewn gwenithfaen, yn peri iddo ef deimlo mai "cawri oedd ar y ddaear y dyddiau hyny;" er ei fod wrth weled eu darluniau yn y beddrodau yn gorfod synu wrth weled mor debyg i ninnau wedi y cwbl oeddynt o ran maintioli. Ein profedigaeth yw gwybod beth i'w adael allan. Beth feddyliwch chwi am Carnac?

"Am Carnac ei hun ni ddywedaf ond ychydig; fe allai mai goreu po leiaf a ddywedir yn ei chylch; y mae gymaint uwchlaw pob desgrifiad. Y mae yr holl fyd wedi clywed am dani, ac y mae llawer o honom wedi darllen rhywbeth yn ei chylch, ond nid oes yr un hanes a welais i yn dyfod yn agos ati. Am aruthredd a maint, mae'n debyg nad oes dim yn awr ar y ddaear yn dyfod yn agos ati, oddieithr fe allai y Coliseum yn Rhufain. Y mae yn rhy fawr; yr ydych yn cael eich syfrdanu gan ei haruthredd. Ymddengys fel pe byddai yr hen Aiphtiaid yma wedi rhagori arnynt eu hunain; neu fel pe buasent yn meddwl am gystadlu â'r holl oesoedd dyfodol, a chynnyrchu gwaith gymaint uwchlaw gallu iaith i'w ddesgrifio ag ydyw uwchlaw gallu celfyddyd i'w efelychu. Y mae Carnac yn deml Pharaöaidd bur, a hi yw yr henaf yn Thebes, wedi ei hadeiladu, fe allai, tua dyddiau Abraham. Y mae yn waith llawer o freninoedd, a llawer o oesoedd, ac wedi cynnyddu, fel ryw haen ddaearegol fawr, am gannoedd o flynyddoedd, a'i dygiad ymlaen yn marcio cyfnodau mewn hanesyddiaeth. Nid teml ydyw, ond dyrysfa o demlau, mor ddyeithrol ag ydyw o fawreddig. Y mae yn gyntedd ar ol cyntedd, porth ar ol porth; a phan feddyliwch eich

bod wedi gweled y cwbl, yr ydych yn canfod nad ydych eto ond ar y rhiniog. Y mae yna byrth eto, a rhagbyrth, gyda'u rhesi o sphinxiaid; cynteddau hefyd, rhodfëydd, colofnau, cerfddelwau, neuaddau colofnawg gyda'u pilladdurnau, a'u capanau, a'u nenau trymion, yn gorchuddio milldir ysgwâr o dir. A dyma y cerfiadau. Y fath restr o dduwiau, breninoedd, offeiriaid, a milwyr arfog, yn eu lliwiau gwychaf, ac yn edrych i lawr arnoch oddiar eu muriau anferth, fel delwau paentiedig rhyw hen oriel fawr!"—194.

"Tegwch bro," ebe efe, yw sefyllfa yr hen Thebes. Nid oes neb wŷr pa bryd yr adeiladwyd hi. Y mae Homer yn canu am ei chan' porth, ac yn dyweyd ei bod yn anfon allan ddau gant o filwyr trwy bob un o honynt, gyda'u meirch a'u cerbydau, a llefara am y ddinas fel yn ddiarebol am ei chyfoeth. Fe fu Strabo yno ychydig cyn geni Crist, ond ni welodd yntau, mwy na theithwyr ein dyddiau ninnau, ond ei hadfeilion. Ond fe fu yn ddinas ogoneddus unwaith. Y mae Mr. J. yn ei phortrëadu o flaen ei feddwl fel yr ydoedd yn nyddiau ei gogoniant; ac yn ol y darluniau, &c., ymddengys y portrëad yn dra naturiol.

"Beth fyddai i ni fyned i ben yr uchelfa yma i gael golwg gyflawn ar y ddinas, ac i sylwi ar y bobl islaw i ni. Y fath fôr o dai sydd yn gorchuddio y gwastadedd, a phalmwydd gwyrdd yn tyfu i fyny yn eu canol; ac y mae yna demlau hefyd yn 'ymddyrchafu eu drysau tragywyddol.' Mae y bobl hyd yr heolydd yn edrych yn siriol a chymdeithasgar. Mae yna foneddigion Aiphtaidd, yn ymrodio o amgylch gyda'u ffyn a'u penau arian; a phan gyfarfyddant â nifer o foneddigesau, y maent yn myned atynt, ac yn ymddyddan mor rydd a phe buasent ar un o heolydd Llundain. Nid yw y boneddigesau yn orchuddiedig, ond fel Jezebel y maent wedi 'gwisgo yn wych am eu pen,' ac fel hithau, y maent wedi lliwio eu llygaid i beri iddynt edrych yn fwy prydferth; y mae ganddynt dlysau yn ddiddiwedd, modrwyau, breichledau, cadwynau aur,—y mae ganddynt 'glustdlysau' fel Rebecca, ac 'addurn yr esgidiau' fel merched 'gwamal' Jerusalem. Heol wêch ydyw hon sydd yn myned i lawr at yr afon, lle mae pont o gychod yn arwain dros y dwfr i ochr Lybiaidd y ddinas. Y mae tai y dosbarth uchaf allan yn y cyrau, dipyn o ffordd oddiyma; *villas* isel ydynt ar eu pen eu hunain, gyda gerddi a lleoedd i ymbleseru, a chamlesydd o ddwfr y Nilus, a'r cwbl wedi eu gosod allan yn y ffordd harddaf mewn bod. Yr adeiladaeth aruthrol drosodd acw yw Carnac, preswylfa Amon, ac y mae ymysg temlau Thebes yn debyg i'r hyn ydyw St. Paul ymysg eglwysi Llundain. Beth yw y baner-bolion anferth acw o flaen y rhagborth, gyda'u baneran gleision yn awr yn chwyfio yn yr awyr, ac yn awr yn ymdroi yn arafaidd o amgylch y pawl goreuredig? Mae yn debyg fod yna ryw ŵyl grefyddol fawreddig; oes y mae, ac yn fuan ni gawn weled offeiriaid Thebes yn dwyn eu duw Amon i gysegr Carnac. A siarad yn briodol, yma yn Carnac yr oedd cartref yr Iau Aiphtaidd hwn; ond yr oedd yn arferiad bob blwyddyn ei gymeryd drosodd i'r ochr arall, ac yna ei ddwyn yn ôl i'w dŷ ei hun gyda rhwysg a gogoniant mawr. Y mae y gerddoriaeth yma yn swnio yn bur agos—ni fyddant yn hir eto. Dyna nhw, yn myned dros y bont o gychod; yna yn dilyn ar hyd mynedfa o sphinxiaid sydd yn arwain i'r deml. Y fath osgordd! Yn gyntaf oll dacw offeiriaid yn ysgwyd eu thuserau aur, ac yn llanw yr awyr â'u perarogledd; ac yna dacw offeiriaid eto yn dwyn yr eilun mewn cwch yn orchuddiedig â chysgodlen o'r cywreinrwydd mwyaf, a thu ol i'r cwch y mae yna dorf a addolwyr yn dwyn eu hoffrymau. Beth raid fod gweled yr offeiriaid eilliedig hyn yn eu gwisgoedd gwynion yn cerdded hyd fynedfëydd colofnawg Carnac, ac yn gosod y duw yn ei gafell o wenithfaen, gyda thelynau, a symbalau, a chaniadau llawenydd!"—193.

Buasai yn hyfryd iawn genym ddilyn Mr. Jones yma a thraw i syllu ar ryfeddodau celfyddyd yr hen Aiphtiaid, ac i weled y goleuni a roddir yn eu beddrodau a'u cofadeiliau ar eu dull o fyw, &c. Nid oes genym ni nemawr i ymffrostio ynddo yn ein gwareiddiad uchel nad oedd ganddynt hwy filoedd lawer o flynyddoedd cyn i ni gael ein geni; ac y mae eu dirnadaeth ryfedd am lywodraeth foesol y byd, a dirgelion bywyd a marwolaeth, yn peri i ni deimlo eu bod yn ddynion meddylgar iawn.

Ond yr ydym yn prysuro at yr hyn sydd i ni yn fwyaf dyddorol o lawer yn y pwnc, sef cysylltiadau Biblaidd Aiphtyddiaeth.

A ydyw yr Aipht, erbyn ei deall yn iawn, yn dyweyd rhywbeth sydd yn cau genau gelynion y Bibl yn eu hymgais i'w dwyn ymlaen i'w brofi yn gelwyddog? Y mae y chweched bennod o'r llyfr hwn yn dra dyddorol ar hyn. Y mae y temlau a'r beddrodau, mewn lliaws mawr o amgylchiadau lle na fuasem yn meddwl am y fath beth, yn cadarnhâu y Bibl. Yr oedd merched y dwyrain yn arfer gwisgo gorchudd. Dywedir am Rebeccah, pan welodd Isaac, iddi "gymeryd gorchudd ac ymwisgo," ac am Tamar, iddi ei "chuddio ei hun â gorchudd." Ond am Sarah, "i'r Aiphtiaid edrych ar y wraig mai glân odiaeth ydoedd hi." Sut y gallent weled ei phryd a hithau wedi ymorchuddio? Mae y peth yn ymddangos yn ddyrys. Ond erbyn edrych, mae y colofnau yn dangos nad oedd merched yr Aipht yr amser hyny yn arfer gorchudd, er fod y cenedloedd cylchynol yn gwneyd hyny, ac na ddarfu i'r Aiphtiesau ddechreu ymorchuddio hyd ar ol y goresgyniad Persiaidd. Fe fu Pharaoh yn "dda wrth Abram er mwyn Sarai, ac yr oedd ganddo ef ddefaid, a gwartheg, ac asynod, a gweision, a morwynion, ac asenod, a chamelod." Paham na fuasai son am *feirch* yn y fan yma, canys yr oedd yr Aipht yn enwog am ei meirch, "ac yr oeddynt yn dwyn meirch i Solomon o'r Aipht, ac o bob gwlad." (2 Cron. ix. 28). Mae yr ateb yn barod; yn un peth nid yw yn ymddangos fod yr hen batriarchiaid yn cadw meirch, ac hefyd mae y cofadeiliau yn dangos mai i ryfel y cedwid hwy yn benaf yn yr Aipht, ac ni fuasent o fawr bwrpas i Abraham wrth fugeilio yn Nghanaan. Ond fe roed *camelod* iddo. Sut yr oedd hyn? Nid yw y camelod byth i'w gweled yn yr arluniau nac mewn Hieroglyphig, a dywed Osborne yr ystyrid hwy yn aflan yn yr Aipht. Ond os meddyliwn mai yr Hyksos, neu y bugeiliaid breninol, oedd yn teyrnasu ar y pryd, y mae pobpeth yn eglur. Y mae camelod bob amser wedi bod yn berchenogaeth fugeiliol o bwys; yr oedd Abraham, a Jacob, a Job, yn gyfoethog ynddynt, er nad oedd ganddynt feirch. Ac yr oedd y Pharaoh hwnw yn un o'r bugeil-freninoedd, ac felly yr oedd yn naturiol iddo roddi i Abraham anrheg o gamelod.—Fe welodd brodyr Joseph "fyntai o Ismaeliaid yn dyfod o Gilead, yn myned i waered i'r Aipht, a'u camelod yn dwyn llysiau, a balm, a myrr." A chyn pen nemawr y mae y brodyr hyny eu hunain yn myned i waered i'r Aipht, gan ddwyn yr un pethau yn anrheg i lywydd y wlad. Ai cynnyrchion Syria a gorllewin Asia oedd y pethau hyn, ac a oeddynt yn werthfawr gan yr Aiphtiaid? Y mae y cyntaf yn cael ei gadarnhâu gan y naturiaethwyr o Pliny i waered; ac am yr ail, mae y darluniau, tra yn eu gosod allan fel cynnyrchion tramor, yn dangos eu bod mewn bri mawr gyda'r Aiphtiaid, ac yn cael eu defnyddio ganddynt yn arogldarth, ac i berarogli eu meirw. Gwelodd Mr. Jones ei hun bot o honynt yn Thebes, mewn bedd newydd ei agor.—"*Gwerthwyd*" Joseph "i'r Aipht, i Potiphar tywysog Pharaoh." A oedd pobl mor wareiddiedig yn marchnata mewn caethweision? Oeddynt, canys y mae caethion o'r ddau ryw i'w gweled yn y darluniau, ac mae yn amlwg nad rhai wedi eu cymeryd mewn rhyfel yn unig oeddynt, canys ymddangosant fel eiddo personau anghyhoedd, tra yr oedd yr holl gaethion rhyfel yn eiddo i Pharaoh, ac yn cael eu gosod ar y gweithiau cyhoeddus. Pan gollodd Joseph trwy ei rinwedd ffafr ei feistres halogedig, "meistr Joseph a'i cymerth ef ac

a'i rhoddes yn y carchardŷ, yn y lle yr oedd carcharorion y brenin yn rhwym." Yr oedd y carchar hwn yn nhŷ Putiphar, yr hwn ydoedd yn "ddystain" i'r brenin. "*Captain of the guard,*" yn y Bibl Saesoneg; neu ar ymyl y ddalen, "*Chief of the slaughtermen, or executioners, or chief marshall.*" "Yr oedd lleoedd o gaethiwed," ebe Williamson, "dan arolygiaeth arbenig, ac yn nhŷ penaeth yr heddgeidwaid, neu 'y dystain,' swyddog i Pharaoh, yr hwn ydoedd, mae yn debyg, yn llywydd y wladwriaeth yn debyg i *Zabat* yr Aiphtiaid diweddar."—Mae pentrulliad y brenin yn ei freuddwyd yn gweled gwinwydden o'i flaen, ac yr oedd yr Israeliaid, wrth rwgnach yn yr anialwch, yn cŵyno wrth Moses ac Aaron, "Paham y dygasoch ni i fyny o'r Aipht, i'n dwyn ni i'r lle drwg hwn? lle heb hâd, na ffigysbren, na gwinwydden, &c." A oedd gwinwydd ynte yn tyfu yn yr Aipht? "Anmhosibl," ebe Von Bohlen, "oblegid yn ol tystiolaeth Herodotus ei hun, nid oedd y winwydden yn tyfu yn yr Aipht; nid oedd y tir na'r hinsawdd yn dygymmod â hi, ac nid oedd yr Aiphtiaid yn yfed gwin."

"Ond beth yw y darluniau hyny," ebe Mr. Jones, "yn Elitheias a Benihacsan, y gerddi a'r perllanau wedi eu planu â gwinwydd, a dynion yn eu dyfrhâu ac yn trîn y planigion? Mae y cwbl o'ch blaen; dyna ddyn efo basged yn tynu grawnwin, a bachgen y tu ol iddo yn dychryn ymaith yr adar; a dyna ddysglaid o rawnwin hefyd wedi eu gosod gyda dail y winwydden, fel pe buasai wedi ei pharotoi at fwrdd rhyw foneddwr. Ac nis gall fod dim ammheuaeth am ddefnyddiad gwin yn yr Aipht. Er gwaethaf gwaharddiad eu crefydd, yr oedd yr Aiphtiaid yn ei yfed weithiau i ormodedd. Mewn gardd-gell yn Benihacsan y mae darlun o ddau ddyn: dywed Wilkinson iddynt fod mewn *party*, ac yma y maent yn myned adref yn feddw. Mewn beddrod arall y mae y gorchwyl o wneuthur gwin yn cael ei ddangos yn gyflawn—mae y gwin yn cael ei hidlo a'i botelu, a dynion yn cael eu dangos yn y weithred o'i gymeryd ymaith i'r *cellar.*"

—Pan alwyd ar Joseph i ymddangos ger bron Pharaoh, fe ddywedir iddo "eillio," ac ychwanega y cyfieithwyr Cymreig, "ei wallt;" "*he shaved himself,*" ebe y Saesoneg, gan feddwl, mae yn debyg, ei farf. Onid yw hyn yn ddyrys, gan nad oedd y Dwyreiniaid yn arfer eillio, ac nad allai Hanun ddangos mwy o ddirmyg ar weision Dafydd nag eillio hanner eu barfau? Ydyw; ond erbyn dyfod at y darluniau, ni gawn fod yr Aiphtiaid, yn wahanol i'w cymydogion yn gyffredin, yn arfer eillio, ac yn eillio nid yn unig yr ên a'r wyneb, ond y pen hefyd. Felly pan alwyd Joseph i ymddangos ger bron Pharaoh, yr oedd moesau da yn galw am iddo gydymffurfio â defodau y wlad. Nid eillient pan mewn galar, ac am hyny yr ydym yn cael Joseph, er ei fod erbyn hyn yn nesaf i Pharaoh, pan fu farw ei dad, yn anfon at Pharaoh trwy ei "deulu"—ei weinidogion, i ofyn caniatâd i fyned i'w gladdu. Nid allai, gan ei fod heb eillio, ymddangos o flaen y brenin yn bersonol i ofyn y ffafr.—Cynllun doeth ydoedd yr eiddo Joseph i ddarpar ŷd yn mlynyddoedd y llawnder erbyn y newyn, a'i gadw mewn ystordai. Y mae amryw ddarluniau yn dangos y byddent yn arfer gwneyd peth tebyg yn y wlad.

"Y goreu, fe allai," ebe Mr. J., "ydyw yr un yn Benihacsan; ac yr wyf yn cofio yn dda mor brysur yr edrychai y dynion—yn llanw y llestri, yn gosod yr ŷd yn y sachau, ac yn ei gymeryd i fyny hyd risiau yr ŷdlofft: yr oedd yno 'olygwr' hefyd gyda'i bin a'i *dablet* yn rhoddi nôd am y sachaid olaf, fel yr oedd Joseph yn gwneyd 'hyd oni pheidiodd a rhifo.'"

Ond mae yn rhaid fod y llawnder mawr yn amser Joseph yn cael ei

achosi gan ddyrchafiad anghyffredin yn yr afon, canys yr afon ydyw llawnder yr Aipht. Oes gan y cofadeiliau rywbeth i'w ddyweyd ar hyn? Pan oedd Lepsius yn Nubia yn 1843, canfyddodd ar graig uchel yn Samneh gyfres o arysgrifau yn dangos codiadau y Nilus yn nheyrnasiad Amenemtra III., yr hwn y mae Bunsen, trwy gyd-darawiad tra hynod, yn ei wneyd yn gydoeswr â Joseph. Mae yr afon yn codi yn uwch yn awr nag y gwnai gynt, ac eto y mae y marc isaf ar Graig Samneh yn naw troedfedd uwchlaw codiad uchaf yr afon yn y dyddiau hyn, tra y mae y marc uchaf yn saith troedfedd ar hugain uwchlaw yr uchder presennol. Ac wedi i Lepsius fod yno, fe fu Wilkinson yn Nubia, ac ymhellach i'r dehau fe welodd olion y fath orllifiadau â'r rhai uchod yn ymestyn dros ranau helaeth iawn o'r wlad, ac yn cadarnhâu yn hollol y marciau ar graig Samneh am godiadau uchel yr afon. Pa faint bynag o bwys sydd i'w osod ar hyn, y mae yn sicr yn rhywbeth fod genym brofion yn nhystiolaeth y graig, ac yn nghyfansoddiad y ddaear, fod y fath orllifiadau wedi cymeryd lle ag a dybir yn yr hanes gan Moses, a'u bod wedi cymeryd lle tra yr oedd Joseph yn llywydd yr Aipht.—Yn ystod y newyn fe brynodd Joseph "holl dir yr Aipht i Pharaoh; canys yr Aiphtiaid a werthasant bob un ei faes, oblegid y newyn a gryfhasai arnynt; felly yr aeth y tir i Pharaoh." Rhyfedd na fuasai y cofadeiliau yn dyweyd rhywbeth am hyn. Ond lle y maent hwy yn ddystaw y mae Herodotus yn siarad. Dywed fod yna beth wedi cymeryd lle yn amser Sesostris, dilynydd Maeris (sef yr Amenemtra III. a deyrnasai yn mlynyddoedd y llawnder), trwy ba un y daeth tir yr Aipht yn eiddo y brenin—y bobl yn ei ddal fel tenantiaid treftadol dan ardreth flynyddol, yr hon oedd yn myned at wasanaeth y llywodraeth; ac yn debyg i hyn y mae yn yr Aipht hyd y dydd hwn.—Wedi marw Joseph, mae meibion Israel yn gorfod gweithio mewn "clai ac mewn priddfaen." Sut yr oeddynt yn gorfod gwneyd priddfeini mewn gwlad oedd mor enwog am ei chloddfëydd cèryg? Mae Von Bohlen yn gwneyd hyn yn wrthddadl, ac yn dyweyd mai â chèryg nadd yr oedd yr Aiphtiaid yn adeiladu. Ond erbyn edrych yr oeddynt yn adeiladu â phriddfeini hefyd. Mae hyn i'w weled yn amlwg yn mhyramidiau Dashwr. A phaham yr oedd eisieu gwellt i wneyd y priddfeini hyny? Nid oes gwellt i'w weled yn mhriddfeini Khorsabad. Gwir, yr oedd y rhai hyny gan mwyaf yn cael eu llosgi, ond priddfeini yr Aipht a adewid i sychu, ac felly yr oedd eisieu y gwellt wedi ei falu, fel y gwelir ef eto, i'w cadw rhag ymollwng. Mae Wilkinson yn dangos na ddechreuwyd defnyddio priddfeini llosgedig yn yr Aipht hyd y cyfnod Rhufeinig. Fel y mae y caethiwed yn trymhâu mae y gorthrymwr yn gorchymyn, "Na roddwch wellt mwyach i'r bobl wneuthur priddfeini, megys o'r blaen; elant a chasglan wellt iddynt eu hunain;" ond rhaid i nifer y priddfeini sydd i ddyfod oddiwrthynt fod yr un. Ymha le y maent i gael gwellt? Yr ateb ydyw, nad oedd y gwellt yn cael ei ddefnyddio yn yr Aipht, yn yr ystabl nac yn wrtaith; byddai y medelwyr yn tori yr ŷd ymaith wrth y dywysen, gan adael y gwellt ar ol, yr hwn wedi sychu a breuo a "gesglid" i wneyd priddfeini. Fe ddygodd Rosellini rai priddfeini o Thebes gyda stamp Thothmes IV. arnynt. Erbyn eu hedrych, gwelid eu bod wedi eu cymysgu â gwellt. Dywed Prokesch fod priddfeini pyramidiau Dashwr o laid y Nilus wedi ei gymysgu â sofl, ac fod y cymysgiad yma yn eu gwneyd yn anhygoel o bar-

hâus. Yn wir, os ydyw Dr. Lieder a'n cydwladwr anturiaethus y Parch. John Mills yn gywir, y mae priddfeini i'w cael gerllaw Cairo wedi eu gwneyd heb wellt, ac o ddyddiad caethiwed a llafur caled meibion Israel. Amcan, Pharaoh oedd trymhâu eu baich trwy eu gorfodi i gasglu gwellt a gwneyd yr un nifer o briddfeini; ond gellid meddwl eu bod, wrth fethu dyfod i ben â'r llafur, wedi gwneyd y priddfeini hyn heb wellt.

Mae yn rhyfedd fel y mae y Bibl yn cael ei gadarnhâu fel yma gan y naill beth ar ol y llall sydd yn ein cyfarfod yn y wlad hon. Pe buasai y llyfr yn ffug, mae yn ddiammheu y buasai yr Aipht mewn llïaws o amgylchiadau yn ei ddangos felly. Ond gan fod Moses yn ŵr cywir, ac yn ysgrifenu yn syml a gonest, y mae ei dystiolaeth yn cael ei chadarnhâu mewn amgylchiadau aneirif lle na fuasem yn dysgwyl y fath beth. Yr un peth yw gwirionedd ymhob man, pa un bynag ai yn gerfiedig mewn gwenithfaen yn yr Aipht, ai wedi ei ysgrifenu ar lechau yn Sinai, mewn Hieroglyphig fel yn yr Hebraeg, ar golofnau teml yr eilun fel yn y gafell yn nheml yr Arglwydd. Y mae pob rhan o wirionedd mewn cynghanedd dragywyddol â phob rhan arall o hono, pa wahaniaeth bynag a allo fod yn amgylchiadau y naill a'r llall. Y mae celwydd yn amrywiol, mae gwirionedd yn un. Fe all celwydd, fel Proteus yn y chwedl, ymrithio weithiau fel hyn ac weithiau fel arall, a gwneyd ei drawsffurfiadau mor aml fel nad alloch ymaflyd ynddo. Ond mae gwirionedd o'r ochr arall yn syml, ac yn aros yn ddigyfnewid. Yr ydym yn ei adnabod yn yr Aipht fel yn Mhrydain; mae ei sain yr un yn awr ag ydoedd dair mil o flynyddoedd yn ol. Ac er fod genym yr ymddiried mwyaf tawel yn ngwirionedd gair yr Arglwydd, ar wahân oddiwrth bob peth ond ei awdurdod Dwyfol ei hunan, eto nis gallwn lai na llawenhâu yn fawr wrth weled yr Aipht, yn ei hinsawdd a'i hanes, yn ei themlau a'i chreigiau, yn dyfod ymlaen ac yn cadarnhâu geiriau y llyfr. "Nid oes genyf fi ddim llawer i'w ddyweyd, mae'n wir," ebe'r Aipht; "ond hyd eithaf fy ngwybodaeth i, y mae Moses yn dyweyd y gwir; a chan ei fod yn gywir mor bell a hyny, y tebygolrwydd, càn belled ag y mae a fyno fi â'r peth, ydyw ei fod yn gywir hefyd yn y pethau nad wyf fi yn gwybod dim am danynt." Beth bynag arall a ellir ddyweyd am hyn, y mae o leiaf yn cau genau y rhai a haerent fod yr Aipht yn condemnio Moses. Nid peth bach ydyw hyny. Ac nid ydym yn meddwl ei fod mewn un modd yn ormod i ni dderbyn ei thystiolaeth pan yn siarad mor gryf ag y gall i brofi ei fod yn dyweyd y gwir. Hen ddefod bellach gydag anffyddwyr ydyw swnio yr alarwm yn wyneb pob darganfyddiad newydd, a chyhoeddi fod awdurdod y Bibl yn myned i gael ei ddinystrio; ond y mae pob ymgyrch yn troi allan yn ffafriol iddo ef. "Allan o'r bwytäwr y daeth bwyd." Y mae moddion ei ddinystr yn troi yn gryfder iddo. Y mae holl ffeithiau mawrion hanesyddiaeth a gwyddiant yn dangos eu bod mewn cydgordiad â geiriau y llyfr, ac felly yn peri i ni gredu ei fod yn wirionedd. Y mae hyn, o anghenrheidrwydd, yn hyfrydwch i'n meddwl, ac yn gryfder i'n ffydd. Gan mai Duw natur a Duw hanesyddiaeth ydyw Duw y gair, nid gormod ydyw dysgwyl i'r "sêr yn eu graddau," i haenau y ddaear, ac i groniclau yr oesoedd, gyd-dystio â'r gair mai "Duw gwirionedd yw yr Arglwydd." Yr ydym yn teimlo felly yn arbenig yn hanes "gwlad y cofadeiliau."

"Ai nid allai," ebe Mr. J., "fod Rhagluniaeth arbenig yn hyn oll? Mae'yn wir mai cynnyrch damwain filwrol ydoedd darganfyddiad careg Rosetta; eto nid yw yn llai gwir y gallai fod yn gynnyrch amcan Dwyfol. Tra yr oedd Moses yn ysgrifenu allan ei hanes rhyfedd yn unigrwydd Sinai, gyferbyn ag ef, yn nyffryn y Nilus, yr oedd rhyw gerfiwr paganaidd gyda'i forthwyl a'i gŷn, yn cadarnhâu ei dystiolaethau mewn gwenithfaen; a thra yn ein dyddiau ni yr ydoedd rhai anffyddwyr Ffrengig yn ceisio gwneuthur y cofnodau Aiphtaidd hyn yn gelwyddog, dyma gareg Rosetta yn dyfod i'r golwg i'w dyrysu yn eu hymgais. Ai nid allai hyn fod yn dröad arall ar yr Olwyn ryfedd a daflodd Joseph i dŷ Putiphar? Mae yn ymddangos fel pe byddai y Duw a gladdodd Moses yn ei fedd anadnabyddus wedi galw yr Aipht o feirw i amddiffyn cymeriad ei mab enllibiedig. Y mae y brenin Pharaoh yn awr wedi dyfod yn 'Ddiffynydd y Ffydd.'"—91.

Yr oedd yna amryw bethau yr oeddym wedi eu nodi wrth fyned ymlaen gyda'r llyfr y carasem alw sylw y darllenydd atynt. Ond mae yn debyg y rhaid i'n herthygl ddyfod i ben rywbryd. Mae un pwnc, sut bynag, o'r fath ddyddordeb i ddarllenwyr y Bibl yn cael sylwi arno yma, fel nad allwn fyned heibio iddo. Y mae anffyddiaeth, wrth weled nad yw yr Aipht yn dinystrio y Bibl yn ei ffeithiau hanesyddol, yn llawenychu fel un yn cael ysglyfaeth lawer yn wyneb dosbarth arall o ffeithiau, ac yn dywedyd, "Ydyw, mae y Bibl yn wir, oblegid mae yr Aipht yn dyweyd yr un peth—yr Aipht *yr hon a roddodd i Moses yr holl wirioneddau a'r holl ddefodau crefyddol a sefydlodd yn ei oruchwyliaeth.*" Mae yna debygolrwydd mawr yn ddïau rhwng llawer o ddefodau yr Aipht â'r hyn a sefydlir trwy awdurdod Ddwyfol yn nhrefn yr Hen Destament; a gorchwyl hawdd iawn ydyw haeru nad oedd gan Moses, gyda'i holl honiadau o "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," a "Daeth gair yr Arglwydd at Moses," &c., ond ei ddoethineb ei hunan, yn ei alluogi i gyfaddasu at wasanaeth ac amgylchiadau y genedl yr hyn ydoedd eisoes yn sefydledig yn yr Aipht. Os ydyw hyn yn wir, y mae Moses yn dwyllwr mewn gwirionedd; oblegid mae efe yn gofalu, uwchlaw pob peth, am ddangos i ni nad yw yn gwneyd dim o'i feddwl ei hunan, ond yn derbyn y cwbl fel gorchymynion a gosodiadau Duw. Pe byddai y fath beth yn bosibl, fe barai yr holl ganmoliaeth ffol a pheryglus a roddir iddo fel "deddfroddwr yr Iuddewon," &c., i esgyrn Moses droi yn ei fedd. Mae canmoliaeth dynion iddo fel dyn doeth a phur, dyn sydd trwy ei ddoethineb a'i burdeb wedi rhoddi bod i'r oruchwyliaeth a sefydlodd, yn ei osod ef mewn sefyllfa gau, y fath na feddyliodd ei galon am sefyll ynddi erioed. Nid fel dyn o athrylith yn unig yr ydym i'w farnu ef, ac nid fel dyn, pa mor ragorol bynag ydoedd, sydd wedi gosod ei genedl dan rwymau tragywyddol iddo fel sylfaenydd ei chrefydd a chreawdwr ei llwyddiant. Yr ydoedd Moses yn ŵr doeth, mae yn ddiammheu, yn rhagori mewn doethineb mae'n debyg ar neb a fu o'i flaen; a chan ei fod felly, mae yn ddïau ei fod yn ddigon doeth i wybod y gwahaniaeth rhwng ffaith sobr a breuddwyd ofer. Beth ydym i wneyd ynte o'r dyn hwn, sydd yn rhy dda i amcanu twyllo eraill, ac yn rhy ddoeth i'w dwyllo ei hun, pan y dywed wrthym yn barhäus, "A dywedodd yr Arglwydd;" "A Duw a ddywedodd wrth Moses, YDWYF YR HWN YDWYF—fel hyn yr adroddi wrth feibion Israel, YDWYF a'm hanfonodd atoch;" "Fel hyn y dywedodd Arglwydd Dduw Israel;" "Duw hefyd a lefarodd wrth Moses, ac a ddywedodd, Myfi yw Jehofah;" "A'r Arglwydd a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd;" "Ond gwel wneuthur yn ol eu portread hwynt a ddangoswyd i ti yn y mynydd," &c. &c.;—beth, meddwn, ydym i'w wneyd ond ei gymeryd ar ei

dystiolaeth ei hun, a chredu mai gwas yr Arglwydd ydoedd? Os felly, rhaid i ni gredu mai nid Moses, ond Duw, a lefarodd y gyfraith, ac a ordeiniodd y gosodiadau. Yn awr, a ydyw yn wirionedd fod yr Aiphtiaid, oesoedd cyn dyddiau Moses, yn feddiannol eisoes ar lïaws mawr o'r pethau y mae efe yn eu dwyn ymlaen fel dadguddiadau oddiwrth Dduw iddo ef ar y pryd? Ac os ydyw hyny yn wirionedd, pa fodd yr ydys i roddi cyfrif am dano?

Am y cwestiwn cyntaf, rhaid i ni ei ateb i fesur helaeth yn gadarnhäol. Pa fodd bynag y teimlwn yn wyneb hyny, mae y temlau, &c., yn yr Aipht yn llefaru mor glîr ar hyn, fel nad yw yn bosibl i ni eu camgymeryd, ac yn dangos fod llawer iawn o bethau y ddeddf gan yr Aiphtiaid yn y cynoesoedd. Nis gwyddom paham y taflodd Mr. J. y ffeithiau dyddorol hyn i'w Attodiad; canys y maent yn sicr mor deilwng o le mewn gwaith ar yr Aipht yn ei chysylltiadau Biblaidd ag ydyw yr esboniad arnynt. Dyrys neu beidio, y maent yn ddigon dyddorol i orchymyn ein sylw, gan nad oes ddadl am eu gwirionedd. Gadewch i ni nodi rhai pethau.

Yr oedd yr offeiriaid Aiphtaidd, fel rhai yr Iuddewon, yn ddosbarth ar wahân ac yn deuluoedd arbenig; yn gwasanaethu bob dydd yn y deml yn droednoeth, a chyda gorchudd am eu pen; yn golchi eu cyrff â dwfr sanctaidd cyn ymddangos i wasanaethu; yn cael eu heneinio i'w swydd gyda difrifwch arbenig; eu gwisg swyddogol ydoedd o lïan, ac ni chaniatëid iddynt, ebe Herodotus, wisgo dim arall; yr oedd eu "llodrau llïan," fel yr eiddo Aaron, yn cyrhaeddyd "o'r lwynau hyd y morddwydydd;" yr oedd gan offeiriaid Amon wisgoedd swyddogol, tebyg iawn i'r ephod; yr oedd ganddynt ddwyfroneg hefyd, er nad mor ogoneddus ag un yr archoffeiriad Iuddewig; a beth bynag oedd yr Urim a'r Thummim gan yr Iuddewon, y mae geiriau Wilkinson am yr Aipht yn dra arwyddocäol, "Pan ddygid achos i'w farnu, byddai y prif-farnwr yn arfer rhoddi cadwen aur am ei wddf, wrth yr hon y crogai delw fechan o Wirionedd, yn addurnedig â meini gwerthfawr. Yr oedd hyn mewn gwirionedd yn arddangosiad o'r dduwies a wasanaethid dan y cymeriad *dyblyg* o Wirionedd a Chyfiawnder, enw yr hon, Thmei, fe ellid meddwl, a roddes darddiad i'r 'Thummim' Hebraeg; gair sydd, yn ol y Deg a Thriugain, yn arwyddo 'gwirionedd,' ac yn meddu cyfatebiaeth pellach yn ei derfyniad llïosog. A'r hyn sydd yn fwy hynod yw mai archoffeiriad yr Iuddewon yn unig—yr hwn cyn dewis brenin ydoedd hefyd yn farnwr y genedl—ydoedd yn meddu y fraint o wisgo yr arwydd hwn. Ac yr oedd y 'Thummim,' fel y ddelw Aiphtaidd, yn addurnedig â meini gwerthfawr o wahanol liwiau." Fel hyn yr oedd tebygolrwydd rhyfeddol rhwng offeiriaid yr Aipht a'r offeiriaid Iuddewig. Gallem nodi ymhellach fod eu tir hwy yn gysegredig yn yr Aipht fel eiddo meibion Lefi yn Nghanaan.

Yr oedd tebygolrwydd arbenig hefyd yn eu haberthau. Yr oedd ganddynt hwythau eu "bwydoffrymau a'u diodoffrymau;" dygent eu rhoddion o win, teisenau, olew, a ffrwythau i'r allor; offryment ddurturod hefyd a chywion colomenod i'w duwiau; ac weithiau byddai breninoedd yr Aipht, fel rhai Judah, yn offrymu llïaws o anifeiliaid. Yr oedd yn rhaid i'r aberthau fod yn berffeithgwbl. Yr oedd yr ŷch coch, fel yr "anner goch," i fod yn "berffeithgwbl, heb anaf arno, ac heb ddyfod iau arno." Fe fuasai "un blewyn du" yn ei anghymhwyso i'r allor.

Yr oedd yr offeiriad yn chwilio y crëadur yn fanwl; ac os cai foddlonlonrwydd ynddo, byddai yn rhwymo llabedyn wrth ei gorn, ac yn ei selio gyda'i fodrwy; a chosbid pwy bynag a aberthai heb hyn, ebe Herodotus, â marwolaeth. Yr oeddynt hefyd yn lladd eu hebyrth yr un fath, sef eu "torfynyglu." Yr oedd ganddynt rywbeth tebyg i aberth rhyfeddol dydd y cymmod. Yr oedd y drychfeddwl ganddynt am osod y diniwed *yn lle* yr euog. Pan ddygid y crëadur at yr allor, gweddïent "os oedd rhyw ddrwg ar ddygwydd iddynt hwy yr awr hono yn aberthu, neu i'r Aipht yn gyffredinol, ar iddo ddisgyn ar y pen hwnw." Yna torid ei ben, a theflid ef i'r afon, neu gwerthid ef i ddyeithriaid. Yr oedd hyn mor bwysig yn ngolwg yr holl bobl fel, ebe Herodotus, na fwytäent ben yr un crëadur.

Yr oedd llawer o debygolrwydd hefyd rhwng y tabernacl a'r temlau Aiphtaidd. Yr ydoedd yn adeilad bedaironglog, ac iddi gyntedd, a chysegr, a sancteiddiolaf, yn cyfateb i'r *temenos*, yr *hieron*, a'r *sekos*, gan yr hen Aiphtiaid. Yr oedd muriau a nenau y temlau Aiphtaidd wedi eu haddurno â lluniau eu coelgrefydd, fel yr oedd llèni y tabernacl yn "gerubiaid o gywreinwaith." Yr oedd y *sekos* yn eithaf gorllewinol y deml, ac yno yr oedd delw y duw wedi ei gorchuddio â gwahanlen. Yma yr oedd y sancteiddiolaf, ac ni chai y bobl byth fyned i mewn iddo. Yr oedd ganddynt rywbeth tebyg iawn i'r "arch." Dygid hi o amgylch ar ysgwyddau yr offeiriaid yn unig, ac ar drosolion wedi eu gyru trwy fodrwyau. "Yr oedd rhai o'r eirch," ebe Wilkinson, "yn cynnwys arwyddluniau Bywyd a Sefydlogrwydd, y rhai pan symudid y llèn oeddynt i fesur yn weledig; ac eraill yn cyflwyno y chwilen sanctaidd i'r haul, yn orchuddiedig gan adenydd dwy ddelw o'r dduwies Thmei neu Wirionedd, yr hyn a bâr i ni feddwl am gerubiaid yr Iuddewon." Felly mewn lliaws mawr o amgylchiadau, yr ydym yn cyfarfod â'r tebygolrwydd mwyaf rhwng crefydd yr Aipht a chrefydd yr Hen Destament. A oes rhyw gyfrif i'w roddi am hyn?

Y mae hwn yn bwnc sydd wedi peri llawer o ddyryswch i'r byd. Mae y rhai sydd yn ymlawenhâu mewn rhyw gyfleusdra i ddarostwng y Bibl yn tynu eu cleddyf, fel Alexander, trwy y cwlwm ar unwaith, ac yn dyweyd mai dynwared yr Aiphtiaid a wnaeth Moses, ac felly fod ei holl honiadau i arweiniad Dwyfol, &c., yn myned i'r llawr. Yn lle bod wedi gwneyd pob peth yn ol y portrëad a ddangoswyd iddo yn y mynydd, dyma ni wedi dal y twyllwr ar y weithred,—nid yw ond yn copïo yr hyn a welsai yn ngwlad yr Aipht. Y mae llawer o gyfeillion y gwirionedd, o'r ochr arall, wrth deimlo yn anesmwyth dan yr ymosodiadau hyn, yn myned mor fyrbwyll a'u gelynion, ac yn haeru mai yr Aipht sydd wedi benthycâ. Ond dyma y cofadeiliau yn dyfod ymlaen, ac yn dyweyd fod y pethau hyn oll gan yr Aipht oesoedd cyn i Moses gael ei eni. Un o'r pethau mwyaf amlwg sydd yn gwahaniaethu crefydd Moses oddiwrth yr un Batrïarchaidd ydyw arogldarthu; ni chawn son am hyny yn hanes yr un o'r dynion sanctaidd y mae efe yn ysgrifenu am danynt, oeddynt yn y byd o'i flaen; ond yr oedd yr Aipht yn arogldarthu. Gallesid meddwl fod yr enwaediad yn arbenig i Abraham a'i hâd—fod Duw, trwy yr arwydd hwn, yn eu nodi allan o fysg y cenedloedd fel pobl briodol iddo ei hun. Ond yr oedd yr enwaediad hefyd gan yr Aiphtiaid, ac y mae lle i feddwl braidd ei fod ganddynt cyn dyddiau Abraham. Y mae Kurtz

yn meddwl felly, ac yn barnu y gallai fod Abraham wedi dyfod i gydnabyddiaeth â'r ddefod yn yr Aipht, ac fod hyny yn fath o barotöad iddo i dderbyn gorchymyn Duw i'w enwaedu ei hunan a holl wrywaid ei dŷ. Y mae Newman (Kitto's *Cyclop.*) yn barnu yr un fath. Y mae Herodotus (ii. 104) yn dyweyd, "O holl ddynolryw, y Colchiaid, yr Aiphtiaid, a'r Ethiopiaid yn unig sydd yn enwaedu. Mae y Pheniciaid a'r Syriaid, y rhai sydd yn Palestina, yn addef eu hunain iddynt ddysgu gan yr Aiphtiaid." Yr oedd Herodotus yn derbyn y dystiolaeth yma gan yr offeiriaid Aiphtaidd eu hunain, a rhaid i ni ei chymeryd am yr hyn ydyw o werth. Pa fodd bynag yr oedd yr enwaediad gan yr Aiphtiaid, ac y mae yn ddigon tebyg ei fod ganddynt cyn i Abraham ymweled â'r Aipht. Yn wir, pe na buasai felly, prin y gallem feddwl y buasai yr Aiphtiaid oeddynt yn ymfalchïo gymaint yn eu doethineb eu hunain, yn ymostwng i dderbyn sefydliad mor bwysig gan ddyn dyeithr a ddygwyddasai ddyfod i ymweled â'u gwlad ar ei dro. Fel yr ydym yn gwadu nad rhyw efelychiad tlawd o grefydd yr Aipht yw crefydd Moses, felly hefyd nid allwn haeru mai yr Aipht sydd wedi benthyca oddiarno ef, gan fod y pethau hyny yn ei meddiant cyn ei eni. Rhaid i ni geisio dadrys y cwlwm, ac nid ei dori.

1. Mae yn ymddangos fod llawer o'r cyfatebion yn cael eu hesbonio gan amgylchiadau ag oeddynt yn gyffredin i'r ddau bobl, fel rhai yn preswylio yr un wlad ac yn coledd yr un arferion. Yr oedd y tabernacl i'w wneyd o goed Sittim, yr un coed ag a ddefnyddid i wneyd y temlau Aiphtaidd; ond erbyn edrych nid oedd dim coed eraill i'w cael yn yr anialwch. Yr oedd yr Israeliaid i dorfynyglu yr aberthau, fel yr oedd yr offeiriaid Aiphtaidd yn gwneyd; ond beth a allesid ddysgwyl yn amgen, gan mai felly y byddai y ddau bobl yn arfer lladd pob creadur? Ni fuasai y naill na'r llall yn meddwl am yr un dull arall. Yr oedd yr offeiriaid yn y ddau wasanaeth i fyned trwy eu gorchwylion wedi dyosg eu hesgidiau, a gorchudd ar eu pen. Beth yn fwy naturiol ymysg pobl a ystyrient mai felly y dylent ymddangos ger bron dynion y dymunent eu parchu, nag ymddangos yr un fath ger bron gwrthddrych eu haddoliad? Felly y buasent yn ymddangos ger bron eu brenin daearol, ac felly yn enwedig yr ymddangosent ger bron yr Un Mawr sydd yn Frenin breninoedd ac yn Arglwydd yr arglwyddi. Felly hefyd am y glanweithdra manwl a orchymynid mor gaeth gan y ddwy grefydd, y golchiadau mynych, a'r gwisgoedd llïan, &c. Teimlent yn naturiol fod urddas a phurdeb yr hwn y cyflwynent eu haddoliad iddo, a'r hwn yn ol eu syniadau hwy oedd yn bresennol yn ei deml, yn galw am y parch mwyaf oddiar eu llaw pan yn cyflwyno eu gwasanaeth iddo, ac nad allent ddangos hyny heb fod yn lân ac yn bur pan yn sengi ei gynteddau. Oddiar yr un teimlad y codai y gwahaniaeth oedd gan y naill a'r llall rhwng y creaduriaid glân a'r creaduriaid aflan. Nid allent gyflwyno i Dduw ond eu pethau goreu, a'r rhai hyny yn eu hystâd berffeithiaf. Barnent ef wrthynt eu hunain, a theimlent y dylent gyflwyno i'r Perffaith mewn gogoniant a daioni y peth perffeithiaf, yn ol eu dirnadaeth hwy, y gallent gael gafael arno. Y mae hyn, yn wir, yn nôd arbenig ymhob crefydd. Gwasanaeth dyn wedi ei buro a'i godi i'w berffeithrwydd uchaf ydyw gwasanaeth Duw. Pan mae yr Arglwydd yn ymliw â phobl Israel trwy y prophwyd Malachi o herwydd eu gwrthgiliad, y mae yn dywedyd, "Ac os offrymu yr ydych y dall yn aberth, onid drwg hyny? ac os off-

rymwch y cloff a'r clwyfus, onid drwg hyny? cynnyg ef yr awrhon i'th dywysog, a fydd efe boddlawn i ti? neu a dderbyn efe dy wyneb? medd Arglwydd y lluoedd" (i. 8). Buasai geiriau fel yna yn dyfod adref gyda chymaint o rym yn yr Aipht ag yn Nghanaan. Mae crefydd natur ymhob man, càn belled ag y mae yn cyrhaedd, fel crefydd y Bibl, yn amcanu am y peth goreu i wrthddrych ei haddoliad. Fe gaiff y gwisgoedd gwychaf i'w offeiriaid yn ei wasanaeth, fe gaiff y glanweithdra mwyaf a'r ymddygiadau parchusaf oddiar law yr offeiriaid hyny, fe gaiff y crëaduriaid goreu yn y wlad yn aberthau ar ei allor, fe addurnir ei deml â'r darluniau a'r cerfiadau prydferthaf mewn bod, fe anfonir yr arogldarth pereiddiaf a ellir ffurfio i ymddyrchu tua'r wybren i foddhâu ei ffroenau; ac os oes ganddynt ryw ddrychfeddwl am gerddoriaeth, fe gysegrir eu cân i wasanaeth eu duw. Beth yw y gair Cymraeg goreu am *Anthropomorphism?* Y mae ein cymydogion, pan nad oes ganddynt air eu hunain, yn benthyca yn ddibetrus mewn amgylchiadau fel yma o'r Groeg. Dynweddiant, dynweddiadaeth—nid yw y naill na'r llall, mae'n debyg, yn cario i'n darllenwyr ystyr y gair. Sut bynag, dyna y syniad sydd wrth wraidd holl wasanaeth crefydd gan ddyn: y mae Duw yn dra thebyg i ni ein hunain, ond ei fod ymhob ystyr yn anfeidrol fwy. Onid ar ddelw Duw y crëodd efe ddyn? Ein syniad am ddyn wedi ei berffeithio ymhob ystyr yn anfeidrol ydyw ein syniad am Dduw. Ac yn ol hyn y mae dynolryw yn myned ymlaen, pawb yn ol eu goleuni, i gyflwyno eu gwasanaeth iddo. Felly mae yn hollol naturiol i ni ddysgwyl i grefydd yr Aipht a chrefydd y Bibl gydgyfarfod, nid yn unig yn y pethau oedd yn gyffredin i'r bobl hyny o ran lle ac amgylchiadau ac arferion, ond hefyd mewn lliaws mawr o bethau sydd yn gyffredin iddynt hwy a holl ddynolryw. Hyd yn nôd yn arwyddluniau y gwasanaeth gweledig a theimladwy y mae ysbryd dyn yn ceisio cyflwyno gwasanaeth ysbrydol, ac felly, wrth chwilio, yn ymbalfalu am Dduw. Felly y mae y cristion ei hunan yn gorfod gwneyd, er ei fod yn byw yn nghanol goleuni yr efengyl. Felly yn arbenig yr oedd meibion Israel yn gorfod gwneyd gydag "egwyddorion llesg a thlodion" yr hen wasanaeth. Ac wrth i ni edrych arnynt yn addoli, nid ydym yn synu wrth ganfod yn eu gwasanaeth gynifer o bethau sydd yn gyffredin iddynt hwy a'r Aiphtiaid; ac nid yn unig â'r Aiphtiaid, ond â'r rhan fwyaf o'r cenedloedd eraill hefyd. Y mae y pethau hyny, mae yn debyg, yn codi oddiar reddf gyffredin mewn dynoliaeth, trwy ba un y mae yn ymestyn am adnabyddiaeth o'r Anweledig, ac yn ymgais am gyflwyno eu haddoliad iddo. "Nid yw y naturiol mewn un modd ynddo ei hun yn baganaidd," ebe Bähr, "ac nid oedd y pethau allanol a ddefnyddiai y cenedloedd i arddangos syniadau crefyddol yn dyfod yn y radd leiaf yn baganaidd trwy gael eu defnyddio i'r perwyl hwnw." A thrachefn, "Y mae yn rhaid i ran fawr iawn o'r arwyddluniau a ddefnyddir fod yn gyffredin i bob crefydd o gyffelyb natur." Yr un yw y natur ddynol ymhob man, ac nid ydym i feddwl fod yr Arglwydd, wrth ddyfod i sefydlu ei deyrnas ymysg meibion Israel, yn myned dan wraidd y teimladau am addoli a blanasai mor ddwfn yn natur dyn wrth ei greu. Y mae yn hytrach yn cyfarfod dyn gyda'i deimladau a'i egwyddorion fel y mae, yn ymaflyd yn ei law, ac yn ei arwain i'w deml ei hunan i ymostwng ger bron yr Hwn y cafodd ei greu, i roddi gwasanaeth iddo.

2. Yr ydym yn rhoddi cyfrif am lawer o'r cyfatebion yn y ddwy grefydd trwy eu holrhain yn y naill a'r llall i'r un gwreiddyn cyffredin yn y grefydd batriarchaidd. Sut y cafodd yr Aiphtiaid y drychfeddwl am aberthu? Sut yn wir y daeth y fath ddrychfeddwl i galon dyn erioed? Nid yw mor ryfedd gweled y cenedloedd yn cyflwyno bwydoffrwm a diodoffrwm i'w duwiau, oblegid y maent yn gwneyd hyny oddiar eu syniadau anthropomorphaidd am wrthddrych eu haddoliad. "Tybiaist dithau fy mod yn gwbl fel ti dy hun." Fel y mae bwyd a diod mor werthfawr gan ddyn ei hunan, y mae yn eu cyflwyno fel y pethau mwyaf cymeradwy i'w dduw. Ond yr oedd yna beth arall yn yr aberthau gwaedlyd a offrymid. Mae y drychfeddwl o gyflëad bywyd am fywyd yn y rhai hyny. Nid yw y dyn mwyach yn "dwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd" fel Cain, i roddi math o anrheg i'r Goruchaf fel cydnabyddiaeth am ei ddaioni, ond y mae fel Abel yn "dwyn o flaenffrwyth ei ddefaid ac o'u brasder hwynt," ac wrth ladd y rhai hyny a'u llosgi ar yr allor, yn cydnabod fod ei fywyd ef ei hunan wedi ei fforffedu. Fel y mae Calfin yn sylwi yn dra phriodol, y mae Duw yn edrych ar *berson* yr aberthwr, ac yna ar ei aberth. "A'r Arglwydd a edrychodd ar Abel ac ar ei offrwm—ond nid edrychodd efe ar Cain, nac ar ei offrwm ef." Mae yn ddïau mai yn mherson y ddau frawd yr oedd y peth mawr oedd ger bron Duw yn rhoddi ystyr i'w gweithred, fel y mae yr Apostol yn priodoli rhagoriaeth aberth Abel i'r ffaith o'i fod yn ei gyflwyno trwy ffydd. Ond er hyny y mae yna wahaniaeth pwysig yn eu haberth hefyd. Y mae y naill yn dyfod ymlaen yn hyf ac annibynol at allor Duw, ac yn cyflwyno ei aberth iddo fel tâl am ei ffafrau. Y mae y llall yn lladd ac yn llosgi creadur byw, ac yn cydnabod ei hun yn rhwymedig i'r Arglwydd, nid yn unig am ei ddoniau, ond am ei *fywyd* hefyd. Nid oes yr un ystyr mewn aberthu ar wahân oddiwrth hyn. Wedi sôn am y diolch a roddid gan y cenedloedd wrth aberthu, pan yn anfon yr arogl peraidd tua'r nen, &c., y mae Müller yn myned ymlaen i ddangos nad hyny ydoedd prif ddrychfeddwl eu haberthau: "Ni ddygais ger bron yma ond un ochr i'r drychfeddwl sydd yn gwneyd i fyny hanfod aberth; y mae yn cael ei ddilyn bob amser gan un arall, yr hwn yn sicr nid yw yn llai hen, sef y drychfeddwl o iawn trwy aberth, yr hwn o'r amseroedd boreuaf a ddangosid trwy arferion a thraddodiadau aneirif, a'r hwn nad allai godi ond oddiar y teimlad crefyddol cryfaf a dwysaf: 'Yr ydym yn haeddu marwolaeth; yr ydym yn offrymu yn lle hyny waed yr anifail!'" Dyma y syniad oedd gan yr hen Aiphtiaid wrth aberthu: "Os oes rhyw ddrwg ar ddygwydd i ni yr awr hon yn aberthu, neu i'r Aipht yn gyffredinol, disgyned ar y pen hwn." Y mae y drygau yn dyfod, yr ydym yn eu haeddu, ac y maent y fath, pan yn disgyn oddiwrth y duwiau nad allwn mewn un modd eu troi yn ôl, na'n hamddiffyn ein hunain rhagddynt; ac yn wyneb hyny nid oes dim i'w wneyd ond myned âg aberth at yr allor, a gweddïo, "Derbyn yr aberth, a disgyned y drwg ar y pen hwn." Y mae y teimlad yma, fel y sylwa Müller, ynglŷn â'r drychfeddwl o aberthu ymhob man, ac nid ydym yn synu ei gyfarfod yn yr Aipht. Yn wir, buasem yn synu yn fawr beidio ei ganfod yno. Ond y mae Moses mor bell o fod yn rhwymedig i'r Aipht am dano, fel y mae yr Aipht a Moses wedi ei gael o foreuddydd y byd. Fel y dywed Crist ar fater arall, "Nid o herwydd ei fod o Moses, eithr o'r tadau." Yr ydym yn

gweled fod y brodyr cyntaf yn aberthu. Mae yn ddiammheu hefyd fod Adda yn arfer gwneyd hyny o'u blaen. O ba le y caed "crwyn" i wneyd y "peisiau" iddo ef a'i wraig ond oddiwrth y crëaduriaid a laddesid yn aberthau? Ac o ba le y gallasai y fath ddrychfeddwl anfeidrol ryfedd a chyflwyno bywyd dros fywyd yn aberth i'r Duw yr haeddesid marw ger ei fron godi, ond fel dadguddiad i feddwl ein tad cyntaf oddiwrth Dduw ei hun? Mae rhoddi bod i'r drychfeddwl am iawn i gyfiawnder Dwyfol yn gymaint uwchlaw gallu dyn ag ydyw rhoddi yr iawn ei hunan. Nid ydym yn gweled y gallasai y syniad am aberth ddyfod i galon dyn oddiwrth neb llai na'r Hwn a addawodd iddo "Hâd y wraig" i "ysigo pen y sarph." Yr ydym yn teimlo grym mawr yn sylw Calfin, "Gan fod yr Apostol yn priodoli gwerth aberth derbyniol Abel i *ffydd*, y mae yn canlyn na fuasai yn ei offrymu heb orchymyn Duw." A phan ydym yn olrhain yr arferiad o aberthu fel yma i wraidd y ddynoliaeth, beth sydd yn fwy naturiol na meddwl mai oddiyma y tarddodd i'r holl ddaear? Yr oedd y cynddiluwiaid yn aberthu; ac yn moreuddydd y byd newydd, càn gynted ag yr aeth Noah allan o'r arch, y peth cyntaf a wnaeth oedd codi allor i Dduw, ac aberthu arni yn ngŵydd ei holl deulu. Ac yr oedd y traddodiad pwysig yma yn cael ei gymeryd i fyny gan ei holl feibion, a'i drosglwyddo o oes i oes, fel y sefydliad dyfnaf ei ddirgelwch a berthynai i'r hiliogaeth. Mae yn cael ei gadw ymlaen trwy yr oesoedd, yn un peth am fod pawb yn teimlo ei fod wedi ei sefydlu rywbryd draw yn mhellder amser gan ryw awdurdod y mae yn beryglus anufuddhâu iddo; ac hefyd am fod dynion ymhob man yn teimlo fod yna rywbeth ynddo sydd yn cyfateb yn rhyfedd i'r diffyg mawr sydd yn llanw eu natur,—Yr ydym yn euog ac yn haeddu marw, derbyn yr aberth, a gâd i ni fyw.

Beth a ddywedwn eto am y drychfeddwl oedd yn gyffredin i'r ddwy grefydd am gysegr?

"Wrth ymweled â themlau yr Aipht," ebe Mr. Jones, "yr oedd yna rywbeth difrifol ac ystyrlawn i mi yn y drychfeddwl am gysegr. I'r Aiphtiaid yr ydoedd y lle sancteiddiaf ar y ddaear. Yr oedd yn gysegredig i'r duw—'sancteiddiolaf' y deml ydoedd, lle na chaniatëid i neb fyned ond yr offeiriaid penaf. Bûm am beth amser heddyw yn *adytum* teml Luxor. Dringais i fangre'r eilun, a meddyliwn am y duw Amon yma yn ei gafell ddirgelaidd," &c.

Syniad rhyfedd ydyw hwn, ac y mae wedi ei fabwysiadu gan lawer o genedloedd heblaw yr Aiphtiaid. Fel *pagodas* India, *naos* y Groegiaid, ac *adytum* y Rhufeiniaid, ystyrid y lle yma yn breswylfod y duw. Yr ydoedd iddo agorfa neu borth yn wynebu tua'r dwyrain, ac y mae yn debyg mai o flaen hwn y byddai yr addolwyr yn myned drwy eu gwasanaeth. Ai tybed y gallai syniad fel yma ddyfod o rywle amgen na gardd Eden? "Efe a osododd o'r tu dwyrain i ardd Eden y cerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd." Y mae gorseddfa Duw yn y nefoedd ar y cerubiaid; ac y mae gardd Eden wedi ei gwneyd i fod yn orseddfa iddo ar y ddaear, ac am a wyddom ni y mae syniad Kurtz yn eithaf priodol fod dyn wedi ei fwriadu fel *cerub daearol.* Ond y mae y cwymp yn cyfnewid pethau yn hollol; y mae dyn yn awr yn cael ei yru allan o Baradwys, er fod Paradwys ei hunan, a phren y bywyd ynddi, yn aros fel o'r blaen. Wedi i ddyn gael ei yru allan, mae y cerubiaid yn y cyfamser yn cael eu gosod yno i gymeryd ei le, ac i gadw ffordd pren y bywyd,

"nes adferir ni
Trwy un mwy dyn, a meddu y fro gain,"

a chael rhyddid drachefn i ymborthi ar bren y bywyd sydd yn nghanol Paradwys Duw. Ond yn ngardd Eden, eto, i Adda a'i deulu, y mae Duw yn preswylio. Y mae gogoniant yr Arglwydd yno ar y cerubiaid. Dyna eu cysegr, ac y mae traddodiad gan yr Iuddewon yn dyweyd mai ger bron hwnw yr adeiladodd y teulu cyntaf eu hallor. Yr oedd yr ardd o du y dwyrain i Eden, a'r gogoniant ar y cerubiaid o'r tu dwyrain i'r ardd. Felly tuag yno y cyfeirient eu hwynebau pan yn cyflwyno eu haberthau ac yn addoli. A phan ddywedir i Cain "fyned allan o ŵydd yr Arglwydd," fe ddywedir hefyd iddo "drigo yn nhir Nod, o'r tu dwyrain i Eden." Hyny yw, wrth fethu, gan euogrwydd, oddef gwyneb yr Arglwydd yn y gogoniant, fe aeth ymhellach i'r dwyrain, gan droi cefn arno. Ni wyddom pa hyd y bu gogoniant yr Arglwydd yn aros ar y cerubiaid yn Eden. Mae'n debyg iddo ymadael cyn y diluw; ac wedi hyny y mae Duw heb gartref, mewn ystyr, ar y ddaear. Ond yn nyddiau Moses y mae am ddyfod i aros yma drachefn, ac yn gorchymyn gwneyd cysegr iddo ei hun. "A gwnânt i mi gysegr fel y gallwyf drigo yn eu mysg hwynt." "A mi a breswyliaf ymysg meibion Israel, ac a fyddaf yn Dduw iddynt." Yn awr y mae yn beth teilwng o'n sylw fod y cysegr hwn i raddau mawr ar gynllun cysegr Eden. Wedi cael ei yru ymaith gan bechod y byd, y mae Duw yn dyfod i drigo yma eilwaith pan y mae yn gweithio allan ei gynllun mawr er dwyn iachawdwriaeth iddo. Mae y cerubiaid yn nghysegr Moses hefyd, a gogoniant Duw ar y cerubiaid. Y mae drws pabell y cyfarfod hefyd o du y dwyrain, fel y fynedfa i ardd Eden; ac o'i flaen y mae allor y poethoffrwm. Ymddengys fod y babell, heblaw bod ar gynllun Eden, yn gysgod hefyd o'r nefoedd, Paradwys wedi ei hadfeddiannu. Y mae Crist wedi myned i'r gwir gysegr, y nef ei hun. Pan y mae Ioan yn gweled "y ddinas sanctaidd, Jerusalem newydd, yn dyfod oddiwrth Dduw i waered o'r nef," y mae "yn clywed llef uchel allan o'r nef, yn dywedyd, Wele y mae pabell [tabernacl] Duw gyda dynion, ac efe a drig gyda hwynt." Fel y sylwa Bengel, "Yr oedd gan Dduw breswylfa gyda phobl Israel pan gododd Moses y tabernacl, a thrachefn pan adeiladodd Solomon y deml. Ond fel pe na buasai y naill na'r llall wedi bodoli erioed, fe ddywedir yma fel am beth hollol newydd, Wele y mae pabell Duw gyda dynion; oblegid fe fydd Duw yno yn ei amlygu ei hun mewn dull llawer mwy agos, grasol, ac arbenig." Y mae preswyliad Duw gyda dyn ar yr un cynllun yn barhäus, ond ei fod, fel y mae dyn yn cael ei gyfaddasu i'w oddef, yn cael ei berffeithio mewn gogoniant. Y mae y Brenin ar y cerubiaid yn ei lys fry yn amlycach ac yn annhraethol fwy gogoneddus nag ydoedd ar y cerubiaid yn y babell; er ei fod yno, gyda'r drugareddfa a'r cyfammod a'r gwaed, yn llawer haws nesâu ato na phan ar y cerubiaid yn Eden, a'r cleddyf tanllyd ysgwydedig yn dangos i ddyn ei fod i'w ystyried yn droseddwr bellach, ac fod yn rhaid iddo sefyll draw. Ond gan mai felly yr ydoedd yn Eden, cyn i Dduw adael y ddaear, nid ydym yn synu wrth weled pethau i raddau helaeth yn debyg pan y mae yn dyfod i drigo ar y ddaear eilwaith yn mhabell Moses. A thrachefn, gan mai felly yr ydoedd pethau yn Eden yn y dechreuad, nid ydym yn synu wrth ganfod iddynt wneyd y fath argraff ar feddwl dynolryw, fel y maent yn cael eu dwyn i'r

golwg drachefn mewn llawer o wahanol ffyrdd yn nghrefyddau ac yn nhraddodiadau cenedloedd y ddaear. Yr oedd temlau yr Aipht, fel gardd Eden a phabell Moses, yn agor tua'r dwyrain. Tua'r dwyrain yn wir yr oedd yr hen fyd yn gyffredin yn edrych am ei bethau mawrion, a thuag yno yn enwedig y cyfeirient eu gwasanaeth crefyddol.

"O ba le," ebe Mr. J., "y daeth y cyfatebion cyffredinol hyn? Sut yr oedd yr hen fyd yn meddwl am y dwyrain gyda'r fath gysegredigrwydd ac ofn? Sut y mae temlau yr Aipht a phagodau India, er enghraifft, yn edrych bob amser yn y cyfeiriad yma? Ai i gyfarch gyda'u hwynebau yr Aurora ddychymygol? Y mae Eden yn ateb, Nage!"

Yr oedd gan yr Aipht hefyd bren y bywyd, y Persea, yn tyfu yn nghanol eu Paradwys, yr hon a ddyfrhëid gan Nilus nefolaidd; a phwy bynag a fwytäi o ffrwyth y pren hwnw, byddai megys y duwiau. Yr oedd cerubiaid ganddynt hwythau, a gwnaent hwynt yn y fath fodd ag i drosglwyddo y syniad uchaf oedd ganddynt am berffeithrwydd bywyd. Y mae Miss Corbeaux, yn un o'i phapyrau dyddorol ar y Rephaim, yn y "*Journal of Sacred Literature*," wrth ddesgrifio darlun Aiphtaidd o un o'r rhyfeloedd, yn dyweyd, "Yn nghanol y gwersyll y mae lle sanctaidd, lle y mae pedwar offeiriad yn ymgrymu ger bron cysegrfa, yr hon a orchuddir gan adenydd dau o gerubiaid. Y mae hwn yn amgylchiad tra neillduol, oblegid y mae dyddiad y tro hwn yn 79 mlynedd cyn yr Exodus. Y mae yn profi henafiaeth a chyffredinolrwydd y ffurfiau arwyddluniol hyn."* Yr oedd y traddodiad am y cerubiaid mor *fresh* yr amser hono yn meddwl y bobl, trwy ei fod wedi cael ei drosglwyddo iddynt gan y patriarchiaid, fel nad yw yr Arglwydd yn gweled yn anghenrheidiol rhoddi unrhyw gyfarwyddiadau i Moses pa fodd i'w gwneuthur. Mae yn ddigon posibl fod Noah wedi gweled cerubiaid Eden, ac mae yn ddiammheu fod meddwl ei feibion, yn naturiol, yn dal ei afael mewn gwrthddrychau mor arbenig mewn cysylltiad â gwasanaeth Duw. Ac y mae mor naturiol i ni feddwl eu bod wedi dyfod o'r cynfyd i'r Aipht, gan fod yr Aipht mor fuan wedi y diluw yn gosod i lawr ac yn perffeithio ei sefydliad crefyddol. Y mae ganddi hithau ei chysegr yn breswylfod ei duwiau, ac y mae wedi cadw i fyny ddrychfeddwl gwarcheidwaith Eden yn yr amddiffyn cyfriniol a esyd ar ei phethau cysegredig. Y mae y *scarabaeus* sanctaidd yn lledu ei adenydd dros ei chysegrau, a'r mynedfeydd i'w themlau yn cael eu diogelu y naill ochr a'r llall gan resau o *Sphinxiaid*. Yr un amcan ydoedd i deirw adeiniog yr hen Assyriaid, y rhai gyda phenau dynol a safent yn *stern* ryfeddol o flaen eu palasau, &c. Yr oedd gan yr Indiaid eu Gryphoniaid hefyd, a'r hen Roegiaid eu dreigiau tân-anadlog yn cadw afalau euraidd gerddi yr Hesperides. "Y mae bron holl genedloedd Asia," ebe Von Bohlen, "yn ystyried y *sarph* fel crëadur drwg, ac fel yr un sydd wedi dwyn drwg i'r byd." Yn nhraddodiadau yr hen genedloedd yn gyffredinol, yr ydym yn cyfarfod âg enghreifftiau yn ddirif sydd yn dangos eu bod wedi dyfod o Eden. Yno yr oedd oes aur y byd, yr hon y mae eu beirdd mor hoff o ganu ei chlod, pan oedd cyfiawnder a chariad yn teyrnasu ar y ddaear, a Duw a dyn yn gyfeillion mynwesol. Fel mai yno yr ydym yn cael dechreuad yr hiliogaeth, yno hefyd yr ydym yn cael ffynnon gyffredinol ei thra-

* *Second Series*, Vol. ii. 73.

ddodiadau mwyaf pwysig. Ac os ydyw traddodiad fel yma ymysg gwahanol genedloedd yn ymaflyd mor gryno yn y cynfyd pell, ac yn ei ddwyn i lawr yn ei ffeithiau pwysig, gan nad i ba raddau y byddont wedi eu hanffurfio gyda threigliad amser am gynifer o oesoedd, a ydyw yn rhyfedd fod yr Aipht, yr hon a'i sefydlodd ei hun mor foreu yn hanes y byd, yn dangos ei bod wedi manteisio yn gymaint ar ei hadnabyddiaeth o'r gwirionedd? Yr ydym yn barod i roddi pob parch i athrylith a meddylgarwch yr hen Aiphtiaid; ond pell iawn oddiwrthym fyddo priodoli i grëadigaeth eu hathrylith hwynt y syniadau a dderbyniasant hwy, fel pobl eraill, o'r cynfyd. Moses wedi benthyca gan yr Aipht ei ordeiniadau a'i egwyddorion, ei ddrychfeddyliau dyfnion am berthynas dyn â'i Grëawdwr, a gogoniant, cyfiawnder, a gwirionedd! Yr oedd yr un traddodiadau gan Moses ag oedd ganddynt hwythau; ac y mae yn dra naturiol i ni gasglu eu bod wedi eu cadw yn llawer perffeithiach yn nheulu Sem ac Abraham o'r hâd sanctaidd nag yn nheulu Cham. O ran hyny fe fyddai yn hawdd genym gredu fod Moses wedi dysgu mwy o lawer am wasanaeth, fel am weithredoedd, y Goruchaf, gan Jochebed ei fam, nag a ddysgodd gan holl ddoethineb yr Aipht. Ar yr un pryd, yr ydym yn maentumio nad ar sail ei adnabyddiaeth draddodiadol ei hunan yr oedd Moses yn sefydlu yr un o'i drefniadau, ond "yn ol y portrëad a ddangoswyd iddo yn y mynydd." Ond yr oedd yn dra naturiol i'r Bôd Mawr, pan yn amlygu i'r byd ei drefn rasol o adferu dyn i'w ffafr ac i Baradwys yn ôl, sefydlu yn awdurdodol trwy Moses y dadguddiad a roddasai i'n tad cyntaf am y ffordd yr ydoedd i geisio ei wyneb.

3. Am y gweddill o'r cyfatebion, yr ydym yn eu hesbonio ar y dybiaeth fod yr Arglwydd wedi dewis cymeryd rhyw bethau o wasanaeth yr Aipht, a'u sancteiddio a'u cyfaddasu i'w wasanaeth ei hun. Yr ydym yn teimlo fod yr Aipht yn rhwymedig i draddodiad am holl bethau goreu ei gwasanaeth; ond ar yr un pryd, yr oedd ganddi gryn lawer o bethau tra gwerthfawr y rhoddwyd bod iddynt, mae yn debyg, gan ei hoffeiriaid ei hunan. Ac os "trwyddo Ef y teyrnasa breninoedd, ac y barna y penaethiaid gyfiawnder," tybed nad trwyddo Ef hefyd yr oedd yr hen offeiriaid a'r athronwyr, pa un bynag ai yn yr Aipht, ai yn India, ai yn nhir Groeg, yn cael gafael ar eu gwirioneddau mawrion, ac yn gosod i lawr yr oll ag oedd wir werthfawr yn eu hordeiniadau crefyddol? Pa fodd bynag, mae yn amlwg fod amryw bethau oedd yn meddiant yr Aipht wedi eu mabwysiadu yn ngwasanaeth y gwir Dduw. Ac y mae dau reswm amlwg iawn am hyny. Yn un peth, yr oedd y pethau hyny *ynddynt eu hunain* y pethau mwyaf priodol i ateb y dybenion mewn golwg. Ac hefyd, yr oedd meibion Israel wedi bod gyhŷd o amser yn yr Aipht, fel yr oedd yn llawer haws iddynt ymgymeryd â'r pethau yr oeddynt wedi hir gynnefino â hwynt yno, na derbyn trefniadau hollol newyddion; ac y mae yr Arglwydd yn hyn yn raslawn iawn yn cyfarfod â'u gwendid. Ond wedi'r cwbl, mor bell ydyw Moses o fod yn rhwymedig i'r Aipht!

Y mae tair ystyriaeth yn y fan yma yn hawlu ein sylw.

1. Y fath bentwr anferth o'r pethau oedd yn y bri mwyaf gan yr Aipht yr aeth Moses heibio iddynt yn hollol ddisylw! "Dangoswch i mi geiniog. Llun ac argraff pwy sydd arni? A hwy a atebasant ac a ddywedasant, Yr eiddo Cesar. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch

chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw." Braidd na feddyliem mai dyma yr egwyddor ar ba un yr ydoedd Moses i fyned ymlaen. Ai delw yr Aipht sydd ar y peth? gâd iddo yn yr Aipht. Ai delw Duw sydd arno? derbyn o i'w gysegr Ef. Os dynwared yr Aipht yr ydoedd Moses, buasem yn dysgwyl iddo, fel y mae cenedl y dynwaredwyr yn gyffredin yn gwneyd, ei dilyn yn fwy cyffredinol, ac yn enwedig yn ei phethau salwaf. Ond yn lle hyny, ni fabwysiada efe ond yr ychydig bethau sydd yn hanfodol dda, ac yn dwyn arnynt eu hunain yr argraff Ddwyfol, gan adael y lleill yn hollol ddisylw; neu os sylwa arnynt o gwbl, fe wna hyny er gosod plant Israel ar eu gocheliad rhagddynt. Ymha le ganddo ef y mae athrawiaeth yr Aipht am grëadigaeth,—y duw Neph yn taflu y byd, ydoedd yn gynnwysedig ar y dechreu o dân, daear, ac awyr, allan o'i enau ar ffurf ŵy, a'r llaid cyntefig yn cenedlu y gwahanol rywogaethau o grëaduriaid o hóno ei hun? Ac ymha le y mae ei hathrawiaeth am ddyn ar y dechreu yn rhedeg o amgylch yn wyllt ac yn noeth fel yr anifail, ac yn ymborthi ar laswellt a ffrwythau y coed? Nid yw yn son yr un gair am Thoth yn arwain yr enaid sydd newydd adael y byd at orseddfainc Osiris i'w farnu, nac am y ci Cerberus yn gwylied pyrth y gwynfyd, nac am Amenti eu byd anweledig, nac am Karmeter eu huffern, nac am Ahalu eu nefoedd. Nid yw yn cydnabod Osiris ei hunan, nac Isis, na Horus, nac Amon, na'r tarw dwyfol Apis, na'r Crocodil sanctaidd, na'r Ichneumon, na'r un o'r lliaws duwiau eraill yr oedd afon yr Aipht, fel yr oedd y dyfroedd ar y dechreu yn heigio ymlusgiaid byw, yn llawn o honynt. Yr holl syniadau isel a thlodion ag oedd gan yr Aiphtiaid am y natur Ddwyfol, y rhai a ddangosid yn eu hamldduwiaeth, eu heilunaddoliaeth, &c., y mae Moses yn ymwrthod â'r cwbl; a chan sefyll ar adfeilion allorau y duwiau mân, y mae yn cyhoeddi â llais eglur fel gwirionedd sylfaenol ei holl grefydd, "Clyw, O Israel, yr Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd!"

2. Yn y pethau sydd yn gyffredin iddo ef a'r Aiphtiaid, mor ofalus ydyw i osod pobl Israel ar eu gwyliadwriaeth, rhag i'r pethau hyny eu harwain ar gyfeiliorn i eilunaddoliaeth yr Aiphtiaid. Yr oedd yr Aiphtiaid yn gwneyd eu hallorau, fel eu temlau, yn gywrain ac yn brydferth dros ben; ond y mae Moses yn gorchymyn gwneyd allor bridd i'r Arglwydd, ac os gwneid allor gèryg, i beidio ei gwneyd o "gèryg nadd; pan gotech dy forthwyl arni, ti a'i halogaist hi." Paham y rhoddid y gwaharddiad hwn? Paham hefyd, ond i'r dyben i gadw y bobl rhag meddwl am y cerfiadau cywrain oedd ar demlau ac allorau yr eilunod, ac felly eu hudo ymaith oddiwrth symlrwydd gwasanaeth Duw. Yr oedd yr Aiphtiaid, pan yn lladd eu haberthau, yn dal y gwaed ac yn ei goginio i'w fwyta. Ond ni chaiff Israel wneyd dim o'r fath beth. "Ond na fwytëwch y gwaed; ar y ddaear y tywelltwch ef fel dwfr." "Yn unig bydd sicr na fwytäech y gwaed; canys y gwaed yw yr einioes; ac ni chai fwyta yr einioes ynghyda'r cig." Yn wir, y mae barn drom yn cael ei chyhoeddi ar y neb a droseddo y gorchymyn hwn: "Pob enaid a fwytäo ddim gwaed, torir ymaith yr enaid hwnw o fysg ei bobl." Paham? I ddysgu y bobl yn un peth i ymdeimlo â chysegredigrwydd bywyd; ac hefyd i'w dwyn i gofio yn barhäus, gan mai "y gwaed yw yr einioes," mai bywyd am fywyd ydyw drychfeddwl hanfodol aberth, ac oblegid hyny fod y gwaed yn eiddo Duw. Nid oedd yr Aipht wedi cyr-

haedd mor bell â'r gwirionedd mawr hwn, ac oblegid hyny fe osodir y gocheliad cryfaf i'r bobl rhag llithro i gydymffurfiad â'r cenedloedd, ac felly ollwng dros gôf y wers bwysig a ddysgasid iddynt. Rhag dilyn yr Aiphtiaid, ni chaent "blanu llwyn o neb rhyw goed gerllaw allor yr Arglwydd dy Duw, yr hon a wnai i ti;" er fod Abraham wedi gwneyd hyny yn Beerseba, a "galw yno ar enw yr Arglwydd Dduw tragywyddol." Yr oedd Abraham yn gallu gwneyd hyny heb unrhyw berygl; ond buasai y fath beth yn arwain meibion Israel, newydd ddychwelyd o'r Aipht, at eilunaddoliaeth yn y fan. Yr oedd yr Aipht yn llawn swynyddion, &c.; ond yn Israel, "Na chaffed yr hudoles fyw." Aberthid i gythreuliaid yn yr Aipht, er mwyn dyhuddo eu llid, a throi yn ôl eu hymweliad dinystriol; ond ni chaiff Israel wneyd hyny: "Ac nac aberthant eu haberthau mwy i gythreuliaid, y rhai y buont yn puteinio ar eu hol. Deddf dragywyddol fydd hyn iddynt trwy eu cenedlaethau." Amcan cyffelyb ydoedd i liaws o waharddiadau eraill. "Nac arferwch na swynion na choel ar frudiau. Na thalgrynwch odre eich pen, ac na thòr gyrau dy farf. Ac na wnewch doriadau ar eich cnawd am un marw, ac na roddwch brint nôd arnoch: yr Arglwydd ydwyf fi." "Na wnewch foelni rhwng eich llygaid dros y marw." "Na chaffer ynot a wnelo i'w fab neu i'w ferch fyned trwy y tân; neu a arfero ddewiniaeth, na phlanedydd, na daroganwr, na hudol, na swynwyr swynion, nac a geisio wybodaeth gan gonsuriwr, neu frudiwr, nac a ymofyno â'r meirw." Ac yn gyffredinol, gorchymynir, "Na wnewch yn ol gweithredoedd gwlad yr Aipht, yr hon y trigasoch ynddi." Os oedd Moses yn ymdeimlo i'r fath raddau â gogoniant sefydliadau yr Aipht, nes eu copïo yn neddfau meibion Israel, o ba le y daeth yr holl bryder mawr a'r holl eiddigedd byw a ddengys yn yr ymadroddion uchod a'u cyffelyb rhag i'r bobl gydymffurfio â'r Aiphtiaid? Efelychwr rhyfedd, yn wir!

3. Ond heblaw ei fod yn gadael toraeth pethau yr Aipht yn gwbl ddisylw, ac yn cau o amgylch y pethau a fabwysiada â therfynau ac â gwaharddiadau llymion rhag i'r bobl eu defnyddio fel yr Aiphtiaid, y mae yna bwnc arall pwysicach fyth yn teilyngu ein sylw,—yn y pethau sydd yn gyffredin rhyngddynt, y fath *ysbryd* pur a Dwyfol sydd yn fywyd i sefydliadau Moses o'i gymharu â dim a welwn yn yr Aipht! Y mae yna lawer o bethau yn gyffredin rhaid addef; ond beth yw yr elfen gyffredin sydd rhyngddynt? Beth hefyd ond y ffurf, y corff, y llythyren; mae y sylwedd, y bywyd, yr ystyr, mor wahanol ag ydyw goleuni a thywyllwch, neu fywyd a marwolaeth. O ran hyny y mae llawer o bethau yn gyffredin rhwng dyn â'r creaduriaid direswm. Mae y naill fel y llall wedi ei wneyd o bridd y ddaear; y naill fel y llall yn meddu cnawd a gwaed ac esgyrn; mae ganddynt synwyrau a greddfau a nwydau sydd yn gyffredin rhyngddynt; y maent yn dyfod o'r pridd ac yn dychwelyd iddo. Ai yr un natur sydd iddynt ynte? Nage. Mae *yna* wahaniaeth aruthrol. Er i'r Crëwr mawr ffurfio dyn fel yr anifail o bridd y ddaear, fe "anadlodd yn ei ffroenau *ef* anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw." Fe'i gwnaeth "ar ei lun a'i ddelw ei hun." Mae hyny yn gosod dyn yn llawer uwch na'r holl greaduriaid sydd o'i amgylch. Er fod llawer o honynt yn drech nag ef mewn ystyron anifeilaidd, y mae efe yn teyrnasu yn frenin arnynt oll. Efe ydyw rhaglaw y Brenin mawr ar y ddaear, ac efe i'r holl greadigaeth yw offeiriad y Duw goruchaf. Felly hefyd am wasan-

aeth yr Aipht o'i gymharu â gwasanaeth Duw trwy Moses. Mae y naill o'r ddaear yn ddaearol; mae y llall wedi derbyn ysbryd bywyd o anadl Duw. Er mai anifail ydyw dyn o ran ei gorff, eto fel anifail y mae o ran harddwch a chymesuredd ac urddas yn tra rhagori ar bob crëadur arall, heb son am dano fel crëadur dealltwriaeth a bywyd ysbrydol. Felly y mae crefydd yr Hen Destament yn rhagori yn ddirfawr o ran ei ffurfiau allanol ar grefydd yr Aipht, fel ar bob crefydd arall a fu yn y byd erioed. Ond ei gogoniant wedi y cwbl ydyw ei hysbrydolrwydd, yr argraff sydd arni o ddelw yr Hwn a'i gwnaeth. Sylw da ydyw yr eiddo De Quincy am ragoriaeth annhraethol crefydd y Bibl ar grefyddau y cenedloedd: ganddynt hwy nid oedd crefydd ond ffurf o wasanaeth i fyned trwyddo yn y deml, heb fod dim cysylltiad rhyngddo âg ymarweddiad yr addolwyr; ond mae crefydd y Bibl yn y lle cyntaf yn galw am sancteiddrwydd yr addolwyr, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi;" ac yn ol mesur sancteiddrwydd yr addolwyr, y mae yr addoliad yn gymeradwy. Pe na buasai ond y rhagoriaeth hwn yn nghrefydd y Bibl ar eiddo y cenedloedd, fe fuasai yn ddigon i sefydlu ei dwyfoldeb. Ond mae yna ychwaneg o lawer. Y mae Duw ynddi hi yn Dduw cyfammod i'w bobl, ac y mae yn addaw na fydd iddo eu gadael, ond rywbryd, yn nghyflawnder yr amser, yr anfona ei Fab i'r byd i ddileu pechod, ac i berffeithio eu gwaredigaeth. Ac fel y cyfryw y mae yn gosod i lawr drefniadau ei wasanaeth. Mae y gwasanaeth hwnw, yn lle bod yn gydgyfarfyddiad lliaws o arferion a defodau diystyr, wedi eu dodi ynghyd rywsut, yn gyfundrefn fanol, yn gorff cryno a phrydferth iawn, a rhywbeth mawr—cyfammod ac addewid Duw—yn fywyd ac yn enaid iddo i gyd.

Yr oedd yr enwaediad gan y ddwy grefydd; ond heb fyned o gwbl i'r cwestiwn gan ba un yr ydoedd gyntaf, edrychwch ar ei amcan a'i ystyr yn y naill a'r llall. Yr oedd yr Aiphtiaid, ebe Herodotus, yn enwaedu—καθαριότητος εἵνεκεν,—"er mwyn glendid, gan ddewis yn hytrach fod yn lân na bod yn hardd." Beth oedd y glendid hwn? Pa un ai naturiol ai seremonïol? Pa un ai ordeiniad meddygol, ai rhywbeth arall, ydoedd enwaediad yr Aiphtiaid? Yn ol Herodotus, gallem feddwl fod yr arferiad yn gyffredinol yn y wlad, er fod Josephus yn dyweyd ei bod yn gyfyngedig i'r offeiriaid yn unig. Ond mae yn amlwg fod lliaws mawr o'r hen genedloedd yn enwaedu, ac y mae mor debyg a dim eu bod oll yn gwneyd hyny yn benaf oddiar fath o anghenrheidrwydd naturiol er mwyn iechyd. Y mae Philo yn enwi ffrwythlonrwydd fel y rheswm am yr arferiad. Fe allai ar yr un pryd fod yna ryw syniad niwliog am lendid moesol yn meddwl rhai o honynt ynglŷn â'r ddefod hon. Ond beth ydyw yr enwaediad yn Bibl? "Dyma fy nghyfammod a gedwch rhyngof fi a chwi, a'th hâd ar dy ol di; enwaedir pob gwryw o honoch chwi. A chwi a enwaedwch gnawd eich dienwaediad: a bydd yn arwydd cyfammod rhyngof fi a chwithau." Ac heblaw bod yn *arwydd* y cyfammod rhyngddynt â Duw, y mae yr Apostol (Rhuf. iv. 11) yn dyweyd ei fod hefyd yn *sêl* y cyfammod hwnw. Onid yw hyn yn codi enwaediad i ryw uchder annhraethadwy goruwch dim a allai y cenedloedd feddwl am dano? Y mae enwaediad i feibion Israel yn ateb pob amcan a allai ateb i'r cenedloedd; ond yn ychwanegol at hyny, y mae yn *arwydd* ac yn *sêl* y cyfammod sydd rhyngddynt â Duw.

Yr oedd arogldarth yn gyffredin i'r ddwy grefydd; ac er fod y Persiaid

yn llosgi arogldarth o flaen eu breninoedd, nid oes genym le i feddwl fod yr Aiphtiaid yn ei ddefnyddio ond yn eu gwasanaeth crefyddol. Yr oedd yna reswm naturiol am ddefnyddiad yr arogldarth, fel y sylwa Maimonides, fod Duw wedi ei ordeinio i wrthweithio yr arogl annymunol a achosid trwy ladd cynifer o anifeiliaid yn y deml; ac os oedd gan yr hen Aiphtiaid rywbeth ychwaneg mewn golwg, mae yn debyg nad ydoed ddim amgen na'r dymuniad i foddhâu ffroenau eu duwiau trwy yr arogl peraidd. Ond ai dyma ydyw arogldarth gwasanaeth y Bibl? Darllenwch yr adnodau canlynol:—"Cyfeirier fy ngweddi ger dy fron fel arogldarth, a dyrchafiad fy nwylaw fel yr offrwm prydnawnol." "Ac ymhob lle arogldarth a offrymir i'm henw, ac offrwm pur." "A phan gymerth efe y llyfr, y pedwar anifail a'r pedwar henuriad ar hugain a syrthiasant ger bron yr Oen; a chan bob un o honynt yr oedd telynau, a phïalau aur, yn llawn o arogldarth, y rhai ydyw gweddïau y saint." "Ac angel arall a ddaeth, ac a safodd ger bron yr allor, a thuser aur ganddo: a rhoddwyd iddo arogldarth lawer, fel yr offrymai ef gyda gweddïau yr holl saint ar yr allor aur, yr hon oedd ger bron yr orseddfainc. Ac fe aeth mwg yr arogldarth gyda gweddïau y saint, o law yr angel, i fyny ger bron Duw." "A holl liaws y bobl oedd allan yn gweddïo ar awr yr arogldarthiad." Pan fyddai colofn brydferth yr arogldarth yn esgyn yn arafaidd tua'r nefoedd, ac yn perarogli yr awyrgylch, yr oedd hyny yn awgrym i feddwl yr Israeliad defosiynol fod ei weddïau a'i ddiolchgarwch yntau i fyned i fyny gyda hi, a'u bod yn gymeradwy yn yr arogldarth. Y fath gysgod gwych o'r Person mawr "a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd!" Mae yma ddigon o werth yn yr aberth i wneyd iawn, a digon o haeddiant mewn eiriolaeth i berarogli gweddïau yr holl saint. Pe dilynem y cyfatebion ymhellach gyda golwg ar swydd, a breintiau, a gwisgoedd yr offeiriaid; yr oraclau, a'r Urim a Thummim; yr aberth dyhuddol, ac aberth mawr a rhyfedd dydd y cymmod, &c., &c., fe'n gadewid, wedi y cwbl, yn yr un fan.

"Nid oedd Crist yn araith Athen
Rhyw blisgyn ydoedd tlws a choeg,"

ebe Eben Fardd. Gallem ninnau ddyweyd, Nid oedd Crist yn nghrefydd yr Aipht, a dyna y gwahaniaeth! Os oedd ganddynt offeiriaid, nid oedd ganddynt yr un drychfeddwl am yr Archoffeiriad mawr. Os oedd ganddynt aberthau, ni wyddent ddim am Oen Duw sydd yn tynu ymaith bechodau y byd. Yr oedd dirgelwch mawr duwioldeb am Dduw i ymddangos yn y cnawd, i ddyrchafu dynoliaeth i undeb âg Ef ei hun ac i'w dragywyddol fwynhâu, yn oleuni gogoneddus na chyrhaeddodd pelydr o hono erioed i feddwl yr hen Aiphtiaid. Yr ychydig wir oleuni oedd yn eu meddiant, fe darddodd o Eden a'r cynfyd; nid oedd ganddynt heblaw hyny, mwy na'r cenedloedd eraill, nemawr ddim ond ymbalfaliadau eu rheswm eu hunain, a'r rhai hyny yn aml yn troi allan yn ddychymygion ofer a ffol. Ond os defnyddiodd Moses, trwy orchymyn Duw, rai o lampau yr Aipht i ddal y goleuni yn nghysegr y Goruchaf—y goleuni nad allasai ddyfod ond o'r nef—ai i'r Aipht yr ydym yn rhwymedig am y goleuni? Y mae iaith yn cael ei defnyddio i amcanion cyffredin bywyd, ac hyd yn nôd i bechu yn erbyn Duw; ond nid yw iaith oblegid hyny yn offeryn llai cymhwys i gyflwyno ein haddoliad iddo.

Ac fel y sylwa Fairbairn ac eraill, nid yw yr arwyddluniau Aiphtaidd, o'u cymharu â'r gwirioneddau a ddangosid trwyddynt yn nghrefydd Moses, ddim ond yn llanw yr un lle â'r iaith Roeg, iaith doethineb a meddylgarwch y ddaear ar y pryd, o'i chymharu â'r gwirioneddau Dwyfol a ddadguddiwyd trwyddi yn y Testament Newydd. A llawn mor brydferth ydyw drychfeddwl Mr. Jones yn y gyfrol hon, fod Moses wedi gwneyd â phethau yr Aipht yr hyn y gallem feddwl ddarfod i Bezaleel wneyd gyda'r yspail a ddŷg meibion Israel gyda hwynt oddiyno. Ymhlith y rhai hyny yr oedd llestri aur a llestri arian; gallai fod arwyddluniau eilunaddoliaeth yr Aipht ar rai o honynt, a'u bod wedi eu defnyddio yn ngwasanaeth yr eilunod; ond eto yr oedd y rhai hyn wedi eu hail fwrw a'u hail ffurfio, eu puro a'u glanhâu trwy y tân sanctaidd, yn dysgleirio gydag ysplander prydferth yn nghysegr yr Arglwydd. Felly Moses, os derbyniodd rai o bethau yr Aipht i wasanaeth Duw, fe ofalodd am eu llwyr buro oddiwrth eu holl ffieidd-dra, a'u llanw âg ystyr oedd yn deilwng o sancteiddrwydd yr Anfeidrol.

Clywsom rai cyfeillion, cyn i'r llyfr ddyfod allan, yn dadgan eu pryder a oedd Mr. Jones yn iach yn y ffydd ar bwnc y cyfatebion yma; a rhai wedi ei ddarllen, ac a ddylasent wybod yn well, yn dyweyd fod y llyfr yn dangos mai oddiar yr Aipht y benthyciodd Moses y gyfraith. Ni fu erioed fwy camgymeriad. Y mae y bennod a elwir, "*The two Rituals and the Rationale*," wedi ei hysgrifenu ar hyn, ac y mae yn dra rhagorol; fe allai mai dyma yr oreu yn y llyfr i gyd. Yr ydym wedi myned yn rhy faith eisoes i ddyfynu llawer. Gwasanaethed yr ychydig a ganlyn:—

"Yr hyn sydd yn hynodi Cristionogaeth yn ei holl agweddion yw, nid ei bod yn gommedd cydnabod dim a allasai fod o'i blaen, neu yn ymwrthod â phob ffurfiau eraill y tu allan iddi; ond ei bod yn defnyddio y pethau hyn i'w gwasanaeth ei hun, ac y gallai wneyd hyny heb beryglu ei hanrhydedd a'i diogelwch. Nid oes dim ammheuaeth fod dynion drwg yn yr hen amseroedd, fel Balaam, yn cael eu cynnysgaethu â doniau goruwchnaturiol, neu yn proffesu hyny. Y mae hyn yn cael ei ddangos yn yr Hen Destament a'r Newydd; ac eto nid yw hyn yn un rheswm paham na ddylai gwyrthiau fod yn rhan arbenig o'r Dadguddiad. Nid ffurfiau o'r goruwchnaturiol yn unig ydoedd gwyrthiau Crist; nid ei wyrthiau oedd ei beth penaf Ef, ond ei feddwl; a'r olwg uchaf a ellir gymeryd ar y cyntaf yw edrych arnynt fel cynifer o amlygiadau o'r olaf. Yr oedd ymofyn â'r meirw yn beth oedd yn cael ei arfer yn helaeth ymhlith cenedloedd y Dwyrain: pa un a oedd rhywbeth yn hyny ai peidio, nid ydym yn awr yn aros i ymofyn, ond nid all fod yr un ammheuaeth fod y byd ar y pryd yn credu ei fod yn wirionedd; ac eto nid yw hyn yn taflu dim sarhâd ar godiad Lazarus o'r bedd. Yr oedd doethion y byd paganaidd yn arfer traddodi eu gwersi mewn dammegion ymhell cyn y cyfnod Cristionogol; dyma, yn wir, ydoedd *alvoι* y Groegiaid, a *fabulæ* y Rhufeiniaid: ond nid yw yn un rheswm yn erbyn i Grist lefaru mewn dammegion fod rhai o'r athrawon paganaidd wedi gwneyd hyny o'i flaen. Yn y grefydd Gristionogol nid oes ond lle go isel i arwyddluniau. Nid y ffurf, ond y drychfeddwl—nid y llythyren, ond yr ysbryd—ydyw y peth mawr gyda Christionogaeth. O ran y cyntaf, ni fu erioed yn orfanwl. Y mae yn fynych wedi ymostwng i fenthyca ei ffurfiau oddiwrth bethau eraill, gan ystyried diffygion a gwendidau dyn; ond y mae wedi bod yn ofalus i'r eithaf pa ddefnydd i'w wneyd o honynt—pa ddyledswyddau a pha egwyddorion ydoedd trwyddynt i'w dysgu i'r byd. Y defnydd arbenig yma o ffurfiau sydd mewn gwirionedd yn profi ei hannibyniaeth, yn gystal a'i rhagoriaeth ar bob cyfundrefn ddynol. Gogoniant Cristionogaeth ydyw ei bod yn gallu cyfaddasu ei hun i amgylchiadau cyfnewidiol y byd, a throi i'w mantais ei hun beth bynag sydd yn gorwedd yn ei ffordd. Y mae natur, gyda'i ffurfiau hawddgar a thyner, yn fynych yn dyfod i gyffyrddiad â phethau aflan a niweidiol; ond yn lle ymwrthod â hwynt, y mae yn eu tynu iddi ei hun, a thrwy nerth mewnol, sydd yn drech na'r holl ddylanwadau niweidiol, y mae yn eu troi i'w sylwedd, ac yn eu gwneyd yn feith-

riniaeth i'w bywyd dirgelaidd ei hunan. Y fath allu nerthol sydd gan Gristionogaeth, yr hon sydd yn troi pobpeth a gyffyrdda yn rhan o honi ei hun! Felly yr oedd gan wasanaeth Moses nerth gwreiddiol ac annibynol o'i eiddo ei hun—bywyd ac ystyr tufewnol, nad allai unrhyw ddylanwad lleol neu amgylchiadau dygwyddiadol ymyraeth â hwynt. Yr oedd ganddo ysbryd o'i eiddo ei hun; nid oedd cymaint o angenrheidrwydd gan hyny i ymochel gyda gofal ac ofn rhag pob cyffyrddiad allanol â gwasanaeth yr Aipht; a'r ymddarostyngiad ymddangosiadol hwn i ffurfiau oedd yn bodoli ar y pryd sydd yn profi, mewn gwirionedd, mor anfesurol uwchlaw iddynt ydoedd." * * *

"Y mae y rhan fwyaf o'n gwrthddadleuon diweddar yn erbyn crefydd Moses, yn cyfeirio at yr hyn a ystyrir yn ddiffyg ac anmherffeithrwydd ynddi mewn materion o chwaeth. Y mae anffyddwyr yn fynych wedi bod yn ymgais am wneyd rhywbeth o hyn; ac wrth wrando arnynt gallai dyn feddwl—'Y fath resyn na fuasai gan Moses hanner dwsin o resymwyr trwyadl yn ei wersyll, fel y gallasai, wrth osod i lawr ei sefydliad, gael gwasanaeth eu chwaeth bur a dyrchafedig hwynt. Felly, ni fuasem yn cael y ddysgyblaeth anmherffaith, y deddfau gwaedlyd, y seremoniau amrosgo, a'r golygiadau isel ac anthropomorphaidd am y Bôd Dwyfol, sydd ger ein bron.' Y mae y syniad yma mor ynfyd ymron ag eiddo yr efrydydd yn Germany, yr hwn oedd yn cweryla â'r haul o herwydd rhyw frychau hyllion a welsai ar ei wyneb, er mai prin yr oedd hyny yn deg, pan ydoedd wedi goleuo y byd am chwe' mil o flynyddoedd.

"Os yw yr egwyddor yma yn iawn, gallem ddadleu yn erbyn gwirioneddau uchaf ein crefydd, ac am yr un rheswm. Gallem achwyn yn erbyn ymgnawdoliad Crist, o herwydd ei gysylltiad â genedigaeth isel a thlawd; neu yn erbyn ffaith fawr yr Iawn, o herwydd ei chysylltiad â chroeshoeliad paganaidd neu Rufeinig. Ond nid yw Cristionogaeth yn gwybod dim am y fath deimlad isel ac afiachus; a'r hyn sydd deilwng o sylw ydyw fod yr holl gyhuddiadau hyn yn erbyn gwasanaeth Moses yn myned heibio yn ddisylw i'r ffaith bwysig fod ffordd Duw o fyned ymlaen, yn y byd moesol a naturiol, bob amser yn cael ei chyfaddasu i anghenrheidiau yr ystâd y mae dyn ynddi ar y pryd. Y mae y gwrthddadleuon hyn o natur y rhai hyny nad ydynt yn profi dim am eu bod yn profi gormod. Pe gwthid hwynt ymlaen i'w terfynau eithaf, hwy a wrthdarawent yn erbyn pob peth dynol a Dwyfol. Nid oes yma ddim sydd yn hollol berffaith. Gallai duwinydd ddyweyd wrthym fod llywodraeth Duw ar y byd yn dra anaddas a'i hystyried gyda golwg ar hiliogaeth o fodau dibechod; ond, gyda golwg ar y sefyllfa y mae dyn ynddi, y mae yn ei hystyried yn berffaith. Gallai naturiaethwr ganfod llawer o ddiffyg yn y cyfansoddiad dynol a'i ystyried gyda golwg ar y blaned Iau; ond gyda golwg ar ein planed ni, y mae yn ystyried nad oes dim i'w ddyweyd yn ei erbyn. Nid oes yr un darn o beirianwaith—agerbeiriant, er esiampl—yn hollol berffaith; ond pan allwn deithio gyda hi yn ol hanner can' milltir yr awr, ni ddylem gwyno. Nid oedd pabell lian o fawr ddefnydd i'r swyddog Seisonig yn ystod llymder gauaf y Crimea, ond buasai yn gwneyd y tro yn ardderchog i *sheik* Bedowaidd. Gallai un o wneuthurwyr Swydd Lancaster chwerthin am ben y cogail Aiphtaidd; ond y mae yn gwneyd y tro i'r Ffelach, ac yn annhraethol well hefyd nag y gwnai ei *spinning-jenny* ryfeddol ef. Gellir, yn briodol iawn, alw sefydliad Moses yn ddiffygiol ac anmherffaith gyda golwg ar Gristionogion y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ond nis gallasai dim fod yn fwy cyfaddas i ddiffygion ac anghenrheidiau yr hen Hebreaid. Yr oedd trefn seremoniol o addoliad yn llawer cyfaddasach iddynt hwy nag un fwy dyrchafedig. Dan drefn a fuasai yn fwy pur a syml buasent mewn perygl o redeg i'r gyfriniaeth wylltaf. Y mae yn sicr, o leiaf, fod Duw yn deall eu sefyllfa, ac y mae Efe wedi gwneyd darpariaeth arbenig ar ei chyfer; a pha mor anghoeth ac anmherffaith bynag y gallo ymddangos i rai rhesymwyr Seisonig, y rhai a siaradant fel pe buasai ychydig o welliant diweddar yn gwneyd y peth gymaint yn rhagorach, yr ydym yn teimlo yn sicr na fuasai pethau yn ddim gwell er unrhyw *dinceriaeth* o'r eiddynt hwy."—249, 255.

Wedi yr holl hyfrydwch a gawsom wrth ddarllen y gyfrol hon, prin y mae yn werth i ni son am unrhyw ddiffygion a allai fod ynddi. Ar yr un pryd, buasai yn dda genym weled ei chynllun yn fwy cryno, a'i harddull ychydig yn fwy llym. Trwy radd o esgeulusdra yn y pethau hyn, y mae ein cyfaill wedi gosod ei waith yn agored i rai o genedl afrywiog yr adolygwyr Seisonig i'w gymeryd i fyny, a'i wneyd yn destun

*slashing article*, "blasus fwyd o'r fath a garant." Hawdd iawn ydyw rhedeg unrhyw lyfr da i lawr; ond y mae yn dipyn ychwaneg o drafferth myned i fewn i'w ystyr, ac ymdeimlo â'i werth.

> "Errors like straw upon the surface flow;
> He that would look for pearls must dive below."

Aed Mr. Jones ymlaen, ac amcaned wneyd rhywbeth a gyfoethoga lênyddiaeth ei genedl, ac a gadwo ei enw mewn coffadwriaeth parchedig wedi iddo ef gael ei gasglu at ei dadau.

---

# SIOR Y PEDWERYDD.

Yn y deyrnas hon, arferir edrych ar y teulu breninol, yn cynnwys holl aelodau Tŷ anrhydeddus Brunswick, fel meddiant cyhoeddus; a theimla pob dosbarth a gradd o'r bobl ddyddordeb arbenig ymhob peth a berthyn i'w hanes hwynt. A chyda golwg ar y rhai hyny o honynt a fuont yn gwisgo coron ac yn dal teyrnwialen Prydain Fawr, yr ydym rywfodd yn teimlo, wrth olrhain eu hanes, ac adolygu helyntion eu bywyd, fel pe byddai a wnelem ni â hwynt mewn modd neillduol; oblegid eglur yw, eu bod yn cyfansoddi un o'r ffynnonellau ardderchog hyny o ba rai y tardd allan anrhydedd a gogoniant yr ymherodraeth fawr hon. Rhywbeth cenedlaethol, gan hyny, yw y dyddordeb a deimlir yn hanes teulu breninol Lloegr.

O holl aelodau y teulu urddasol hwn, y mwyaf anfad ac ysgeler o ran ei nodweddiad personol, yn ddiau, ydoedd y penadur yr hwn y mae ei enw ar ben uchaf yr ysgrif hon. Braidd ymhob peth, yr oedd ei gymeriad yn wahanol i eiddo ei dad, Sior y Trydydd. Eto er ei fod yn bechadur mwy penrhydd ac ofnadwy na'r cyffredin o ddynion, perchenogai rai cynneddfau godidog. Yr oedd ganddo ddeall bywiog, ynghyda dawn ffraethlym, ac yr oedd hefyd o dymher naturiol dda, hynaws, a charedig. Pe dilynasid cwrs gwahanol gyda ei addysgiaeth foreuol,—ped ymroddesid yn fwy egnïol i ddiwyllio ei gynneddfau moesol, a'u dwyn dan ddylanwad gwir grefydd, gallasai ddyfod yn gymeriad tra gwahanol,—gallasai fod mewn gwirionedd yn dywysog ymhlith tywysogion, ac yn wrthddrych edmygiad a pharch pob graddau o ddynion yn y wladwriaeth. Ond gan iddi ddygwydd yn wahanol, cawn iddo yn lled fore ddechreu dilyn gyrfa o afradlondeb a gwastraff, gan ychwanegu pechod at bechod, fel yr elai rhagddo, nes yr ymddangosai o'r diwedd fel pe buasai holl deimladrwydd moesol ei enaid wedi ei golli yn llwyr, ac yntau wedi ei adael a'i roddi i fyny i gyflawni yn ddiattaliad holl ewyllysiau mwyaf anfad a llygredig y galon ddynol.

Nid annyddorol i ni, pa fodd bynag, yw hanes bywyd ac amserau Sior IV. Yr oedd ei deyrnasiad yn un o bwysigrwydd anarferol i'r deyrnas

hon, tra yr oedd ei oes, a'i chymeryd ar ei hŷd, yn doreithiog o'r canlyniadau a'r helyntion mwyaf hynod ac ardderchog. Yn ei ddyddiau ef, daeth holl gysylltiadau perthynasol y wladwriaeth, yn gartrefol a thramor, i wisgo gwedd newydd a llawer ëangach; meithrinid a chefnogid y celfyddydau a'r gwyddorion gyda zêl ac ymroddiad digyffelyb yn nghofion hanesion y genedl; a gallwn gyfeirio hefyd at yr amser yma fel y cyfnod ymha un yr ymddadblygai doniau, ac y dysgleiriai athrylith dynion anghyffredin fel Pitt a Fox, Burke a Sheridan, ynghyd ag amryw eraill.

Cymerodd priodas Sior III. gyda y Dywysoges Charlotte o Mecklenburg Strelitz le ar yr 8fed dydd o Fedi, 1761; ac ar y 12fed o Awst, 1762, y ganwyd Sior IV. Yn ddioed, anfonwyd negesydd at y brenin i'w hysbysu o'r amgylchiad; yntau, i arddangos maint ei orfoledd ar dderbyniad y newydd, a anrhegodd y dygiedydd â £500,—swm go lew, feddyliem ni, am ddyweyd dau neu dri o eiriau. Ymledanai y sôn am enedigaeth y Tywysog yn gyflym i bob parth, a pharai lawenydd mawr i'r holl genedl. Cyflwynid i'r brenin a'r frenines anerchion cydlawenychol oddiwrth y Ddau Dŷ o Senedd, Dinas Llundain, y Prifysgolion, &c., oblegid teimlai pawb eu bod yn canfod yn yr amgylchiad ernes o barhâd a diogelwch i'r rhagorfreintiau ardderchog a fwynhäi pob dosbarth o'r deiliaid odditan lywodraeth y penaduriaid a hanent o dŷ a thylwyth urddasol Brunswick.

Ar y pummed dydd wedi ei enedigaeth, crëwyd ei Uchelder Breninol, yn ol y drefn arferol, yn Dywysog Cymru. Fe gofir, mai yn nyddiau Iorwerth I. y crëwyd y teitl hwn i ddechre yn nheulu breninol Lloegr. Er mwyn ennill serchiadau y Cymry, y rhai y llwyddasai efe yn ddiweddar i'w darostwng, symudodd y penadur hwnw ei Frenines Eleanor i Gastell Caernarfon, yn yr hwn le, ar y 25ain o Ebrill, 1284, y ganwyd iddi fab. Gwnaeth yr hengall Iorwerth y defnydd goreu o'r achlysur, oblegid galwodd ynghyd y barwniaid Cymreig, a gofynodd a fyddent hwy yn foddlawn i ymddarostwng dan lywyddiaeth tywysog brodorol, yr hwn nis gallai siarad un gair o Saesoneg. Arwyddasant hwythau eu cydsyniad, a thyngasant lŵ o ffyddlondeb i'r cyfryw dywysog, pwy bynag fyddai. Ar hyn, dygodd y brenin ei fab bychan ger bron, a chyflwynodd ef i sylw y barwniaid fel eu tywysog, yr hyn yn ddïau a barai iddynt oll syndod aruthrol. Ond ni waeth tewi, ofer oedd gwingo yn erbyn y symbylau mwyach; rhaid oedd ymddarostwng o hyn allan. Drwy freinlen ddilynol, enwyd y baban breninol yn Edward, neu Iorwerth, Tywysog Cymru. Byth wedi hyn, peth arferol yw i fab hynaf brenin neu frenines Lloegr wisgo y teitl hwn. Sior IV. oedd yr unfed tywysog ar hugain a fwynhäodd yr uchelfraint dan sylw.

Yn rhy fore braidd, dechreuwyd ennyn y teimlad o hunanbwysigrwydd yn mynwes y tywysog ieuanc; oblegid ar y dydd cyntaf o Fawrth, 1765, cyn ei fod eto yn llawn *dair blwydd oed*, dacw lywyddion y Gymdeithas Gymreigyddol yn cyflwyno iddo anerchiad cyhoeddus, i'r dyben o sicrhâu nawdd ei Uchelder Breninol i sefydliad a osodasid i fyny er addysgu, dilladu, a chynnal nifer o blant tlodion perthynol i'r Dywysogaeth. Gyda pharch i'w rieni breninol, rhaid crybwyll iddynt gymeryd cryn lawer o drafferth i ddysgu y tywysog ieuanc pa fodd i ymarweddu a siarad ar yr achlysur. Ar ddiwedd yr ymdrafodaeth ddyeithr a phwysig, cyflwynodd ei Uchelder Breninol, fel y gallwn goelio, gyda y dymuniadau goreu, ac edrychiad o'r diniweidrwydd puraf, y swm o £100 i law y

Trysorydd, fel anrheg at gynnaliaeth y Sefydliad. Gweddus yw crybwyll yma, mai hwn oedd yr anerchiad cyhoeddus *cyntaf* a gyflwynwyd i sylw Tywysog Cymru.

Yr oedd tymmor addysgiaeth ei Uchelder Breninol yn awr yn ymyl dechreu. Gŵyr pawb fod hwn yn un o'r cyfnodau pwysicaf yn mywyd dyn. Yn ol fel y gweithredir tuag ato y pryd hwn—yn ol y cyfeiriad a roddir i'w feddwl, ac yn ol y manteision a deflir yn ei ffordd i adnabod dynion a phethau, *yn awr* y dibyna, i raddau pell, ei lwyddiant yn mlynyddoedd dyfodol ei fywyd. Honwyd gyda phriodoldeb nad oes neb yn gymhwys i eistedd ar orsedd gwlad heb feddu adnabyddiaeth llawn o'r byd, yr hyn nis cyrhaeddir drwy drigo mewn congl. Trwy ymgyfathrachu yn gymdeithasol â'r dynion mwyaf doeth, deallgar, a goleuedig, o bob graddau a sefyllfaoedd, y mae tywysogion i gyrhaedd y diwylliant dealltwriaethol hwnw sydd i fod iddynt yn gyfoeth a gogoniant penaf. Dyma yn ddïau yr ysgol er ffurfio nodweddiad tywysogion. Yma y dysgant effeithiolaf pa fodd i lenwi eu swydd gyda mwyaf o foddhâd iddynt eu hunain, a budd i eraill. Yr oriau hyny, yn y rhai y bydd efe allan o gyrhaedd llyswyr pendefigaidd, a mwyneidd-dra gwasaidd îsweinyddion, y rhai a adroddant ffalsder er mwyn elw—dyma yr oriau gwerthfawrocaf o lawer yn mywyd tywysog ieuanc. Allan o awyrgylch palasau breninol y dysg efe oreu beth yw ysbryd, tueddiadau, ynghyd ag opiniynau noeth y bobl, dros y rhai, ryw ddydd hapus i ddyfod, y dysgwylia efe lywodraethu.

Er fod yn perthyn i'r Senedd benderfynu pa grefydd a broffesir gan y teulu Breninol, ni fedd hawl i ymyraeth âg addysg ein tywysogion. Gadewir hyn yn hollol at farn a doethineb y rhieni eu hunain. O'n rhan ni, teg a rhesymol yw iddynt gael mwynhâu y cyfryw hawlfraint yn ddiwrthwynebiad. Gall pawb fel eu gilydd *fethu* yn nygiad ymlaen addysgiaeth eu hepil. Gall breninoedd, fel eraill, yn eu gorawydd i ddwyn eu plant i fyny yn deilwng o urddas eu sefyllfa, benderfynu ar gwrs o addysg a threfn o ddysgyblaeth a brofa yn ddinystriol i'w llwyddiant, eu defnyddioldeb, a'u poblogrwydd yn ol llaw. Meddylir yn gyffredin fod y drefn o addysg a ddilynid gyda Sior IV., mewn rhyw bethau, yn hanfodol ddiffygiol. I'r ffynnonell hon yr olrheinia amryw ysgrifenwyr y rhan fwyaf o'r drygau a wnaethant eu hunain mor amlwg yn ei ddyddiau ef, a hyny er niwed mawr i'r wlad yn gyffredinol. Dylid cofio, pa fodd bynag, fod dynion o nwydau cryfach a mwy llygredig na chyffredin yn debyg o ddilyn ymlaen ar yrfa o halogedigaeth adgas, gan nad beth fydd y manteision boreuol a fwynhëir ganddynt, oni ragflaenir hwynt gan ras Duw. Oni ddygwyd Nero i fyny wrth draed Seneca, un o'r rhai puraf ei foesau o holl ddysgawdwyr anrhydeddus y cynoesoedd? Eto, gan nad faint oedd gwerth addysgiadau yr hen athronydd, y mae yn ffaith na waradwyddwyd dynoliaeth erioed gan anghenfil mwy ofnadwy na'r dysgybl hwnw o'i eiddo. Yn gyffelyb hefyd, fe dderbyniodd Iago I. ei addysg dan yr hyglod Buchanan, yr hwn a feddai bob cymhwysder i hyfforddi tywysog ieuanc yn holl drefniadau llywodraeth wladol; eto dengys hanesiaeth nad oedd Iago, fel penadur, ond ynfytyn perffaith. Gellid enwi penaduriaid eraill i'r un dyben; ond i ba beth y lliosogir enghreifftiau? Onid ydym beunydd yn canfod rhai, yn wyneb y manteision rhagoraf, yn troi allan i fod yn warth i'w rhyw, ac yn bla-

i'w teuluoedd, tra y canfyddir eraill, er gwaethaf pob anfanteision a drwg-esiamplau, yn ymddyrchafu i anrhydedd a defnyddioldeb helaeth?

Nid teg fyddai hòni fod Sior III. na'i Frenines yn ddiofal ynghylch rhoddi i'w plant addysgiaeth o'r fath oreu. Yr oedd yn amcan neillduol gan ei Fawrhydi y Brenin i ddysgu iddynt bob math o wybodaeth fuddiol, yn ychwanegol at gyrhaeddiadau clasurol, yn y rhai yr ystyrid eu bod, er yn ieuanc iawn, yn tra rhagori. Gorchymynid yn gaeth fod i Dywysog Cymru, a'i frodyr hynaf, dreulio wyth awr bob dydd i efrydu ieithoedd, ynghyda gwahanol wyddorion; ac nid oedd hyn ond rhan o drefniant a ofynai y diwydrwydd mwyaf diball. Ni ddarostyngid yr aelodau ieuengaf o'r teulu i fod mor gaeth â hyn gyda'u hefrydiau, eto, i'r cyfan o honynt yr oedd y trefniadau yn lled gaethiwus. Gyda golwg ar gadwraeth iechyd, ystyriai y Brenin mai y prif anhebgorion oeddynt ymarferiad, awyr iachus, ac ymborth ysgafn. Nid yfai efe ei hun ond ychydig win, a dilynid yr un drefn hefyd gyda'r plant oll.

Adrodda Mr. Arthur Young yr amgylchiad canlynol, yr hyn a gymerodd le pan ydoedd Tywysog Cymru oddeutu deuddeg mlwydd oed, a pha un a ellir ddwyn ymlaen fel prawf fod yr ystyriaeth o *ddefnyddioldeb* yn gorwedd yn agos at galon ei Fawrhydi Sior III. Cloddiwyd darn o dir yn un o erddi palas Kew gan Dywysog Cymru, a'i frawd Duc York, y rhai a'i hauasant gyda gwenith. Iddynt hwy hefyd yr ymddiriedid y gorchwyl o wylio y cnwd, a'i chwynu; a chanddynt hwy yn unig y cafodd ei fedi, a'i gynauafu, ei ddyrnu, a'i nithio. Yn y modd hwn yr amcenid dysgu iddynt, drwy brofiad, amgyffred rhywbeth ynghylch y llafur a'r gofal arbenig sydd yn perthyn i alwedigaeth trinwyr y ddaear. Ac nid dyma y cwbl; yr oedd yn rhaid i'r Tywysogion hefyd falu yr ŷd, ac edrych ar y drefn o'i beillio a'i wneyd yn fara. Hawdd coelio iddynt ei fwyta gydag awch rhagorol. Dywedir i'r Brenin a'r Frenines hefyd gydgyfranogi o gynnyrch llafur y Tywysogion ieuainc, a hyny er boddhâd nid ychydig i'r holl bleidiau.

O'r dechreu, arddangosid gofal neillduol yn newisiad personau i arolygu addysg Tywysog Cymru. Hysbysir ni fod y rhai a benodid yn athrawon iddo o bryd i bryd, yn ddynion dysgedig, anrhydeddus, a chydwybodol. Gwir eu bod yn Eglwyswyr ac yn Doryaid; ond nis gall y ffaith hon roddi cyfrif am hanfodiad y drygau hyny yn mywyd ei Uchelder Breninol, at ba rai y gwnaethpwyd math o gyfeiriad yn barod. Beth gan hyny oedd y diffyg mawr gyda golwg ar y trefniant o addysg a weinyddid yn ei amgylchiad ef? Meddylia rhai fod y drefn o ddysgyblaeth a ddilynid yn rhy erwin a chaethiwus. Yn ngeiriau ei fywgraffydd, Robert Huish, yr oedd y ddysgyblaeth hono "yn fanwl tu hwnt i bob esiampl a gweddusrwydd." Beth bynag oedd yn annedwydd yn y trefniad, deilliai y cyfan oddiwrth awdurdod y Brenin ei hun, penderfyniad yr hwn, mewn lliaws o amgylchiadau, a ymgodai hyd at ystyfnigrwydd. Mynych y ceid achos i gwyno fod yr hen frenin Sior III. yn gildynus, pryd y tybiai ef ei fod yn hynod ddoeth. Camgymeriad mawr o'i eiddo oedd gorfodi etifedd y goron i droi mewn cylch mor gyfyng, a'i rwymo mor gaeth gyda'i efrydiau. Edrychid hefyd na byddai i Dywysog Cymru gadw ond y cwmni mwyaf ysplenydd. Trwy gyfrwng gwrthdroedig, gan hyny, yr oedd yn rhaid i'w Uchelder Breninol edrych ar y byd oddiallan a'i breswylwyr. Gallasai ei addysg fod yn llwyr gyfaddas-

i'w wneyd yn ysgolaig, ac yn foneddwr gorphenedig; ond nid oedd yn ddigonol i'w wneyd yn dywysog doeth, nac yn frenin o'r nodweddiad mwyaf poblogaidd ac urddasol. Telid rhy fach o sylw yn y trefniant breninol o addysgiaeth i egwyddorion bywyd ymarferol, ac i ddiwylliant y cynneddfau moesol. Ar gyfer hyn, yr ydym i gofio fod y cylch ymha un y troai y tywysog ieuanc, er yn gyfyng, eto yn urddasol a phwysig; ac yma yr oédd efe yn feistr ar bawb a phobpeth. O'i flaen ymagorai y rhagolygiadau dysgleiriaf. Efe oedd etifedd y goron. Ymgrymai pawb iddo. Dysgid ef er yn fore i ymdeimlo âg uwchafiaeth ei sefyllfa. Nid oedd y neb a gynnygiai y sarhâd lleiaf i'w urddas personol i ddysgwyl dianc yn ddigerydd. Gwelai o'i amgylch, ac yn agos iawn ato, gyflawnder o foddion difyrwch a hunanfoddhâd. Yn debyg i dywysogion yn gyffredin, ei ysgol ydoedd palas ei henafiaid; ei athraw, ffyniant diderfyn; a'i gydymaith gwastadol, y meddylddrych am fwynhâd ac anrhydedd dyfodol. Yr oedd yr attaliadau a deflid yn ei ffordd i ddilyn ei dueddiadau cymdeithasol i ddarfod cyn hir. Teimlai fod ei sefyllfa yn rhy gaethiwus, a dyheuai am ryddid. Gan hyny, yr ydoedd rhyddhâd ei Uchelder Breninol odditan arolygiaeth ei athrawon yn gyffelyb i ollyngiad carcharor o gaethiwed maith ac anhyfryd. Wedi rhyddhâu y march oddiwrth olwyn y felin, neu yr eryr oddiwrth y ddaear, ar ol bod yn rhwym am dymmor maith gan ryw allu adgas ac annyoddefol chwi a gewch weled fel y prancia y naill, ac y cyflyma y llall yn syth ar ei hedfa tua'r nef. Fel hyn yn gymhwys y dygwyddai yn amgylchiad Tywysog Cymru. Attaliesid ef yn hir rhag mwynhâu y pleserau hyny sydd mor naturiol i ieuenctyd; yna, pan deimlodd fod ei draed yn rhydd, ymsuddodd ar unwaith i ganol mwynderau y byd mawr oddiallan, fel y prysura ymdeithydd lluddedig at y ffrwd furmurog er dofi grym angerddol ei syched. Yn ei amgylchiad ef, dangoswyd pa fath ddifrod a ellid wneyd ar gymeriad nad oedd yn wreiddiol ddiffygiol, braidd, o un gynneddf a ystyrir yn fawr neu yn dda yn y natur ddynol. Er nad oedd yn naturiol o dymher sarug neu ddialgar, eto, megys y sylwa Arglwydd Brougham yn ei "*Historical Sketches of Statesmen,*" "daethai i fod yn hunangar i raddau mor anghyffredin fel yr ymddangosai ei fod yn gweithredu oddiar argyhoeddiad ymarferol fod holl ddynolryw wedi eu geni yn unig er ei fwyn ef; yn ganlynol, deuai yn anfoddog iawn yn wyneb y dygwyddiad lleiaf a groesai ei ddymuniadau; ïe, cymerai arno ystyried ei hunan yn cael ei niweidio, ac fel hyn yn dyfod i feddu hawl i foddio ei ddialgarwch, mor fynych ag y gwnelai rhywun, hyd yn nôd oddiar ystyriaeth o'i ddyledswydd, neu ofal am ei nodweddiad, weithredu mewn ffordd a barai siomiant i'w ddysgwyliadau, neu a gyffröai dawelwch ei feddwl."

Yr oedd galluoedd naturiol Tywysog Cymru ymhell uwchlaw bod yn gyffredin. Yr oedd yn gyflym a hoenus, a pherchenogai gôf oedd yn neillduol gryf, ynghyda ffraethineb parod. Meddai archwaeth a chlust o'r fath oreu at gerddoriaeth, ac yr oedd ei graffder i ganfod ceinion celfyddyd yn nodedig. Mawr hefyd fel yr ymhyfrydai yn yr hyn oll oedd ddigrifol a chwerthinus; a rhoddai fynych brawf ei fod yn perchenogi y galluoedd hyny a wnânt un yn ddynwaredwr perffaith. Sonia haneswyr hefyd am harddwch neillduol ei berson, ynghyd a'i adnabyddiaeth lawn o reolau moesgarwch. Ond beth well fydd dyn er meddu y cynneddfau a'r galluoedd naturiol goreu, heb ddiwylliant meddyliol o'r iawn ryw?

Nis gallant gynnyrchu dim ffrwyth, mwy na had wedi ei fwrw ar graig gallestr. Y mae diwylliant yn golygu llafur, dysgyblaeth, hunanlywodraeth, ynghyd âg ymostyngiad i eraill, yr hyn nas ceir yn gyffredin yn y rhai a enir mewn palasau breninoedd. Nid yw y rhai a ystyriant eu hunain yn rhydd oddiwrth lafur, ac a deimlant fod yn perthyn iddynt y cyfryw urddas ag a'u ceidw braidd yn llwyr rhag y damweiniau hyny a ddeuant i ran marwolion yn gyffredin, yn debyg o droi allan yn gynlluniau nodedig o rinwedd a daioni. Peth cyffredin yw i fodau o'r desgrifiad hwn dreulio eu horiau hamddenol i ymlenwi o fyfyrdodau annheilwng, neu ynte i borthi nwydau a thrachwantau mwyaf llygredig eu natur syrthiedig. Gan mai prin y gallant gredu eu bod *hwy* yn ddarostyngedig i dynghed gyffredin dynolryw, prin hefyd y cydnabyddant fod arnynt rwymau i roddi ufudd-dod i ddeddfau y Brenin Mawr, fel eu hisraddolion o'u deutu.

Nis gall neb hòni ddarfod i Dywysog Cymru wneyd y defnydd goreu o'r manteision godidog a deflid yn ei ffordd yn nghyfnod bore ei einioes. Yr oedd yn gerddor gwych, fel yr awgrymwyd yn barod, ac yn dra hyfedr mewn ieithoedd diweddar; eithr er hyny dyn o feddwl tra anniwylliedig ydoedd. Nid oedd ei wybodaeth mewn hanesiaeth ond cyfyng a thlawd; nis meddai braidd un drychfeddwl am elfenau gwreiddiol unrhyw wyddor, moesol neu naturiol; ac am lywod-ddysg, nid oedd ganddo ond y cyfryw dybiau anmherffaith ag y gallai unrhyw ddyn eu pigo i fyny mewn ymddyddanion cyffredin, neu wrth edrych dros golofnau y newyddiaduron.

Ac fel yr oedd ei feddwl yn rhy anniwylliedig, yr oedd ei nodweddiad hefyd yn rhy ysgeler. Ni fu tywysog erioed yn fwy amddifad o elfenau rhinwedd cymdeithasol nag efe. Yr oedd yn ddiffygiol mewn parch i hawliau rhai eraill, yn llwyr ddiystyr o wirionedd, ac yn ansefydlog fel dwfr. "Fod y Tywysog yn ddyn o feddwl penderfynol," ebe Arglwydd Brougham, "nis gallai ei edmygwyr ffyddlonaf byth gasglu digon o wroldeb i hòni. Yr oedd yn grëadur cyffröadau, ac yn cael ei danio gan deimladau oeddynt yn naturiol dda a charedig, eithr a ddaethent yn hollol hunangar drwy oddefiad diderfyn. Y rhai a'i hadwaenent yn dda a arferent ddyweyd mai cymeriad benywaidd ydoedd yr eiddo ef, pan sylwent mor ychydig o hunanfeddiant oedd ganddo, ac mor barod y rhoddai ffordd i ddylanwad syniadau iselwael." Gyda golwg ar ei amddifadrwydd o barch i wirionedd, sylwa ei Arglwyddiaeth ymhellach, "nad ellir braidd ddysgwyl i'r rhai a dynant anadl bywyd mewn llys breninol, ac a dreuliant eu holl ddyddiau mewn awyrgylch o gelwyddau, feddu unrhyw barch neillduol i wirionedd. Profant y fath anghywirdeb yn mhawb o'u deutu, fel yr ymddengys iddynt fod twyll, neu attaliad y gwirionedd, braidd yn hollol anghenrheidiol er hunanamddiffyniad; ac yn ganlynol, os na bydd eu hymadrodd wedi ei drefnu yn unol âg athrawiaeth y Cardinal Ffrengig a honai fod iaith wedi ei rhoddi i ddyn er dirgelu ei feddyliau yn well, ymddengys o leiaf yr ystyriant yn yr hyn a ddywedir ganddynt, nid ei debygolrwydd i'r ffaith dan sylw, ond yn hytrach ei îswasanaethgarwch i'r dyben mewn golwg."

Buasai yn rhyfedd gweled un wedi ei osod yn y fath sefyllfa, tra yr oedd ei arferion a'i dueddiadau yn gyfryw ag a ddesgrifiwyd, yn troi allan i fod yn enwog mewn rhinwedd a daioni. Dechreuodd ei fywyd cyhoeddus

dan yr anfantais, o fod wedi treulio tymmor ei ieuenctyd, megys y crybwyllwyd yn barod, mewn sefyllfa o neillduaeth a chaethiwed anhyfryd. Peth anffodus hefyd, yn ei amgylchiad ef ydoedd, fod ganddo càn lleied o serch at ei dad, a chàn lleied o barch i'w deimladau a'i opiniynau. Nid rhyfedd, yn wyneb yr amgylchiadau, ydoedd iddi ddygwydd fel hyn. Oddeutu deuddeng mis cyn i'r Tywysog ddyfod i'w oed, derbyniodd wahoddiad oddiwrth nifer o'r pendefigion anrhydeddusaf yn y deyrnas i fyned ar daith drwy y wlad, pryd y rhoddent eu palasau mewn sefyllfa o barodrwydd i roddi iddo groesaw teilwng. Derbyniodd y Tywysog ieuanc y gwahoddiad, fel y gallesid dysgwyl, gydag awyddfryd gwresog, a gwnaed rhyw gymaint o barotöadau gogyfer â'i daith; ond pan aed i ofyn cydsyniad y Brenin, gwrthododd ei roddi yn y modd mwyaf pendant. Camgymeriad pwysig ydoedd hyn yn ddïau. Dro arall, gwrthodai y Brenin roddi ei gydsyniad i gais cyffelyb oblegid fod yn mwriad ei Fawrhydi fyned ar wibdaith bleserus ei hunan cyn hir, a'i ewyllys ydoedd i Dywysog Cymru droi allan gydag ef. Yn mis Awst, 1781, gan hyny, cymerodd ei Fawrhydi bleserdaith i'r Nore—efe a'r Tywysog, a phob un yn ei long ei hun. Hwyliasant gryn lawer o filldiroedd, ymwelsant âg amryw longau rhyfel ac amddiffynfäoedd, daethant i'r Nore ac i Chatham, a chwblhäwyd yr holl daith, a'r holl adolygu, mewn deuddydd o amser. Credid ar y pryd nad oedd y cyfan ond dyfais o eiddo y Brenin i leddfu siomedigaeth y Tywysog, am na chaniatëid iddo ymweled â phalasau prif bendefigion y wlad. Nis gallai y fath bleserdaith â hono lai na bod yn destun digrifwch cyffredinol. Cyfansoddodd rhywun bennill ysmala er côf am yr achlysur, ac wele ef:—

"The King and Prince went to the Nore,
They saw the ships and main;
The Prince and King they went on shore,
And then came back again."

Wedi ei ryddhâu oddiwrth hualau awdurdod ei rïeni a'i ddysgawdwyr, dechreuodd ei Uchelder Breninol ymroddi ar unwaith i ddilyn gyrfa o bleser a difyrwch cnawdol. Mynai dreiddio tu hwnt i'r lleni bellach, ymgydnabyddu â holl ddirgelion anwiredd, a gweled beth a allai y byd ei wneyd yn y ffordd o ddofi gwanc ei enaid am hapusrwydd. Trôdd allan i fod yn gefnogydd gwresog ac yn gynnalydd haelfrydig i bob achosion cerddorol; yr *Opera*, y *Pantheon*, ynghyda chyngherddau o bob math. Ei brif le o ddifyrwch yn y blynyddoedd hyny oedd y *Rotunda* yn "*Ranelagh Gardens*." Ymgyrchai i'r fan hon braidd bob nos, lle y mwynhäi y cwmni mwyaf urddasol, ac y gwelai ei hun yn wrthddrych sylw ac edmygiad pawb oll. Daeth i fod yn enwog mewn ffordd arall hefyd cyn hir. Mynych y diraddiai ei hun drwy gymeryd y rhan flaenaf yn yr ymrysonau a gymerent le yn y gerddi; ac y mae yn ffaith fod ganddo wrth law yn wastad nifer o ymladdwyr penderfynol i'w waredu pan fyddai yn debyg o golli y dydd. Buasai cyn hyn dan addysg yn y gelfyddyd o hunanddiffyniad; ac, yn cael ei yru ymlaen gan wroldeb nodweddiadol ei deulu, efe, y rhan fynychaf fyddai yr ymosodwr, yn enwedig os benyw fyddai gwrthddrych yr ymrysonfa. Mewn twyllwisg, pa fodd bynag, yr arferai ei Uchelder Breninol ymddangos ar achlysuron o'r fath hyn. Rhaid ei fod yn dueddol iawn i'r math gogoneddus yma

o ddifyrwch, oblegid ar ol hyn cawn ei fod yn gyfaill ac yn noddydd cadarn i ymladdwyr enwocaf y dydd.

Truenus yn wir ydoedd gweled dyn ieuanc o sefyllfa, a manteision, a thalentau Tywysog Cymru, yn gwneyd camrau mor freision ar y ffordd lydan a arweiniai i golledigaeth. Yr oedd nwydau ei galon yn awr wedi eu cynhyrfu, a'i draed eisoes wedi croesi trothwy teml anlladrwydd. Un o wrthddrychau cyntaf ei serch oedd yr anffodus Harriet Vernon, yr hon, cyn bod ei Uchelder Breninol yn ddeunaw oed, a wasanaethai fel "*maid of honour*" yn y teulu breninol. Ond nid hir y gallodd gadw ei lle yno. Geneth ieuanc nodedig o brydweddol ydoedd; ac os oedd gwawrddydd ei bywyd yn hynod ddysglaer ac ysplenydd, yr oedd ei fachludiad yn hynod dywyll a digysur. Cyn hir, dechreuodd carwriaeth ddirgelaidd rhyngddi â'r Tywysog ieuanc. Gan mor gaethiwus oedd sefyllfa ei Uchelder Breninol, yr oedd yn rhyfedd iddynt allu cydgyfarfod o gwbl; ond lle byddo ewyllys, fe geir ffordd. Cyflwynent eu teimladau i'w gilydd, ar y cyntaf, drwy arwyddion, o ffenestr i ffenestr. Wedi hyny, cydgyfarfuant ychydig droion wrth oleuni y lloer. Daeth hyn yn hysbys i fam y Tywysog, a thröwyd yr hawddgaraf Harriet Vernon o'i lle, ond nid cyn iddi aberthu i'w Uchelder Breninol yr hyn oll oedd anwyl a phwysig iddi ar y ddaear. O'i du ef, dilynwyd hyn gan esgeulusdra ac oerfelgarwch. Nis gallasai ddygwydd yn wahanol. Iddi hi yr oedd y dyrnod yn un ofnadwy. Hawddach dychymygu na desgrifio ing ei theimlad a chyfyngder ei henaid. Tröai ef yn ebrwydd i chwilio am wrthddrychau newyddion i foddio ei drachwantau llygredig. Peth difrifol yw dechre myned ar y goriwaered. Gan nad oedd cydwybod Tywysog Cymru eto wedi ei serio i'r graddau eithaf, nid ydys yn ammheu y teimlodd efe rai dwysbigiadau i'r byw wrth adgofio y difrod a wnaeth ar un o'r rhosynau pereiddiaf a mwyaf swynol a ymagorodd erioed. Oni feddyliai efe weithiau am ddagrau yr eneth brydweddol? Oni ddisgynai yr ocheneidiau o'i chalon doredig hi yn awr ac eilwaith ar ei glust, gan ei lenwi â dychryn yn nghanol ei loddestau nosol, megys adsain rhyw ysbryd cyhuddiadol yn mynegu am y diniweidrwydd tyner a ddinystriasai?

Bai mawr, ysgeler, Tywysog Cymru y pryd yma, ac yn y blynyddoedd dyfodol, ydoedd tueddiad anllywodraethus at hoewder, anlladrwydd, ynghyd a phob math o ddifyrwch cnawdol. Prin y rhaid ymdrafferthu i ddesgrifio pa fath gwmni a gadwai. Bu yn anffodus dros ben yn newisiad ei gyfeillion penaf. Ymddangosai mai prif amcan y rhan fwyaf o'i gymdeithion oedd, ei dderchafu yn ei olwg ei hun, a'i gefnogi i fyned rhagddo yn ei yrfa wallgof o wastraff ac afradlonedd. Nid oedd un weithred rhy ddirmygus neu iselwael fel nas cyflawnent hi er mwyn ennill ei ffafr; ac nid oedd rhinwedd na diniweidrwydd nad amcanent hwy eu dinystrio, er mwyn gwasanaethu i'w drachwantau llygredig. Yr oeddynt yn ddynion o ddysg a thalentau godidog; ar yr un pryd, yr oedd eu moesau yn llygredig, a'u hamgylchiadau arianol yn ddyryslyd a drwg. Yn sicr nis gallasai Tywysog Cymru ddewis gwaeth cymdeithion na'r rhai hyn. Arferent edrych i fyny ato am nodded a chynnorthwy yn eu cyfyngderau oll. Yr oedd yr adeg gerllaw pan yr ydoedd sefydliad neillduol i gael ei ffurfio i'r Tywysog ar wahân oddiwrth ei rieni, yr hwn sefydliad oedd i fod, o ran mawredd ac ardderchogrwydd, yn gymesur â'i

urddas fel etifedd y goron; gan hyny, edrychent ar benodiad cyllid a fyddai yn ddigonol i gynnal i fyny anrhydedd ei sefyllfa, a thros ba un y byddai gan ei Uchelder Breninol berffaith reolaeth, fel yr amgylchiad a'u galluogai hwy i ymgyfoethogi; a gwyddent na fyddai eu llwyddiant yn hyn ond yn cyfateb i'w ffyddlondeb yn gwasanaethu i nwydau llywodraethol ei galon ef. O ganlyniad, yr oedd yn amcan ganddynt ei faglu mewn rhwydau nas gallai ymryddhâu o honynt heb eu cynnorthwy hwynt; rhaid oedd iddo fel hyn ymddiried iddynt ei holl gyfrinach a'i ddirgelion; ac yn y modd hwn daethant i feddu awdurdod drosto a ddefnyddid ganddynt mor fynych ag y delai cyfleusdra er budd a dyrchafiad iddynt eu hunain.

Dichon na bu neb, er dyddiau y brenin Solomon, yn fwy dan ddylanwad yr ystlen dêg na Sior, Tywysog Cymru. Syrthiai mewn hoffder â phob menyw brydweddol a ddygwyddai ddyfod yn ei ffordd. Yr oedd tlysni benywaidd yn beth nad allasai wrthsefyll ei swynion. A chan fod natur wedi ei gynnysgaethu â pherson nodedig o luniaidd, a chelfyddyd wedi ei berffeithio mewn harddwch a gweddusder allanol, nid rhyfedd iddo, mewn byd fel hwn, ennill serch "cariadau lawer." Nid ychydig oedd nifer y boneddigesau anrhydeddus a ystyrient fod sicrhâu serchiadau y fath Dywysog yn ogoniant mwy nag a ddaethai erioed i'w rhan yn flaenorol. Dygai arno ei hun yn y ffordd hon euogrwydd ofnadwy. Ei edmygwyr a'i galwent "*the first gentleman in Europe;*" ond am *wir* foneddigeiddrwydd, yr oedd efe mor amddifad o'r peth âg odid gymeriad y gallwn feddwl am dano. Gyda phob goruchafiaeth newydd a ennillid ganddo fel anllad-ddyn, ymddangosai fod ei drachwant yn cael ei awchlymu, a'i deimlad o hunanbwysigrwydd yn cael ei fwyhâu. Fel y deuai y naill wrthddrych o anwyldeb ar ol y llall i'w feddiant, y cynnyddai ansefydlogrwydd naturiol ei feddwl. Yn debyg i'r wenynen, crwydrai o flodeuyn i flodeuyn, ac ar ol sugno y mêl, ni ddychwelai o bosibl byth mwyach at y blodeuyn hwnw. Ond ni chafodd ef mwy na dynion eraill o'r un dosbarth ddianc yn ddigerydd. "Mewn llawer o enghreifftiau," ebe ei fywgraffydd, "byddai raid iddo ymdrechu yn erbyn drwgdyb neu eiddigedd y gŵr, neu anrhydedd archolledig y brawd, neu, fe allai, yr hyn oedd yn fwy peryglus fyth, ac yn fwy agored i arwain i ddynoethiad, sef cenfigen a châs benywod eraill a ymgeisient am ei serchiadau, a'r rhai, o ganlyniad, nid allent oddef goruchafiaeth unrhyw gydymgeisyddes." Mewn ambell enghraifft hefyd, arferid y cyfryw ddichellion dieflig i demtio rhinwedd ac i gwympo diniweidrwydd âg a grëa ynom, wrth ddarllen yr hanes, deimlad o syndod ac arswyd annhraethol. Ymhell cyn iddo fwynhâu yr anrhydedd o gael eistedd ar deyrngadair Prydain, yr ydoedd wedi dyhysbyddu holl adnoddau bywyd o ddifyrwch cnawdol; ac er fod iddo ganlynwyr, nid oedd iddo gyfeillion gwirioneddol; er fod iddo edmygwyr proffesedig, nid oedd iddo barchedigaeth arosol yn un man o'r bron.

Wedi y cyfan, yr oedd Tywysog Cymru yn wrthddrych o dosturi. Yr oedd yn perchenogi rhai cynneddfau godidog. *Gallasai* ddyfod yn dywysog rhinweddol a phoblogaidd. Yn naturiol, perthynai iddo gryn lawer o dynerwch a thiriondeb caruaidd. Yr oedd ei hynawsedd a'i garedigrwydd, ar rai achlysuron, yn nodedig. Yr oedd eithafion drwg a da megys yn cydgyfarfod ynddo. O ran hyny, y mae gan y dynion

gwaethaf yn y byd hwn ryw "*redeeming qualities*" neu gilydd. Nis gall un dyn ddyfod yn berffaith ddiafol yr ochr hon i angeu. Gresyn, pa fodd bynag, yn yr amgylchiad dan sylw, fod y da mor fychan ar gyfer y drwg, a'r rhinwedd mor ddistadl o'i gyferbynu â'r annuwioldeb ysgeler a phenderfynol.

Daeth Tywysog Cymru i'w oed ar y 12fed o Awst, 1783. Yr oedd Tŷ y Cyffredin, yn unol â chais ei Fawrhydi y Brenin, newydd benderfynu ar fod y swm o £50,000 y flwyddyn gael eu caniatâu i'w Uchelder Breninol, ynghyda £60,000 at ffurfio iddo sefydliad teilwng i ddechreu. Cwynai rhai personau o ddylanwad yn y wladwriaeth fod hyn o gyllid blynyddol yn llawer rhy fychan. Dadleuid fod eraill pan yn Dywysogion Cymru wedi bod yn derbyn eu £100,000 yn flynyddol. Rhagwelai amryw y byddai i'w Uchelder Breninol gael ei arwain mewn blynyddoedd dyfodol i ddyryswch ac anghyfleusderau dirfawr o herwydd bychander y swm a ganiatëid iddo yn flynyddol. Yn eu plith, yr oedd yr athrylithgar Charles James Fox, yr hwn, ar y pryd, a lanwai y swydd o Ysgrifenydd Tramor i'r llywodraeth. Ystyriai ef nad ellid dysgwyl i'w Uchelder Breninol ragori mewn cynnildeb ar y rhai a aethant o'i flaen. Gwyddai am hoewder ei ysbryd ynghydag hudoliaethau ei sefyllfa. Tybiai na byddai bychander ei gyllid yn un fantais i'r wlad yn y pen draw, gan fod yn dra thebyg yr arweinid ef drwy hyny i ddyryswch o ba un y byddai galwad ar y genedl i'w waredu. Buasai yn dda gan Mr. Fox pe penderfynesid rhoddi iddo amgenach cyllid ac ardderchocach sefydliad; ond meddyliasai y Brenin yn wahanol, a'i ddyledswydd yntau o ganlyniad oedd ymostwng. Ond nid oedd yr *hanner can' mil* yn y flwyddyn ond swm bychan at gynnal i fyny rwysg gwastraffus, afradlawn, Tywysog Cymru. Cyn hir, ymsuddodd i ganol dyledion anferth, drwy yr hyn y gwaradwyddid ef yn ddirfawr, ac y poenid, nid yn unig y teulu breninol, ond hefyd yr holl genedl, pan ddaeth yr amgylchiadau i gael eu gwneuthur yn hysbys.

Ar yr 11eg o Dachwedd, 1783, arweiniwyd ei Uchelder Breninol gyda rhwysg arbenig i Dŷ yr Arglwyddi; ac yn ddiattreg ar ol hyn, gweinyddwyd iddo y llwon arferol, a chymerodd yntau ei eisteddle yn y Cynghor anrhydeddusaf a berthynai i'r genedl. Y pryd yma nid oedd "*excesses*" y Tywysog wedi tynu nemawr sylw. Edrychid heibio i'w golliadau gyda thynerwch, dysgwylid i amser a phrofiad wella yr hyn oedd feïus ynddo, meddylid y dylesid caniatâu cryn lawer ar gyfer hoewder ieuenctyd un ag yr oedd ei nwydau yn gryfach na chyffredin; ac fel hyn, rhwng pob peth, arweinid pobl i goleddu dysgwyliadau dedwydd a bywiog gyda golwg ar ei lwyddiant dyfodol. Y tro cyntaf y siaradodd efe yn y Senedd, dywedir iddo draddodi ei syniadau mewn modd gweddaidd, argyhoeddiadol, ac hyd yn nôd hyawdl. Llefarai yn groew o blaid rhyddfreiniau y bobl, ac arddadganai ei gydymdeimlad â'r "egwyddorion cyfansoddiadol" hyny, ar ba rai yr ymddibyna hawddfyd y genedl. "*I exist,*" eb efe, "*by the love, the friendship, and the benevolence of the people, and their cause I will never forsake as long as I live.*" Dïau nas gallasai y cyfryw arddadganiad cyhoeddus o'i deimlad y pryd yma lai na thueddu i'w wneyd yn anwyl a phoblogaidd gyda y lliaws.

Gwelwyd yn fuan mai gyda y blaid Ryddfrydig yn y wladwriaeth yr ochrai Tywysog Cymru. Edrychai ei dad ar y Whigiaid fel ei elynion;

a chan nad oedd y mab yn meddu ar y teimladau goreu at y tad, daeth gelynion y naill yn gyfeillion i'r llall. Yn y modd hwn, llwyddodd y Whigiaid i fwynhâu ffafr Tywysog Cymru, a daethant yn ebrwydd i fod yn gynghreiriaid naturiol iddo. Yn yr ymdrech am awdurdod, yr oedd y fath gynnorthwywr o ddirfawr werth yn eu golwg, a derbyniwyd llawer o honynt i fwynhâd o ffafrau a chymdeithas bersonol ei Uchelder Breninol. Ymhlith y rhai a anrhydeddwyd yn y modd hwn, yr ydoedd Fox, Sheridan, a Burke, y rhai a ffurfient driwyriaeth *(triumvirate)* o dalent ac athrylith nad ellir dysgwyl y cyffelyb o bosibl byth ond hyny. Yn ngosodiad i fyny ei sefydliad, Mr. Fox oedd prif gynghorydd Tywysog Cymru, at yr hwn y teimlai efe yr anwyldeb gwresocaf. Ymffurfiodd rhyngddynt gyfeillgarwch a brofodd yn gadarn ac o hir barhâd. Yr oedd Fox yn un o'r gwladweinyddion galluocaf a welodd y deyrnas hon erioed. Fel dadleuydd yr oedd yn benigamp. Efe oedd Demosthenes yr oes hono. Ar gyfrif ei hyawdledd, ei resymiadau, a'i dymher garuaidd a chyfeillgar, ystyriai Tywysog Cymru ef fel cynllun i'w efelychu, ac anrhydeddai ef fel cyfaill dynolryw a chadarn amddiffynydd rhyddid gwladwriaethol.

Yr oedd Mr. Fox yn awr yn y rhan oreu o'i fywyd, er nad yn nghanolddydd ei ogoniant. Cyrhaeddasai safle o'r fath anrhydeddusaf yn barod. Yr oedd llygaid nid yn unig ei genedl ei hun, ond hefyd holl lysoedd Ewrop, yn gyfeiriedig ato, fel yr un cymhwysaf o bawb drwy holl diriogaethau Prydain i fod yn ben yn y llywodraeth. Ond y fath oedd annibyniaeth ei ysbryd, a'r gwroldeb ëon gyda pha un y gwrthsafai efe ormesiadau y goron, ac uwchlaw pob peth, y fath oedd ei ymlyniad didwyll, anghyfnewidiol, wrth ryddfreiniau y bobl, fel yr oedd yn annichonadwy iddo fod yn dderbyniol yn y llys. Yr oedd Sior III. wedi ei addysgu yn ngwersi caethaf Uchel-Doryaeth; o ganlyniad yr oedd yn wrthwynebus i'w egwyddorion, tra yr arswydai ëondra llewaidd ei ysbryd; ac am y rhai a fwynhäent gymeradwyaeth y llys, drachefn, edrychai y rhai hyn gyda dirmyg ar ei uniondeb politicaidd, tra y cilient yn ol rhagddo o herwydd grym ei alluoedd rhagorach. Yn ei fywyd seneddol, nid oedd dim a alwai am gerydd; ac fel swyddog yn y wladwriaeth, profasai nad oedd yn ddyn y gellid dylanwadu arno gan hudoliaethau swydd, na chan hoffder at awdurdod, i aros yn ei le, pan ddywedai anrhydedd a chydwybod mai ei ddyledswydd oedd rhoddi yr unrhyw i fyny. Nid ymddengys, gan hyny, fod dim yn mywyd cyhoeddus y dyn galluog hwn ag a dueddai i'w wneuthur yn anghymhwys i gael y lle blaenaf yn mharchedigaeth etifedd y goron. Eto er ei holl dalentau, yr oedd ymarweddiad Mr. Fox ymhell o fod mor bur a dilwgr ag y buasai yn ddymunol. Yr oedd yn hoff o ddifyrwch, ac wedi arfer bod yn wastraffus o'i febyd ymron. Rhoddasai ei dad iddo, tra eto yn fachgen, gyflawnder o adnoddau arianol; a chan arferion drwg, afradus, yr amseroedd, tynwyd ef fel hyn yn fore i ganol trobwll o anghymedroldeb pendefigaidd. Yr oedd efe yn euog o weithredoedd anghall, ac o ffoleddau pechadurus, o'r fath a gyflawnir yn rhy fynych gan ddynion ieuainc o'i sefyllfa a'i oludoedd ef. Ac yn y pethau hyn, yr ydoedd Tywysog Cymru, ysywaeth, yn llawer rhy chwannog i gydgyfranogi. Ar y cyfrif yma, beïid ei Uchelder Breninol o herwydd ei ymlyniad wrth Mr. Fox, canys credid nad allai dim da ddeillio oddiwrth eu cyfathrach â'u gilydd. Dygwyd yr olaf i waradwydd droiau

o herwydd ei dueddiadau afradus; ond mewn blynyddoedd dyfodol, anghofid y cyfan, gan mor wasanaethgar y profai efe i'r wladwriaeth, a chan mor fawrion a lliosog oeddynt ei egnïadau seneddol o blaid achos rhyddid a chyfiawnder dros yr holl fyd. Y mae yn ffaith a deilynga sylw hefyd, ddarfod i garedigrwydd a thynerwch gwreiddiol ei natur ddyfod allan o ganol y prawfiadau mwyaf tanllyd, heb dderbyn ond yr ychydig lleiaf o niwed. Hysbysir i ni ei fod yn niwedd ei oes mor rydd oddiwrth hunanoldeb, a thwyll, a chalongaledrwydd, â phe buasai wedi byw a marw mewn ffermdŷ yn nghanol y wlad; neu yn hytrach, yr ydoedd fel pe buasai heb orfyw blynyddoedd tymmor ei ddiniweidrwydd.

Ymhlith cyfeillion boreuol Tywysog Cymru, yr ydym hefyd i restru y bythglodfawr Edmund Burke, yr hwn oedd un o'r dynion hynotaf a ymddangosodd mewn unrhyw gyfnod o hanes y byd. Ystyriai Mr. Fox ei hun fel ei ddysgybl, ac addefai iddo ddysgu mwy oddiwrtho ef yn unig nag oddiwrth bawb eraill ynghyd Er cryfed ei alluoedd, ac er mor llwyddiannus ydoedd fel dadleuwr, ni feddai y dysgybl, pa fodd bynag, mo ysbryd athronyddol, gorddwfn, ei gynathraw. Ar gyfrif ei ddysgeidiaeth ëang, a'i ddychymyg gorffrwythlawn hefyd, yr ydoedd Edmund Burke ymhell o flaen pawb o'i gydoeswyr. Macaulay a'i cydnebydd fel y dyn mwyaf yn yr oes hono. Perchenogai ddeall oedd yn neillduol gyfaddas i ymchwilio i mewn i bob gwirionedd,—deall ydoedd gryfach, tuhwnt i bob dadl, nag eiddo unrhyw wladweinydd arall a gyfododd yn y ddeunawfed ganrif. Drwy garedigrwydd Ardalydd Rockingham y dygwyd ef i sylw cyhoeddus gyntaf, ac wrth y blaid Whigaidd yr ymlynai, nid yn unig oddiar yr ystyriaeth o ddiolchgarwch, ond hefyd oddiar argyhoeddiad trylwyr a goleuedig. Ar gyfrif grym ac ysplenydd-der ei ddoniau areithyddol, ynghyd a'i gyrhaeddiadau llênyddol o bob rhyw, yr ydoedd yn barod wedi ymddyrchafu i safle anrhydeddus iawn yn y byd llênyddol a pholiticaidd. Am ei ddyrchafiad ef, nid oedd neb dynol yn awdwr iddo ond efe ei hun, ac nid oedd raid iddo ar un achlysur wrido o achos y moddion a'i dygasant i sylw y byd. Wedi ei eni yn y meddiant o athrylith gref a chyrhaeddfawr, pa un a ddiwyllid ganddo gyda y diwydrwydd mwyaf dyfal, cododd Burke o radd i radd, trwy rym ei dalentau ei hun, i enwogrwydd ac anfarwoldeb. Yr oedd gwaith Tywysog Cymru yn noddi ac yn talu sylw cyfeillgar i un a ymgodasai fel hyn o ddinodedd, yn arddangos craffder canmoladwy; yr ydoedd yn wir yn anrhydedd i'w ben ac i'w galon. Ac nid allasai un niwed ddeillio i'w Uchelder Breninol drwy fod ar delerau cyfeillgar gydag un o nodweddiad Edmund Burke, canys y mae yn ffaith ei fod o ran ei foesau yn hynod bur a dichlynaidd. Mor bell o fod yn euog o feithrin neu gefnogi tueddiadau penrhydd a llygredig y Tywysog a'i hanrhydeddai ef fel un o'i gyfeillion, y mae yn wybyddus a phrofedig iddo mewn llawer o amgylchiadau ymgeisio i'w attal a'i ddarbwyllo rhag dilyn gyrfa yr hon rywbryd oedd yn sicr o derfynu mewn gwarth a dinystr. Yr oedd hefyd yn fwy aiddgar i'w waredu, am y gwelai ei fod yn cael ei arwain rhagddo gan esiampl ei gymdeithion afradus, y rhai ni ofalent pa mor niweidiol fyddai hyny i'w nodweddiad fel tywysog ac fel dyn. Gan y rhestrid Mr. Burke ymysg cyfeillion ei Uchelder Breninol, anmhosibl oedd iddo ddianc, pa fodd bynag, rhag bod i ryw raddau yn gyfranog o'r gwaradwydd cyffredinol a deflid y pryd yma ar gymdeithion y Tywysog, canys credid eu bod,

gan mwyaf, yn ymdebygu iddo, ac yn barod bob amser i weini i'w drachwantau annheilyngaf, yn unig er mwyn budd a derchafiad iddynt eu hunain.

Un arall o gyfeillion personol Tywysog Cymru, oedd Richard Brinsley Sheridan, y bardd a'r ffraethddyn, y *dramatist* a'r areithiwr hyawdl, ac hefyd y meddwyn, yr hapchwareuydd, a'r oferddyn halogedig. Y fath eithafion o fawredd a gwaelder, o ogoniant a gwarth, oedd wedi cydgyfarfod yn y dyn rhyfeddol hwn! Gallai un wylo gan ofid am na buasai un o'i alluoedd a'i gyrhaeddiadau ef yn cael ei lywodraethu gan egwyddorion uniondeb a sancteiddrwydd. Yr oedd talentau Sheridan fel areithiwr o'r radd uchaf. Llawer teyrnged o foliant a dalwyd iddynt o bryd i bryd, ac yr oedd y cyfan, yn ol tystiolaeth y rhai cymhwysaf i farnu, yn hollol gyfiawn. Mynegir i ni fod rhai o'i areithiau yn odidog tu hwnt i ddesgrifiad. Yr oedd ei wybodaeth yn ëang, ei chwaeth yn goethedig, ei ddarfelydd yn fywiog a grymus, ei amgyffredion yn llawn tynerwch ac arucheledd, a'i feistrolaeth ar iaith a ffugyrau ymadrodd yn ddiderfyn. Ar un adeg o'i fywyd, ymddangosai fod ei hyawdledd ef yn trechu mewn effeithiolrwydd bob peth y gwyddid am dano y pryd hwnw, neu y clywsid sôn am dano erioed. Ac eto, dyn anfad, cellweirus ryfeddol, oedd Richard Sheridan. Fel moesddysgawdwr yr oedd yn hollol ddiffygiol mewn egwyddor megys yr oedd yn benrhydd mewn ymarweddiad. Dybenodd ei yrfa mewn tlodi, afiechyd, a thruenusrwydd,—trengodd mewn unigedd a gwarth,—nid yn wir, fel merthyr dros ryddid, megys yr honwyd gan rai, ond yn hytrach fel merthyr i'w benrhyddid a'i afradlonedd ei hun. Beth bynag o ddaioni a allasai ddeillio i'r deall a'r darfelydd drwy ymgyfeillachu â dyn fel Sheridan, mae yn eglur nas gallasai hyny lai na phrofi yn niweidiol i foesoldeb Tywysog Cymru, yr hwn a ddylasai fod mewn modd neillduol yn enwog yn y peth hwn, gan y dysgwyliai rywbryd, cyn hir, gael eistedd yn frenin ar y wlad fwyaf Cristionogol dan y nef.

Adroddir rhai hanesion hynod ddigrifol am Dywysog Cymru, mewn cysylltiad â'i gyfaill cellweirus Sheridan; ac wele yn canlyn un o honynt. Temtiwyd y ddau ar un achlysur i fwynhâu eu hunain yn lled lew ar draul un o'r enw Hanger, yr hwn oedd îsgadfridog yn yr "*Hessian Service.*" Ar ddydd genedigaeth ei Fawrhydi y Brenin yn 1782, y gwnaeth y gwron hwn ei ymddangosiad gyntaf yn y llŷs. Yr oedd ei wisgiad mor hynod, a'r olwg arno mor dra-derchafedig a difrifol, fel y daeth i fod yn wrthddrych sylw cyffredinol, eithr annedwydd iddo ei hun. Pan gododd i fyny i ddawnsio gydag un o'r boneddigesau, dododd am ei ben, er mwyn ymddangos yn ei holl ogoniant, het o anferth faintioli, yr hon oedd wedi ei haddurno â phlu mawrion heb eu bath; ac yr oedd y ffugiwr a dorai mor ddychrynllyd o chwerthinus, fel yr anghofiodd y Brenin ei ddifrifoldeb arferol, ac y gwisgai wynebau sobr ei Weinidogion wên bleserus; ac am Dywysog Cymru, chwarddai ef allan dros bob man. Yr oedd ei gymhares urddasol hefyd mewn *fix* anghyffredin, a phrin y gallodd orphen y "*minuet,*" heb ymuno yn yr arddangosiad cyffredinol o deimlad chwerthinus. Ond nid oedd y gwaethaf drosodd eto. Yr oedd *Major* Hanger i fod ar ei draed unwaith yn rhagor, i ddawnsio yr hyn a elwir *country-dance;* a'r pryd yma yr oedd ei ysgogiadau mor hollol ddigrif, ac mor debyg i eiddo *mountebank* cyffredin, fel y taflwyd y cyfan

i ddyryswch, ac yr aeth yn chwerthin mawr drwy yr holl le, y fath ag na welsid erioed o'r blaen mewn *drawing-room* breninol. Drannoeth, er mwyn myned â'r cellwair ychydig ymhellach, cynnygiodd Tywysog Cymru, yn nghlyw lliaws o'i gyfeillion, ar fod i lythyr gael ei ysgrifenu at Hanger, i ddiolch iddo, yn enw cwmni y *drawing-room,* am y boddhâd a'r pleser a roddasai efe iddynt. Ysgrifenwyd y llythyr gan y Tywysog ei hun, ac fe'i hadysgrifenwyd drachefn gan Sheridan, yn gymaint ag nad oedd y *Major* yn adnabod ei lawysgrif ef. Cyfeirid yn y llythyr at ei berson unionsyth, ei ysgogiadau a'i ymarweddiad milwraidd ardderchog, a'r modd digrifol, pleserus, ac afluniaidd yr aethai efe drwy ei waith y nos o'r blaen. Aeth Hanger agos i nwyd wallgofus ar dderbyniad yr epistol hwn. Ymhen diwrnod neu ddau, gwahoddid ef i giniawa gyda'i Uchelder Breninol, yr hwn, càn gynted ag y daeth cyfleusdra, a ddechreuodd sôn am y *ball* a gymerasai le yn ddiweddar, gan wenieithio i Hanger oblegid ei lwyddiant, a'r effeithiau boddhäol a gynnyrchai ei ymddangosiad ar galonau y boneddigesau oll. Yntau ar hyn, mewn dull llidiog, a dynodd o'i logell y llythyr a dderbyniasai, gan hòni ei fod yn hollol sarhäus iddo—mai unig amcan yr ysgrifenydd oedd ei waradwyddo ef, ac y mynai efe ymddïal arno os ceid ef allan. Gofynai y Tywysog am weled y llythyr. Tybiai fod y llawysgrifen yn adnabyddus iddo, ac ar ol ailedrych drosto yn ddifrifol iawn, dywedai ei fod yn sicr mai y cellweirddyn drygionus hwnw, Sheridan, a'i hysgrifenodd. Tystiai Mr. Fox hefyd nad oedd un ammheuaeth i fod ynghylch y peth. "Yna," ebe y *Major* digofus, "mynaf foddlonrwydd ganddo yn ddioedi." Ysgrifenodd yn y fan a'r lle lythyr at Sheridan, yn gofyn oddiwrtho esgusawd cyhoeddus a chyflawn, neu ynte fod ymladd dau fywyd i gymeryd lle heb golli amser. Anfonwyd un Cadben Morris gyda'r genadwri at Sheridan, ac aeth yr Is-gadfridog i'w letty i ddysgwyl am yr ateb. Gyda'i fod wedi myned, yr oedd yr holl le yn siglo gan chwerthiniadau y cwmni. Daethai y gwron yn hollol i'r pwynt a chwennychid gan ei Uchelder Breninol. Ymhen oddeutu awr, dyma Sheridan yn dyfod i mewn yn nghwmni y Cadben Morris, ac ymsuddai ar unwaith i ganol ysbryd yr anturiaeth. Penderfynwyd fod Sheridan i dderbyn yr herfeiddiad, ac yr oedd y pleidiau i wneyd eu hymddangosiad ar doriad y dydd drannoeth yn Battersea Fields, er mwyn rhoddi terfyn bythol ar yr anghydfod. Dygid ateb Mr. Sheridan i'r Is-gadfridog tramgwyddus gan neb amgen na'r enwog Charles James Fox, a threfnid fod Sheridan i chwilio am y cymhorth meddygol anghenrheidiol. Bore drannoeth, yr oeddynt yn y lle apwyntiedig i'r foment. Yr oedd y Cadben Morris gyda Hanger, a Mr. Fox gyda Sheridan; a phwy a eisteddai mewn cerbyd gerllaw, wedi dyeithro ei hun fel meddyg, ond Tywysog Cymru. Wel, dacw y ddwyblaid ddig ar y maes, pob un yn anelu goreu y gall, a'r arwydd i danio yn cael ei roddi. Ond nid oes neb wedi cwympo eto. Dacw y *seconds* yn llwytho y llawddrylliau drachefn, y tanio yn cymeryd lle, ond dim lladd y tro hwn chwaith. Rhegai Hanger am nad allai *hitio* ei elyn. "Y trydydd tro yn gyffredin y bydd y tân yn cymeryd effaith," ebe y Cadben drygionus, ac yn llwytho y llawddryll unwaith yn rhagor. Yr oedd trafferth fawr ar y Tywysog yr holl amser yma i beidio chwerthin allan, gan mor bryderus yr ymddangosai Hanger, a chan mor ddigrifol oeddynt ei ysgogiadau. Rhoddwyd yr arwydd i danio y dryd-

edd waith—mae yr effaith yn derfynol—dacw Sheridan yn syrthio i lawr yn wysg ei gefn fel yn farw. Y pryd yma gwaeddai y Cadben Morris allan, "Yn enw y Mawredd, dacw ef wedi ei ladd! brysiwn i ddianc;" ac heb ganiatâu moment o amser i Hanger druan, gwthiodd ef i'r cerbyd, a gorchymynodd yru hwnw yn ol i'r dref ar garlam gwyllt. Ar ol iddynt fyned o'r golwg, dacw y Tywysog i lawr o'r cerbyd, ymron tori ar ei draws gan chwerthin, oblegid yr oedd Sheridan yn awr ar ei draed mor ddïanaf a hoew ag y bu erioed; o herwydd i gwblhâu y digrifwch, yr oeddid wedi penderfynu nad oedd dim bwledi i gael eu dodi yn y llawddrylliau, ac fod Sheridan i gwympo i lawr fel marw pan ollyngid yr ergydion allan y drydedd waith. Yn ebrwydd, yr oedd y Tywysog a'i gymdeithion llawen hefyd yn carlamu tua thref; ac anfonwyd cenadwri at yr Is-gadfridog helbulus i ddymuno arno ddyfod i *Carlton House* at ei Uchelder Breninol heb golli amser. Yr oedd gwedd sobr arno pan ddaeth i wyddfod y Tywysog. "Helynt ddrwg," ebe y Tywysog; "drwg iawn yw peth fel hyn, Hanger; ond mae genyf yr hyfrydwch o'ch hysbysu nad yw Sheridan wedi ei niweidio yn enbyd; ac os bydd i chwi giniawa gyda mi heddyw, gwahoddaf yma foneddwr, yr hwn a ddyry i chwi hanes cywir am y sefyllfa ymha un y mae eich diweddar wrthwynebydd yn gorwedd. Aroswch yma hyd amser ciniaw, a gall pobpeth eto fod yn dda." Hawdd coelio fod pryder mawr yn mynwes Hanger druenus am weled yr awr giniaw wedi dyfod. Beth os oedd cyfnewidiad er gwaeth wedi cymeryd lle ar ei wrthwynebydd; beth os byddai iddo drengu o herwydd yr archoll a dderbyniasai! Adeg y ciniaw a ddaeth, ac yr oedd yno gwmni gwych wedi ymgynnull yn y *drawing-room*. "Yn awr, Hanger," ebe y Tywysog, "dygaf i mewn un a rydd i chwi yr holl hysbysrwydd a allech ddymuno." Agorwyd y drws, a phwy a ddeuai i mewn i'r ystafell ond Sheridan, mor fyw, mor iach, mor hoenus, ag erioed. Ymgiliai y *Major* yn ol mewn dychryn. "Beth," eb efe, "beth, beth yw hyn? Tybiaswn fy mod wedi eich lladd." "Nid yn hollol, fy nghyfaill," ebe Sheridan, gan roddi iddo ei law, yn nghanol chwerthiniadau y gwyddfodolion; ac aeth rhagddo i'w hysbysu nad oedd efe eto yn ddigon da i fyned i'r byd fry, na chwaith yn hollol gymhwys i fyned i'r byd isod, a'i fod yn ystyried mai gwell oedd iddo oedi amser ei ymadawiad hyd ryw dro arall. Myn-egai y Tywysog yn awr mai efe ei hun oedd dyfeisydd y *plot*, a gobeithiai os byth y byddai i'r *Major* ymladd ornest o gyffelyb natur ar ol hyny, y caffai ef yr hyfrydwch o fod mewn cerbyd yn gweled y cyfan. Ar ol hyn, treuliwyd yno noswaith ddifyrlawn; pawb mewn tymher dda, ac mor llawen ag y gallai gwledd, a chwmni, a chân, a gwydryn, eu gwneuthur.

*Carlton House* oedd y fan lle yn benaf y trigai y Tywysog y pryd yma, ac am gryn dymmor wedi hyn. Rhoddasid y palas hwn yn anrheg iddo gan ei dad. Daeth *Carlton House*, gan hyny, i fod yn gynnullfan anrhydedd ac yn drigle llawenydd heb ei fath. Yr oedd yno lawer iawn gormôd o rwysg, a mawrwychedd, ac ynfydrwydd pechadurus. Ymwelid â'r lle gan dduciaid ac arglwyddi, gan bendefigion a phendefigesau, gan wŷr mawr a gwŷr bach, gan ddynion nodedig am eu hathrylith a'u ffraethineb, a chan ddynion a merched nad oeddynt dda i ddim ond i lygru yr awyrgylch o'u deutu, ac i ddifa däoedd rhagluniaeth Duw.

O'r fynyd gyntaf y daeth y Tywysog yn rhydd odditan lywodraeth ei rieni, amgylchid ef yn barhâus gan fyddin gref o gymdeithion. Megys yr awgrymwyd eisoes, yr oedd ei ddull o fyw yn wastraffus tu hwnt i bob esiampl. Ymhen ryw dair neu bedair blynedd wedi iddo ddyfod i'w oed, yr oedd ei ddyledion yn cyrhaedd i gryn £300,000; ac ychydig yn ddiweddarach, ceid allan eu bod uwchlaw Hanner Miliwn o Bunnau! Yr oedd y ddynion craffaf yn methu yn lân a dirnad pa fodd y gallasai efe wario y fath symiau anferth mewn càn lleied o amser. Costiai adnewyddu *Carlton House*, ac addurno y *Pavillion* yn Brighton, iddo lawer iawn; ac nis gallai y fath lu o gyfeillion hoenus ac afradlawn ag oedd ganddo lai na'i osod dan drymach dyledion nag y gallasai ef yn briodol eu dwyn. Heblaw hyn, yr oedd ei golledion wrth y chwareufwrdd (*gaming table*) yn ddychrynllyd. Profai ei redegfeirch hefyd yn dra niweidiol iddo. Ymffrostid fod ganddo y casgliad ardderchocaf o geffylau yn Ewrop; ond llawer gwell fuasai iddo fod hebddynt. Mwy dychrynllyd fyth yw meddwl am ei wastraff gyda'i gariadau. Cawn iddo wario gydag un Mrs. Crouch £10,000, yn annibynol ar addurniadau a gemau, y rhai a gostient £5,000. Ymhellach, trefnai fod iddi gael £1,200 yn flyneddol at ei chadwraeth. "Hael Hywel ar bwrs y wlad." Gyda hyn, wele efe yn cael ei lygad-dynu gan dlysni anghymharol boneddiges oludog o'r enw Mrs. Fitzherbert, yr hon yn groes i'r gyfraith a fynai efe gael yn wraig iddo, ac yr oedd ei dreuliadau gyda hono yn fwy dychrynllyd eto. Rhwng pob peth, daeth ei gyfyngderau arianol i wasgu yn rhyfeddol drwm arno. Rhoddai ei achos ger bron y Brenin, a deisyfai am ymwared. Gorchymynai ei dad ddwyn ger ei fron restr o'r dyledion at y rhai y cyfeirir. Yr oedd ei syndod a'i ddigllonedd yn ddirfawr wrth ddarllen rhai o'r *items*. Yr oeddynt mor anghyson âg egwyddorion moesol ei Fawrhydi, mor hollol wrthwynebus i'w deimladau, fel y gwrthododd ei gynnorthwyo, a hyny yn y modd mwyaf penderfynol. Nid ennillodd etifedd y goron drwy hyn ddim oll ond anfoddlonrwydd ei dad. Pa fodd y gallasai ddygwydd yn wahanol? Yn ol y *schedule* a ddodasid ger ei fron, yr oedd y Tywysog yn nyled Mr. Jeffreys, y gemydd, o £54,000, am lestri arian a gemau i Mrs. Fitzherbert!

Soniwyd am golledion ei Uchelder Breninol wrth y chwareufwrdd; ond hawdd dirnad nad oedd y rhai hyn bob amser yn ganlyniad i ryw hap neu ddamwain ddrwg. Dyfeisid cynllun ar ol cynllun mewn trefn i ddyhysbyddu ei adnoddau arianol. Yr oedd o'i ddeutu hudladron urddasol, y rhai a wyddent yn dda pa fodd i ymfrasâu ar ei hygoeledd rhyfeddol ef. Fel prawf o athrylith ddyfeisiol y cymdeithion hyn o eiddo y Tywysog, ni raid i ni ond crybwyll am gyngwystl hynod y twrcïod a'r gwyddau, pa un a ddaeth allan o benglog cynnyrchiol George Hanger, ac ar ei derfyniad cafodd y Tywysog ei hun yn dlotach o amryw filoedd o bunnau. Un tro, mewn difyrgwmni yn *Carlton House*, trôdd yr ymddyddan ynghylch cymhwysderau teithiol y twrci a'r ŵydd. Dygasid y mater i sylw yn bwrpasol gan yr Hanger ddrygionus hwn. Dadleuai ef, a hyny yn groes i'w feddwl, mai y blaenaf a fyddai yr ennillydd mewn gyrfa dan unrhyw amgylchiadau. Gan y rhoddai y Tywysog yr ymddiriedaeth lawnaf yn marn y dyn hwn ar faterion o'r fath, penderfynodd ar unwaith o du y twrci. Dadleuai eraill o'r cwmni,

pa fodd bynag, o du yr ŵydd; a therfynodd y ddadl yn ngwaith y Tywysog yn gwneyd *match* o ugain o dwrcïod yn erbyn ugain o wyddau, am ddeng milldir o ffordd—y cydymgeisyddion i gychwyn yn gymhwys am bedwar o'r gloch yn y prydnawn. Yr oedd y rhedegfa i fod am £500; ni phetrusai Hanger a'i blaid, pa fodd bynag, roddi dwy ar gyfer un yn ffafr y twrci. Parodd y Tywysog i'r swm gael ei ychwanegu yn ddirfawr, heb wybod nad oedd y cyfan o du ei gymdeithion llawen yn ddim amgen na dyfais ddichellgar i dynu arian o'i logellau ef. O herwydd anianduedd naturiol yr aderyn y cymerasai efe ei blaid, nid oedd fodd iddo fod yn ennillydd. Cymerai ei Uchelder Breninol ddyddordeb anghyffredin yn y cyngwystl yma; ac yr oedd George Hanger i arfer gofal neillduol wrth chwilio allan am ugain o dwrcïod iawn. Y dydd apwyntiedig a ddaeth, a dacw y Tywysog a'i blaid gyda y twrcïod, a Mr. Berkeley a'i blaid gyda y gwyddau, yn troi allan i benderfynu y cwestiwn anghymharol bwysig yma. Wel, am y tair awr gyntaf, ymddangosai pob peth yn ffafriol nodedig i'r twrcïod, oblegid yr oeddynt yn barod ddwy filldir ymlaen ar y gwyddau druain; ond fel y deuai y nos ymlaen, wele y twrcïod, yn ol eu hanian, yn dechreu estyn eu gyddfau at gangau y coedydd a dyfent hyd ymylon y ffordd. Yn awr, wele y brofedigaeth wedi dyfod, a gwyddai Hanger a'i gymdeithion mai fel hyn y dygwyddai. Yn ofer y ceisiai y Tywysog eu dirgymhell ymlaen gyda'i bolyn, ar ben pa un yr oedd clwt o frethyn coch wedi ei sicrhâu; yn ofer y gwnelai George Hanger dynu un o honynt o'i orphwysle, cyn y gwelai ef dri neu bedwar eraill yn eistedd yn gysurus ar frigau y coed gerllaw; ac yn ofer hefyd yr hulid yr haidd hyd y ffordd; nid oedd na chelfyddyd na dyfais na dirgymhelliad a allai eu hattal rhag myned i'w clwydi. O'r diwedd, dacw y gwyddau yn y golwg, ac yn prysuro ymlaen o glun i glun. Y fath drychineb! y maent yn myned heibio i wŷr y twrcïod, y rhai oeddynt oll mewn llafur anghyffredin yn ceisio ymlid ymaith eu hadar gwrthnysig o fysg cangau y goedwig. Yn fuan gwelwyd nad allent fyned gam ymhellach, a chyhoeddwyd mai y gwyddau bendigedig oeddynt yr ennillyddion. Ddarllenydd anwyl! a glywaist ti erioed y fath beth? Onid oedd yma ddoethineb rhyfeddol ar waith? Bywyd difyr a dreulir gan lawer o'r rhai sydd yn byw ar draul y wlad. "Wele y rhai sydd yn gwisgo dillad esmwyth, mewn tai breninoedd y maent."

Ond nid oedd modd i bethau barhâu fel hyn o hyd. Yn lled fuan, gwasgwyd ei Uchelder Breninol i drallod anghyffredin. Gan na fynai y Brenin ei ddwyn allan o'i gyfyngderau arianol, rhaid oedd iddo newid ei ddull o fyw. Penderfynodd gadw sefydliad llai rhwysgfawr, a byw ar £10,000 yn y flwyddyn, gan gyflwyno £40,000 yn flynyddol o'r cyllid a dderbyniai at dalu ei ddyledion, hyd nes y byddai y cyfan wedi eu toddi ymaith. Ac i'r dyben o roddi gwell boddlonrwydd i'w ofynwyr lliosog, penderfynodd roddi ei redegfeirch a'i gerbydau ardderchog i fyny mewn arwerthiant cyhoeddus. Cynnyrchodd y rhai hyn oddeutu £7,000; ond beth oedd hyn ar gyfer oddeutu £300,000? Canmolid y Tywysog gan rai o herwydd ei fawrfrydigrwydd; eraill a deimlent yn anfoddlawn i bethau fod megys yr oeddynt. Ystyrient fod ei sefyllfa yn waradwydd i'r genedl. Yr oedd y "*national honour*" yn myned dan gwmwl—y cymeriad Seisonig yn cael ei andwyo! Yr oedd y wlad yn cael ei

darostwng yn ngolwg holl Ewrop fel gwlad dlawd druenus. Beth! yr anrhydeddusaf o'r deiliaid, etifedd y goron, yn gorfod tori i fyny ei sefydliad yn y modd hwn? A oedd ei dueddiadau dewrwych i gael eu cadwyno? a oedd ffrwd naturiol ei haelionusrwydd i gael eu rhewi i fyny am byth? Gan nad oedd darostyngiad ei Uchelder Breninol yn taro yn dda ar y meddwl cyhoeddus, nid rhyfedd oedd iddo flino mor fuan ar ei ddull newydd o fyw. Ymhen naw mis, yr oedd tymmor ei edifeirwch ar ben. Beth oedd i'w wneyd bellach? Yn nydd eithaf ei gyfyngder, penderfynodd wneyd apeliad at y Senedd; ac ymddiriedwyd y gorchwyl tyner hwn i un Mr. Newnham, yr hwn oedd farsiandwr goludog, ac un o gynnrychiolwyr dinas Llundain. Ar yr 20fed o Ebrill, 1787, gofynodd yr aelod hwn i Mr. Pitt, fel prifweinidog y goron, a oedd yn ei fwriad ef ddwyn ymlaen gynnygiad i waredu Tywysog Cymru o'i sefyllfa ddyryslyd ac anghysurus. Dywedai Mr. Pitt, mewn atebiad, na dderbyniasai efe un archiad i'r perwyl hwnw oddiwrth y Brenin. Yna rhoddodd Newnham rybudd y byddai iddo ar y 4ydd o Fai ddwyn cynnygiad ar y mater hwnw dan sylw y Tŷ. Bu yno gryn lawer o siarad ac areithio o bob tu i'r cwestiwn; a'r diwedd fu i'r Tywysog, drwy gydsyniad y Brenin a dau Dŷ y Senedd, gael ei waredu o'i gyfyngderau mawrion a difrifol. Yn ychwanegol at ei ddogn blaenorol, yr oedd efe i dderbyn eto £10,000 yn flynyddol, ynghyda £161,000 at dalu ei ddyledion, ac £20,000 er dwyn ymlaen yr adgyweiriadau yn *Carlton House*. Er y teimlid fod hyn yn anghenrheidiol, yr oedd cwynion tost i'w clywed o bob parth yn herwydd gwastraff Tywysog Cymru. Ac nid oedd neb a ofidiai yn ddwysach yn ei ysbryd oblegid ei afreoleiddiwch na'r Brenin ei hunan, Aml waith y rhybuddiasai efe ei fab, gyda'r serch tyneraf, i ochel llwybrau afradlonedd; i ymhyfrydu yn nghymdeithas, ac i werthfawrogi cynghorion, y rhai mwyaf doeth a rhinweddol; i gilio draw oddiwrth gymdeithion ofer a llygredig; ac ymhob peth i gadw golwg ar ddaioni a hawddfyd y bobl yn gyffredinol. Addawai ddiwygio y pryd yma; a chan ei fod newydd gael profiad mor chwerw o waeau a melldithion bywyd afradlawn, gobeithid na fyddai raid cwyno o herwydd gwastraff cyffelyb byth ond hyny mewn cysylltiad â'i hanes ef.

Wedi y cyfan, parhâu i fod yn hynod anmhoblogaidd yr oedd ei Uchelder Breninol. Yr oedd ei gysylltiad â Mrs. Fitzherbert yn destun llawer o siarad ac ysgrifenu annymunol, yn neillduol yn y flwyddyn 1788. Ond dygwyddiad mawr y flwyddyn hono ydoedd prawf Warren Hastings—dygwyddiad a barai i bobl anghofio pob achos cyhoeddus arall yn lled lwyr dros dymmor. Yn nechreu y flwyddyn ddyfodol, y prif helyntion oeddynt afiechyd ynghyda dyryswch meddyliol y Brenin; dadleuon mawrion, poethlyd, y Senedd ynghylch y "*Regency Question;*" ynghyda phenodiad Tywysog Cymru i fod yn *Regent*, neu Raglaw, dros yr amser y byddai ei dad yn analluog i arfer a gweinyddu ei awdurdod freninol. Ar fyrder, pa fodd bynag, gwellhäodd y Brenin o'i afiechyd dirboenus, a hyny er llawenydd nid bychan i'r holl genedl, fel mai prin y cafodd Tywysog Cymru wneuthur dim yn y ffordd o weinyddu awdurdod freninol yn lle ei dad. Yn y blynyddoedd a ddilynent, elai rhagddo fel arferol yn ei yrfa o benrhyddid a gwastraff pechadurus. Dywedir i'w Uchelder Breninol fod yn dra llwyddiannus yn 1791 gyda'i

redegfeirch. Ennillai braidd bob cynnyg. Ond yn 1792, cafodd ei siomi, ei dwyllo, a'i golledu i'r fath raddau, fel y penderfynodd werthu ei holl *stud* unwaith yn rhagor. Yr oedd dyledion y Tywysog yn dechreu llïosogi eto, a'i gyfyngderau arianol yn prysur fwyhâu. Erbyn y flwyddyn 1794, yr oedd ei amgylchiadau yn fwy dyryslyd nag y buasent erioed, a'i ofynwyr fel y gele, yn gwaeddi, Moes! Moes! nes bod ei fywyd yn faich iddo. Nid ymddangosai yn awr fod dim ond un ffordd iddo ymryddhâu o'i gyfyngderau, a dyfod i fwynhâd o'r cyfryw gyllid ag a'i galluogai i gynnal i fyny ei wastraff heb redeg i ddyledion newyddion, sef, drwy iddo roddi ei gydsyniad i ymuno mewn glân briodas â rhyw dywysoges o waed breninol. Yr oedd ei dad yn neillduol awyddus am ei weled yn ymbriodi mewn trefn; nid yn unig yn y dysgwyliad y byddai iddo o hyn allan ddilyn bywyd mwy rheolaidd, ond hefyd fel y sicrhëid, yn y modd goreu, *olyniaeth y goron*. Yr un modd y teimlai Gweinidogion ei Fawrhydi, ynghyd a chorff mawr y bobl, y rhai bob amser ydynt neillduol barod i edrych heibio i ffoleddau a drygau ffieiddiaf eu tywysogion, ac a deimlant ddyddordeb arbenig yn nghynnydd a llwyddiant y teulu breninol. Yr oedd yn lled sicr na roddid i'w Uchelder Breninol mo'r cynnorthwyon arianol oedd yn eisieu heb iddo ymostwng i fyned yn rheolaidd i'r sefyllfa briodasol. Ond pa fodd y gallai ef ddarbwyllo ei hunan i wneyd peth oedd mor hollol groes i'w deimladau â hyn? Pa fodd yr ydoedd i groeshoelio y cnawd, ac i gefnu ar ei gariadau lawer? A pha fodd yn neillduol yr ydoedd efe i roddi i fyny yn llwyr ac am byth ei anwylaf Fitzherbert, i'r hon y tyngasai efe ffyddlondeb diball wrth droed yr allor? Hyn mewn gwirionedd a barai y cyfyngder mwyaf oll i feddwl "y boneddwr cyntaf yn Ewrop." Os cydsyniai efe â dymuniadau ei dad, yr oedd perygl i'w gysylltiad â'r foneddiges hono ddyfod i derfyniad buan ac annedwydd. Nid oedd efe yn arswydo dim, mae yn wir, rhag ofn rhwymedigaethau cysegredig y sefyllfa briodasol. Nid dyn oedd efe i gael ei ddal dan iau caethiwed. Yr oedd digon o brofion wedi eu rhoddi yn barod nad oedd efe yn prisio dim mewn llwon ac addunedau. Buasai yn priodi unrhyw nifer o wragedd, pe buasai y cyfreithiau yn caniatâu hyny, os gwelsai y wlad yn dda roddi y cyfryw gynnysgaeth gyda phob un ag a fuasai yn talu ymaith ryw swm newydd o ddyled yr aethai efe dano. Gallasai yn hawdd ymbriodi â Thywysoges o waed breninol; ond pa fodd i guddio ei llygaid hi, ac i gadw duwiesau eraill yn ddiddig? dyna oedd y pwnc mawr a bwysai ar feddwl yr hwn a enwid yn "obaith y wladwriaeth," ac a anrhydeddid fel "y boneddwr cyntaf yn Ewrop."

O holl gysylltiadau carwriaethol y Tywysog, honir mai yr hon a ffurfiodd efe gyda Mrs. Fitzherbert oedd yr anrhydeddusaf. Yr oedd hi yn meddu golud ac anrhydedd, a pherchenogai hefyd y cynneddfau mwyaf hawddgar a rhinweddol. Meddylir nad oedd y serch cryf a pharhäol a deimlai y Tywysog tuag ati, mewn un modd, yn ddianrhydedd iddo, pe buasai pethau eraill yn gyfartal. Y fath oedd ei theimlad o hunanbarch, fel y penderfynasai nad oedd un math o gyfathrach i fod rhyngddi â'i Uchelder Breninol, heb iddynt yn gyntaf gael eu cysylltu ynghyd mewn glân briodas. Yn anwybodus iddi hi, pa fodd bynag, yr oedd hyn yn waharddedig yn ol y gyfraith. Pabyddes oedd Mrs. Fitzherbert, a'r fath oedd ei hymlyniad wrth grefydd ei thadau, fel nas mynai ei gwadu

hyd yn nôd i bwrcasu coron; a'r gyfraith a gyhoeddai fod i'r hwn a ymbriodai âg un o'r grefydd hono i fforfedu pob hawl i goron Prydain Fawr, fel pe buasai efe yn naturiol farw. Yn cael ei chamarwain a'i thwyllo gan y Tywysog a'i gyfeillion, rhoddodd y foneddiges dan sylw ei chydsyniad, gan hyny, ar fod i briodas ddirgelaidd gymeryd lle rhyngddynt, yr hon a weinyddwyd, medd rhai, yn Llundain; eraill a honant iddi gael ei gweinyddu tu hwnt i derfynau y deyrnas hon; ac os felly, tebyg ydyw fod y Tywysog yn ddigon ynfyd i gredu ei fod drwy hyn yn gallu osgoi y gosbedigaeth i'r hon y deuai ef yn agored mewn canlyniad i'w ymddygiad gorwarthus. Yr oedd cydsyniad y Brenin hefyd yn anhebgorol anghenrheidiol er gwneyd y briodas yn un gyfreithlawn; nid oedd y cydsyniad hwnw wedi cael ei roddi; yna yr oedd y Tywysog yn camarwain Mrs. Fitzherbert i wneyd aberth o'i hanrhydedd er mwyn boddio ei drachwant ei hun. Gwyddai ef yn dda nad oedd y seremoni, yr hon y dysgid iddi gredu mai priodas ydoedd, yn ddim amgen na ffurf wageddus, heb ynddi un grym cyfreithiol pa bynag. Tra y cymerai arno ei fod yn ei gwneuthur yn wraig briod gyfreithlawn iddo, nid oedd efe mewn gwirionedd ond yn ei gwneuthur yn gydgyfranog o'i droseddau ei hun, ac yn wrthddrych dirmyg ac adgasrwydd cyffredinol.

Ond nid yw y gwaethaf wedi ei fynegu eto. Ymhen ychydig flynyddoedd ar ol i'r briodas ladradaidd hon gymeryd lle, sef pan y gwnaed apeliad gyntaf at y Senedd am gymhorth i ddwyn ei Uchelder Breninol o'i gyfyngderau arianol, gofynwyd cwestiwn yn y Senedd o berthynas i'r briodas dybiedig; a'r ateb a roddwyd gan gymdeithion politicaidd y Tywysog ydoedd, nad oedd un gair o wirionedd yn yr holl hanes. A chyn rhoddi yr ateb, yr oedd Fox a Grey wedi bod yn ymddyddan yn bersonol â'r Tywysog ar y mater, yr hwn a wadai y cyfan yn y modd difrifolaf, ac yn enw ei anrhydedd mwyaf cysegredig. Trosglwyddwyd ei wadiad ef o'r ffaith, gan hyny, drwy y cyfryngau parchusaf i Dŷ y Cyffredin. Pan welodd Mrs. Fitzherbert hanes yr ymdrafodaeth yn y Senedd, dywedir iddi dori allan i lefain yn y modd mwyaf torcalonus, a syrthio mewn llesmair i freichiau y Tywysog. Llwyddai ef yn y man i dawelu ei hysbryd cythryblus, drwy haeru na wyddai efe ddim oll am y peth, ac nad oedd ei gyfeillion yn y Senedd yn gweithredu yn y mater hwn yn ol ei feddwl na than ei awdurdod. Yn ddiweddarach, addefai nad oedd yn ddrwg ganddo iddi ddygwydd yn y modd hwn; a gwnelai bob ymdrech i osod yr argraff ar ei meddwl fod gwadiad eu priodas hwy yn beth hanfodol anghenrheidiol yn wyneb rhagfarnau ac ymddygiadau gormesol ei dad, ynghyda'r amgylchiadau yr oedd efe ei hun yn awr ynddynt. Mynai ei amddiffyn ei hun drwy ei gorchuddio hi â gwarth! Ac i wneyd y drwg yn fwy ysgeler eto, cyflawnid yr holl fradwriaeth yma er mwyn budrelw. Yr oedd arno eisieu cryn *dri chan' mil o bunnau*, neu ragor, gan y Senedd; ac adroddwyd y celwydd er mwyn lleihâu yr anhawsderau oedd ar ffordd cael pleidlais ffafriol yn y "*Committee of Supply!*"

Yn awr, wele y Tywysog mewn amgylchiadau cyfyngach fyth. Yr oedd swm ei ddyledion yn aruthrol. Gwasgent mor drwm arno o'r diwedd nes gwrthbwyso pob ystyriaethau eraill. Yr oedd y rhagolwg am ymwared, ar unrhyw delerau, yn ddymunol. Cydsyniodd i ymbriodi â Caroline o Brunswick, er mwyn cael ei ben o'r dorch rywfodd. Nid

oedd efe erioed wedi canfod y Dywysoges, ond siaradai ei frawd, y Duc o York, yr hwn oedd gyda y fyddin Brydeinig ar y Cyfandir y pryd hwnw, yn dra uchel am ei rhagoriaethau a'i nhodwedd hawddgarol, a chyflwynodd ei syniadau i Dywysog Cymru ac i'w dad. Anfonwyd darlun o honi drosedd i'r wlad hon, a phenderfynodd y Brenin mai hon fyddai gwraig etifedd y goron. Addawodd ei Fawrhydi mewn ysgrifen y telid dyledion y Tywysog ar ol iddo briodi, yr ychwanegid at swm ei gyllid, ac y byddai iddo fwynhâu ffafr ei dad yn helaethach nag erioed. Pob peth yn dda, ynte. Penderfynwyd y cyfan er boddlonrwydd pob plaid fel eu gilydd. Yr oedd y Brenin yn llawen, y Cyffrediniaid yn llawen, a'r bobl gan mwyaf yr un modd, am fod ganddynt olwg am ragor o dywysogion a thywysogesau, a gobaith yr un wedd am linell ogoneddus o etifeddion i'r goron. Gadawodd y Dywysoges Caroline lŷs Brunswick ar y 30ain o Ragfyr, 1794, yn cael ei dilyn gan ei mam, ynghyd a gosgordd ysplenydd a llïosog o weinyddion; ac ar ol treulio rhai misoedd yn Cuxhaven, i astudio yr iaith Seisonig a phethau ereill, daeth drosodd i Gravesend ar y 4ydd o Ebrill, 1795, a chyrhaeddodd Lundain yn gynnar drannoeth. Ond ni theimlai mor ddedwydd ag y buasai ddymunol. Nid oedd y briodas yn un o ddewisiad serchog ar y naill ochr na'r llall. Yn anffodus i'r Dywysoges, yr oedd ei serchiadau hi wedi ymsefydlu ar Dywysog Germanaidd, yr hwn nis gallai hi ymbriodi âg ef. Am nodweddiad Tywysog Cymru, yr oedd hi yn barod yn gwybod gormod i deimlo y gallasai byth fod yn ddedwydd fel gwraig briod iddo. Ofnai am y canlyniadau; ac yn ebrwydd ar ol glànio yn y brifddinas, bu mor annedwydd a dadguddio ei chyfrinach wrth un na chollodd ddim amser heb fynegu y peth i'w Uchelder Breninol.

Bellach, nid oedd dim i'w wneuthur ond myned ymlaen goreu y gellid. Cymerodd y briodas le yn yr hwyr, Ebrill 8fed, 1795: Y fan lle ei gweinyddwyd ydoedd Capel Breninol St. James. Yr oedd y seremoni yn rhwysgfawr ac ysplenydd, a'r gweinyddiad o honi yn derbyn y croesaw mwyaf brwdfrydig gan bob graddau a sefyllfäoedd o'r bobl. Yr oedd magnelau y Tŵr a'r *Park* yn taranu mynegiadau o lawenydd, a'r brifddinas drwyddi yn siglo ac yn ennyn gan orfoledd. Rhedai y cydymdeimlad gyda chyflymdra y corwynt i barthau pellaf yr ymherodraeth. Ymhob lle o bwys, yr oedd yr arddangosiadau o ffyddlondeb a llawenydd yn foddhäol iawn.

Ond aeth hyn heibio yn ebrwydd i roddi lle i rywbeth arall o natur wahanol. Ar y 27ain o'r un mis, cyflwynid cenadwri oddiwrth y Brenin i'r ddau Dŷ y Senedd yn achos dyledion Tywysog Cymru. Yr ydoedd yn awr yn adeg o gyfyngder cenedlaethol, o achos pa un yr ymgodai anfoddlonrwydd y bobl yn dra uchel. Crëodd y genadwri hon gryn *sensation*, o ganlyniad, ymhlith y rhai mwyaf annibynol o aelodau Tŷ y Cyffredin. Dychwelwyd at y mater ar y 14eg o fis Mai, pryd y cymerai y Prif Weinidog, William Pitt, olwg glir ac ëang ar yr holl achos, mewn araeth odidog o'r fath ag a allesid ddysgwyl oddiwrtho. Bu yno lawer o ddadleuon poethlyd yn ddilynol i hyn, a gwnaed cynnygion a gwelliadau lawer iawn. Yr oedd y ffeithiau a ddygid i'r amlwg, a'r dadguddiedigaethau a wnelid ar y pryd, yn tueddu i ddangos i'r bobl fod y swm o ddaioni a ddeilliai iddynt oddiwrth y teulu Breninol yn costio yn anarferol ddrud. Yn ystod ei araeth, mynegai Mr. Pitt mai

cyllid presennol Tywysog Cymru ydoedd £60,000 yn y flwyddyn, ynghyd ag ardrethion y *Duchy of Cornwall*, y rhai a gyrhaeddent i oddeutu £15,000 yn rhagor. Cyfeiriai at sefydliadau ei daid a'i hendaid, pan oeddynt yn gwisgo yr un titl ag yntau, a dygai ar gôf i'r Tŷ eu bod hwy, mewn amseroedd pan oedd yn llawer haws byw nag yn bresennol, yn derbyn £100,000 yn y flwyddyn bob un, ac yn ychwanegol at hyny, yr oedd un o'r ddau yn cael y *Duchy of Cornwall* hefyd. Ystyriai ef fod ei Uchelder Breninol yn derbyn llawer rhy ychydig; a chynnygiai ar fod i'w gyllid o hyn allan gael ei chwyddo i £125,000 yn flynyddol, heblaw ardrethion yr etifeddiaeth rag-grybwylledig. Dywedai fod trefniadau eraill i ddyfod dan sylw mwy neillduol ryw dro eto; megys y parotöadau ar gyfer y briodas; £27,000 neu £28,000 am lestri arian a gemau; ynghyda £26,000 am addurno *Carlton House*. Yr oedd "*jointure*" y Dywysoges hefyd i fod yn £50,000 y flwyddyn. Mynegai fod dyledion ei Uchelder Breninol i fyny hyd y chwarter diweddaf yn cyrhaedd i oddeutu £630,000, heblaw rhyw ddyledion eraill yr aethai efe iddynt yn achos y Duciaid o York a Clarence. Ymddengys fod y cyfan gyda'u gilydd yn rhywbeth fel SAITH GAN' MIL O BUNNAU! Yn ystod y dadleuon o barthed i ddyledion Tywysog Cymru, a'r modd i'w talu, deuai llïaws o ffeithiau eraill i'r amlwg heblaw a enwyd uchod. Er enghraifft, mynegid fod addysg y Tywysog, ynghyd a'i frawd, y Duc o York, wedi costio i'r wlad £80,000, heblaw £3,000 o ryw "*extraordinary expense.*" Ar waith y Tywysog yn troi allan gyntaf, rhoddasid iddo £60,000 i'w gwario ar ei sefydliad; ac yn 1797, talwyd drosto y swm anferth o £219,000. Ac eto, ymhen wyth mlynedd, dyma y wlad yn cael gofyneb arall, o achos treuliadau gwastraffus y Tywysog, o gryn £700,000! Dadleuid o'r ochr arall gan gyfeillion y Tywysog, a phleidwyr y Weinyddiaeth, nad oedd dim yn afresymol yn hyn oll. Rhaid oedd cadw i fyny urddas y teulu breninol, ac yn neillduol felly etifedd y goron. Dylasai cyllid ei Uchelder Breninol o'r cychwyn fod yn llawer iawn mwy. Synai Iarll Lauderdale yn Nhŷ yr Arglwyddi fod dyledion Tywysog Cymru mor gymedrol! Yr oedd yn rhyfedd ganddo na fuasai yn gofyn swm helaethach o lawer! Cymerai olwg ar yr hyn a roddasid i gangenau eraill o'r teulu breninol yn y wlad hon. Talwyd i'r Frenines Anne dros ben ei chyllid rheolaidd £500,000. I Sior I. caniatäwyd £1,300,000 yn *extraordinary*, ac i Sior II. rhoddasid £1,500,000, a hyny mewn amser pan oedd y cyllid cyhoeddus yn *llai* o filiynau nag ydoedd yn bresennol. Yn enw rheswm, paham y cwynid o herwydd tipyn o ddyled fel hyn! Y diwedd a fu i gefnogwyr gwastraff gario y dydd. Ond yr oedd y canlyniadau i'r Tywysog yn lled ddifrifol. Daeth drwy hyn i fod yn fwy anmhoblogaidd nag y buasai erioed o'r blaen.

Llawer a deimlodd yr Americaniaid, yn yr olwg ar bethau fel hyn, fod ganddynt fantais ryfeddol rhagor ni yn y wlad hon. Nis medrent hwy oddef y fath annhrefn a'r fath wastraff. Ynfydrwydd fyddai i ddyn o'r hen wlad geisio ymresymu â dinasyddion y Werinlywodraeth ynghylch y priodoldeb a'r anghenrheidrwydd o gynnal i fyny urddas y teulu breninol a gweinidogion y Llywodraeth, i'r graddau y gwneir yma. Gallai fod yn fawr yn ei olwg ei hun, ond ebrwydd y gwnaent iddo edrych yn "*considerable tarnation small.*" Gan nad pa mor dalsyth gyda golwg ar bethau eraill y mynai fod, rhaid fyddai iddo blygu o flaen

y cefnllif o ddirmyg a deflid arno o achos ein gwastraff cenedlaethol. Nid oedd eu *President* hwy yn cael ond ychydig dros £5,000 yn y flwyddyn; ac y mae y "*Master of the Buck Hounds*" yn cael agos gymaint a hyny gyda ni. Nid ydynt yn amddifad o barch i goffadwriaeth rhai o benaduriaid Lloegr, ac yn neillduol anrhydeddant enw y Frenines Victoria; ond ânt i hwyl rhyfeddol wrth sôn am y rhwysg barbaraidd â pha un yr amgylchir y teulu breninol, a'r holl "*Lords of the Gold Stick,*" a'r "*Lords of the Bedchamber,*" &c., &c., sydd yn gogrwn o'u deutu yn y wlad hon. Ond ni waeth tewi, y mae rhywbeth yn dygwydd bod allan o'i le ymhob gwlad—yn America fel gyda ninnau; ac erbyn yn awr, fe welir eu bod hwy yr ochr arall i'r Werydd yn teimlo hyny i bwrpas.

I ba le yr aethom ni yn awr, ac i ba le yr awn ni eto! Dyma ein gyfod ar ben, a ninnau heb hanner myned drwy ein gwaith. Gyda chaniatâd ein darllenyddion, bwriadu yr ydym orphen ein hadolygiad ar "Sior y Pedwerydd" yn y rhifyn nesaf o'r TRAETHODYDD.

---

# Y GORUWCHNATURIOL MEWN CREFYDD.

"Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint, yr hon wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd, a sicrhäwyd i ni gan y rhai a'i clywsant ef: a Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu, trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun?"—Heb. ii. 3, 4.

Y MAE personau yn ein dyddiau ni yn ceisio gwadu y goruwchnaturiol mewn crefydd, ac yn dyweyd y byddai yn llawn gwell wedi ei dyosg o hono. Ond ni a welwn fod yr ysgrifenydd sanctaidd yn meddwl yn dra gwahanol, yn y rhan o'r ysgrythyr a ddetholwyd genym fel sail i'r erthygl hon.* Y mae yr Apostol yma yn dangos mai yr hyn sydd oruwchnaturiol ynddi sydd yn gosod mawredd neillduol arni, ac yn profi ei hawl neillduol i'n sylw a'n cred. "Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angelion," meddai, "ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth, pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Os oedd y gair a lefarwyd trwy angelion oddiar Sinai, yn gyfryw nad oedd modd ei dori heb fod yn euog o anufudd-dod amlwg i Dduw, a bod yn agored i gyfiawn gosb am hyny, pa faint mwy cosbedigaeth a haeddai yr hwn a wrthodo yr efengyl—y "gair" hwn, a lefarwyd yn gyntaf gan yr Arglwydd Iesu ei hun, a sicrhäwyd i ni gan ei Apostolion, ac a gadarnhäwyd hefyd gan Dduw, mewn modd uniongyrchol, trwy arwyddion a rhyfeddodau gwyrthiol? Os oedd yr Iuddewon yn ymfalchïo yn awdurdod ddwyfol eu crefydd, fe fynai yr

* Nis gallem feddwl am well ffordd i ymdrin â'r mater nag edrych arno trwy eiriau y Bibl ei hun—llyfr crefydd, a dangos rhesymoldeb ei honiadau.

Apostol iddynt ddeall fod ei efengyl ef hefyd yn meddu yr un awdurdod ddwyfol, ïe yn rhagori ar y ddeddf ymhob peth a berthynai iddi. Dangosir i ni, gan hyny, fod iachawdwriaeth yr efengyl yn oruwchnaturiol o ran ei tharddiad a'i thystiolaeth, ac o herwydd hyn, ei bod yn hawlio ein hystyriaeth fwyaf difrifol a'n cred fwyaf sefydlog.

Gan yr efengyl yn unig y mae iachawdwriaeth i bechadur. Ac am hyny y mae o'r pwys mwyaf i ni ymofyn i wirionedd a dwyfol darddiad yr efengyl, a mynu "gwybod sicrwydd am y pethau y dysgwyd ni ynddynt." Ac nid heb reswm dros ein gobaith y mae yr efengyl yn galw arnom i obeithio am iachawdwriaeth.

Mae yr efengyl "*wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd.*" Daeth y "Tyst ffyddlawn a chywir" o fynwes y Tad i fynegu i ni ei ddirgel gynghor a'i ewyllys. Efe yn unig a wyddai feddwl Duw tuag at bechaduriaid, ac a ddaeth i'w hysbysu i ni. "Ni welodd neb Dduw erioed, yr uniganedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef." Yr oedd efe yn berffaith hysbys o'r Tad—wedi bod yn ei gyfrinach ef erioed. Yr oedd yn gwybod yn gyflawn am Dduw, a'i amcan grasol tuag at y byd. Yr oedd Crist yn anffaeledig ei wybodaeth a'i ddoethineb, ac yn ffyddlawn a chywir i draethu i ni yr hyn oedd eisieu arnom ei wybod am Dduw. Yr oedd gwir wybodaeth am dano Ef wedi ei cholli o'r byd trwy bechod; ond fe ddaeth Crist i'w hadferu i ni drachefn. Y "Gair" y gelwir ef: y Gair "yr hwn oedd er tragywyddoldeb, er y dechreuad, cyn bod y ddaear." "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Fe ddaeth i'r byd i'n dysgu, yn gystal ag i wneyd iawn am ein pechodau. Trwy gymeryd ein natur ni, fe ymostyngodd i ddyfod i'n hymyl i'n dysgu. Daeth i lefaru wrthym mewn modd addas i'n natur a'n cyflwr. "Y duwiau a ddaethant atom yn rhith dynion," meddai pobl Lystra. Ond gallwn ni ddyweyd fod y gwir Dduw wedi dyfod atom, mewn gwir ddynoliaeth, i lefaru wrthym dros Dduw. Llefarodd trwy ffeithiau, trwy ei fywyd a'i farwolaeth, a thrwy ei weithredoedd; ond fe lefarodd wrthym hefyd "trwy bregethu." Fe bregethodd Iesu Grist yr efengyl i ddynion.

Fel hyn, yr ydym yn olrhain yr efengyl i darddiad uchel iawn. Y mae hi o darddiad dwyfol yn ngweinidogaeth yr Arglwydd Iesu. A thrwyddo ef o'r dechreuad y cafwyd hi, o ran yr egwyddor o honi. "Tystiolaeth Iesu," meddir, "oedd ysbryd y brophwydoliaeth." Yr oedd rhyw awdurdod ddwyfol yn argraffedig ar weinidogaeth yr Arglwydd Iesu, fel ag y tystiai ei wrandawyr am dano ei fod yn eu dysgu "fel un âg awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion." Yr oedd ganddo rywbeth mwy na dynol i'w gymhell ar sylw dynion, ac ar yr un pryd yr hyn ag oedd yn ateb yn hollol i anghenion dyfnaf y ddynoliaeth. Fel y mae Cristionogaeth yn ddwyfol y mae hi yn ddynol hefyd. Dyosgwch hi o'r Dwyfol, ac ar yr un pryd yr ydych yn ei dyosg o'i chyfaddasrwydd dynol hefyd. Y goruwchnaturiol yw enaid yr efengyl; heb hyny nid yw ond marw a dirym. Nid oes ganddi ddim bywyd i bechadur marw ar wahân oddiwrth y Dwyfol. Heb fod Crist yn Berson Dwyfol, ni byddai yn Iachawdwr i ni. Y mae yr efengyl yn llefaru o galon Duw i galon dyn; ac y mae y galon grediniol yn deall ei lleferydd ar unwaith. Y mae "efengyl y bendigedig Dduw" yn ennill y galon fel y cyfryw—fel cyhoeddiad yn dwyn arno argraff delw Duw. Yr oedd Crist yn dysgu

dynion fel un â hawl ganddo i'w crediniaeth a'u hufudd-dod—fel un yn gwybod fod ganddo yr hyn oedd eisieu arnynt ei wybod a'i brofi tuag at fod yn gadwedig—fel un â gwirionedd cadarn ganddo ar gyfer anwadalwch tywodlyd doethineb ddynol. Nid oes dim yn fwy amlwg yn hanes y byd na'r dystiolaeth Ysgrythyrol, "Nid adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw." Y mae hanes y byd trwy ei holl genedlaethau yn gwirio hyn. Nid oedd dim meddyginiaeth ar gyfer pechod yn ngyrhaedd dynion heb yr efengyl: dim mewn natur, na dim yn holl gaugrefyddau y byd. Y mae sefyllfa bresennol y byd, lle nad yw yr efengyl, yn profi hyny. A dyma yr unig ffordd i gael allan eithaf y byd arno ei hun. Nid trwy ymofyn beth ydyw yn ngwlad efengyl, ac nid trwy ymresymu beth a all fod, ond trwy ymofyn beth sydd yn bod. Beth y mae natur yn ei ddyweyd am Dduw, a pha beth a ddysgodd dynion ganddi, sydd yn gwestiynau gwahanol iawn i'w gilydd. Y mae yn hawdd darllen natur yn ngoleu efengyl, ond peth arall yw ei darllen heb y goleuni hwnw. Ni ddeallwyd dim yn iawn erioed am Dduw oddiwrth natur gan baganiaid. Y mae yn fwy na thebyg fod hyny o oleuni ag sydd yn wasgaredig yn ngwaith yr hen ddoethion paganaidd i'w briodoli i draddodiadau Iuddewig neu batriarchaidd: naill ai wedi dyfod i lawr o dad i fab o amser y diluw, neu yn uniongyrchol oddiwrth y genedl Iuddewig. A dim ond tybiau ammheus oedd ganddynt ar y goreu, o ba le bynag y cawsent hwy. Fe sonir llawer am oleuni tumewnol yn ein dyddiau ni; ond heb oleuni allanol yr efengyl, nid oes dim golwg am iachawdwriaeth i bechadur o unrhyw gyfeiriad, mwy nag y mae y llygad naturiol yn gallu gweled heb oleuni yr haul i dywynu arno. Mae yn amlwg gan hyny fod yr efengyl a'i threfn o darddiad goruwchnaturiol, onidê nis gallasai godi yn uwch na natur, a gorchfygu gelyniaeth natur lygredig, fel y mae wedi ac yn gwneyd yn barhâus. Nis gall y dwfr godi yn uwch na'r ffynnon o ba un y mae yn tarddu. Felly y mae yr hyn sydd yn codi dyn *at* Dduw yn rhwym o fod *o* Dduw o ran ei darddiad.

Mae yr efengyl yn dystiolaeth "*a sicrhäwyd i ni gan y rhai a'i clywsant Ef.*" Am y sicrwydd a roddir i ni gan yr apostolion am yr iachawdwriaeth, y mae yn gynnwysedig o adroddiad cywir am ffeithiau, ynghyd ag eglurhâd athrawiaethol ar y ffeithiau hyny yn eu hystyr ysbrydol. Neu, yn eu geiriau hwy eu hunain, y mae eu tystiolaeth yn gynnwysedig o'r hyn a *welsant ac a glywsant.* "Nid allwn ni," meddynt, "na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom." Ac yn awr, y mae yn werth sylw beth oedd cynnwysiad eu tystiolaeth? Nid eu hopiniynau eu hunain—nid eu dychymygion, na'u rhesymau eu hunain, ond ffeithiau. "Yr hyn yr edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw am Air y bywyd," meddynt. Pe amgen, gallasem yn briodol alw i gwestiwn eu galluoedd a'u cymhwysderau i'n harwain mewn pethau mor bwysig. Geiriau Duw oedd ganddynt, ac nid eu geiriau eu hunain. Nid awduron oeddynt—nid dyfeisio, neu gyfansoddi, pethau o honynt eu hunain y byddent, ond adrodd pethau y buont yn dystion o honynt. "Nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys," meddai Pedr, "yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid." Nid ffugion, ond ffeithiau, oedd swm eu cenadwri. Yr oedd un o ysgrifenwyr hanes y rhyfel ddiweddar yn Italy yn cael ei gyhuddo o anfon ffughanesion o'r ymgyrch i'r newyddiaduron, o herwydd ei fod mor gyn-

nefin âg ysgrifenu yn y dullwedd hyny fel awdwr ffugchwedlau. Nis gallasent ymddiried iddo am hanesion cywir, o herwydd ei duedd barhâus i chwyddo pob peth i wedd ddychymygol. Ond nid oedd dim o'r natur hyny yn perthyn i'r apostolion: dynion syml a dirodres oeddynt. Felly, nid pwyso ar alluoedd naturiol dynion yr ydym, wrth gredu yr efengyl, ond pwyso ar dystiolaeth Duw.

Oni buasai mai ffeithiau oedd swm tystiolaeth yr apostolion, ni buasai gan y fath ddynion byth ddrychfeddwl am y fath bethau. Yr oedd y pethau ymhell uwchlaw dim a fu erioed o'r blaen yn y byd; nid oedd dim *model* o honynt i'w gael—dim drychfeddwl am danynt yn bosibl i ddynion, yn enwedig i'r *fath* ddynion a'r apostolion. Ië, yr oeddynt o natur groes i'w meddyliau hwy eu hunain—yn dyfod i ben yn groes i'w dysgwyliadau, fel y gwelir yn eu hadroddiadau diragrith. Nid oeddynt wedi meddwl erioed am i Grist farw. "Yr oeddym ni yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel," ebe rhai o honynt. A chyda yr un symlrwydd plentynaidd y dywedent am eu hanwybodaeth eu hunain yn y geiriau hyny, "Canys hyd yn hyn ni wyddent yr Ysgrythyr fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw." Er i hyny fod yn yr Ysgrythyr, y mae yn amlwg na wyddent hwy am dano. Felly ni a welwn mor bell yr oeddynt o fod wedi cynllunio y pethau eu hunain. Nid eu pethau hwy oeddynt, ond pethau Duw. Rhagluniaeth Ddwyfol oedd wedi dwyn y cwbl i ben heb gymhorth dynion; ïe yn hytrach, trwy oruchlywodraethiad ar amcanion dynion—er gwaethaf dynion pechadurus.

Ar ffeithiau hanesiol, ynte, y mae Cristionogaeth yn seiliedig. A dyna oedd swm gweinidogaeth yr apostolion, ac yn enwedig yr hanes am farwolaeth ac adgyfodiad Crist. Fel hyn y dywedir gan Paul am ei adgyfodiad, fel y ffaith fwyaf sicr o fod wedi cymeryd lle: "Canys mi a draddodais i chwi ar y cyntaf, yr hyn hefyd a dderbyniais, farw o Grist dros ein pechodau ni, yn ol yr Ysgrythyrau; a'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd, yn ol yr Ysgrythyrau; a'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg. Wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum' can' brodyr ar unwaith, o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awr hon. Wedi hyny y gwelwyd ef gan Iago; yna gan yr holl apostolion. Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd Ef genyf finnau hefyd, megys gan un annhymmig." "Ac os Crist ni chyfodwyd," meddai eilwaith, "ofer yn wir yw ein pregeth ni, ac ofer hefyd yw eich ffydd chwithau. Fe a'n ceir hefyd yn gau-dystion i Dduw." Fel ffeithiau, ac nid fel ffugchwedlau, yr oeddent yn adrodd y cwbl. Yr oedd yr apostol yn gwystlo ei gymeriad ei hun, yn gystal ag anturio yr oll o'r efengyl ar wirionedd y ffaith o adgyfodiad Crist. Felly y mae yn anmhosibl meddwl am fwy o bwys yn cael ei roddi ar ddim nag ar wirionedd y ffaith hon. Fel gwirionedd cadarn yr oeddynt hwy yn ei gyhoeddi, ac felly yr oedd dynion yn ei gredu.

Yr ydym yn hòni hefyd y buasai yn anmhosibl i'r hyn a gyhoeddid gan yr apostolion gael ei gredu oni buasai ei fod yn wir; oblegid yr oedd raid fod pawb o'u cymydogion o'u hamgylch, i fesur fwy neu lai, fel hwythau yn hysbys o'r pethau. Fel y dywedodd Pedr yn nhŷ Cornelius, "Y gair yr hwn a anfonodd Duw i blant Israel, gan bregethu tangnefedd trwy Iesu Grist—chwychwi a wyddoch y gair a fu yn holl

Judea, gan ddechreu o Galilea, wedi y bedydd a bregethodd Ioan, y modd yr eneiniodd Duw Iesu o Nazareth â'r Ysbryd Glân, ac â nerth; yr Hwn a gerddodd o amgylch gan wneuthur daioni, ac iachâu pawb ar oedd wedi eu gorthrymu gan ddiafol, oblegid yr oedd Duw gydag ef. A ninnau ydym dystion o'r pethau oll a wnaeth efe yn ngwlad yr Iuddewon, ac yn Jerusalem, yr Hwn a laddasant, ac a groeshoeliasant ar bren; Hwn a gyfododd Duw y trydydd dydd, ac a'i rhoddes ef i'w wneuthur yn amlwg; nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion etholedig o'r blaen gan Dduw, sef i ni, y rhai a fwytasom ac a yfasom gydag ef wedi ei adgyfodi o feirw." Fel yna yr oedd yr hyn 'a gyhoeddai yr apostolion yn cyfarfod âg adsain i'w wirionedd yn meddyliau y bobl. Yr oeddynt yn bethau o hynodrwydd cyhoeddus. Yn gyffelyb y dywed Paul yn ei amddiffyniad ger bron Agrippa, "Canys y brenin a ŵyr oddiwrth y pethau hyn, wrth yr hwn yr wyf fi yn llefaru yn hyf. O herwydd nid wyf fi yn tybied fod dim o'r pethau hyn yn guddiedig rhagddo, oblegid nid mewn congl y gwnaed hyn." Nid mewn congl, ond ger bron y byd, yn eithaf cyhoeddus, am flynyddoedd, ymhob cŵr o'r wlad. Y mae genym y sicrwydd mwyaf, gan hyny, fod Iesu Grist wedi byw yn ngwlad Judea—wedi llefaru, gweithredu, marw, ac adgyfodi, fel y dywedir am dano, ac fel "y credwyd iddo yn y byd."

Pe buasai y pethau hyn yn anwireddau, neu chwedlau disail, fe fuasai yn bur dda gan yr awdurdodau Iuddewig a Rhufeinaidd eu gwadu ar unwaith, er mwyn ymryddhâu oddiwrth eu cysylltiad â hwy; ond nid ydynt yn ceisio eu gwadu; yn hytrach y maent yn eu cadarnhâu. "*Ac* yr ydych yn ceisio dwyn arnom ni waed y dyn hwn," meddai yr archoffeiriad. "Yr Hwn a laddasoch chwi, ac a groeshoeliasoch ar bren," medd yr apostolion wrthynt yn eu gwynebau; ac nid oes yr un gair yn cael ei ddyweyd mewn ffordd o wadu y pethau hyny. Y maent yn ffromi, ond nid yn gwadu. Y maent yn ymgynghori am eu lladd, ond nid yn medru eu dystewi. Y mae yr apostolion yn myned ymlaen i bregethu yr efengyl, ac i gyhoeddi Efengylau ac Epistolau, a phlanu eglwysi cryfion yn y manau y cymerodd y pethau hyny le ynddynt. A chofier mai nid fel rhai yn dyweyd celwydd yr oedd yr apostolion yn cael eu herlid a'u carcharu, ond fel rhai yn achlysuro terfysg—fel rhai "yn aflonyddu y byd," trwy bregethu pethau ag oedd wedi cymeryd lle mewn gwirionedd. Ac oni buasai eu bod yn wir, ni buasai y fath gynddaredd yn cael ei gynhyrfu tuag atynt.

Dylem gadw mewn cof mai yr unig sicrwydd a ellir ei gael am ffeithiau hanesiol yw sicrwydd tystiolaeth. Pethau a gymerodd le mewn gwlad arall, ac mewn oes arall—pethau allan o'n cyrhaedd ni o ran amser a lle; nid oes yr un ffordd arall i ni i wybod am danynt. Y cwestiwn gyda golwg ar hyn yw, A oes genym dystiolaeth gredadwy ar y materion hyn? A oes genym dystiolaeth dynion mewn cyfleusdra i ddyweyd y gwir, ac yn ddigon gonest i ddyweyd y gwir?

Gyda golwg ar eu cyfleusdra i ddywedyd y gwir, yr oeddynt yn nghymdeithas yr Iesu—yn cydymdaith âg ef yr holl amser yr aeth efe i mewn ac allan yn eu plith hwy. Yr oedd raid iddynt fod yn eithaf cyfarwydd â'u Harglwydd—ei olwg, a'i lais, ei berson a'i leferydd, o ddechreu ei weinidogaeth gyhoeddus wedi ei fedydd gan Ioan, hyd yr amser y cymerwyd ef i fyny i'r nef. Ac yr oedd y dysgyblion wedi

cael y manteision hyny yn gyflawn. Gwyddai y bobl hefyd eu bod felly, yn hysbys o hono. Yr oeddynt "yn dystion etholedig o'r blaen"—yn rhai wedi eu neillduo o bwrpas, a'u hawdurdodi i'w gwaith o fod yn dystion dros Grist. Heb hyny ni buasai genym sicrwydd am ddim o bethau yr efengyl. Y pethau a adewir i bawb, heb fod yn ofal neillduol i neb, nid oes modd cael sicrwydd am danynt. Ar y tir hwnw, fe fuasai yr hanes am Grist yn debyg i'r dystiolaeth am y dyn dall hwnw—yn fath o sibrwd cyffredinol gan bawb, heb neb yn gwneyd arddelwad neillduol o hono. "Rhai a ddywedent, Hwn yw efe, ac eraill, Y mae efe yn debyg iddo;" ac felly, buasai raid i Grist ei hun ymddangos eilwaith i ddyweyd, fel hwnw, "Myfi yw," i dori y ddadl.

Nid yw yn un anfri ar yr efengyl ei bod fel "trysor mewn llestr pridd;" wedi ei hymddiried i ddynion *plain*, syml, a dirodres, cyffredin o ran eu gradd a'u sefyllfa. Yn hytrach, y mae hyny yn fantais iddi ymddangos yn ei gogoniant cynhenid ei hun, ac nid mewn gwisg o addurniadau dynol. Y mae yn fantais i ninnau hefyd gael y pethau mewn dull ac iaith gyffredin, gyda theimlad o'r fath ag sydd yn perthyn i'r cyffredin o ddynion. Y mae yn fwy hyfryd genym glywed hanes yn cael ei adrodd mewn dull cynefin, gan gyfaill, neu berthynas, nag mewn dull ac iaith estronol. Y mae yn disgyn yn fwy cynhesol ar y teimlad bob amser.

Ac am onestrwydd yr ysgrifenwyr sanctaidd drachefn, yr oedd Rhagluniaeth yn trefnu na byddai iddynt yr un fantais dymmorol i'w dysgwyl oddiwrth eu cred a'u gwaith, ond pob anfantais a gwrthwynebiad. Ac ar ol eu colledu o'u sefyllfa mewn cymdeithas, eu hiechyd, a'u rhyddid, cawsant eu colledu yn y diwedd o'u bywyd, o herwydd eu hymlyniad wrth y gwirionedd, heb sôn am y newyn a'r syched, a'r anwyd a'r noethni, a oddefent mewn ffordd naturiol. Ond er gwaethaf y cyfan, buont ffyddlawn i dystiolaethu i wirionedd yr efengyl. Yr oeddent wedi eu rhybuddio gan Grist nad oeddynt i ddysgwyl dim amgen yn y byd hwn. Ac yr oedd ei ddyoddefiadau Ef yn sicrhâu eu dyoddefiadau hwy.

Ymhellach, nid oedd iddynt ddim chwaith i'w ddysgwyl mewn byd arall o ddilyn *celwydd*. Yr oedd yn eu dysgwyliadau dyfodol ddigon i gynnal eu meddyliau, ymhob tywydd, o lynu wrth y gwir. Ond ar y dybiaeth eu bod yn dwyllwyr, yr oedd eu hathrawiaeth hwy eu hunain yn eu condemnio a'u cau allan o'r nefoedd. Dywedant fod y celwyddwyr yn y "llyn yn llosgi gan dân." Os rhaid sôn am ddeddfau natur, sonier hefyd am ddeddfau meddwl—am ddeddfau y natur ddynol. Nid yw y deddfau hyny byth yn arwain dynion yn erbyn natur, elw, cysur, a phob mantais, a hyny i ddilyn celwydd. Os ydyw yn bosibl i ni gael ein twyllo gan dystiolaeth, ni thwyllwyd neb erioed gan y fath dystiolaeth â hon!

Daw yn nesaf dan sylw y dystiolaeth a ddygodd Duw ei hun yn uniongyrchol i iachawdwriaeth yr efengyl, trwy "*arwyddion a rhyfeddodau*" gwyrthiol—trwy amlygiadau o allu Dwyfol. Y mae dadguddiad goruwchnaturiol o Dduw, ac amlygiadau goruwchnaturiol o allu Duw, yn dra phriodol i'w gilydd, ïe, yn hanfodol i'w gilydd, fe allai, yn ein sefyllfa bresennol ni. Os oedd Duw *yn* Nghrist, yr oedd yn anghenrheidiol fod Duw "*gydag*" ef hefyd, megys y dywedai Pedr am dano yn nhŷ

Cornelius, ei fod "yn iachâu pawb a orthrymid gan ddiafol, oblegid fod gydag ef." Yr oedd yr amlygiadau o Dduw oddiallan yn cyfeirio at Dduw oddifewn yn Mherson Crist. Yr oedd y gwyrthiau, fel coron ar ben y brenin, yn arwydd o fawrhydi Dwyfol y person oedd yn ei gwisgo. Goruwchnaturiol oedd yr amlygiad o Dduw yn Nghrist, a goruwchnaturiol oedd yr arwyddion o hono. Yr oedd yn briodol i Dduw amlygu ei hun ynddo fel Crëawdwr a Brenin, i arddel ei berthynas âg ef, a'i awdurdodi i'w waith. Yr oedd neges fawr yr Arglwydd Iesu i'r byd, fel anfonedig y Tad, yn galw am "arwyddion" goruwchnaturiol i brofi ei anfoniad. Yn Nghrist, dyma Berson neillduol, a neges neillduol gan y Person hwnw; ac felly gwelwn yr anghenrheidrwydd am gred-lythyrau neillduol i brofi ei anfoniad. Dyben gwyrthiau erioed oedd tystio mewn gweithred, yn gystal ag mewn gair, berthynas Duw â'r genad. Ac yn eu cysylltiad â Christ, yr oeddent yn profi fod Duw ynddo yn gystal a chydag ef." "Y neb a'm gwelodd i," meddai efe ei hun, "a welodd y Tad." Yr oedd Duw yn Nghrist yn uniongyrchol yn gwneyd gwyrthiau, heblaw fod y gwyrthiau yn profi ei Dduwdod fel yr oeddent yn profi gwirionedd ei athrawiaeth a'i honiadau, yn ol y dull cyffredin o'u hesbonio. "Ynddo ef," meddai yr apostol, "y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Fel y mae corff dyn yn gyfrwng cymundeb iddo â'r byd allanol, felly y mae corff Crist yn breswylfa y Duwdod, ac yn gyfrwng cymundeb iddo â dynion. Yn fyr, y mae y Bôd mawr yn Mherson y Gwaredwr yn amlygu ei hun i ni mewn modd addas i'n natur a'n cyflwr. Y mae efe yn ddadguddiad cyflawn o Dduw i *ni*, mewn modd cyfaddas i ni ei ddeall, ei sylweddoli, a'i fwynhâu. "Y mae dyben i'r pethau am danaf fi," meddai efe, a dyben na fu erioed o'r blaen i fywyd a marwolaeth neb arall. Yr oedd y dyn Crist Iesu yn sefyll ar ei ben ei hun yn gwbl—"yn ddidoledig" oddiwrth bawb eraill, ac "wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd." Ac yr oedd eisieu rhywbeth i'w hynodi oddiwrth bawb arall fel y cyfryw.

Ar yr ystyriaeth, gan hyny o fod y fath amlygiad o Dduw yn Nghrist, yr ydym yn gweled y priodoldeb o fod yr amlygiad hwnw yn dwyn gydag ef gyflawnder tystiolaeth i'w wirionedd *(reality)*. Y mae y rhai sydd yn gwadu y goruwchnaturiol mewn gwyrthiau, yn ddigon cyson â hwy eu hunain wrth ei wadu yn y Person hefyd. Heb y naill nid oes anghen neillduol am y llall. Ar wahân oddiwrth amcan teilwng, nid ydym i ddysgwyl am y fath beth â gwyrthiau. Nid i ddifyru nac i synu dynion y mae y Goruchaf yn gwneyd y cyfryw bethau rhyfedd. Y mae yn rhaid fod amlygiadau anarferol o Dduw yn golygu rhywbeth o bwys anarferol, yn cael eu rhoddi i ddeffroi sylw at rywbeth gwir deilwng o sylw. Nid yw yr Hollalluog yn myned i aflonyddu ar drefn reolaidd natur ar ryw ychydig o achos. Os ydyw yr Arglwydd yn myned i ysgwyd nefoedd a daear, y mae yn gwneyd hyny wrth sylfaenu Sïon—wrth osod i lawr sylfaen i bechadur i bwyso arni am fywyd tragywyddol.

Er mwyn hyn y crëwyd y byd ar y dechreu—i roddi cyfleusdra i Dduw amlygu ei hun. Wedi i'r amlygiad cyntaf o hono yn y grëadigaeth fyned yn ofer trwy bechod dyn, rhoes amlygiad uwch a mwy gogoneddus o hono ei hun mewn iachawdwriaeth. Nid oes neb yn meddwl gwadu nad i'w ogoniant ei hun y crëodd Duw y byd ar y dechreu, ag sydd hefyd yn credu y bod o Dduw. Ac os felly yr oedd,

nid oes dim yn fwy rhesymol nag i'r grëadigaeth wasanaethu ar iachawdwriaeth—i'r daearol wasanaethu yr ysbrydol—i'r hen grëadigaeth wasanaethu y newydd. Yn lle fod y "rhesymolwyr," fel y galwant eu hunain, yn hòni fod gwyrthiau yn afresymol, dylasent addef nad oes dim yn fwy rhesymol *yn yr achos dan sylw*. Fe all yr *eithriad* fod yn fwy pwysig na'r rheol weithiau. Cadwer yr amcan mawr o ogoniant Duw yn iachawdwriaeth dyn mewn golwg, ac nis gellir meddwl am ddim moddion yn rhy fawr a goruchel i gyrhaedd yr amcan hwnw. Nid rhywbeth cyffredin yw cadw enaid. Y mae genym sail Ysgrythyrol i feddwl fod yr amcan gogoneddus hwn yn rhagflaenu pob amcan arall, mewn rhyw ystyr, yn y meddwl Dwyfol erioed. Darparwyd iachawdwriaeth i ddyn cyn gosod i lawr sylfeini y ddaear. Ni a welwn fod trefn natur yn cael gwasanaethu ar drefn rhagluniaeth yn barod; a pha beth sydd yn fwy rhesymol nag i'r cwbl gydwasanaethu ar drefn gras i ddwyn oddiamgylch amcan penaf Duw yn y cyfan? Os nad ydoedd yn ormod peth gan y Duw mawr ymddangos yn natur dyn i gwblhâu ei iachawdwriaeth, yn ddiau nid oedd yn ormod peth i natur a rhagluniaeth ymgrymu iddo ar ei ymddangosiad.

Y mae rhyw briodoldeb neillduol mewn gwyrthiau i dystio i wirionedd a dwyfoldeb pethau yr efengyl. Amlygiadau o allu Duw ydyw gwyrthiau. Gallu ydyw y briodoledd gyntaf y meddylir am dani gan ddynion yn gyffredin gyda golwg ar Dduw. Yr ydym yn barotach i'w gysylltu Ef â gallu nag â daioni, fe allai. Y mae yn fwy amlwg yn y daran a'r dymhestl nag yn y dystawrwydd a'r hindda. "Taranau ei gadernid ef," medd y Bibl am yr amlygiadau mwyaf nerthol o hono. Y mae y mwyaf difeddwl yn gorfod teimlo ei bresennoldeb mewn amlygiadau o allu; ac o'r cyfryw y mae y lliaws yn cael eu gwneyd i fyny. Mewn arwyddion a rhyfeddodau gwyrthiol hefyd yr oedd dynion yn dysgwyl i Dduw ddyfod i'r golwg erioed, mewn arddeliad o genadwri oruwchnaturiol. "Pa arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur," meddai yr Iuddewon wrth Grist, "fel y gwelom, ac y credom i ti?" "Pa beth yr wyt ti yn ei weithredu?" meddynt. O herwydd ein gwendid ni, nis gallwn synio yn deilwng am y Goruchaf, nac ymostwng iddo, heb olwg ar ei fawredd a'i allu, yn gystal ag amlygiadau eraill o hono. Heb "arwyddion a rhyfeddodau" yn amgylchynu y Gwaredwr ar ei ymddangosiad yn ein byd ni, ni buasai mor hawdd ei adnabod a chredu ynddo. Yr oedd raid cael rhyw nôd amlwg o wahaniaeth rhyngddo â phawb eraill, yn ei Berson a'i waith, a hwnw yn gyfryw ag y gallasai pob gradd a sefyllfa o ddynion ar unwaith ei amgyffred. Rhyw wahaniaeth mewn graddau, yn hytrach na gwahaniaeth hanfodol a fuasai rhyngddo ag eraill o ran ei nodweddion moesol, o leiaf yn ngolwg dynion yn gyffredin. Y mae rhywfaint o ddoethineb, a daioni, a chariad, mewn dynion da yn y byd; ond yn Nghrist yr oedd y pethau hyn yn gysylltiedig âg arwyddion o awdurdod a gallu Dwyfol, yn galw am ein hymostyngiad iddo fel Duw-ddyn—fel ein Gwaredwr. Yr oedd ei ddyfodiad uniongyrchol oddiwrth Dduw yn cael ei brofi mewn modd uniongyrchol, ar unwaith, i'r mwyaf dŵl yn gystal a'r mwyaf doeth, yn y gwyrthiau.

Y mae canlyniadau o Hollwybodaeth mewn prophwydoliaeth yn gystal prawf o ddwyfoldeb ag ydyw gwyrthiau mewn rhyw ystyr, ond nid ymhob ystyr. Er fod bywyd a marwolaeth Crist yn gyflawniad o bro-

phwydoliaethau lawer, a'i fod yntau ei hun wedi rhagddywedyd amryw bethau a gyflawnwyd wedi hyny, ac a gyflawnir eto, ar yr un pryd y mae rhyw briodoldeb mewn gwyrthiau o *allu* nad yw mewn gwyrthiau o wybodaeth i selio anfoniad Crist gan y Tad. Yn un peth, y mae prophwydoliaeth yn rhy araf yn dyfod i ben yn gyffredin i ateb y dyben o ddwyn dynion i gredu ar unwaith. Y mae yn fwy cymhwys i gadarnhâu crediniaeth flaenorol nag ydyw i gynnyrchu ffydd am y tro cyntaf. Rhaid aros am gyflawniad y brophwydoliaeth i ganfod ei llawn ystyr a'i gwirionedd. Ond y mae gwyrth ar unwaith yn deffro sylw, ac yn selio y genadwri i'n ffydd,—yn brawf uniongyrchol fod Duw yn wir wedi preswylio gyda dyn ar y ddaear.

Yn unol â'r sylwadau hyn, yr ydym yn cael fod yr "arwyddion a'r rhyfeddodau" gwyrthiol hyn yn cael eu derbyn, fel y bwriadwyd hwynt, gan ddynion. Gyda fod y wyrth wedi ei chyflawni, yr oedd y bobl yn tori allan yn y fan, yn y modd mwyaf naturiol, i ddywedyd, "Yn wir, Mab Duw yw y dyn hwn!" "A'r torfeydd pan welsant, rhyfeddu a wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a roisai gyfryw awdurdod i ddynion." Ar ol cyfodi mab y weddw dywedir, "Ac ofn a ddaeth ar bawb: a hwy a ogoneddasant Dduw, gan ddywedyd, "Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith; ac, Ymwelodd Duw â'i bobl." Yr oedd eu meddyliau syml a diragfarn ar unwaith yn cyrhaedd ystyr ac amcan y gwyrthiau, tra yr oedd y doctoriaid dysgedig, ond rhagfarnllyd, yn eu gwrthod, fel y mae rhai o'r cyfryw yn ein dyddiau ninnau. Ni a gawn hanes am un o'r bobl ddirodres hyn yn trechu y dysgawdwyr Iuddewig yn lân ag iaith synwyr cyffredin, sef y dyn a aned yn ddall. "Y dyn a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yn hyn yn ddïau y mae yn rhyfedd na wyddoch chwi o ba le y mae efe, ac efe a agorodd fy llygaid i. Ac ni a wyddom nad yw Duw yn gwrandaw pechaduriaid (twyllwyr); ond os yw neb yn addolwr Duw, ac yn gwneuthur ei ewyllys ef, hwnw y mae yn ei wrando. Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a anesid yn ddall. Oni bae fod hwn o Dduw, nid allai efe wneuthur dim."

Y prawf allanol fod gwyrthiau wedi eu cyflawni yw, yr un y cyfeiriwyd ato eisoes gyda golwg ar ffeithiau Cristionogaeth—eu bod yn bethau o hynodrwydd cyhoeddus, ac na chynnygiwyd eu gwadu yn yr oes hono pryd y cyflawnwyd hwynt.

Wele, erbyn hyn, y mae gwyrthiau Cristionogaeth wedi peidio, ond y mae Cristionogaeth ei hun yn aros. Moddion i sefydlu Cristionogaeth oedd y gwyrthiau. "Cloch fawr y grëadigaeth," yn debyg fel y dywed Foster, "i alw dynion i'r bregeth," oeddynt hwy, ac yna yn tewi i adael i'r bobl wrandaw y bregeth. Y mae y bregeth yn parhâu eto, sef yr efengyl, i wneuthur ei gwaith achubol ar ddynion. Y mae yn cyfarfod âg anwybodaeth a thywyllwch ysbrydol ac yn ei oleuo, yn deffro y gydwybod a'i phuro, yn cyfnewid y galon a'i sancteiddio. Y mae yn deffro y byd o'i gysgadrwydd a'i farweidd-dra ysbrydol, ac yn rhoddi rhyw nerth newydd iddo. Y mae yn codi dyn, er ei fod yn bechadur, i gymdeithasu â Duw mewn modd na welwyd mo hono erioed o'r blaen. Y mae ynddi rywbeth sydd yn galluogi dynion i lynu wrthi trwy bob tywydd—i wynebu ar wawd a dirmyg, bygythion ac erlidigaethau, y cleddyf, tân, a ffagodau. Y mae ynddi ryw fywyd a grym nad oedd yn bod o'r blaen yn y byd; ond wedi iddo gael bod—wedi iddo ddyfod i'r byd, nid oedd

dim digon o rym yn ngelyniaeth y byd i'w drechu, a'i yru allan o'r byd. Gwnaeth Paganiaeth ei goreu i'w gorchfygu yn ymherodraeth Rhufain gynt; ond yn ei hymdrech gwaedlyd yn erbyn Cristionogaeth, hi a drengodd ei hunan. Gwnaeth Rhufain Babaidd ei hegni mewn oesoedd diweddarach, i yru Cristionogaeth bur allan o'r byd; ond yn lle hyny, y mae hithau bron trengu hefyd yn y dyddiau hyn, a'r efengyl yn ymledanu trwy ei thiriogaethau yn gyflym, a thrwy yr holl fyd. Hi a saif yn fuan yn fuddugoliaethus ar adfeilion pob gaugrefydd. Er i gaugrefyddau y byd gael galluoedd y ddaear o'u plaid i'w sefydlu a'u cynnal, eto y maent yn adfeilio yn brysur. Gellir dyweyd am danynt yn bresennol, fel y dywedwyd gynt am Iuddewaeth, eu bod "yn hen ac oedranus, ac agos i ddiflanu." Ond am y *wîr* grefydd, y mae wedi cymeryd ei lle yn y byd, a gweithio ei ffordd ymlaen ynddo, er gwaethaf gelyniaeth y byd, ac uffern hefyd; ac y mae heddyw, ar ol cymaint o lafur, fel yn nyddiau ei hieuenctyd, yn ymysgwyd oddiwrth bob trais a gormes, ac yn ymestyn ymlaen at feddiannu y byd yn llwyr. Y mae ei tharddiad o le mor uchel, a'r fath rym y tu cefn iddi, fel y lleinw y byd yn fuan â gwybodaeth o'r Arglwydd fel y töa y dyfroedd y môr.

Yn y modd yma, y mae llwyddiant Cristionogaeth ei hun, a'r gwaith y mae yn wneyd yn y byd, wrth ystyried yr amgylchiadau dan ba rai y mae wedi llwyddo, ynghyd a'r moddion sydd ganddi at lwyddo, yn *wyrth ynddo ei hun.*

Yn awr, ni a allwn derfynu yn briodol yn ngeiriau yn Apostol, "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Y mae yr efengyl yn wirionedd diammheuol. A dyma ei chynnwysiad, "*ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid;*" y neges fwyaf pwysig ag sydd yn bosibl fod—"*iachawdwriaeth.*" Am yr hon iachawdwriaeth y manwl chwiliodd y prophwydi; yr hon iachawdwriaeth y dechreuodd yr Arglwydd Iesu ei hun ei thraethu; ac am yr hon iachawdwriaeth y sicrhäwyd ni gan yr Apostolion; ac i'r hon iachawdwriaeth y dygodd Duw ei hun dystiolaeth o'r nef mewn "arwyddion a rhyfeddodau" gwyrthiol. Edrychwn pa dderbyniad a roddwn iddi! Pa un ai "myned ymaith yn athrist" oddiwrthi a wnawn, ai ynte bod yn "llawen gan gredu?"

Yr oedd natur rasol y gwyrthiau a wnaed i gadarnhâu yr efengyl yn dangos mai iachawdwriaeth oedd ei hamcan. Gwyrthiau o iachâd oeddynt. Y mae yn anhawdd meddwl am ddim mwy serchiadol a charedig na'r gweithredoedd o iachâu merch y wraig o Ganaan, codi o farw fab y wraig weddw o Nain, rhoddi ei olwg i'r dall, ei glyw i'r byddar, ei leferydd i'r mud, &c. Yr oedd holl weithredoedd Crist yn arddangos cymaint o râs ag o nerth, cymaint o drugaredd ag o allu; yn arddangos Duw yn ymhyfrydu mewn trugaredd—yn anfon ei Fab i'r "byd fel yr achubid y byd trwyddo ef." Gallu yn gwasanaethu trugaredd sydd yma, a phob un o honynt yn anfeidrol. Y mae yn ddiammheu iddo wasgaru bendithion fyrdd o'i amgylch ar ei fynediad trwy y byd, mewn ffordd o iachâu cleifion, a chysuro pob galarus; ond o'r holl fendithion tymmorol, a wasgarodd i ddynion nid oedd yr un o honynt yn cael eu rhoddi ganddo heb ryw ddyben uwch mewn golwg nag iechyd corfforol a dedwyddwch cymdeithasol: iachawdwriaeth yr enaid oedd yr amcan mawr ganddo yn y cyfan. Nid oes dim llai na hyny a ddiwalla ei

enaid haelionus ef. Amcan mawr y cwbl a wnaed gan Grist a'i apostolion oedd argyhoeddi dynion o wirionedd cenadwri yr efengyl, a'u cael i dderbyn yr iachawdwriaeth dragywyddol sydd ynddo ef. Hunanymholwn, A fydd y cwbl yn ofer i ni yn y diwedd? Y mae y sawl sydd yn esgeuluso iachawdwriaeth yr efengyl yn gwneyd y cyfan yn ofer o'u rhan hwy—yn dyweyd yn iaith eu hymddygiad eu bod yn afreidiol. Ond pa un ai credu neu beidio a wna dynion, ni ddiangant hwy ddim rhag y cyfrifoldeb. Yn ol mawredd yr amlygiadau o Dduw a roddwyd i'r byd ynglŷn â'r efengyl, a mawredd yr amlygiadau o hono a geir yn yr efengyl, y bydd ein cyfrifoldeb yn y diwedd am ein hymddygiad tuag ati. Yr Arglwydd a agoro ein calonau i'w derbyn, ac a roddo i ni y dystiolaeth ynom ein hunain o'i dwyfoldeb a'i gwirionedd! "Yr hwn sydd yn credu, y mae ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun."

Nid oes ond un ffordd i ddianc yn y diwedd—trwy ymddiried ein hunain i'r Gwaredwr. Nid oes modd dirymu y gyfraith, attal cosb, gwrthwynebu awdurdod Duw; ac nid oes gan Dduw ond un ffordd i faddeu, sef mewn iawn. Os ymddirieda y pechadur ynddo ef, bydd gan Dduw reswm cryfach dros faddeu iddo na'i gosbi. Gall Duw arbed yn helaeth yn angeu y groes, o herwydd fod helaethrwydd diderfyn o ras a thrugaredd yn Mherson y Gwaredwr ar ein cyfer. Ond os unwaith y collir golwg ar urddas Dwyfol y Person mawr a osododd Duw yn iawn, y mae yr unig sail sydd genym am iachawdwriaeth yn diflanu. Nid oes yr un ffordd arall yn gyson â chyfiawnder Duw fel Barnwr i ollwng yr euog yn rhydd; ac nid oes modd i gydwybod y troseddwr gael tangnefedd heb hyny. Nis gellir heddychu y gydwybod argyhoeddedig yn yr olwg ar ddrwg pechod, a sicrwydd barn am dano, ond trwy gael sicrwydd nad yw y Machnïydd sydd yn ateb drosto yn neb llai na'r Duw y pechwyd i'w erbyn. Ac y mae y sicrwydd mwyaf gan yr efengyl am yr Arglwydd Iesu ei fod yn gyfryw. Y mae y ffaith fwyaf yn hanes y byd yn ddigon gwir. Daeth Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid. Yr hyn sydd eisieu yn bresennol yw ymddiried ein heneidiau iddo i'w cadw erbyn y dydd hwnw, ac yna ni a fyddwn cadwedig. Er ein bod dan bechod wrth natur, ac achosion naturiol yn rhedeg yn ein herbyn, dyma Berson goruwchnaturiol wedi dyfod i'r byd i'n cadw, ac wedi profi ei hawl i'n hymddiried mewn modd goruwchnaturiol, a'i allu i'n hadferu i gyflwr diogel a sanctaidd. Felly, yr hyn sydd eisieu i ni wneyd tuag at fod yn gadwedig yw camu drosodd, megys, o'r perygl i'r diogelwch, canys cawn dir cadarn dan ein traed, a goleu gan yr efengyl i "fyned trwodd o farwolaeth i fywyd."



# YR EPISTOLAU CYFFREDINOL:

## CYFIEITHIAD NEWYDD, YNGHYDA NODAU EGLURHAOL.

### RHAGYMADRODD.

BARNED ar y gwaith a fedro farnu, ac nid yr hwn ni fedro. Bwriad yr awdwr oedd rhoi cyfieithiad mwy cywir, mwy eglur, mwy cryno, ac mewn iaith mwy cydwedd â nodweddau y Gymraeg, na'r cyfieithiad cyffredin.

Gelwid yr Epistolau hyn yn *gyffredinol* am nad ysgrifenid hwynt at eglwysi neu ddynion neillduol. Er mwyn rhoi y rhan hon o'r Ysgrythyr yn gyflawn, rhoddir hefyd ddau epistol byr nad ydynt gyffredinol, ond yn neillduol, sef yr ail a'r trydydd Epistol Ioan.

Yr amser ysgrifenwyd yr Epistolau hyn, yn ol golygiadau y beirniaid mwyaf hyddysg, sydd fel y canlyn,—

| | | |
|---|---|---|
| Epistol Iago, yn y flwyddyn | ............................ | 61 |
| Epistol Cyntaf Pedr | " ............................ | 64 |
| Ail Epistol Pedr | " ............................ | 65 |
| Epistol Cyntaf Ioan | " ............................ | 68 |
| Ail Epistol Ioan | " ............................ | 69 |
| Trydydd Epistol Ioan | " ............................ | 69 |
| Epistol Judas | " ............................ | 66 |

Mewn perthynas i amseriad y tri Epistol cyntaf, y mae y dysgedigion yn gyffredin yn cyduno; ond am Epistolau Ioan ac eiddo Judas, barna rhai iddynt gael eu hysgrifenu mor ddiweddar a 90 neu 92. Ond nid yw hyn yn beth o fawr ganlyniad.

### EPISTOL IAGO.

Nid Iago, brawd Ioan, ond Iago mab Cleopas, oedd ysgrifenydd yr epistol hwn. Ei fam oedd Mair, cyfnither Mair y Forwyn, fel y mae yn debygol, gan y gelwid ef yn frawd i'n Harglwydd, Gal. i. 19; o herwydd arferir brawd yn aml yn yr Ysgrythyr am berthynas agos.

Bu ammheuaeth gan rai yn yr oesoedd cyntaf ynghylch yr Epistol hwn, pa un ai Iago a'i hysgrifenodd, neu rywun arall tan ei enw; ond barn gyffredin yn bresennol yw mai efe oedd ei awdwr. Un prawf neillduol o hyn ydyw, ddarfod i'r Epistol hwn ymddangos fel rhan o'r Ysgrythyr yn y Cyfieithiad Syriaeg, y cyntaf a wnaed, sef ynghylch dechreuad yr ail ganrif.

Yr achos o ysgrifenu yr Epistol yn amlwg oedd, y camddefnydd a wnaed o athrawiaeth gwir rad. Nodir yr un gwyrdröad gan Paul yn Rhuf. vi., a manau eraill. Rhad, llwyr annhaeddiannol, a digonol i'r penaf o bechaduriaid, a ddirmygir ac a wrthodir gan rai; a chan eraill, roir e f i benrhyddid. Yn erbyn y diweddaf yr ysgrifenodd Iago.

Yn ol hanes eglwysig cafodd Iago ei roi i farwolaeth yn y flwyddyn 62, gan y werin benboeth yn Jerusalem a gynhyrfid gan yr offeiriaid Iuddewig.

## EPISTOL CYNTAF PEDR.

Ni fu ammheuaeth un amser ynghylch cynwynolrwydd Epistol hwn; cafodd ei dderbyn o'r dechreu megys rhan ddwyfol o'r Ysgrythyr. Yr oedd Pedr ar y cyntaf yn brif flaenor yn achos crefydd; ond gwedi y cynghor yn Jerusalem, yn y flwyddyn 49, a ddywedir am dano yn Act. xv., ni chawn un hanes am dano yn yr Ysgrythyr, oddieithr yr hyn a nodir yn ei gylch yn Antioc, Gal. ii. 11. Gallwn gasglu oddiwrth ddechreu ei Epistol y gweinidogaethai, mewn rhan o leiaf, os nad yn benaf, yn y manau hyny a enwa ynddo.

Y rhai yr ysgrifenodd atynt, medd rhai, oeddent yn Iuddewon dychweledig yn unig; ond mwy tebygol yw barn eraill, y rhai a olygant iddo ysgrifenu at Gristionogion yn gyffredinol, er yn benaf at Iuddewon.

## AIL EPISTOL PEDR.

Ni dderbynid gan rai yr epistol hwn yn yr oesoedd cynnaraf fel eiddo Pedr; ond nid hir y bu heb gael derbyniad cyffredinol; ac nid oes yn bresennol un ammheuaeth yn ei gylch gan y dysgedig, y rhai sydd ganddynt lawer mwy o fanteision i farnu ynghylch y fath beth a hyn nag oedd gan y rhan fwyaf yn yr oesoedd cyntefig.

Ymddengys iddo gael ei ysgrifenu at yr un rhai ag yr ysgrifenwyd y cyntaf atynt. Gwel pen. iii. 1. Ond ni chrybwyllir y lle yr hwn y danfonwyd ef oddiwrtho.

## TRI EPISTOL IOAN.

Er nad yw enw Ioan ynglŷn wrth un o'r rhai hyn, eto y mae yr eirwedd, neu y modd o lefaru, yn gyfryw fel nad oes le i ammheu mai efe a'u hysgrifenodd. Mae hyn yn ddigon, pe na byddai un prawf arall. Ond cyfrifid y cyntaf iddo yn ddiwrthddadl o'r dechreu, a'r ddau arall gan y rhai mwyaf hyddysg a derbyniol yn mhob oes.

Epistol cyffredinol yw y cyntaf, a ysgrifenwyd at Gristionogion, Iuddewon a Chenedloedd; er fod rhai wedi barnu, ond nid ar sail ddigonol, mai Iuddewon crediniol a olygai yn benaf. Am y ddau arall rhoir i ni enwau y rhai yr ysgrifenwyd atynt. "Y Bendefiges," neu, "Arglwyddes," yr ysgrifenodd ati, ni wyddys pwy ydoedd; ond tybia amryw mai ei henw oedd *Eclecta*, y gair a arwydda "etholedig," fel ei cyfieithir yn gyffredin. Ond nid tebygol yw hyn, o herwydd cymhwysa yr un gair at ei chwaer, adn. 13. Am "Gaius," darllenwn am dri o'r enw hwn: Gaius o Macedonia, cydymaith Paul yn Ephesus, Act. xix. 29; Gaius o Derbe, Act. xx. 4; a Gaius o Corinth, 1 Cor. i. 14. Nis gwyddir pwy oedd yr hwn yr ysgrifenodd Ioan ato.

## EPISTOL JUDAS.

Brawd Iago, awdwr yr Epistol tan ei enw, oedd Judas; ac felly mab Cleopas neu Alpheus ydoedd. Ni ddywedir un peth neillduol am dano

oddieithr yr hyn a draddodir i ni yn Ioan xiv. 21—23. Rhoddid iddo hefyd yr enwau Thadëus a Lebbëus; a gelwid ef, fel Iago, yn frawd i'n Harglwydd, o herwydd ei fod yn berthynas iddo.

Mae yn amlwg yr hyn a barodd iddo ysgrifenu ei Epistol, sef ymlusgiad lladradaidd gauathrawon i'r eglwys. Bernir yn gyffredin iddo fwriadu ei Epistol er rhybudd ac annogaeth i bawb ag oeddent yn Gristionogion, Iuddewon a Chenedloedd, heb wahaniaeth, gan y cyflwyna ef i'r rhai "a sancteiddid gan Dduw Dad, ac a gedwid gan Iesu Grist."

Gwerthfawr yw yr Epistolau hyn, nid yn unig am y cynnwysir ynddynt amryw o wirioneddau mawrion yr efengyl, ond hefyd am yr amlygant i ni agwedd a chyflwr yr eglwys yn yr amser hyny. Ymddengys bod ynddi efrau o'r rhyw waethaf yn gymysg â gwenith, a llawer o hwnw nid o'r rhyw oreu; ac felly hollol anghywir a disail yw y syniad fod rhyw berffeithrwydd anghymharol yn perthyn i'r eglwys gyntefig. Pwy a all ddarllen yr Epistolau hyn heb ganfod yn eglur mai dychymyg ofergoelus, ac nid gwirionedd, yw y fath syniad? Yr un gamsyniaeth sy'n bod ynghylch yr eglwys yn yr oesoedd cynnaraf. Ffiloregau dychymygol ydynt y rhan fwyaf o'r pethau a ddywedir am dani, na chydweddant âg amgylchiadau yr amseroedd, ac â'r hyn a gynnwys yr Ysgrythyr yn ei chylch o ran y dyddiau dyfodol.

## EPISTOL CYFFREDINOL IAGO.

### Pen. I.

1. Iago, gwas* Duw a'r Arglwydd Iesu Grist, at y deuddeg llwyth
ydynt ar wasgar, yn danfon anerch.
2. Cyfrifwch hi yn bob† llawenydd, fy mrodyr, pan syrthioch i
3. amryw o brofedigaethau; gan wybod y gweithia profiad o'ch ffydd
4. amynedd; ond caffed amynedd ei chyflawn waith,‡ fel y byddoch
5. yn gyflawn ac yn gyfanol,|| heb ddiffygio mewn dim. Ac os
diffygiol yw neb o honoch o ddoethineb,§ ceisied gan Dduw, sydd yn
6. rhoddi i bawb yn haelionus, ac heb ddannod, a rhoddir iddo; ond ceisied mewn ffydd, heb ammheu dim; canys tebyg yw'r hwn sy'n am-
7. mheu i dòn y môr, a yrir gan y gwynt ac a derfysgir. Na thybied
8. y dyn hwnw y derbyn ddim gan yr Arglwydd: gŵr o feddwl dauddyblyg,¶ ansefydlog yw yn ei holl ffyrdd.

* Y swydd o fod yn was a feddylir, ac nid y gwaith o wasanaethu. Gwas oedd fel apostol neu genad, wedi ei ddanfon i bregethu'r efengyl. Gwel Attodiad A.

† Llawn neu gyflawn.

‡ Sef, fel y byddai amynedd, neu ddyoddefgarwch, nid mewn rhan, ond yn gyfangwbl.

|| "Cyflawn" yw un mewn llawn oed, yn ei lawn faintioli; a "chyfanol" yw bod heb wallau, neu anaf, neu ddiffyg. Mynai iddynt fod yn gristionogion llawn oed, ac yn feddiannol o bob rhan o dduwioldeb, fel dynion wedi tyfu i fyny, ac heb un gwall nac anaf arnynt.

§ I wneuthur iawnddefnydd o'r profedigaethau, cystuddiau, ac erlidigaethau, fel y byddai iddynt weithredu neu ddangos cyflawn amynedd.

¶ Yn llythyrenol, "gŵr o ddwy enaid," heb benderfynu pa un a wnai oddef profedigaethau neu ymwrthod â chrefydd.

9, 10. Gorfoledded hefyd* y brawd o isel radd yn ei ddyrchafiad,† a'r
cyfoethog yn ei iselhad;‡ o herwydd fel blodeuyn glaswellt y
11. diflana; canys cyfyd yr haul gyda gwres, a gwywa y glaswellt, a'i
flodeuyn a syrthia, a thegwch ei bryd a dderfydd; felly hefyd y
12. diflana y cyfoethog yn ei ffyrdd. Dedwydd y gŵr|| a oddef brofed-
igaeth; o herwydd wedi ei brofi, derbyn goron y bywyd, yr hon a
addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant.
13. Na ddyweded y neb a hudir,§ "Gan Dduw yr hudir fi;" canys nid
14. ellir hudo Duw â drygau, ac ni huda Efe neb. Ond pob un a
hudir pan y tyner ef ymaith ac y llithier ef gan ei chwant ei
15. hun.¶ Yna chwant, gwedi ymddwyn, a genedla bechod; a
16. phechod, pan orphener, a esgor ar farwolaeth. Na chyfeiliorn-
17. wch,** fy mrodyr anwyl; pob rhodd dda, a phob rhadrodd berffaith,††
oddiuchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dduw pob goleuni, yr hwn
18. nid oes gydag ef gyfnewidiad na thebygolrwydd o newidio. O'i
wir ewyllys‡‡ y cenedlodd ni trwy air y gwirionedd, fel y byddem
yn rhyw flaenffrwyth|||| o'i grëaduriaid.
19. Felly,§§ fy mrodyr anwyl, bydded pob dyn yn barod¶¶ i wrando,
20. yn hwyrfrydig i lefaru, yn hwyrfrydig i ddigofaint; canys digof-
21. aint gŵr, ni chyflawna gyfiawnder Duw.*** Am hyny, gan roi
heibio bob aflendid a gorlif drwganian,††† mewn addfwynder der-
byniwch y gair a blanir oddifewn, yr hwn a ddichon achub eich
22. heneidiau. Byddwch hefyd yn wneuthurwyr y gair, ac nid yn
23. wrandawyr yn unig, gan wag-dwyllo‡‡‡ eich hunain. Oblegid os
yw neb yn wrandawr y gair heb fod yn wneuthurwr, tebyg yw efe
24. i ŵr yn edrych ar ei wyneb naturiol|||||| mewn drych: canys edrych-
odd arno ei hun ac a aeth ymaith, ac yn y fan anghofiodd pa fath
25. ydoedd. Ond yr hwn a ddyfal edrych ar ddeddf berffaith rhyddid,§§§

* Dyma beth ag sydd yn achos arall o lawenydd neu orfoledd. Gwel adn. 2.

† O fod yn gyfranog o freintiau yr efengyl.

‡ Yn nghyfrif y byd; eto gorfoleddu a ddylai, gan y derfydd pethau'r byd yn fuan, a chaiff cyn hir "goron y bywyd."

|| Y tlawd a'r cyfoethog; a chyfeiria yn neillduol at y diweddaf.

§ Gwel Attodiad B.

¶ Tynir dyn gyntaf ymaith oddiar y llwybr cywir, ac yna "llithir" ef, neu "bachir" ef. Y cyfeiriad sydd at ddal pysgod trwy guddio bach mewn abwyd. Ymddengys fel lluniaeth, ond cynnwys fach marwol: felly pob pechod.

** Neu, "Na thwyller chwi" (Luc xxi. 8), sef ynghylch Duw, ei fod yn hudo neb, gan mai rhoddion da a pherffaith yn unig a ddeuant oddiwrtho Ef.

†† "Perffaith" a "da," yn ngwrthwyneb i bob peth anmherffaith, drwg, a niweidiol. Gwel Attodiad C.

‡‡ Neu, o'i fodd ei hun; yn llythyrenol, "Gan ewyllysio, cenedlodd ni." Dyma brawf o'i "radrodd." Cenedlodd hwynt "yn ol boddlonrwydd ei ewyllys." Eph. i. 5.

|||| Iuddewon oeddent y tröedigion cyntaf; hwynt oeddent flaenffrwyth o'i grëaduriaid newydd. Gwel Rhuf. xvi. 5; 1 Cor. xvi. 15.

§§ Gan i Dduw eich cenedlu fel yn flaenffrwyth o'i wir ewyllys.

¶¶ Nid yw "esgud" yn ddealladwy yn y Deheudir; ac nid yw "diog" yn gymhwys.

*** Sef yr hyn sydd gyson ac uniawn gerbron Duw.

††† "Drwganian" yw awydd i wneuthur drwg neu niwed i eraill; a'i "orlif" yw digofaint yn tori allan, yr hyn ni weithreda gyfiawnder Duw. Gwel Attodiad D.

‡‡‡ Sef twyllo trwy wâg resymau, neu gau resymau.

|||||| Yn llythyrenog, "wyneb ei enedigaeth," geirwedd Hebrëaidd yn lle wyneb genedigol neu naturiol.

§§§ Felly y geilw yr efengyl: "perffaith" o herwydd ei chyflawnder, heb un gwall neu ddiffyg; "rhyddid," o herwydd rhyddhâ oddiwrth felldith y ddeddf foesol, oddiwrth lywodraeth pechod, ac oddiwrth golledigaeth.

ac a barhâ *felly*,* hwn, heb fod yn wrandawr anghofus, ond yn
wneuthurwr y gair, a fydd ddedwydd yn ei waith.
26. Os tybia neb yn eich plith ei fod yn grefyddol, heb ffrwyno ei
27. dafod, ond yn twyllo ei galon,† ofer yw crefydd hwnw. Crefydd
bur a dihalog‡ ger bron Duw a'r Tad yw hon, ymweled â'r
amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a chadw ei
hun yn ddifrychau oddiwrth y byd.||

PEN. II

1. Fy mrodyr, onid yw genych ffydd ogoneddus§ ein Harglwydd
2. Iesu Grist gyda derbyn wyneb? Oblegid os daw i mewn i'ch
cynnulleidfa ŵr â modrwy aur, mewn dillad gwychion, ac y daw i
3. mewn hefyd un tlawd mewn dillad gwaelion, ac edrych o honoch
arno ef a wisga ddillad gwychion, a dywedyd wrtho, "Eistedd di
yma mewn lle da," a dywedyd wrth y tlawd, "Saf di yna," neu,
4. "Eistedd yma o tan fy nhroedfainc;" yna oni wnewch wahaniaeth
ynoch eich hunain,¶ ac y deuwch yn farnwyr â meddyliau drwg**
5. genych? Gwrandewch, fy mrodyr anwyl, oni ddewisodd Duw
dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn eti-
feddion y deyrnas yr hwn a addawodd i'r rhai a'i carant? Ond
6. chwi, anmharchasoch y tlawd. Oni wna'r cyfoethogion eich gor-
7. thrymu,†† a'ch tynu ger bron brawdleoedd? oni chablant yr enw
da a elwir arnoch?
8. Os yn wir y cyflawnwch y ddeddf freninol,‡‡ yn ol yr Ysgrythyr,
9. "Câr dy gymydog fel dy hun," da y gwnewch. Ond os y derbyn-
iwch wyneb, pechod a wnewch, gan yr argyhoeddir chwi gan y
10. ddeddf megys troseddwyr. Canys y neb a gadwo'r ddeddf oll,
11. ond a dramgwyddo mewn un *rhan*, euog yw o'r cyfan. Oblegid yr
hwn a ddywedodd, "Na odineba," a ddywedodd hefyd, "Na ladd;"
12. ac os ni odinebi, ond eto a leddi, troseddwr wyt o'r ddeddf. Felly
dywedwch ac felly gwnewch, fel y rhai a fernir wrth ddeddf
13. rhyddid. Oblegid barn ddidrugaredd a fydd i'r hwn ni wna dru-
garedd: ond gorfoledda trugaredd yn erbyn barn.||||
14. Pa fodd, fy mrodyr, os dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod
15. ganddo weithredoedd? a ddichon ffydd ei achub? Oblegid os bydd
brawd neu chwaer yn noeth ac mewn eisieu o ymborth beunyddiol,
16. ac os dywed neb un o honoch wrthynt, "Ewch ymaith mewn hedd-
wch; cynheser a digoner chwi," ac heb roddi o honoch iddynt o

* Sef i edrych.
† Trwy feddwl mai digon oedd gwrando heb wneuthur y gair.
‡ "Bur," lân, loew, heb ddu-fanau: "dihalog," heb ei llychwino gan lygredd.
|| Arferion pechadurus a chwantau'r byd.
§ Yn llythyrenol, "ffydd gogoniant," megys "gwrandawr anghofiant" yn lle "gwrandawr anghofus" yn pen. i. 25. Gwel Attodiad E.
¶ Sef yn eich meddwl eich hun.
** "Drwg," anghywir, gwyredig, llygredig: yn llythyrenol, "yn farnwyr o feddyliau drwg," neu o syniadau amryfus, sef trwy farnu yn unig wrth yr agwedd allanol.
†† Neu, eich gormesu: y rhai a dra-arglwyddiaethent arnynt.
‡‡ "Breninol," o herwydd ei rhagoroldeb, neu gan ei rhoddid gan Dduw, y Brenin penadurol.
|||| Sef, i'r rhai a wnant drugaredd.

17. anghenrheidiau'r corff, pa fudd yw? Felly hefyd ffydd, os na
fydd ganddi weithredoedd, marw yw, pan wrthi ei hun.
18. Ond dywed rhyw un, "Mae genyt ti ffydd, a chenyf finnau weith-
redoedd; dangos i mi dy ffydd heb dy weithredoedd, minnau a
19. ddangosaf i ti fy ffydd trwy fy ngweithredoedd.* Ti a gredi fod
un Duw, da y gwnai; creda y cythreuliaid hefyd a chrynant."
20. Ond a fyni di wybod, O ddyn ofer, fod ffydd heb weithredoedd yn
farw?
21. Abraham ein tad, oni chyfiawnhäwyd ef gan weithredoedd, pan
22. offrymodd Isaac ei fab ar yr allor? Gweli y cydweithiai ffydd â'i
23. weithredoedd,† a thrwy weithredoedd y perffeithid ffydd.‡ Cyf-
lawnid hefyd yr Ysgrythyr a ddywed, "Credodd Abraham Dduw,
a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder;" a gelwyd ef yn gyfaill Duw.
24. Gwelwch ynte mai trwy weithredoedd y cyfiawnhëir dyn,‖ ac nid
trwy ffydd yn unig.
25. Yr un modd hefyd Rahab y butain, onid trwy weithredoedd
y cyfiawnhawyd hi, pan y derbyniodd y cenadon ac y danfonodd
hwynt ymaith ffordd arall?
26. Oblegid fel ag y mae'r corff heb yr ysbryd yn farw, felly hefyd
ffydd heb weithredoedd, marw yw.

PEN. III.

1. Na fyddwch athrawon§ lawer, fy mrodyr, gan wybod y derbyn-
2. iwn farnedigaeth fwy; canys mewn llawer o bethau y tramgwyddwn
oll. Os na thramgwydda neb ar air,¶ hwn sydd ŵr perffaith,
3. yn gallu ffrwyno, ïe, ei holl gorff ** Wele, rhoddwn ffrwynau yn
mhenau y meirch,†† fel yr ufuddhäont i ni, ac y troffom oddiamgylch
4. eu holl gorff. Wele hefyd y llongau, er mor fawr ydynt ac y gyrer
hwynt gan wyntoedd gerwin, eto tröir hwynt oddiamgylch gan lyw
5. tra bychan, ple bynag y myno'r llywydd. Felly hefyd y tafod,
aelod bychan yw, ond mawr ymffrostia. Wele ychydig dân, pa
6. faint o danwydd‡‡ a ennyn! A'r tafod, tân ydyw, byd o ddrygedd!

* Dengys hyn feddwl Iago, pan ddywed, y cyfiawnhëir dyn trwy neu gan weithredoedd, sef bod gweithredoedd yn *dangos* ffydd, yn brawf o hóni. Ffydd fyw a gweithiol, ac nid ffydd farw, ddiwaith, sy'n cyfiawnhâu, ac felly yn achub yr enaid.

† Neu, "y cynnorthwyai ffydd ei weithredoedd," fel y dywed Paul yn Rhuf. iv. 18—20.

‡ Sef, y gwnelid ffydd yn gyflawn, ac yr amlygid ei bod yn wir ffydd: gweithredoedd a ddangosant hyn.

‖ Hyny yw, yr amlygir ef yn gyfiawn. Felly yw ystyr y gair yn 1 Tim. iii. 16, "A gyfiawnhäwyd yn (neu, gan) yr Ysbryd," sef, amlygwyd neu a gyhoeddwyd yn gyfiawn gan yr Ysbryd. Cymerir y gair yn ei ystyr Hebrëaidd. Nid oes gweithredoedd heb ffydd, ac nid oes ffydd heb weithredoedd, sef gwir ffydd.

§ Neu ddysgawdwyr, nid "meistriaid." Gesyd yr Apostol ei hun fel un o honynt, "y derbyniwn," &c.

¶ Mewn ymddyddan, neu wrth bregethu, neu gynghori, neu geryddu eraill. "Perffaith, megys un mewn cyflawn oed, yn gristion mewn llawn oedran; nid yn ieuanc, ond wedi dyfod i'w lawn faintioli.

** Yn ei nwydau a'i chwantau.

†† Yn llythyrenol, "yn ngenau y ceffylau:" ond yr ymadrodd Cymraeg yw "yn mhenau y meirch."

‡‡ Neu, "o goed."

Felly y tafod a osodwyd ymhlith ein haelodau; haloga yr holl
gorff, a ffagla gylchedd anian,* ac a ffaglir gan uffern.
7. Pob math yn wir o wylltfilod ac o adar, o ymlusgiaid hefyd ac o
8. fôrfilod, a ddofir ac a ddofwyd gan ddynol ryw; ond y tafod, ni
ddichon neb dynion ei ddofi; drwg anllywodraethus† yw, yn llawn
9. o wenwyn marwol. Ag ef y bendithiwn Dduw a'r Tad;
10. âg ef hefyd y melldithiwn ddynion a wnaed ar ddelw Duw: o'r un
genau y daw allan fendith a melldith! Ni ddylai, fy mrodyr, y
11. pethau hyn fod felly. A ydyw ffynnon o'r un llygad yn taflu allan
12. y melus a'r chwerw? A ddichon ffigysbren, fy mrodyr, ddwyn
grawn olew-wydd, neu winwydden, ffigys? Felly ni *ddichon* un
ffynnon roddi dwfr hallt a chroew.
13. Pwy sydd ddoeth a deallus‡ yn eich plith? dangosed trwy ym-
14. arweddiad da ei weithredoedd mewn addfwynder doethineb.|| Ond
os cenfigen chwerw a chynhen§ ydynt genych yn eich calon, na
15. wnewch ymffrostio¶ a chelwyddu yn erbyn y gwirionedd. Nid yw
y ddoethineb hon yn disgyn oddiuchod; ond daearol yw, anianol *a*
16. dieflig:** canys lle mae cenfigen a chynhen, yno y mae annhrefn a
17. phob gwaith drwg. Ond y ddoethineb oddiuchod sydd gyntaf yn
bur,†† yna yn heddychlon,‡‡ yn fwynaidd,|||| yn hawdd ei thrin,§§ yn
llawn o drugaredd¶¶ ac o ffrwythau da,*** yn ddiduedd, ac yn ddi-
18. ragrith: o herwydd ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch gan
y rhai a wnant heddwch.†††

## PEN. IV.

1. O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau‡‡‡ yn eich plith? onid oddi-
yma, oddiwrth eich chwantau a frwydrant yn eich aelodau?
2. Chwantwch, ond nid ydych yn cael; lladdwch a chenfigenwch,||||||
ond nid ellwch gyrhaeddyd; ymladdwch a rhyfelwch, ond nid ydych

* Sef anian trwyddi, pob rhan o honi, pob cynneddf a berthyn iddi, "yr holl gorff," adn. 2. "Ffagla," neu fflamia. "Uffern" a arferir am ei phreswylydd, Diafol, megys y defnyddir nefoedd am Dduw.

† Neu, anattaliadwy, nad ellir ei gadw o fewn terfynau.

‡ Tuag at fod yn ddoeth, rhaid bod yn ddeallus; gosodir yr effaith o flaen yr achos, fel y gwneir yn aml.

|| Addfwynder a gymeradwya ddoethineb, ac a dardd oddiwrthi.

§ Cynhen a genedla genfigen chwerw. Cenfigen chwerw a enwir yn gyntaf, ac yna yr hyn a arwain iddi, megys "doeth" ond "deallus" yn adn. 13.

¶ Sef eu bod yn ddoethion.

** "Daearol," y cyfryw ag sydd gan y rhai a garant y byd a'i bethau.—"Anianol," yr hyn sydd yn ol anian dyn llygredig.—*Dieflig*, yn perchenogi o ysbryd y Diafol ei hun, a genedla genfigen a chynhen.

†† Heb gymysgedd o genfigen.

‡‡ Yn caru ac yn ceisio heddwch.

|||| Yn llythyrenol, yn ymollyngol, hyny yw, parod i faddeu troseddau.

§§ Yn ddarbwyllog, tan sarhâd neu gynhyrfiad.

¶¶ Tuag at y rhai trallodus.

*** Gweithredoedd cymwynasgar a haelionus.

††† Gwel Attodiad F.

‡‡‡ Cynhenau ac ymrysonau a feddylir, yn wrthwyneb i'r heddwch a ddywed am dano o'r blaen.

|||||| Y drwg mwy yn gyntaf, lladd, ac yna yr hyn a arwain iddo, cenfigen. Y lladd oedd cynhen, ac ymryson.

3. yn cael, am na ofynwch; gofynwch, ond ni dderbyniwch, o herwydd
gofynwch ar gam,* fel y treulioch ef ar eich chwantau.
4. Godinebwyr a godinebesau!† oni wyddoch fod cariad at y byd
yn gasineb gan Dduw?‡ Pwy bynag gan hyny a fyno fod yn garwr
5. byd, a gyfrifir yn elyn gan Dduw.|| A dybiwch y llefara'r
Ysgrythyr yn ofer?§ ai at genfigen y tuedda'r Ysbryd a annedda
6. ynom? Yn hytrach¶ rhydd fwy o rad, o herwydd dywed, "Gwrth-
wyneba Duw y beilchion, ond rhydd rad i'r gostyngedig."**
7. Ymostyngwch gan hyny i Dduw; gwrthwynebwch Ddiafol, a ffy
8. oddiwrthych.†† Nesëwch at Dduw, ac atoch y nesâ;‡‡ glanhewch
eich dwylaw, chwi bechaduriaid; a phurwch eich calonau, chwi o
9. feddwl dauddyblyg;|||| ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch; tröer
10. eich chwerthin i alar, a'ch llawenydd i dristwch; ymddarostyng-
wch§§ gerbron yr Arglwydd, a derchafa chwi.
11. Na absenwch¶¶ eich gilydd, frodyr; yr hwn a abseno ei frawd ac
a farno ei frawd, absena y ddeddf a barna y ddeddf; ac os berni y
12. ddeddf, nid wyt wneuthurwr o'r ddeddf ond yn farnydd. Un
Deddfroddwr a Barnydd*** sydd, yr hwn a ddichon achub a choll-
farnu: pwy wyt ti a ferni arall?
13. Clywch yn awr y rhai a ddywedwch, "Heddyw neu yfory awn
i'r cyfryw ddinas, ac aroswn yno flwyddyn, a marchnadwn ac en-
14. nillwn;" ond ni wyddoch beth a fydd yfory, canys beth yw eich
bywyd? tarth yn ddïau ydyw, a ymddengys dros ychydig,
15. ac yna diflana: yn lle hyn *dylech* ddywedyd, "Os myn yr
16. Arglwydd, yna byw fyddwn a gwnawn hyn neu hyny." Ond yn
awr ymffrostio a wnewch yn eich rhyfyg:††† pob cyfryw ymffrost,
17. drwg‡‡‡ ydyw. Am hyny y neb a wyddo wneuthur da, ac nis
gwnelo, pechod yw iddo.

PEN. V.

1. Clywch yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich
2. mawr drueni|||||| a ddaw arnoch. Pydra eich cyfoeth, a bwytëir eich
3. gwisgoedd gan bryfed; rhyda eich aur a'ch arian, a bydd eu rhwd

* Yn llythyrenol, yn ddrwg, a hyny o herwydd y dyben.
† Sef, yn ysbrydol. Caru'r byd oedd y godineb.
‡ Gwel Attodiad Ff.
|| Neu, "a ddyfarnir yn ddygasddyn gan Dduw."
§ Sef, ynghylch caru'r byd. Gwel Attodiad G.
¶ Sef, na thueddu at genfigen.
** Diar. iii. 34, yn ol y Deg a Thriugain, y cyfieithiad Groeg. Amrywia'r Hebraeg yn y rhan gyntaf, "Efe a watwar y gwatwarus:" ond y sylwedd sydd yr un.
†† Rhaid yn gyntaf ymostwng i Dduw a bod dan ei nodded, yna gallwn wrthwynebu'r Diafol.
‡‡ Gwel Attodiad H.
|||| Yn llythyrenol, "o ddwy enaid." Y rhai "o ddwy enaid" yma oeddent am y byd ac am Dduw hefyd; ond yr un "o ddwy enaid" yn pen. i. 8, oedd yn sefyll rhwng credu ac anghredu.
§§ Neu, "Ymiselhëwch."
¶¶ Absenu yw camgyhuddo, camachwyn, athrodi, enllibo.
*** Gwel Attodiad I.
††† Yn llythyrenol, "yn eich rhyfygiadau."
‡‡‡ Sef "y drwg" o annuwioldeb, gan y dynodai anghof o ragluniaeth Duw.
|||||| Mae'r gair yn y rhif lïosog: arwydda mawr neu amryw drueni.

yn dystiolaeth yn eich erbyn, a difa eich cnawd fel tân:* casglwch
4. drysor erbyn y dyddiau diweddaf. Wele cyflog y gweithwyr, a fed-
asant eich meusydd, yr hwn a gamattaliwyd† genych, llefain y
mae; ac aeth dolefau y medelwyr i fyny i glustiau Arglwydd y llu-
oedd.‡
5. Buoch yn gloddestu ar y ddaear ac yn ymdrythyllu; meithrinas-
6. och eich calonau‖ fel ar ddydd y lladdfa: collfarnasoch, lladdas-
och y cyfiawn;§ ni wrthwynebai chwi.
7. Am hyny, frodyr, byddwch ymarhöus¶ hyd ddyfodiad yr Ar-
glwydd. Wele dysgwyl y llafurwr am ffrwyth gwerthfawr y ddaear,
gan fod yn ymarhöus yn ei gylch, nes y derbynio y gwlaw cynnar
8. a'r diweddar. Byddwch chwi hefyd yn ymarhöus; cadarnhewch**
eich calonau, oblegid dyfodiad yr Arglwydd sydd yn nesâu.
9. Na rwgnechwch,†† frodyr, yn erbyn eich gilydd, fel na'ch barn-
10. er: wele y Barnwr, saif wrth y drws. Cymerwch yn gynllun, fy
mrodyr, o ddyoddef adfyd ac o hirymaros, y prophwydi, a lefaras-
11. ant yn enw yr Arglwydd. Wele dedwydd y cyfrifwn y rhai a ddy-
oddefant: clywsoch am amynedd Job, a gwelsoch *ei* ddiwedd gan
yr Arglwydd:‡‡ oblegid trathosturiol a thrugarog yw yr Arglwydd.
12. Ond yn enwedig, fy mrodyr, na thyngwch,‖‖ na thrwy'r nef, na
thrwy'r ddaear, na thrwy un llŵ arall; ond bydded eich ïe yn ïe,
a'ch nage yn nage, fel na syrthioch tan farn.
13. A oddef neb adfyd yn eich plith? gweddïed; a oes neb yn
14. llawen? caned;§§ ai claf yw neb yn eich plith? galwed am hen-
uriaid yr eglwys, a gweddïant drosto, gan ei eneinio âg olew yn
15. enw yr Arglwydd; a gweddi y ffydd¶¶ a achub y clwyfus, a chyfyd
yr Arglwydd ef; ac os y gwnaeth bechodau, maddeuir iddo.
16. Cyfaddefwch gamweddau*** i'ch gilydd, a gweddïwch dros eich
gilydd, fel yr iachäer chwi: llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.
17. Elias oedd ddyn o gyffelyb wendid â ninnau,††† a chan weddïo
gweddïodd‡‡‡ na wlawiai; ac ni wlawiodd ar y wlad‖‖‖ dair blyn-

* Enwa dri math o feddiannau—"cyfoeth," ŷd—"gwisgoedd," dillad—"arian ac aur."

† Neu, "a dwyll-dreisiwyd genych:" yr oeddent trwy ryw hoced ddichellgar yn amddifadu y gweithwyr o'u cyflog, ac nid trwy ommedd yn gyfangwbl eu talu.

‡ Yr oedd dwy lef yn esgyn i'r nefoedd—llef y gyflog, a llef y medelwyr.

‖ Sef eich hunain. "Dydd y lladdfa" oedd dydd yr uchelwyl, pan aberthai yr Iuddewon, yn ôl eu defod, lawer o aberthau, ac y gloddesteut yn fwy nag arferol; ond gwnai hyn y rhai y cyfeirir atynt yn feunyddiol.

§ Sef, trwy orthrymder. Yr un peth a feddylir ag yn nechreu y bedwaredd bennod.

¶ Neu, hir amyneddgar.

** Neu, sefydlwch, dianwadalwch, fel na byddant yn cyfnewid neu yn symud o'u lle.

†† Yn llythyrenol, "na riddfanwch," fel ag i chwennych dïal ar y rhai a'u gormesent. Gwel Attodiad L.

‡‡ Sef y diwedd a roddodd yr Arglwydd iddo: cyfeiria at y llwyddiant a rodded iddo ar ddiwedd ei oes.

‖‖ Hyny yw, mewn siarad neu ymddyddan cyffredin: arferiad drwg ymhob oes, yn awr fel cynt. Mae cymhwyso hyn at lŵon difrifol er terfynu dadleu, yn hollol anghywir.

§§ Hyn yn unig yw ystyr y gair: ni ddylid chwanegu y gair "Salmau."

¶¶ Sef ffydd wyrthiol.

*** Y rhai a wnaent â'u gilydd. Ymwelid y rhai'n â barnau yn gystal â'r rhai a wnaed yn erbyn Duw. Gwel Attodiad Ll.

††† Sef i'r un diffygion dynol, ac yn agored i'r un profedigaethau: nid angel oedd, neu ddyn perffaith, ond un fel ninnau.

‡‡‡ Ffurf Hebraeg o lefaru, yn dangos taerineb; taer weddïodd. Gwel Attodiad M.

‖‖‖ Gwlad Israel.

18. edd a chwe' mis; a gweddïodd drachefn, a rhoddodd y nef wlaw, a
dygodd y ddaear ei ffrwyth.
19. Frodyr, os gwyra* neb yn eich plith oddiwrth y gwirionedd, a
20. throi o neb ef, gwybydded y gwna yr hwn a dry bechadur oddiwrth
ŵyrni ei ffordd, achub enaid rhag marwolaeth a chuddio llïaws o
bechodau.

## ATTODIAD.

### A. TU DAL. 88.

Iago i. 1. Geilw Paul ei hun yn "was Iesu Grist," Rhuf. i. 1; yn "apostol Iesu Grist trwy ewyllys Duw," 1 Cor. i. 1; 2 Cor. i. 1; yn "apostol—trwy Iesu Grist a Duw Dad," Gal. i. 1; yn "apostol Iesu Grist yn ol gorchymyn Duw," 1 Tim. i. 1; yn "was Duw ac apostol Iesu Grist," Tit. i. 1. Geilw Pedr ei hun yn "apostol Iesu," 1 Pedr i. 1; yn "was ac yn apostol Iesu Grist," 2 Pedr i. 1. Nid arfer Ioan ond y gair "henuriad." Iudas a eilw ei hun yn "was Iesu Grist." Ond geilw Iago ei hun yn "was Duw a'r Arglwydd Iesu Grist." Er yr amrywiaethau hyn, yr un peth a feddylir, sef y cyfrifai'r apostolion eu hunain yn weision Crist yn ol ewyllys a gorchymyn Duw. Tebyg y galwasai Iago ei hun yn "was Duw" yn gystal a "gwas Iesu Grist," o herwydd yr Iuddewon annychweledig.

### B. TU DAL. 89.

i. 13. "Huder," neu dêner. Nid yw *profi* yn dynodi yr ystyr yma. Arferir y gair gwreiddiol am brofi trwy ofidiau, ac am brofi trwy ddeniadau i bechod: ond nid arwydda hyn yn y Gymraeg. Am hyny anghenrhaid yw defnyddio gair arall.—"Nid ellir hudo Duw â drygau," yn llythyrenol, "Anhudadwy yw Duw gan ddrygau." Gan na hudir Ef gan ddrygau, nid yw yn cydweddu â'i anian i hudo neb.

### C. TU DAL. 89.

i. 17. "Pob rhodd dda" a ddynoda roddion tymmorol; da ac nid drwg ydynt oll. Mae'r ddaear yn llawn o ddaioni yr Arglwydd. "Pob rhadrodd berffaith" ydynt roddion yr Iachawdwriaeth; perffaith yw y rhai'n oll heb gymysgedd o unrhyw ddrwg, neu o wallau neu ddiffygion. Gelwir Duw yn "Dad y goleuadau," yn llythyrenol, a gyfieithiwyd yn "Dad y goleuni,' yr hyn nid amlyga'r ystyr. Gwell yw "Tad pob goleuni." Arwydda goleuni wybodaeth, sancteiddrwydd, llawenydd, a dedwyddwch.† Ffynnonell y goleuadau hyn y gelwir Duw yma. Gan

* Yn hytrach na "chyfeiliorni," gan y ffordd y dywedir am dani.—"Cuddiai lïaws o bechodau" yn yr un ystyr ag yr achubai enaid rhag marwolaeth, sef yn offerynol. Cuddio pechod yw ei faddeu. Byddai yn offerynol tuag at i'r tröedig gael maddeuant o'i amrywiol bechodau.

† Gwel Act. xxvi. 18; 1 Ioan i. 7; 1 Pedr ii. 9; Col. i. 12. Gelwir Crist yn oleuni, nid yn unig o herwydd y wybodaeth a ddygasai, ond hefyd o herwydd y bywyd ysbrydol, a'r llawenydd a'r dedwyddwch a gyfrana.

ei fod felly, nid all fod yn Dad unrhyw dywyllwch, naill o anwybodaeth, neu lygredd, neu dristwch, neu drueni, yr hyn a fuasai, pe buasai yn Dad, neu yn awdwr pechod. Chwanegir ei fod yn anghyfnewidiol, ac nad oes tebygolrwydd iddo droi oddiwrth yr hyn ag ydyw, neu yn llythyrenol, "arwasgodiad troedigaeth." Felly nid all Duw fod, ac ni bydd byth yn awdwr pechod.

D. TU DAL. 89.

i. 21. Tuag at dderbyn y gair sydd i'w blanu oddimewn (nid ei impio), rhaid oedd rhoi heibio "bob aflendid," bob peth a haloga'r enaid, a "gorlif drwganian," neu "weddill drygioni," os cymerwn y gair yn yr ystyr yr arferir ef ynddo gan y Deg a Thriugain. Arferir y perwyddiad y daw o hono yn yr ystyr hyn, Matth. xiv. 20. Cydwedda hyn â "phob aflendid," gan y dynoda bob drygioni, y gweddill o'r hyn sydd ddrwg. "Gormodedd drygioni"—*superfluity of naughtiness*—Saesoneg; "gorlif drwganian"—*overflowing of malignity*—Doddridge. Nid cywir yn ddïau yw *gormodedd* drygioni, na *gorlif* drwganian, oddieithr i ni gymeryd digofaint na chyflawna gyfiawnder Duw yn dynodi y gorlif hwn. Wrth "bob aflendid," neu fudredd, glythineb, meddwdod, ac anlladrwydd, yn debygol a feddylir; a chynnwys "gorlif drwganian" y teimladau digofus a chenfigenus. Gwel pen. iii. 16.

E. TU DAL. 90.

ii. 1. "Onid yw, &c.?" Cydwedda gofyniad yn well â'r hyn a ganlyn, "Oblegid," &c. "Ffydd ogoneddus" yw "efengyl ogoneddus;" a gelwir hi yn aml ffydd, gan y cynnwys yr hyn sydd i'w gredu, gan mai ffydd a wna ofyn, a ffydd a dderbyn, ei rhoddion. Gellir hefyd gysylltu "gogoneddus" â'n Harglwydd Iesu Grist,—"Ffydd ein gogoneddus Arglwydd Iesu Grist." Yn llythyrenol, "Ffydd gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist:" ond arferir "gogoniant" yma, yn ol arfer yr Hebraeg, yn lle "gogoneddus."

F. TU DAL. 92.

iii. 18. "Cyfiawnder" yma a gyfeiria at y ddau air blaenorol, "diduedd," heb ochri at neb mewn dadl, a "diragrith," heb ymddwyn yn anonest tuag at un ochr, heb wenieithio i neb. Dyma'r cyfiawnder, yr hwn ei ffrwyth a heuir mewn heddwch, nid mewn cynhwrf neu gynhen. Y ffrwyth a ddaw o ymddygiad cywir a chyfiawn, heb ochri neb, heb wenieithio i neb, a heuir mewn heddwch gan y rhai a wnant heddwch neu a weithredant yn heddychlawn. Dyma'r modd i iawn ymddwyn yn ddiduedd ac yn ddiragrith; rhaid bod ysbryd heddychlawn yn cydfyned â'r ymddygiad hwn. Nid yw yr egluriadau a roddir yn gyffredin yn foddlonol.

FF. TU DAL. 93.

iv. 4. "Cariad at y byd yn gasineb gan Dduw," sef, yr hyn y mae Duw yn gasâu. Ond y cyfieithiad mwyaf llythyrenol ydyw hwn, "Oni wyddoch fod hoffedd y byd yn ddygasedd Duw?" Nid "cyfeill-

ach" a feddylir, ond serch neu gariad at, neu hoffedd yn y byd; a hyn a wna Duw gasâu. Godineb ysbrydol y cyfeirir ato. Ac nid yw "gelyniaeth" yn addas yma, oddieithr i ni gyfieithu "yn elyniaeth gan Dduw," sef y cyfrif Duw gariad at y byd yn elyniaeth, hyny yw, yn elyniaethol iddo, ac felly yn wrthddrych o gasineb.

G. TU DAL. 93.

iv. 5. Ymhlith amryw eglurhadau, y mwyaf boddhäol a roddir yma, yr hyn sydd unol â barn Calfin, Whitby, a Doddridge. "Ai at genfigen," &c., neu, "Ai at genfigen y mae chwennychiad yr ysbryd a gartrefa ynom?" gofyniad yw a wada hyn yn y modd cadarnaf, a dengys yr anghysondeb mwyaf.

H. TU DAL. 93.

iv. 8. Nesâu at Dduw yw y peth mwyaf; a thuag at hyny glanhâu y dwylaw a phuro y galon; cyfeiriad at arfer yr offeiriaid yn y deml, yn ymolchi cyn gwasanaethu ynddi; gan y dywed yn adn. 2 eu bod yn lladd, hyny yw, yn cenfigenu, geilw arnynt i lanhâu eu dwylaw; a chan y coleddant ysbryd trachwant, gorchymyn iddynt buro eu calonau.

I. TU DAL. 93.

iv. 12. "A Barnydd," felly yn ôl amryw o gopïau, a chydwedda â'r hyn a ganlyn; o herwydd "collfarnu" a berthyn i Farnydd, yn hytrach nag i Ddeddfroddwr.

L. TU DAL. 94.

v. 9. "Na rwgnachwch," &c. Brodyr oeddent eu gormeswyr, megys yr ymladdwyr a noda yn y bennod flaenorol. Mae camsyniad mawr yn gyffredin ynghylch yr Eglwys Apostolaidd a chyntefig. Ymdaenwyd y camsyniad hwn gyntaf gan Babyddion, a chafodd ei barhâu gan amryw o Brotestaniaid. Sylwer ar y pethau a ddywedir gan Iago, Pedr a Iudas, a diflana y camsyniad hwn. Gwaith coelgrefydd yw saintioli dynion y cynoesoedd.

LL. TU DAL. 94.

v. 16. "Cyfaddefwch," &c. Mae hyn yn hollol wahanol oddiwrth yr hyn a gynnwysir yn yr adnod flaenorol. Nid oes eneinio na gweddi ffydd wyrthiol yma, ond gweddi daer y cyfiawn. Addewir llwydd yn yr achos blaenorol, ond yma "llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn."

M. TU DAL. 94.

v. 17. "Dair blynedd a chwe' mis." Felly y cawn hefyd yn Luc iv. 25. Ni sonir yn bendant am y blynyddau yn yr Hen Destament; ond dywedir yn 1 Bren, xviii. 1., am "y drydedd flwyddyn," nid o'r amser y prophwydodd Elias na fyddai wlaw, ond o'r amser yr aethai i Sarephtah; 1 Bren. xvii. 9.

# Y CYTHRWFL AMERICAIDD.

WRTH gymeryd i fyny ein hysgrifell ar y testun pwysig a dyddorol uchod, rhoddwn i'n cyfeillion, i ddwylaw pa rai y syrth y llinellau hyn, y drafferth o ddarllen eto yr hyn y cawsant gyfle i'w ddarllen o'r blaen yn y TRAETHODYDD am y flwyddyn 1856:—

"A fydd i America fwynhâu heddwch o fewn ei therfynau ei hun? A fydd i'r materion pwysig sydd yn ei chynhyrfu o'r naill ben i'r llall gael eu dwyn i derfyniad heb ryfel cartrefol gwaedlyd, a drylliad tragywyddol ar y rhwymyn sydd yn cylchynu y taleithiau y naill wrth y llall? Y mae hwn yn hen ofyniad. Yr ydys wedi parhâu i'w ofyn er ys blynyddoedd bellach; ond yn y dyddiau diweddaf hyn y mae yn cael ei ofyn yn fwy cyffredinol ac yn uwch nag erioed; gan fod pawb yn teimlo fod yr amser yn prysur nesâu pan y bydd yn rhaid ei ateb yn effeithiol unwaith ac am byth; neu, yn hytrach y mae Rhagluniaeth fawr y nef yn awr yn rhoddi arwyddion anghamsyniol i'r byd dysgwylgar, ei bod hi ei hunan ar fin rhoddi iddynt yr atebiad mawr a phwysig y maent wedi bod am gynifer o flynyddoedd yn dysgwyl am dano. * * * Y mae areithiau ac ysgrifeniadau diweddar y Deheuwyr, yn dangos yn amlwg pa beth a wnaent oddieithr iddynt gyfarfod â gwrthwynebiad egnïol; ac os nad ydym yn camsynied, y maent yn dangos hefyd na chymerant eu gwrthwynebu ond gan eu trech. Nid prophwydo yr ydym, ond ymresymu oddiwrth hanes y blynyddoedd diweddaf, a sefyllfa bresennol pleidiau a phethau yn y Taleithiau Unol, pan y dywedwn ein bod yn ofni nad yw yr amser ymhell iawn, pan y bydd y pynciau a ddadleuwyd yn ddiweddar yn y Senedd a Thŷ y Cynnrychiolwyr, yn cael eu dadleu ar faes y gwaed. * * * Y mae llong yr Unol Daleithiau ar y cefnfor, ac nid egwyddor na chyfiawnder sydd wrth y llyw, ond cyfaddasrwydd; ac er nad ydym ni ar ben yr hwylbren, y mae llais y sawl sydd yno yn ein darbwyllo fod tònau yn y blaen. Os ydym yn camsynied—os dygir hi yn ddiogel i'r hafan ddymunol—os terfynir pob dadl heb dywallt gwaed—os gwasgerir y cymylau sydd yn awr yn ymgasglu uwch ei phen heb ystorm ofnadwy,—gwaethaf oll fydd hyny i'n henw da ni am ragwelediad; ond goreu oll fydd i America, a goreu oll fydd i'r byd; ac ystyriwn yr olaf yn llawn ddigon, a mwy na digon, o dâl i ni am ein colled o'r cyntaf."

Fel hyn y darfu i ni ysgrifenu er ys dros bum' mlynedd yn ol, ac fel y mae gwaetha'r modd, y mae yr ofnau ag y darfu i ni eu dadgan y pryd hwnw, erbyn hyn wedi eu llwyr wireddu. Y mae yr ystorm ofnadwy wedi tori allan. Mae y llong wedi ei gyru yn erbyn y graig ac ynghanol y tònau cynddeiriog. Y mae y materion a ddadleuid y pryd hwnw mewn seneddau a chynghorau, yn awr yn cael eu dadleu ar faes y gwaed, a thestynau dadl areithwyr ac ysgrifenwyr wedi eu rhoddi i fyny i gyflafareddiad offerynau dinystr a marwolaeth. A braslinelliad o'r amgylchiadau sydd wedi terfynu yn y cythrwfl presenol, ynghyd a'i effeithiau tebygol ar America a'r byd, a geisiwn eu gosod mor gryno ag y gallom o flaen ein darllenwyr.

Yn amser y chwyldröad Americaidd, pan y darfu i'r Unol Daleithiau, trwy gymhorth Ffrainc, ac annybendod llywodraeth Prydain Fawr, ennill eu hannibyniaeth, cynnwysent dair ar ddeg o Daleithiau. Mewn naw o honynt, cedwid caethion; ond ymhen ychydig amser darfu i gaethiwed gael ei ddiddymu mewn tair o'r rhai yma. Yn y pedair arall nid oedd caethiwed erioed wedi bod; ac felly erbyn ffurfio yr Undeb, yr oedd yn gyfansoddedig o chwech o Daleithiau ymha rai y

cedwid caethion a saith o Daleithiau Rhyddion. Tynwyd i fyny gyfansoddiad, ac ymrwymodd y gwahanol Daleithiau, trwy eu seneddau lleol, i lynu wrth, a chymeryd eu llywodraethu yn ol, y cyfansoddiad hwnw. Yr oedd pob un o honynt yn meddu mesur helaeth o annibyniaeth. Yr oedd gan bob Talaeth ei llywodraeth, ei senedd, ei llywydd, a'i swyddogion gwladol ei hun, â chanddi ei hawl i wneuthur cyfreithiau er llywodraethu ei hachosion mewnol ei hun, heb ymgynghori â'r llywodraeth gyffredinol. Yr oedd deddfau wedi eu pasio gan Dŷ Cynnrychiolwyr a Senedd Virginia, ac wedi eu harwyddo gan ei llywydd hi, mor rhwymedig o fewn terfynau Virginia, ag yr oedd deddfau wedi eu pasio gan Dŷ y Cynnrychiolwyr a Senedd yr Unol Daleithiau yn Washiugton, ac wedi eu harwyddo gan y Llywydd Cyffredinol o fewn terfynau yr Undeb. Ni feddai y llywodraeth gyffredinol hawl i ymyraeth âg achosion mewnol y gwahanol Daleithiau. Ond mewn materion a berthynent i'r holl Undeb, megys ei gyllidau, traul ei lywodraeth a'i amddiffyniad, &c., yr oeddynt oll yn un; ac i drefnu mesurau a gwneyd deddfau gyda golwg ar y pethau hyn yr anfonai pob Talaeth ei chynnrychiolwyr i'r Senedd Gyffredinol. Wrth edrych ar y cyfansoddiad Americaidd, gellir yn hawdd gweled fod y sawl a'i tynasant i fyny yn edrych yn anffafriol ar gaethiwed, ac yn dymuno ei ddiddymu, er nad oeddynt yn gweled y ffordd yn rhydd i wneuthur hyny ar unwaith.

Un rhwystr, ac fe allai y rhwystr penaf, ar ffordd hyny ydoedd fod hinsawdd boeth y Taleithiau mwyaf Deheuol yn ei gwneuthur yn anhawdd, os nid yn anmhosibl, i bobl wynion lafurio yn galed ynddynt; a thybient na buasai pobl dduon yn gweithio'o gwbl heb gael eu gorfodi. Ymddangosai iddynt hwy fod yn rhaid i'r parthau yma, os caent eu hamaethu o gwbl, gael eu hamaethu gan gaethion negröaidd. Tybient fod yn rhaid iddynt ddewis un o ddau ddrwg; naill ai gadael i'r parthau poethion hyn fyned yn anialwch, neu oddef i gaethiwed ffynu ynddynt. Dewisasant yr olaf; ond y mae yn amlwg iddynt wneuthur hyny gyda chryn anesmwythder meddwl, a chan obeithio yr agorai rhyw ffordd gydag amser idd ei lwyr ddileu. Yn y weithred a elwir, "Cyfansoddiad yr Unol Daleithiau," nid yw y geiriau "caeth, caethion, a chaethiwed," yn ymddangos unwaith; ond er eu bod yn ymwrthod â'r geiriau, y maent yn cydnabod y sefydliad, ac yn nesâu ato i wneyd trefniadau yn ei gylch mewn ffordd gwmpasog. Yn lle dywedyd, "caethion," dywedent "pobl heblaw pobl ryddion." Yn lle, "caethion fföedig," "pobl yn cael eu dal at wasanaeth a llafur mewn un Dalaeth, o dan gyfreithiau y Dalaeth hono, yn ffoi i Dalaeth arall." Dengys eu hanmharodrwydd i ddefnyddio y geiriau a ddynodant y gyfundraeth felldigedig, fod eu henaid yn ei ffieiddio, er eu bod yn teimlo o dan orfod i'w goddef am yr amser hwnw. Ni ddarfu iddynt feddwl y buasai caethiwed yn ymledu tu hwnt i'r terfynau a feddiannai ar hyny o bryd. Pe buasent wedi meddwl am bosiblrwydd y drwg hwnw, ac wedi darpar yn ei erbyn wrth gyttuno ar y cyfansoddiad, buasent wedi achub eu gwlad rhag yr ymrysonau a'r ymdrechfëydd sydd wedi dybenu yn y cythrwfl gwaedlyd presennol.

Dywedasom fod yr Undeb Americaidd, ar y pryd y darfu iddynt daflu ymaith iau Prydain Fawr, yn gyfansoddedig o dair ar ddeg o Daleithiau. Yr oeddynt yn cyduno yn galonog i ryddhâu eu hunain a rhyddhâu eu gilydd oddiwrth yr hyn yr oeddynt yn ei ystyried yn orthrymder a

thrais; ond wedi i'r ymdrech fyned drosodd, ac iddynt ymsefydlu mewn heddwch, nid hir y buont heb ddeall a theimlo fod yn aros yn eu mysg elfenau anghyttundeb rhyngddynt â'u gilydd. Y caethiwed oedd wedi ei adael yn y Dehau ydoedd wrth wraidd yr elfenau hyny. Nid oedd y Gogledd fel y cyfryw yn chwennych ymyraeth â chaethiwed lle yr ydoedd yn bod eisoes, ond yr oedd am ei gadw o fewn i'w derfyn gwreiddiol. Yr oedd y Dehau am ledu ei derfynau; a dyna fu dechreuad yr ymrysonfa.

Dealler nad oedd ond ychydig iawn o'r Cyfandir Americaidd ar y pryd hwn wedi ei boblogi. Hawliai y Taleithiau yr holl dir o derfyn y tiriogaethau Prydeinig yn y gogledd hyd Mexico, a Llychlyn Mexico yn y dehau; ac o For y Werydd yn y dwyrain, hyd y Môr Tawelog yn y gorllewin. Ond o'r darn anferthol hwn, nid oeddynt wedi *meddiannu* ond rhan fechan, mewn cymhariaeth, o'i ochr ddwyreiniol. Yr oedd y rhandir mawr tua'r gorllewin yn aros heb ei amaethu, ac yn cael ei boblogi yn unig gan lwythau gwasgaredig o Indiaid crwydrol. Fel yr oedd ymfudiaeth yn ymarllwys i'r Taleithiau o holl wledydd Ewrop, ymsymudai y boblogaeth tua'r gorllewin; meddiennid darnau newyddion o'r tir anghyfannedd, a'r canlyniad fyddai ychwanegiad at nifer Taleithiau yr Undeb. Fel hyn y mae y Taleithiau, y rhai ar y cyntaf nad oeddynt ond tair ar ddeg, wedi myned erbyn hyn yn dair ar ddeg ar hugain. Y mae eto dir lawer iawn i'w feddiannu. Rhwng y sefydliadau mwyaf gorllewinol a'r Môr Tawelog, y mae y gwledydd ëang sydd hyd yn hyn wedi eu gadael rhwng bwystfilod y goedwig a gweddillion truenus preswylwyr gwreiddiol y Cyfandir. Ond, o'r dechreuad, yr oedd ychwanegiad Talaeth newydd yn dyfod â'r Gogledd a'r Dehau i gyffyrddiad anhyfryd â'u gilydd. Cyfodai y cwestiwn, a byddai hwnw yn destun ymryson, pa un a fyddai y Dalaeth newydd yn un gaeth neu rydd. Yr oedd llawer o'r Deheuwyr am ymfudo tua'r gorllewin, a chymeryd eu caethion gyda hwy; ond teimlai y Gogleddwyr mai effaith anghenrheidiol gwasanaeth gorfodol fyddai lleihâu gwerth gwasanaeth gwirfoddol. Yn y Taleithiau Caethion nid oes neb mor resynol eu cyflwr â'r bobl wynion hyny nad ydynt yn meddu ar gaethion eu hunain. Nid yw y planwyr o dan anghenrheidrwydd i gyflogi neb ond ar achlysuron neillduol, a thros ychydig o amser; oblegid am y rhan fwyaf o'r flwyddyn y mae ganddynt fwy na digon i ateb eu holl ddybenion hwy o werth eu harian eu hunain. Fel hyn byddai sefydliad caethwasaeth mewn Talaeth newydd, yn sicrhâu llwyr feddiant o honi i gaethfeddiannwyr, trwy gauad allan yn effeithiol y dosbarth pwysig hwnw—llafurwyr gwirfoddol. Ni welai y Deheuwyr ei fod yn werth ymfudo i un man lle ni chaent gymeryd eu caethion gyda hwy; a theimlai y Gogleddwyr fod Talaeth lle y ffynai caethiwed mewn effaith yn gauedig yn eu herbyn hwythau.

Heblaw hyny, y mae pob Talaeth yn cael ei chynnrychioli yn Nghynghorfa Gyffredinol yr Undeb; ac ofnai y naill blaid rhag i'r llall gael y blaen arni yno. Po fwyaf o Daleithiau Caethion fyddai yn yr Undeb, mwyaf oll o ddynion yn cydymdeimlo â'r egwyddor o gaethiwed, ac yn sefyll dros honiadau y caethfeddiannwyr, a fyddai yn y Senedd a Thŷ y Cynnrychiolwyr. Ac os caent hwy y blaen fel hyn yn ffynnonell y deddfau, byddai llywodraeth y wlad yn fuan yn eu dwylaw. Y pwnc sydd wedi cadw y Gogledd a'r Dehau i edrych yn wyliadwrus ac eiddigus ar y naill y llall yw yr hen ofyniad hwnw, "Pwy fydd fwyaf?"

Parodd y mater hwn gythrwfl mawr yn y flwyddyn 1820, pan chwan-

egwyd Missouri at Daleithiau yr Undeb. Pasiwyd deddf y pryd hwnw, yr hon a adwaenir wrth yr enw "*The Missouri Compromise.*" Yr oedd y ddeddf hon yn gwahardd caethiwed o'r pryd hwnw allan, yn yr holl diriogaethau y tu gogleddol i linell derfynedig, a 36° 30′ o ledredd gogleddol oedd y llinell hono. Ond er fod yr oll o Missouri ar y tir gogleddol i'r llinell hon, caniatäwyd iddi hi fod yn Dalaeth Gaeth. Y mae y gair "*compromise*" yn arwyddo fod y ddwyblaid yn rhoddi i fyny rywbeth, ac felly y bu y pryd hwnw. Boddlonodd y Gogledd i bobl y Dehau sefydlu caethiwed yn Nhalaeth Missouri, ar yr ammod iddynt ymrwymo i beidio ceisio gwneuthur hyny mwy ar y tu gogleddol i'r llinell a enwyd; a boddlonodd y Deheuwyr i fyned o dan yr ymrwymiad hwn, ar yr ammod o fod iddynt gael sefydlu caethwasanaeth yn Missouri. Gwelodd rhai yn hyn elfenau anghyttundeb ac ymraniad. Pan oedd y cwestiwn yn cael ei ddadleu, ysgrifenai Mr. Jefferson, yr hwn oedd wedi bod am ddau dymmor yn Llywydd yr Undeb, at gyfaill, fel y canlyn:—"Yr oeddwn am amser maith wedi peidio darllen y newyddiaduron, na thalu sylw i achosion gwladol, oblegid yr oeddwn yn hyderus eu bod mewn dwylaw da, a theimlwn yn foddlawn i beidio bod ond mordeithiwr ar fwrdd ein llong tua'r làn i ba un yr wyf fi yn agos. Ond y mae y mater pwysig hwn, fel cloch dân yn y nos, wedi fy neffroi a'm llenwi â braw. Edrychais arno ar unwaith fel cnul yr Undeb." Ystyriai efe fod llinell ddaearyddol wedi ei thynu rhwng y Gogledd a'r Dehau, ac un egwyddor yn llywodraethu ar y naill du iddi, ac egwyddor arall ar y tu arall, yn rhwym o derfynu mewn ysgariaeth. Hyd hyny yr oedd y cwbl o'r tiriogaethau anghyfanneddol yn feddiant cyffredinol i'r holl Undeb: ond bellach gallai y naill blaid ddywedyd wrth y llall, "Dyma fy eiddo i, a thyna dy eiddo dithau;" ac wedi i'r meddiant fel hyn gael ei ranu, nid oedd eisieu mwy ond tipyn o ffrae i beri ymraniad rhwng y meddiannwyr.

Ond wedi y cwbl, nid oedd y naill blaid na'r llall yn hollol foddlawn i'r "*Missouri Compromise.*" Yr oedd y Gogleddwyr yn ystyried fod y tu dehau i'r llinell, yr holl ffordd i'r Môr Tawelog, yn ormod o faes i gaethiwed; ac yr oedd y Deheuwyr, wrth weled fod mwy o Daleithiau newyddion yn debyg o gael eu sefydlu y tu gogleddol i'r llinell hon nag o'r tu dehau iddi, yn teimlo, os byddai i Gyttundeb Missouri barhâu mewn grym, mai y canlyniad anghenrheidiol fyddai troi y fantol yn erbyn eu dylanwad hwy yn y Llywodraeth Gyffredinol. Ar ol mwy na mwy o ymryson ac ymrafaelio, llwyddasant yn y diwedd i ddymchwelyd y "*Missouri Compromise,*" ac i basio deddf yr hon a adwaenir wrth yr enw "*The Nebraska Bill.*" Effaith y mesur hwn oedd taflu y cwestiwn allan o'r Senedd Gyffredinol, a gadael i bob tiriogaeth newydd, cyn y caffai ei derbyn i fod yn un o Daleithiau yr Undeb, benderfynu trwy bleidlais ei phreswylwyr ei hun, pa un a fyddai ai caeth ai rhydd. Pan fyddai tiriogaeth wedi cyrhaedd y nifer gofynol o boblogaeth i hawlio y fraint o gael ei chyfansoddi yn Dalaeth, y cam cyntaf a ofynid iddi ei gymeryd ydoedd, ethol cynnrychiolwyr i benderfynu y pwnc yn ei senedd leol ei hun. Os byddai y mwyafrif o honynt hwy yn bleidiol i gaethiwed, derbynid hi i'r Undeb fel Talaeth Gaeth; ac os byddent yn bleidiol i ryddid, derbynid hi fel Talaeth Rydd. Y cyfryw ydoedd hanfod "Deddf Nebraska." Galwyd hi wrth yr enw hwn, oblegid mai darn o diriogaethau

ëang Nebraska ydoedd y pryd hwnw ynghylch ymffurfio yn Dalaeth. Pasiwyd y mesur hwn trwy ddylanwad y Dehau, a hawdd yw gweled ei fod yn rhoddi manteision i'r Dehau ar draul iawnderau y Gogledd. Yr oedd cyttundeb Missouri yn gosod rhyw gymaint o attalfa ar gaethiwed —yn ei wneuthur yn beth anghyfreithlawn tu hwnt i linell derfynol. Ond bellach y mae y llinell hono wedi ei dileu, y rhwystr i ledaniad eu hegwyddorion hwy tua'r Gogledd wedi ei symud, a chaethiwed yn beth *posibl* trwy yr holl diriogaethau hyd lànau y Môr Mawr Tawelog. Cafwyd prawf o effeithiau y mesur newydd hwn ar dderbyniad Talaeth newydd Kansas i'r Undeb. Yr oedd mwyafrif preswylwyr Kansas yn bleidiol i ryddid; ond ar ddiwrnod yr etholiad, cawsant eu gorthrechu gan ruthr o bleidwyr caethiwed a ddaethent drosodd o Missouri. Darfu i'r rhai hyny trwy drais gymeryd yr achos i'w dwylaw eu hunain, ac ethol swyddogion a senedd ag oeddynt yn bleidiol i'w "hegwyddorion" hwy. Y canlyniadau o hyn fu mwy o ymrysonau ac ymladdau, ac nid ychydig o dywallt gwaed. Un o amcanion mesur Nebraska ydoedd symud dadleuon o barth i gaethiwed allan o'r Senedd Gyffredinol. Methodd ag ateb yr amcan hwnw. Ond gwelid yn amlwg y byddai iddo gynnyrchu effaith arall, a hwnw yn effaith annymunol, sef cyfodi terfysgoedd diderfyn ac ymladdau gwaedlyd yn y Tiriogaethau. Yr oedd yr helyntion gofidus yma, ynghyd a'r teimladau a gynnyrchent yn y Dê a'r Gogledd, yn arwyddion anghamsyniol o nesâd y dyddiau blin sydd bellach wedi goddiwes yr Unol Daleithiau.

Peth arall a fu yn foddion i osod y Gogledd a'r Dehau yn erbyn eu gilydd ydoedd pwnc y "caethion ffôedig." Y mae Cyfansoddiad gwreiddiol yr Undeb, er ei fod yn ymattal rhag defnyddio y geiriau "caeth," "caethion," a "chaethiwed," fel y dywedasom eisoes, eto yn cydnabod y sefydliad o gaethiwed mewn geiriau eraill. Os byddai i "ddyn ag oedd yn cael ei ddal at wasanaeth a llafur mewn un Dalaeth, o dan gyfreithiau y Dalaeth hono, ffoi i Dalaeth arall," er bod yr hon y ffôasai iddi yn Dalaeth Rydd, rhoddai y "Cyfansoddiad" ganiatâd i'w feistr fyned ar ei ol a'i gymhell trwy drais i ddychwelyd at ei "lafur a'i wasanaeth." Dyna Kentucky ar y naill du i'r afon yn Dalaeth Gaeth, ac Ohio ar y tu arall iddi yn Dalaeth Rydd. Gallai Eliza gaeth groesi yr afon a'i bachgen yn ei breichiau, ond nid oedd yn ddiangol na diogel eto, oblegid gallai ei pherchenog ei chroesi ar ei hol, cymeryd gafael arni, a'i gorfodi i ddychwelyd. Ond fel yr oedd y teimlad yn erbyn caethiwed yn cynnyddu yn y Gogledd, yr oedd hyn yn myned yn fwyfwy anhawdd. Y mae teimladau y natur ddynol, y rhan fynychaf, yn troi o blaid y gwan, ac o ganlyniad ceid yn y rhan fwyaf o fanau fwy o ddynion yn foddlawn i helpio y caeth i ddianc, nag a geid yn foddlawn i helpu ei berchenog i'w ddal. Yr oedd y gyfraith yn caniatâu i'r perchenog ymlid a dal ei gaethddyn ffôedig a'i gymeryd adref gydag ef, *os gallai*; ond os nad allai nid oedd help am dani, nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond dyoddef y golled. I gyfarfod â'r anfanteision hyn, llwyddodd y Dehau i basio deddf, yr hon a adwaenir wrth yr enw, "*The Fugitive Slaves Bill.*" Yr oedd y ddeddf hon yn taflu cyfrifoldeb dal caethion ffôedig ar swyddogion y Dalaeth i ba un y ffôent. Nid oedd achos mwy i'r caethfeddiannydd ymddibynu arno ei hun, ac ar yr ychydig bobl a allai eu dwyn gydag ef i ymlid ei gaethwas; oblegid yr

oedd y gyfraith bellach yn rhoddi iddo hawl i ofyn am gymhorth holl ddylanwad a nerth y Dalaeth ymha un y deuai o hyd iddo. Parodd y gyfraith hon gyffro mawr trwy yr holl Daleithiau Rhyddion. Yr oedd yn ddigon drwg fod eu gwledydd hwy yn cael eu gadael yn agored fel meusydd hela i'r caethfeddiannwyr; ond gwnaeth y gyfraith hon eu swyddogion hwy eu hunain yn gaeth-helwyr. O'r blaen dywedai y caethfeddiannwyr wrthynt mewn effaith, "Ni a ddeuwn drosodd i'ch tiroedd chwi i hela ein caethion, heb ofyn eich caniatâd;" ond yn awr dywedent, "Pan fyddo arnom eisieu dyfod yna i hela, rhaid i chwi ddarparu helwyr i ni, a thalu eu traul." Teimlai y Taleithiau Rhyddion i'r byw y gwarth o dan ba un yr oeddynt yn gorfod myned er mwyn y Taleithiau Caethion. Pasiodd amryw o honynt ddeddfau lleol er mwyn gwrthweithio a diddymu "deddf y caethion ffoëdig" o fewn eu terfynau eu hunain. Achosai hyny ddigofaint a chynhwrf o du y Dehau. Effaith naturiol hyn oll oedd ychwanegu y rhwyg.

Yr oedd peth arall yn destun anghydfod rhwng gwahanol barthau yr Undeb, ac yn y peth hwnw rhaid cyfaddef fod rheswm, cyfiawnder, a thegwch, o du y Dehau. Yr oedd y caethfeddiannwyr yn rhyddfasnachwyr, tra yr oedd y mwyafrif o wleidiadwyr y Taleithiau Rhyddion yn bleidwyr gorfaelaeth. Yn y mater hwn eto yr oedd eu buddiannau yn wrthwynebol i'w gilydd, a hyny oedd yr achos o wrthwynebrwydd eu hegwyddorion. Cynnyrchiol gan mwyaf yw Taleithiau y Dehau, tra y mae rhai y Gogledd i fesur mawr yn weithfäol. Yn amser yr ymdrechfa fawr o barth i ddeddfau yr ŷd yn y deyrnas hon, cai gorfaelaeth ei bleidwyr mwyaf gwresog yn y dosbarthiadau amaethyddol, a'i wrthwynebwyr mwyaf egnïol yn y dosbarthiadau gweithfäol. Yr oedd y sawl ag oedd ganddynt ŷd i'w werthu, yn gwneyd pob ymdrech i gadw ei bris i fyny, tra yr oedd y rhai ag oeddynt yn gorfod ei brynu am gael y pris hwnw i lawr. Ond yn America, y dosbarthiadau amaethyddol sydd yn pleidio rhyddfasnach, tra y mae y dosbarthiadau gweithfäol yn pleidio gorfaelaeth. Y rheswm am hyny yw hyn: y mae Lloegr, ar ol dwyn cotwm drosodd o Daleithiau Deheuol America, a'i weithio yn ddefnyddiau yn y wlad hon, yn medru ei gludo yn ol drachefn, a'i werthu yno yn rhatach nag y medr pobl y Gogledd werthu eu nwyddau hwy. Medrant hefyd gludo drosodd haiarn, ac alcan, nwyddau *Birmingham* a *Sheffield*, &c., a'u gwerthu yno yn rhatach nag y gellir eu gwneyd yn ngweithfäoedd Taleithiau y Gogledd. I amddiffyn eu gweithfäoedd gan hyny rhag cystadleuaeth Ewropëaidd, ac i gadw pris eu pethau eu hunain i fyny, y maent wedi gosod treth uchel ar bob nwyddau parod a ddygir drosodd yno o Ewrop. Nid yw hyn yn un fantais i bobl y Dehau, ond yn hytrach colled, oblegid nid oes ganddynt hwy weithfäoedd yn werth son am danynt. Yr oeddynt hwy yn gorfod talu uwch pris am y pethau yr oeddynt yn eu prynu, yn unig er mwyn mantais Taleithiau y Gogledd. "Nis gallwn," meddai y Gogledd, "werthu ein nwyddau i chwi o dan hyn a hyn o bris." "Wele, gan hyny," medd y Dehau, "ni a brynwn y pethau hyn gan Loegr a Ffrainc. Yr ydym yn anfon ein cotwm, ein siwgr, &c., yno; a gall y llongau sydd yn cludo y pethau hyny drosodd, ddychwelyd yn llwythog o'r pethau sydd arnom ni eisieu eu prynu; ac felly gallwn gael ein gwisgoedd, ein dodrefn, ein hoffer miniog, ein peiriannau, &c., yn rhatach nag yr ydych chwi yn eu cynnyg." "Na,"

medd y Gogledd, "ni a'ch attaliwn rhag gwneuthur hyny. Ni a osodwn dreth drom ar adgludiadau; ac erbyn talu y dreth hono, bydd y nwyddau a geisiwch yn costio mwy nag yr ydym ni yn ei geisio am eu cyffelyb." Fel hyn, fe welir fod y Taleithiau Gogleddol yn mynu mantais iddynt eu hunain, a bod y fantais hono yn cael ei mwynhâu ganddynt i fesur mawr ar draul y Taleithiau Deheuol. Hawdd yw deall fod hyn wedi bod yn asgwrn ymryson, a'i fod wedi bod yn foddion i brysuro yr ymraniad gofidus sydd bellach wedi cymeryd lle.

Teimlai pob un o'r pleidiau gwrthwynebol fod o bwys mawr i'w golygiadau hwy gael eu cynnrychioli gan Lywydd Cyffredinol yr Undeb, a'i Gyfringynghor. Y mae gan y sawl a fyddont wrth y llyw fantais i basio cyfreithiau cydweddol â'u golygiadau eu hunain. Ac hyd yn nôd pan nas gallant lwyddo i basio y deddfau a fynent, gan mai eu gorchwyl hwy yw gosod y gyfraith mewn gweithrediad, gan nad pa beth a fyddo, gallant wasgu cryn lawer arni i'r ochr yma neu yr ochr acw, yn ol eu tueddiadau hwy eu hunain. O ganlyniad, pan ddelai y tymmor pedairblynyddol i ben, pryd yr oedd yn rhaid dewis Llywydd newydd, elai yn ysgarmes fawr o ben bwygilydd i'r Unol Daleithiau. Yr oedd amryw o'r etholiadau diweddaf wedi troi o du y Dehau. Eu dyn hwy oedd Buchanan, rhagflaenydd Lincoln; a'u dyn hwy ydoedd Pierce, rhagflaenydd Buchanan. Ond o bryd i bryd yr oedd eu mwyafrif yn myned yn llai, ac arwyddion eglur iawn yn ymddangos mai eu gorchfygu a gaent yn y diwedd; ac fel yr oedd yr arwyddion hyny yn dyfod yn fwyfwy amlwg, yr oeddynt hwy yn siarad yn fwy uchel ac yn fwy croew am ymraniad. Dywedai ac ysgrifenai y bobl oeddynt yn y blaen yn eu plith na byddai iddynt aros yn hŵy yn yr Undeb nag y caffai eu plaid eu hunain fod wrth y llyw. Rhoddent ar ddeall y byddai iddynt ymwahanu càn gynted ag y byddai i'r Gogledd eu gorchfygu hwy yn yr Etholiad Cyffredinol. Gwelsant yn etholiad Abraham Lincoln fod y Gogledd wedi penderfynu mynu y blaen arnynt. Nid oeddynt yn gweled un gobaith y gallent byth mwy adfeddiannu yr awdurdod hwnw yn yr Undeb ag ydoedd fel hyn wedi ei gipio o'u dwylaw. Os, pan oedd eu pobl hwy eu hunain wrth y llyw, yr oedd y Gogledd wedi ennill tir arnynt, pa beth a allent ei ddysgwyl yn awr pan oedd y llyw hwnw wedi ei feddiannu gan y Gogleddwyr eu hunain? Yn hytrach na chymeryd eu meistroli fel yma, a gadael i'w gwrthwynebwyr lywodraethu eu hachosion hwy, penderfynasant ymwahanu oddiwrth yr Undeb, er mwyn cael llywodraethu eu hachosion eu hunain.

Y mae un trefniant mewn cysylltiad âg etholiad Llywydd yr Undeb sydd wedi troi allan yn anfanteisiol i awdurdod Taleithiau y Gogledd, ac o ganlyniad yn fanteisiol i ymraniad Taleithiau y Dê. Etholir, neu o leiaf *sicrhëir* etholiad y Llywydd yn mis Tachwedd, pryd nad yw yn dyfod i'w swydd hyd y mis Mawrth canlynol. Wedi i'r Taleithiau gael sicrwydd penderfynol mai Mr. Lincoln a fyddai eu Llywydd, cafodd y Deheuwyr bedwar mis cyfan i gynllunio ac i weithredu, cyn fod ganddo ef awdurdod i symud na bys na llaw er rhoddi attalfa ar eu mesurau gwrthryfelgar. Rhoddodd Mr. Lincoln ar ddeall ar unwaith na byddai iddo adael iddynt fyned i'w ffordd eu hunain mewn heddwch, ond y byddai iddo arfer ei holl awdurdod a'i nerth i gadw yr Undeb yn ei gyfanrwydd. Ond pan ddarfu iddo fel hyn ddadgan ei fwriad i wrthsefyll yr ymraniad

trwy nerth a gorthrech, nid oedd ganddo awdurdod i wneuthur dim tuag at ddarpar ar gyfer y drwg oedd eisoes wedi ymddangos. Yr oedd yr awenau yn nwylaw Buchanan a'i gydweinyddwyr; a dengys eu mesurau hwy fod eu teimladau yn gogwyddo, a mwy na gogwyddo, i ochr y Dehau; ac o ganlyniad, pan daeth Mr. Lincoln yn *weithredol* i'w swydd, nid oedd ganddo wrth law ddim o'r defnyddiau anghenrheidiol tuag at ddarostwng y gwrthryfel. Yr oedd Llynges yr Undeb yn wasgaredig ar hyd wyneb y grëadigaeth; nid oedd ond dwy long o fewn hyd galw, ac nid oedd y rhai hyny yn werth ond pur ychydig. Cafodd y Deheuwyr bob mantais i ddarparu eu hunain, ac i ddwyn yn y blaen y mesurau a dybient yn anghenrheidiol tuag at sicrhâu eu hamcanion, tra y darfu i Mr. Lincoln a'i gydswyddogion, ar eu dyfodiad i'w swyddau, gael eu hunain yn hollol anmharod i'w gwrthwynebu.

Bu y ddwy blaid am beth amser heb ddyfod i gyffyrddiad rhyfelgar â'u gilydd. Galwai y Llywodraeth ar y Deheuwyr i ymostwng—dynodai eu gwaith yn ymranu fel gwrthryfel, a bygythiai hwy â chosbedigaeth gwrthryfelwyr os byddai iddynt barhâu yn eu hanufudd-dod. Yn y cyfamser, yr oedd y Dehau yn casglu eu harfau, yn taflu i fyny eu hamddiffynfëydd, ac yn parotöi eu milwyr. Nid ymddangosai y teimlad rhyfelgar yn gryf ymysg y Gogleddwyr. Meddyliwyd fwy nag unwaith y buasent yn gadael i'r encilwyr fyned ymaith. Ymddangosai y Llywodraeth fel yn cloffi rhwng dau feddwl. Ymddangosent yn anfoddlawn i fyned o dan y cyfrifoldeb o ddechreu rhyfel nes cael profion mwy anghamsyniol y buasai hyny yn gydweddol â theimladau y wlad. Ond darfu i'r Deheuwyr roddi terfyn ar yr ansicrwydd wrth gymeryd meddiant o *Fort Sumter* trwy drais a gorthrech. Cyffrôdd hyny y teimlad rhyfelgar trwy bob parth o'r Taleithiau Gogleddol. Torodd y rhyfel allan yn fflam angherddol, ac oddiar hyny hyd yn awr y maent wedi bod yn ymladd mwy neu lai. Ond nid ydynt eto yn feistriaid ar y gelfyddyd o ryfela. Y maent wedi ymladd rhai "brwydrau" heb i neb gael eu lladd, a chael "buddugoliaethau pwysig," ymha rhai yr oedd y lladdedigion o bedwar ar ddeg i bump ar hugain, a'r clwyfedigion yn rhywbeth dros hanner cant. Y maent wedi cael dwy neu dair o ysgarmesau mwy difrifol, yn agos a bod yn deilwng o'r enw "brwydrau," ac yn y rhai hyny y Deheuwyr sydd wedi trechu. Y fwyaf pwysig o'r rhai yma ydoedd brwydr *Bull's Run.* Bu yn ymdrechfa bur galed yno; a hòna y Gogleddwyr mai hwy ddylasai gael y dydd y pryd hwnw; a thebyg ddigon y buasent yn ei gael hefyd oni buasai iddynt ffoi oddiar y maes.

Y mae gwahanol farnau ar y cwestiwn, Pa un a oedd gan y Taleithiau Deheuol hawl gyfreithlawn i ymwahanu oddiwrth yr Undeb? Y mae y "Cyfansoddiad" yn ddystaw ar y pen hwn; a chan nad ydyw yn ei wahardd, hòna pobl y Dehau a'u pleidwyr fod y cam y maent wedi ei gymeryd yn gyfreithlawn, tra y mae eraill yn dadleu fod dystawrwydd y "Cyfansoddiad" ar y pwnc o ysgariaeth yn brawf penderfynol ei fod yn anghyfreithlawn. "Ni a allwn ymwahanu," medd y naill blaid, "oblegid nid yw y Cyfansoddiad yn ein gwahardd." "Nis gellwch," medd y blaid arall, "oblegid nid yw y Cyfansoddiad yn rhoddi caniatâd i wneuthur hyny." O'n rhan ein hunain, nid ydym yn credu fod gan y Taleithiau Deheuol fwy o *hawl* i ymwahanu oddiwrth Lywodraeth yr Undeb, nag sydd gan Wlad yr Haf, Swydd Dyfnaint, a Chernyw, i ym-

wahanu oddiwrth Lywodraeth Lloegr. Yr oeddynt o dan yr un rhwymedigaethau i'r Undeb ag y mae unrhyw ddarn arall o wlad neu deyrnas i'r wlad neu y deyrnas ag y mae yn perthyn iddi; ac y mae eu gwaith yn ymwahanu yn wrthryfel ac yn uchel drosedd yn erbyn eu Llywodraeth. Ymhob gwlad y mae yn rhaid cael rhyw fath o lywodraeth. Lle byddo cyfreithiau o gwbl, y mae yn rhaid fod rhai i'w gwneuthur, a rhai i'w gosod mewn gweithrediad. Os nad yw pob un i gael gwneuthur fel y byddo da yn ei olwg ei hun, y mae yn rhaid i rai lywodraethu. Y mae ffurf llywodraethau y byd yn gwahaniaethu. Mewn rhai manau ceir Unbenaeth, ac mewn eraill Breniniaeth Gyfansoddiadol. Y gyntaf yw ffurflywodraeth Rwssia, a'r olaf yw eiddo Prydain Fawr. Ond o'r dechreuad y mae yr Unol Daleithiau wedi dewis y ffurf Werinol. Y mae y Llywodraeth ddeddfwneuthurol a gweithredol yn cael eu galw gan lais mwyafrif y bobl, ac y maent yn ystyried eu hunain yn gyfrifol i'r mwyafrif hwnw, ac o dan rwymedigaeth i ddwyn y llywodraeth yn y blaen mewn ffordd gydweddol â'u syniadau hwy. Llywodraeth y mwyafrif, gan hyny, yw llywodraeth yr Unol Daleithiau. Yno, mewn effaith, y mwyafrif sydd yn teyrnasu. Darfu i'r mwyafrif ethol Abraham Lincoln yn Llywydd ar yr Unol Daleithiau, ac yn awr y mae y mwyafrif am gadw yr Undeb yn gyfan; a chan hyny y mae y rhai sydd yn ymwrthod â Lincoln, ac yn ceisio ymwahanu oddiwrth yr Undeb, yn euog o drosedd yn erbyn y Llywodraeth o dan ba un y maent yn byw—yn erbyn y mwyafrif. Nid yw fod llywodraeth yn un ryddfrydig yn ei wneuthur yn llai trosedd gwrthryfela yn ei herbyn, ac anufuddhâu i'w chyfreithiau. Os oes gwahaniaeth yn bod, y mae y trosedd yn fwy; oblegid y mae rheswm yn dywedyd po fwyaf o lais fyddo gan y bobl yn nghyfansoddiad llywodraeth a gwneuthuriad cyfreithiau eu gwlad, mwyaf oll o rwymedigaeth sydd arnynt i ymostwng i'r llywodraeth ac ufuddhâu i'r cyfreithiau hyny.

Dadleua y Deheuwyr na bu yr Undeb erioed yn ddim arall na gwirfoddol, ac o ganlyniad fod hawl gan y gwahanol Daleithiau a'i cyfansoddent, os byddant yn dewis, i ymwahanu oddiwrtho. Pa awdurdod bynag oedd gan y Llywodraeth Gyffredinol ar y gwahanol Daleithiau, y Taleithiau hyny eu hunain oeddynt wedi rhoddi yr awdurdod hwnw yn eu dwylaw; a dadleuant fod ganddynt yr un hawl i ddattod y cysylltiad ag oedd ganddynt ar y cyntaf i'w gyfansoddi. "Nyni ein hunain," meddant, "a wnaethom y cyttundeb o'n bodd, a chan hyny y mae genym hawl gyfreithlawn i'w dori. Gan i ni fyned i mewn i'r Undeb o'n bodd, y mae yn afresymol ein cadw ni ynddo o'n hanfodd." Nid yw y *gosodiad* yn wir am danynt oll. Prynwyd rhai o'r Taleithiau enciliedig âg arian yr *Undeb*. Ac am y *casgliad*, y mae yn erbyn pob rheswm, ac yn erbyn holl drefniadau ac arferion y byd gwareiddiedig. Pa beth yw dyben cyttundeb, os nad yw y gwahanol bleidiau a'i gwnaethent o dan rwymedigaeth i sefyll ato? Pa beth a ddeuai o gymdeithas pe byddai gan bob un sydd wedi gwneyd cyttundeb o'i fodd, hawl i'w dori os dygwyddai iddo edifarhâu? Dychymyged ein darllenwyr am ddyn wedi prynu darn o dir, talu am dano, ac arwyddo y gweithredoedd, yn myned i lŷs barn i geisio gorfodi y gwerthwr i roddi yr arian yn ol iddo, *am mai o'i fodd ei hunan yr oedd wedi gwneyd y cyttundeb.* Oni ddywedid wrtho fod hyny yn rheswm dros sefyll ato? Pe buasai y Gogledd wedi

darostwng y Dehau trwy drais a gorthrech, a'u dwyn o'u hanfodd dan iau eu llywodraeth, buasai ganddynt reswm i achwyn, a hawl gyfreithlawn i encilio, càn gynted ag y gallent wneuthur felly; ond gan iddynt fyned i gyfammod undeb o'u bodd, nis gallant yn *gyfreithlawn* encilio heb gydsyniad unfrydol y gwahanol bleidiau. Gosodasant eu hunain o dan rwymedigaethau i'r holl Undeb, ac nis gall dim llai na chydsyniad unfrydol yr holl Undeb eu rhyddhâu oddiwrth y rhwymedigaethau hyny.

Ond wedi y cwbl, nid hawl, a chyfraith a chyfiawnder sydd yn penderfynu materion o'r fath yma. Y mae teyrnasoedd y byd yn cydnabod fod gan y sawl a allant ennill annibyniaeth iddynt eu hunain, hawl i'w fwynhâu. Pe buasai y gofyniad, "A oes gan y Taleithiau Deheuol hawl i encilio oddiwrth yr Undeb Americaidd?" yn cael ei osod o flaen Cynghor o brif wleidiadwyr Ewrop, neu o flaen llŷs o brif farnwyr y byd, cyn i'r rhyfel cartrefol dori allan, nid ydym yn petruso dywedyd mai yr ateb fuasai, "Nac oes." A phe gallasai y Llywodraeth lethu y gwrthryfel ar unwaith, neu pe gallent ei lethu yn awr, a chymeryd eu blaenoriaid yn garcharorion, a'u crogi fel drwgweithredwyr, nid oes un llŷs yn y byd a ddywedai eu bod wedi gwneyd peth anghyfreithlawn. Ar yr un pryd, os bydd i'r encilwyr ennill y dydd, gorfodi y Gogledd i roddi i fyny, ac ennill eu hannibyniaeth eu hunain, bydd holl lywodraethau Crêd yn foddlawn i gydnabod eu hawl i fod yn wlad ar eu penau eu hunain, ac yn barod ar unwaith i'w derbyn i'r frawdoliaeth wleidiadol.

Y mae y mater gan hyny yn troi ar allu. Y mae y Deheuwyr wedi cymeryd yn ganiatäol fod ganddynt hawl i encilio; o leiaf, y maent wedi gwneuthur felly; a'r gofyniad yn awr yw, A oes gan y Gogledd allu i'w gorfodi i ddychwelyd i'r Undeb? O'n rhan ein hunain, yr ydym yn teimlo o dan orfod i ateb y gofyniad hwn yn nacäol. Y mae yr Undeb wedi ei dori—ei dori yn annhêg, ei dori yn anghyfiawn; ac y mae yn ddrwg genym orfod dywedyd ein bod yn credu nad yw y Gogledd yn meddu ar ddigon o nerth i'w gyfanu. "Onid yw y Gogledd yn llawer cryfach na'r Dehau? Onid ydyw yn llawer mwy ei chyfoeth? Onid yw yn llawer lliosocach ei thrigolion? Onid oes elfenau gwendid a pherygl yn y Dehau ei hunan yn ei phedair miliwn o gaethion?" Y mae hyn yna oll yn wirionedd; a phe buasai y Gogledd a'r Dehau yn ymryson a'u gilydd am feddiant o ddarn o'r cyfandir, neu ynys yn y môr, beiddiasem ddywedyd mai y cyntaf fuasai yn trechu. Ond yn yr ymdrech presennol, nid at yr un nôd y maent yn ymgyrhaedd; nid yr un gorchwyl sydd ganddynt i'w wneyd. Y mae gorchwyl y Dehau yn un caled, ond y mae eiddo y Gogledd yn annhraethol galetach. *Ymosod* yw gwaith y Gogledd, ac *amddiffyn* yw gwaith y Dehau. Dyna sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth, ac nid gwahaniaeth bychan ydyw. Nid yw y Gogleddwyr wedi bod yn ffodus iawn eto ar faes y frwydr. Yn y brwydrau pwysicaf sydd wedi eu hymladd hyd yn hyn, y Deheuwyr, fel y dywedasom eisoes, sydd wedi cael y fantais. Yr ydym yn credu, modd bynag, mai nid felly y bydd pethau bob amser. Yr ydym yn credu, pan ddelont i ymladd o ddifrif, y ceir mai y Gogleddwyr fydd y trechaf. Ond wedi y cwbl, y mae gallu y Gogledd yn annhraethol lai mewn cyfartaledd i'r gwaith sydd ganddynt i'w wneyd nag ydyw gallu y Dehau mewn cyfartaledd i'r gwaith sydd ganddynt *hwy*. Gallai y Gogleddwyr

orchfygu y Deheuwyr mewn brwydr ar ol brwydr. Gallant losgi eu dinasoedd, a difwyno eu planigfëydd. Ond peth arall yw eu llwyr orchfygu, a chymeryd a chadw meddiant ar eu tiriogaethau ëang. A phe gallent eu gorchfygu—pe gallent roddi eu troed ar eu gyddfau a'u cadw i lawr, byddent wrth wneuthur hyny yn llofruddio yr egwyddor ar ba un y mae eu llywodraeth yn sefyll. Nid "*Taleithiau Unol*" a fyddent mwy, ond "*Taleithiau gorchfygedig.*" Nid ydym yn credu y bydd i unrhyw fesurau a ddichon y Gogledd eu cymeryd, nac i unrhyw fuddugoliaethau a fydd iddynt eu hennill, allu gwneyd y Dehau yn foddlawn i fyned yn ol i'r Undeb ac i gydfyw fel o'r blaen; a phe llwyddai y Gogledd i'w gorfodi, byddai yn rhaid iddynt gadw byddin anferth o filwyr yn y Dehau i'w cadw i lawr. Ni byddent mwyach ar dir cyfartal. Byddai y berthynas rhyngddynt wedi newid. Y berthynas rhyngddynt bellach fyddai perthynas gorchfygwr a gorchfygedig; y naill yn dal trwy drais, a'r llall yn plygu trwy orfod. Y penderfyniad, gan hyny, ag yr ydym o dan yr anghenrheidrwydd o ddyfod iddo yw—fod yr Undeb wedi ei ddinystrio, yn anfeddyginiaethol, ac am byth.

Paham, gan hyny, na roddai y Gogleddwyr yr ymdrech i fyny? Pe buasent hwy ar y cyntaf oll yn gadael i'r Deheuwyr fyned i'w ffordd yn heddychol, buasai yr achos wedi ei benderfynu heb i un fagnel gael ei thanio, ac heb i un dyn gael ei ladd; ac yn awr, ar ol yn agos i flwyddyn o ryfela, ar ol gwario swm anferthol o arian, dyfetha nifer mawr o fywydau, dyrysu masnach ac aflonyddu y byd, y mae eu hamcan yn ymddangos yn fwy anghyrhaeddadwy nag yn y dechreuad. Lledu ac ymgryfhâu y mae y drwg wedi ei wneyd oddiar y foment gyntaf y darfu iddynt ddechreu ceisio ei lethu. I ba ddyben y maent yn glynu wrth ymdrechfa sydd yn ymddangos mor anobeithiol? Paham na adawent i'r Deheuwyr a'u caethiwed, a'u ffrewyllau, a'u gorthrwm, a'u gwaed, fyned i'w ffordd, i gyfansoddi gwladwriaeth ar eu penau eu hunain, ac i fyw fel y gallont? Oni byddai hyn yn well iddynt hwy eu hunain? Oni chaent fel hyn waredigaeth dragywyddol rhag y peth sydd wedi bod yn wendid ac yn warth i'r Undeb—y gyfundraeth felldigedig o gaethwasanaeth? Hyd yn hyn, y mae y Gogledd wedi dwyn ger bron y byd ran fawr o'r cywilydd sydd yn perthyn i'r Dehau, ac y mae y Dehau wedi cael nerth i ddal i fyny eu cyfundraeth waedlyd ar draul gallu a dylanwad y Gogledd. Onid ydynt o'r dechreuad wedi eu hieuo yn anghymharus? Y maent fel ŷch ac asyn o dan yr un iau. Y mae yn anmhosibl iddynt byth gyd-dynu yn heddychol. Oni byddai yn ddifesur well, yn enwedig i'r Gogledd, pe torid yr Undeb ar unwaith ac am byth? Dygwydd nad oes gofyniadau ac ymresymiadau o'r fath yma yn ymgodi yn meddyliau ein darllenwyr. Ond wedi i ddynion ddechreu ymrafaelio, ac yn enwedig ddechreu ymladd, gwaith pur anhawdd yw eu perswadio i roddi i fyny, hyd nes y ceir allan pwy yw y trechaf. Y mae eu teimladau drwg wedi eu cynhyrfu. Y mae llid a balchder wedi llenwi eu calonau, nes y maent wedi colli golwg ar y mater yr aethant i ymladd er ei fwyn. Prin y mae gobaith y rhoddant i fyny ymladd mwy hyd nes y byddo y naill blaid wedi trechu y llall, neu y ddwy blaid wedi myned yn rhy wan i ymladd ychwaneg. Heblaw hyny, y mae rhwystrau sydd yn ymddangos braidd yn anorfod ar ffordd dwyn yr achos i derfyniad heddychol. Testun yr ymrafael yn awr yw

yr enciliad. Y mae y Deheuwyr am ymwahanu, a'r Gogleddwyr am eu cadw yn yr Undeb, a dyna paham y maent yn ymladd. Ond bwriwn fod y Gogledd yn rhoddi i fyny—bwriwn eu bod yn gwneyd peth nad yw dynolryw yn ei wneyd yn fynych—aberthu eu teimladau, ac aberthu y peth y maent hwy yn ei ystyried yn anrhydedd, a dywedyd wrth y Dehau, "Wele, chwi a gewch ymwahanu"—cyfodai cwestiynau eraill ar unwaith, mor anhawdd i'w penderfynu â'r cwestiwn cyntaf. Pa le y mae y Gogledd yn dybenu a'r Dehau yn dechreu? Bydd yn orchwyl anhawdd penderfynu ar y llinell derfyn. A yw yr holl Daleithiau caethion i fyned gyda'r Dehau? Y mae rhai o honynt hyd yn hyn yn glynu wrth y Gogledd. Talaeth gaeth yw Virginia, ond y mae y naill hanner o honi hi wedi ymwrthod â'r enciliad, a dychwelyd i'r Undeb. Y mae y Taleithiau yn ymestyn ac yn ymwthio i berfeddion eu gilydd, y naill Dalaeth yn gwneyd bylchau mawrion yn y llall; ac os ymwahanant, bydd y llinell derfyn, os gellir ei galw yn llinell, yn rhywbeth tröellog, igam-ogam, a bydd hyny yn achos o ddrygau ac anghyfleusderau diderfyn. Pa blaid sydd i gadw y brifddinas? Y mae Washington yn sefyll mewn dosbarth caeth, ac wedi bod hyd yn hyn yn farchnadle caethion. A fydd y Dehau yn foddlawn i'w rhoddi hi i fyny i'r Gogledd? Neu a fydd i'r Gogleddwyr droi eu cefnau ar gofadail eu mawredd, ac eisteddle eu llywodraeth, a gadael iddi hi a'i sefydliadau ardderchog, a'u hadgofion gogoneddus, gael eu meddiannu gan y Dehau? Beth am ddyled yr Undeb? Pa fodd y gellir dosbarthu hwnw? Ac heblaw y cwbl—a braidd na ddywedem, uwchlaw y cwbl—beth am yr afon fawr Mississippi? Y mae hono, ar ol rhedeg trwy y Taleithiau Gogledd-Orllewinol, yn myned trwy y Dehau, ac yn ymarllwys i Fôr y Werydd îslaw Orleans Newydd. Os ymrana y Taleithiau yn ddwy wlad annibynol, pa fodd y gellir trefnu o barth i'w mordwyaeth hi? Pa beth a wna Taleithiau y Gorllewin pan fydd yr unig gyfrwng ar hyd pa un y gallant anfon eu cynnyrch i'r môr, yn llifo trwy wlad estronol? Pe gallent ddyfod i ryw gyttundeb ar y mater hwn yn awr, oni byddai y cyttundeb hwnw mewn perygl càn gynted ag y cyfodai rhyw achos o anghydfod rhyngddynt â'u gilydd? Y gwirionedd yw, y maent wedi myned i ddyryswch; ac y mae yn anhawdd, ac yn fwy nag anhawdd, yn anmhosibl, i ddyn wybod pa fodd y gallant ddyfod allan o hono. Y mae heddwch yn awr allan o'r cwestiwn; ymladd, ymladd hyd angeu sydd yn nghalonau pawb. Hèr i'r Gogledd yw y sŵn diweddaf sydd wedi ein cyrhaedd oddiwrth Jefferson Davies; llethu y Dehau yw amcan mawr Abraham Lincoln; ac y mae pob diwrnod o ryfel yn ëangu y rhwyg, yn chwyddo y llid, yn chwanegu y dyryswch, ac yn dyfetha nerth y ddwy blaid. Y mae fel pe byddai yr Arglwydd wedi ei gadael yn ysglyfaeth i nwydau gwaethaf y natur ddynol; ac nid oes neb ond EFE ei hun a ŵyr beth fydd eu diwedd.

Yr ydym yn hyderu, modd bynag, y daw allan o'r tryblith anghymharol hwn ryw ddaioni i'r caethion. Os llwydda y Gogledd i lethu y gwrthryfel, bydd y Dehau mwy "o dan ei llaw." Ni bydd ganddynt nerth mwyach i ëangu terfynau eu cyfundraeth felldigedig. Os llwydda y Dehau i ennill eu hannibyniaeth, bydd raid iddynt fyw arnynt eu hunain. Ni chânt gymhorth mwy oddiwrth y Gogledd i ddal i fyny gaethiwed. Collant fantais deddf y caethion fföedig. Collant eu caethion am byth y foment y croesant y llinell i diriogaethau y Gogledd.

Po fwyaf fyddo y perygl o'u colli, lleiaf oll fydd eu gwerth. Os bydd yn rhaid myned i lawer o draul i'w cadw rhag dianc, bydd yn rhatach bod hebddynt; a chàn gynted ag y ceir allan fod llafur gwirfoddol yn costio llai ac yn cynnyrchu mwy na llafur gorfodol, gellir penderfynu fod diwedd caethwasanaeth wrth y drws.

Heblaw hyny, y mae y cythrwfl presennol yn debyg o beri fod llai o ofyn am gynnyrchion y Taleithiau Deheuol. Y mae miliynau lawer yn Mhrydain Fawr a Ffrainc yn ymddibynu am eu bywioliaeth ar law-weithfëydd a masnach cysylltiedig â chotwm; ac hyd yn hyn y maent wedi bod yn ymddibynu am eu cyflenwad o'r nwydd pwysig a gwerthfawr hwn yn hollol ar Daleithiau Caethion America. Y mae yn agos bob peth a roddir genym am ein cyff, ac a wneir o'r defnydd hwn, yn gynnyrch llafur, chwys, a gwaed caethion Negröaidd. Ond y mae y gwrthryfel wedi attal y cyflenwad. Y mae y Gogleddwyr wedi cau i fyny borthladdoedd y Dehau, ac y mae y Deheuwyr yn cadw eu cotwm rhag gwledydd Ewrop am eu bod yn gwrthod cydnabod eu hannibyniaeth hwy; a rhwng y ddau y mae y gweithfäoedd cotwm mawrion ar sefyll, a miloedd ar filoedd yn dyoddef cyfyngder ac anghen. Y mae anhwylusdod mewn dosbarth mor bwysig o waith a masnach yn cael ei deimlo trwy bob dosbarth arall, ac y mae hyn wedi agoryd llygaid dynion i weled y ffolineb a'r perygl o ymddibynu yn hollol am beth mor bwysig ar *un wlad.* Pan fyddo ein holl ffrydiau yn dyfod o'r un ffynnon, os dygwydd rhywbeth i gau hono, dyna bob peth ar ben. Rhaid i ni gan hyny gael ffynnonau eraill. Edrychir tuag Australia, India, Affrica, ac Ynysoedd India'r Gorllewin. Yr ydys wedi dechreu o ddifrif cynnyrchu y nwydd yn y lleoedd uchod; ac y mae yn bur debyg erbyn y byddo'r Americiaid wedi penderfynu eu cweryl, ac y byddont yn barod i gynnyg cotwm i ni eto, y gallwn ddywedyd wrthynt, "Diolch yn fawr i chwi; ond y mae genym bellach gyflawnder o'r defnydd yn tyfu ar ein tiriogaethau ein hunain." Os nad allant gael marchnad i'w cotwm, pa beth a wnânt? Troi eu tiroedd i gynnyrchu ŷd? Y maent yn dechreu siarad am hyny eisoes; ond os troant yn amaethwyr ŷd, pa beth a wnant â'u caethion? Ni bydd y *fferm* yn ddigon i gynnal un o ddeg o'r dynion sydd yn awr yn gweithio ar y *blanigfa.* Os aiff llafur y caethwas yn anabl i dalu am ei gadw, os aiff y meddiant o hono yn fwy o golled nag o elw, gallwn fod sicr fod dydd ei ryddhâd yn agosâu. Y mae y gwrthryfel presennol yn America yn un o'r trychinebau mwyaf arswydol sydd wedi dygwydd i'r byd yn yr oesoedd diweddaf; ond yr ydym yn gobeithio y bydd yn foddion i brysuro rhywfaint ar yr adeg, pan y caiff plant gorthrymedig Ham eu rhyddhâu o'r caethiwed blin ag y maent wedi bod yn griddfan dano am gynifer o flynyddoedd.

Ond tra yr ydym yn ysgrifenu, y mae newyddion blin yn [illegible]dd ein clustiau. Y mae cymylau duon nad oeddym yn dysgwy[illegible]nt yn ymddangos, ac y mae ein calon o'n mewn yn crynu rha[illegible]yl wlad ein hunain gael ei gadael i fod yn euog o'r fath y[illegible] a phechod â myned i ymyraeth yn yr achos sydd yn awr yn ca[illegible]tleu ar faes y gwaed rhwng gwahanol ranau America. Y mae y Gogleddwyr, ysywaeth, wedi taflu anmharch ar luman Prydain Fawr. Yr oedd agerlong berthynol i Brydain wedi cymeryd dau gynnrychiolydd, neu ddirprwywyr, perthynol i'r Dehau ar ei bwrdd, i'w cludo o Havannah i St.

Thomas, ar eu ffordd i Loegr a Ffrainc, lle yr oeddynt yn dyfod ar genadwriaeth bwysig dros eu llywodraeth. Cafodd llywydd llong rhyfel Americaidd hyd iddynt, a chymerodd hwynt yn garcharorion. Dyna yr anmharch. Dyna y trosedd. Cymeryd y ddau ddyn yna a'u hysgrifenyddion yn garcharorion, pan oeddynt o dan amddiffyniad baner Prydain. Gweithredodd y swyddog yn hollol ar ei gyfrifoldeb ei hun. Nid oedd wedi cael gorchymyn i wneuthur dim o'r fath beth gan ei Lywodraeth, ac nid yw yn ymddangos ei fod yntau yn bwriadau un anmharch i Loegr, ond ei fod o dan yr argraff nad oedd yn gwneuthur dim ond yr hyn oedd yn rheolaidd a chyfreithlawn. Ond càn gynted ag y cyrhaeddodd y newydd y wlad hon, dyma y fflam fawr yn ennyn, a'r siarad mawr ymhob man am wneuthur i America ymostwng am ei bai, a rhyddhâu y carcharorion, neu ymosod arni ar unwaith, ysgubo ei llynges oddiar wyneb y moroedd, ac felly yn y blaen. Nid ydynt wedi gwneuthur i ni na cholled na cham; wedi pechu yn erbyn ein hanrhydedd y maent. Rhaid i ni ofalu am ein hanrhydedd. Gorchwyl anrhydeddus fyddai myned i ryfel âg America ar hyn o bryd! Os ydynt mor anabl i amddiffyn eu hunain ag y myn ein cynghorwyr rhyfelgar eu bod, hi a *fydd* yn anrhydedd i Brydain Fawr eu gorchfygu! Os yw y llynges Americaidd y peth bychan gwan ag y maent hwy yn ei darlunio, fe fydd yn anrhydedd tragywyddol i lynges Prydain Fawr ei hysgubo oddiar wyneb y moroedd! Fe fydd yn anrhydedd i ni ymosod ar ein brodyr yn eu cyfyngder, pan y maent yn ymdrechu yn galed am eu bodolaeth genedlaethol! Fe fydd golwg anrhydeddus ar faner Prydain Fawr yn myned i'r maes ochr yn ochr â baner waedlyd y Taleithiau Deheuol! Fe fydd yn anrhydedd i ni, ar ol yr holl aberthau yr ydym wedi eu gwneyd dros y Negro gorthrymedig, daflu ein dylanwad a'n nerth, ein cyfoeth a bywydau ein pobl, o blaid ei orthrymwyr, a'u cynnorthwyo hwy i sicrhâu ei gadwynau! Trenged y fath anrhydedd! a threnged yn dragywydd y newyddiaduron melldigedig hyny sydd yn chwythu y tân wrth siarad am dano! A gaiff Paganiaid a Phabyddion y byd weled y ddwy genedl sydd ar y blaen ar holl genedloedd y ddaear mewn masnach, mewn rhyddid, mewn gwareiddiad, mewn Cristionogaeth, ac mewn pob peth da—mewn ymdrech marwol â'u gilydd? A gaiff y ddwy genedl sydd yn fywyd ac yn nerth i holl genadaethau efengylaidd y byd, gorchwyl penodol pa rai yw anfon Gair y bywyd i holl genedloedd y ddaear, eu gollwng i drochi eu dwylaw yn ngwaed y naill y llall? A gaiff y trafnidaeth heddychol sydd yn cael ei ddwyn yn y blaen rhwng glànau Môr y Werydd ei attal a'i wasgaru gan offerynau dystryw a marwolaeth? A gaiff meibion Prydain Fawr, a'u brodyr sydd wedi myned drosodd i America o bryd i bryd, ynghyd a phlant yr hen Buritaniaid, gyfarfod â'u gilydd ar wyneb y dyfroedd i roddi gwaed a chnawd eu gilydd yn ysglyfaeth i bysgod y môr? Na ato Duw! "Cenwch udgorn yn Sïon, cysegrwch ympryd, gelwch gymanfa; cesglwch y bobl; cysegrwch y gynnulleidfa; cynnullwch yr henuriaid; cesglwch y plant, a'r rhai yn sugno bronau; deued y priodfab allan o'i ystafell, a'r briodferch allan o ystafell ei gwely. Wyled yr offeiriaid, gweinidogion yr Arglwydd, rhwng y porth a'r allor, a dywedant, Arbed dy bobl, O Arglwydd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth!"

# ESTHER.

## GAN GLAN ALUN.

### *Y RHAN GYNTAF.*

### I.

(YR OLYGFA—Gwledd fawr yn nghyntedd y palas breninol—Ahasuerus a'r ymwelwyr oll yn "llawen gan win"—Bloeddiadau: "Byw fyddo y Brenin Ahasuerus!"—Eraill: "A'r Frenines Fasti!")

*Ahasuerus yn ymson wrtho ei hun.*

FASTI! O! na bae Fasti yma yn awr
Ei hun i dderbyn yr anrhydedd twym
A'r serch teyrngarol hwn, ac i gael gwel'd
Mawredd dïail ei phriod yr un pryd,
A chydfwynhâu ei urddas! I ba beth
Yr ydys yn ymrwymo 'n nghadwen deg
Priodas, ond er mwyn ëangu a
Dwfnhâu pob mwyniant gaffom trwy ei ranu?
Nid ŵyr yr unig, tlawd, dibrïod, ddim
Pa beth yw gwir ddedwyddwch. O! fy hoff,
Fy anwyl brydferth Fasti! onid un
Yn awr y'm ni ein dau; a phan y bô
Rhyw bleser megys heddyw i fy rhan,
Os na bydd Fasti yn ei gydfwynhâu,
Ymdeimlaf fel pe byddai 'r teimlad pêr
Yn wan, anmherffaith, ac heb dreiddio trwy
Yr oll o'm hanfod, ïe, heb gyrhaedd i'r
Rhan oreu o honof. Ac heblaw hyn,
Pa les i ŵr feddiannu trysor teg
Digymhar, oni cha y byd ei weled?
Ni waeth pen moel na choron, bwthyn tlawd
Na phalas gwych, oni bydd llygaid fil
I edrych arnynt. A pha les i mi
Fod Fasti yn decach na benywod byd,
Fel y rhagora 'r haul ar sêr y nos,
Oni bydd hyny 'n hysbys—oni bydd
Yn creu cenfigen fy ngelynion, ac
Yn rhoi fy holl gyfeillion i ryfeddu?
Wele yn awr y dorf amrywiog hon
A ddaeth ynghyd o bedryfanau 'm gwlad
I weled mawredd, urddas, cyfoeth, rhwysg,
A nerth ei brenin; a ollyngaf fi

Y rhai 'n yn ol heb iddynt unwaith wel'd
Y perl dysgleiriaf feddaf? nid all fod.
Rhaid iddynt weled Fasti; yna hwy
Daenant ei chlod trwy 'r ymherodraeth oll,
A dywed pawb, Mor ddedwydd yw y brenin!
Mor fawr yw Ahasuerus!

*Yn cyfarch yr ymwelwyr.*

Ddeiliaid hoff!
Yr wyf yn teimlo y teyrngarwch pur,
Y serch tuag ataf, y ffyddlondeb brwd,
Sydd yn eich anerchiadau; mwyaf oll
Eich bod yn cofio â dyledus barch
Eich teg frenines Fasti. O! na bae
Hi yma ei hun i dalu diolch yn
Ei dull mawreddus, serchog, mwynaf hi!
Yn wir y mae fy Fasti i yn deg,
Yn gall, yn lluniaidd, yn anwylaidd, yn
Rhagori ar y myrdd mewn glendid fel
Y mae mewn gallu. Chwi faddeuwch im'
Os yn yr awr orlawen hon y bydd
I'm teimlad redeg braidd tros ben y llestri.
Nid yw defodau 'r wlad yn caniatâu
I wragedd ddo'd i gwmni megys hwn,
Neu mi a'i harchwn yma; ac yn wir
O'r braidd na thorwn dros y rheol. Mae
Heddyw yn ddiwrnod anghyffredin, a
Phwy all fy ngalw i gyfrif? Yn ddi os
Mi a'i mynaf yma—yma yn ddioed.
Dylaswn roddi rhybudd iddi yn wir;
Mae hithau 'n rhoddi gwledd y fynyd hon
I'r gwragedd pendefigaidd; ond hi ddaw,—
Hi ddaw yn ddïau, a rhydd i'w deiliaid oll
Esiampl o ufudd-dod.

*Yn cyfarch yr ystafellyddion.*

Mehuman, Biztha, Bigtha,
Harbona, Zethar, Abagtha, a Charcus:
Ewch oll ynghyd yn drefnus i'r brenindŷ;
Cyfarchwch y frenines gyda pharch
Dyladwy; a'm hanerch mwyaf serchog.
Mynegwch fod y wledd fawreddig hon
Yn awr ar ddarfod, a chyn i'r enwog lu
Urddasol o ymwelwyr ymwasgaru
Fod yn fy mryd ddymuniad iddi hi,
F' anwylaf Fasti, weled cymaint yw
Cadernid ei theyrnasoedd; ac er mwyn
I'r pendefigion oll gael cyfle teg

I'w hanrhydeddu; ac i weled faint
Ei theg brydferthwch; fel y dygont glod
Ei glendid rhyfedd trwy 'r taleithiau oll
O India hyd Ethiopia. Gwir nad yw
Yn ol arferiad Media a Phersia fawr
I'r fenyw dyner i ymddangos byth
Yn ngwleddoedd y gwrywaid; ond y mae
Y brenin uwchlaw deddf; ei hawlfraint ef
Yw rhoddi deddf, neu drefnu eithriad iddi.
Deued gan hyny, deued yn ddioed,
A deued yn ei gwisg freninol gain,
A'r goron ar ei phen,—hyn yw 'm dymuniad.
(Yr ystafellyddion yn myned ymaith.)

*Ymwelwyr yn ymddyddan o'r neilldu.*

YMWELWR IEUANC—

Wel! yn wir! O bosibl ni gawn weled
Y fenyw odiaeth hon; ond gyda llaw,
Nid gorchest fawr i fun wedi ei hamdoi
Mewn sidan, porphor, gemau, plu, ac aur,
A choron berlog, ddrudfawr, ar ei phen,
I ymddysgleirio. Anhawdd peidio dwyn
Breninol osgo mewn breninol wisg.
Ond O! pe gwelent hwy fy mhriod hoff,
Fy nheg Fatima! gwelent ynddi hi
Frenines wrth naturiaeth! nid oes raid
Wrth wisgoedd gwychion, coron, perlau teg,
I'w gosod allan,—pylent wrth ei gwedd.
Ei chorff mor luniaidd! ei modrwyog wallt!
Tryloew liwiau ei hawddgaraf wedd!
Y llygaid dysglaer yn serenu gan
Fwyneidd-dra, synwyr, a thyneraf serch!
Ei phob symudiad yn lledneisrwydd pur
Ac angeleidd-dra; ïe, os yn wir
Yw 'r angel yn fwy prydferth, teg, a mwyn.
Ni wn i ddim o ba le daeth y teg
A'r addfwyn i nodweddu engyl, gan
Nad oes i'w plith fenywod na babanod.
Nid aeth yr haul ond dwywaith trwy ei gylch
Blynyddol er pan unwyd ni ein dau
Mewn rhwymyn priodasol; a phob dydd
Gryfhâ fy serch; canfyddaf degwch mwy,
Rhinweddau newydd, yn fy hoff Fatima.
Mae i ni faban hefyd, insel prid
O'n cariad puraidd; ni ddaeth gair erioed
O'i enau eto, ond fe daflodd swyn
Drwy ein holl annedd. Mae y gwirion bach
Y gallu bychan mawr, fel âg un llaw

Yn cydio yn nghalon bur ei dyner fam,
Tra yn y llall fy nghalon innau sydd;
Ac felly trwyddo ef, o'r naill i'r llall
Fe lifa serch yn gryfach nag erioed.
O! na bawn adref! Beth i mi yw Fasti?
Mae hiraeth arnaf am Fatima gu.
O! na bawn adref eto i grwydro maes,
Ymlid y geifr ar hyd y bryniau ban,
Neu hela petris y mynyddoedd iach,
Dychwelyd adre' yn llawen gyda 'r hwyr,
I lòn ymddyddan â Fatima gu
A chwareu â'r bychan!

YMWELWR OEDRANUS—

Gwelais innau 'r dydd
Pan lawenychwn yn mhrydferthwch mawr
Fy mhriod ieuanc. Gwelais innau 'r dydd
Pan y gwirionwn i yn llwyr uwch ben
Fy mhlentyn cyntaf. Ond aeth hyny heibio!
Yr ŵyrion sydd yn awr yn chwareu o gylch
Fy ngwraig a minnau; ac yn wir os oedd
Rhyw swyn dedwyddol gyda 'r plant, y mae
Mwy gyda'r ŵyrion,—y maent hwy a ni
Megys yn nês i'n gilydd. Am fy ngwraig,
Fy hen wraig bellach, nid yw blwyddau maith
Wedi lleihâu ein cariad; os na rêd
Y ffrwd mor gyflym, dyfnach, trymach yw.
Beth os yw 'r llygaid llòn a'm swynai gynt
Yn llai tanbeidiol—beth os trôdd y gwallt
Oedd gynt mor ddu, yn frith, ac yna 'n wỳn—
Beth os yw amser wedi gadael ôl
Ei aradr nerthol ar y dirion wêdd
Oedd mor ireiddlawn gynt?—Yn araf daeth
Y cyfnewidiad; felly ni 'm tramgwyddodd.
Ond, gyfaill ieuanc, er i'r dyn oddiallan
Gyfnewid, nid yw 'r ysbryd ddim yn treulio.
Dyna sydd wir dylawd, pan byddo 'r wisg
Yn decach nag yw 'r corff, a'r corff na 'r enaid;
Pan dreulio 'r wisg, fod tegwch gwedd yn darfod,
Pan wywo 'r wedd, nad oes dim tegwch mwy!
Mae y rhagoriaeth meddwl, rhinwedd, tymher,
Oedd yn fy hoff wraig gynt, yn para eto
Heb ymgrebychu. Mae y gell yn wir
Yn ymagenu, ond mi wela 'r perl
Yn ddysglaer trwyddynt, ac 'r wy' 'n oludog.
Tuedda 'r byd i gilio oddiwrth yr hen;
'R ym ninnau 'n blino arno; ac o'r bron
Yn unig fyd i'n gilydd; fel dau bren
Wedi cydsefyll trwy dymhestloedd oes

Gan wendid henaint yn gogwyddo ynghyd,
Nes gorphwys ar eu gilydd; felly ninnau,
Fy ngwraig a minnau. Pa beth bynag yw
Tegwch Fatima gu a Fasti fawr,
Ni fynwn eu dibrisio, ac nid oes
Cenfigen ynof;—mae fy hen wraig i
I'm golwg i mor anwyl deg a hwythau.

II.

(Y frenines Fasti yn gwledda y gwragedd yn y brenindy—Yr ystafellyddion yn dyfod i mewn, ac yn cyfarch y frenines.)

*Mehuman.*

Anfonwyd ni, O! arddercho caf Fasti,
Gan Ahasuerus frenin. Mae y wledd
Ardderchog â pha un y gwleddodd ef
Ei dywysogion oll yn awr ar ben;
A chyn i'r dorf urddasol ymwahanu,
Dymuna 'r brenin i'r frenines dd'od
I'r babell wledda, i wel'd cymaint yw
Cadernid ei theyrnasoedd, ac er mwyn
I'r pendefigion oll gael cyfle teg
I'w hanrhydeddu, ac i weled faint
Ei theg brydferthwch, fel y dygont glod
Ei glendid dïail trwy'r taleithiau oll.

*Gwaedd o syndod gan y boneddigesau, ac oll yn siarad ar unwaith.*

Mae 'r brenin Ahasuerus wedi meddwi!
Mae 'r brenin wedi meddwi, meddwi, meddwi!

*Fasti.*

O! cellwair mae fy arglwydd; byth ni wnai
Amcanu rhoddi arnaf fath sarhâd,
A gofyn imi megys putain dd'od
Yn wrthddrych i lygadau anllad mil
O ddynion llawn o win i rythu arnaf.
Cellwair y mae. Mehuman, dywed im',
Onid o'r neilldu, yn ddirgelaidd, ac
Heb wybod i'r ymwelwyr, rhoddodd ef
Y genadwri hon i ti a'th frodyr?

*Mehuman.*

Nid felly, O! frenines, ond ar g'oedd
Yr holl gyfeillach, yn ddifrifol iawn
Adroddai 'r brenin ei ddymuniad, ac
Y rhoddodd y genadaeth hon i ni.

*Fasti.*

Och fi! pa beth yw hyn? Pa beth a wnaf?
Da gŵyr y brenin nad oes dim na wnawn
Er mwyn ei foddio, ïe, ufuddhäwn
Hyd farw drosto; ond mae hyn yn waeth
Na marw; canys beth yw bywyd werth
Pan fyddo y cymeriad wedi ei golli?
O! fawr gyfyngder! Rhaid i mi yn awr
Droseddu yn erbyn, ac anufuddhâu
I'm harglwydd frenin, a hyny yn ngwydd holl
Fawrion ei deyrnas; neu droseddu 'n hyf
Yn erbyn urddas gwyl a phur fy ystlen,
A myn'd yn nôd i wawd benywod byd.
Mae 'n gyfyng arnaf! Gyfeillesau hoff,
Mynegwch im', mynegwch, beth a wnaf?

*Boneddiges 1af.*

Urddasol Fasti! nid oes achos it'
Betruso mynyd ar y mater hwn.
Mae 'r archiad ffol mor afresymol fel
Y byddai yn anfri ar y lodes dlawd
Iselaf yn y deyrnas; pa faint mwy
Ar ein brenines? Mae cymeriad yn
Cynnyddu mewn pwysigrwydd fel y b'o
Sefyllfa un yn uwch. Mae enw da
Yn goron mwy ei gwerth na choron Persia.
Os rhaid yw colli un, gwell fyddai colli
Y goron olaf ddeg can' mil o weithiau.
Ond wfft i'r dynion! dyma fel y maent!
Pan yn ymdrechu ennill sylw merch,
O! mor ystyriol, llednais, tyner, mwyn!
Ond unwaith y cyrhaeddont at y nôd,
A theimlo eu hawdurdod, yn y fan
Tro'nt yn ormeswyr tra-arglwyddaidd câs,
A thriniant wragedd megys caethion gwael
Nad ydynt dda i ddim ond i foddhâu
Eu nwydau cas a'u ffol fympwyon hwy.
O'm rhan fy hun nid oes i mi un gŵr.

*Boneddiges 2il.*

Ac felly mae eich tymher wedi suro!
Yn wir nid yw y dynion damaid gwaeth
Oblegid i chwi ddygwydd methu yn
Eich marchnad briodasol. O'm rhan i,
Pe cawn i ŵr, myfi a ufuddhäwn
I'w bob dymuniad heb ymofyn pam;
Ystyriwn mai ei briodoledd ef,

Y meddwl cryfaf, fyddai penderfynu
Y cymhwys neu 'r anghymhwys; yna os
Camweddwn weithiau, ar ei ysgwydd ef,
Nid arnaf fi, y gellid bwrw y bai.
Onid fel hyn yr ydoedd Sara deg,
Gwraig yr hen Batrïarch Hebrëaidd gynt?
Hi ufuddhäodd nid yn unig hwnt
I'r hyn oedd weddaidd, ond i'r hyn oedd foesol.

*Boneddiges 1af.*

Nid oedd gorchymyn Abraham yn wir,
Na bâs ufudd-dod Sara iddo chwaith,
Yn un anrhydedd iddynt. Heblaw hyn
Nid awn i ddim i gael ein dysgu gan
Henafiaid yr Iuddewon caethion hyn.

*Boneddiges 3edd.*

Yn ol a welais i, rhy fach o bwyll
Yw prif achlysur anghydfodau blin
Rhwng gwŷr a gwragedd: rhaid yw iddynt hwy
Yn fynych roi a chym'ryd, a chyd-ddwyn,
Ac nid cildynu a gwgu am bob gair
Neu amcan byrbwyll. Gwna amynedd droi
Aml ergyd heibio, ac attal llawer rhwyg.
Diammheu genyf mai yn ngwres ei serch,
A gwres y gwin yn gymysg, y daeth hyn
I feddwl Ahasuerus; ac mai grym
Y ddau ynghyd a'i cariodd ef mor bell
Dros ffin doethineb; canys pa lesâd
F'ai taenu clod ei Fasti trwy y wlad
Ar draul darostwng ei chymeriad am
Wyleidd-dra llednais, coron benaf merch?
Anfoned y frenines ato yn ôl
Esgusawd parchus, serchlawn, ac arafaidd.
Pan elo heddyw heibio, ac y bydd
Holl gyffro gwyllt a holl orhoian brwd
Y wledd fawr drosodd; a meddyliau llon
Y brenin yn arafu, gwel ei hun
Mor anmhriodol oedd yr archiad hwn;
Ac ef ei hun a barcha Fasti 'n fwy
Am anufudd-dod nac am ufuddhâu.
Gwell yw ei ddigio am ddiwrnod na rhoi lle
I'w fynwes ffromi yn glwyfus am ei oes.

*Fasti.*

Mae rhyw iselder ofnus wedi bod
Yn pwyso er's dyddiau ar fy ysbryd i,

A heddyw yn neillduol, teimlaf fel
Pe byddai profedigaeth flin gerllaw.
Mae rhyw ragsyniad ynof mai mawr ddrwg
A ddaw i mi o hyn; ond doed a ddelo,
Mi ni phetrusaf. Ni weithredaf yn
Annheilwng o fy swydd, fy enw, a'm rhyw,
A mwy nag oll, o'r brenin, fy hoff ŵr,
Yr hwn a'm cododd i i'r orseddfainc.

*Wrth yr ystafellyddion.*

Dychwelwch chwi, genadon, yn ddioed,
A dygwch f' anerch serchlawn at y brenin;
Adgofiwch iddo nad anufuddhëais
Un archiad iddo erioed; ond fod yr hyn
A archodd heddyw mor ryfeddol groes
I deimlad benyw, ac i foesau 'n tir,
Nad allwn wed'yn godi byth fy mhen:
Collwn fy hunan-barch, a pharch fy ngwlad,
A pharch fy arglwydd frenin yn ddïau,
Yn y canlyniad. O! boed iddo 'n fwyn
Ystyried f' achos eilwaith, ac na foed
I'm harglwydd ddigio, ond maddeued im'
Nad allaf—dyma ofid pena 'm hoes—
Nad allaf, ac na feiddiaf ufuddhâu!

(Yr ystafellyddion yn myned allan.)

III.

(Yr ystafellyddion wedi dychwelyd at y Brenin Ahasuerus).

Ha! dyma 'r 'stafellyddion wedi d'od
Yn ôl o'r diwedd; buont yn lled hir;
Ond tebyg yw mai Fasti fu 'n ymdrwsio
Fel bydd y gwragedd, fel y gallai yn addas,
Ac er anrhydedd iddi hi a minnau,
Ymddangos ger eich bronau. Wel! Mehuman,
Pa le mae Fasti?

*Mehuman.*

Yn y brenindŷ, f' arglwydd.

*Ahasuerus.*

Yn y brenindŷ! onid yw hi 'n d'od
Yn ol fy archiad serchlawn? traethwch im'
Yn union, beth yw 'r ateb i'm dymuniad.

*Mehuman.*

Ni gawsom y frenines wrth y bwrdd
Yn gwledda 'r uchelwragedd; ac ar ol

Ymostwng iddi, adroddasom ni
Ein cenadwri, yr hon a barodd gyffro
A syndod mawr ymhlith y gwragedd oll;
Ac wedi ymgynghori yspaid maith
A'i chyfeillesau, d'wedai Fasti fod
Archiad y brenin heddyw mor llwyr groes
I holl ddefodau 'r oes, ac mor sarhäus
Ar deimlad lledneis benyw, fel nad allai
O bosibl ufuddhâu; a thaer erfyniai
Ar eich mawrhydi i hynaws faddeu iddi,
Ac ail ystyried; ac i gofio nad
Anufuddhäodd hi erioed o'r blaen,
Ac na wnai yn awr pe buasai 'r archiad hwn ——

*Ahasuerus.*

Digon, Mehuman; ni wrandawaf mwy
Ar yr esgusawd gwrthryfelgar ffol.
Mae yma yn amlwg gydfradwriaeth hŷf
Ymhlith y gwragedd; beth! a ydwyf fi
Yn frenin ar daleithiau Media fawr
A Phersia ëang, a'm meddyliau yn
Gyfreithiau i'w preswylwyr dirifedi;
Ac a gaiff benyw groesi fy ewyllys,
Ammheu doethineb fy nhrefniadau i,
A fy sarhâu ger bron fy nhywysogion,
A'r uchelwragedd oll! Nid all hyn fod!
Mynegwch i mi, ddoethion, beth yw 'r gyfraith,
Pa beth a wneir i Fasti? A pha fodd
Cedwir fy urddas, ac y rhwystrir i'r
Fath ysbryd gwrthryfelgar daenu ar lêd?

*Memuchan.*

Fy arglwydd frenin, y mae yn llawn bryd
I drefnu cyfraith i gyfyngu rhwysg
Y rhyw fenywaidd. Y mae lle i gredu
Nad yw yr hyn ddygwyddodd yn y llŷs
Ond enghraifft ac esiampl o'r hyn sydd
Yn awr yn bod mewn llawer tŷ yn Media
A Phersia fawr, sef fod y gwragedd yn
Mynu 'r arglwyddiaeth, fel nad yw y gwŷr
Ond îslywyddion yn eu tai eu hun.

*Marsenas.*

Memuchan druan, os fel yna y mae
Yn d' annedd di, yn wir nid felly mae
Yn gyffredinol. Ond lle bynag mae
Dyn yn wir ddyn, nid oes un fenyw fyth

A arglwyddiaetha arno. Os bydd dyn
O ysbryd gwan merchedaidd, ond ei wraig
O feddwl cryfach, cliriach, onid hi
A ddylai lywodraethu? Nid wrth farf,
Neu asgwrn cryf mae barnu y ddynoliaeth,
Ond wrth yr enaid; myn y meddwl mawr
Ei le er gwaethaf pobpeth, a'r un bach
A sudda i îsraddoliaeth wrth ei bwys,
'D oes dim a'i hattal. Mae yn ddigon gwir
Fod gwraig anynad megys dafnau ——

*Memuchan.*

"Dafnau," ddyn! yn hytrach d'wêd rhaiadrau,
Cwmwl-doriadau, t'ranau mawr a mellt,
Tröwynt, a chorwynt, cenllusg, daeargryn,
'N ymryson am dy aelwyd—ysbryd drwg
Nad allai telyn Dafydd bêr ei hun
Ei ymlid ymaith. Ac yn awr fe fydd
Yn fil fwy anhawdd nag erioed i ŵr
Faentumio ei awdurdod, canys bydd
Esiampl freiniol yn ein llwyr ddileu.
Yn wir fe gawn i gyd ein ffustio â Fasti!
Fy nghynghor i yw fod i'r brenin roi
Gorchymyn allan na ddêl Fasti mwy
I'w bresennoldeb, a bod iddi roi
Ei lle i'w gwell, sef i un mwy ufuddgar;
A bod gan bob gŵr hawl trwy 'r deyrnas oll
Yn yr un modd i drin ei wraig ei hun.
Dyna yr unig ffordd a welaf fi
I attal terfysg, ac i lwyr ragflaenu
Rhyfel cartrefol yn ein holl anneddau.

*Ahasuerus.*

Da iawn, Memuchan: 'r wyf yn llwyr gyttuno
A'th ddoeth gynghorion, boed i'r 'sgrifenyddion
Ar unwaith anfon allan mewn llythyrau
I'r perwyl yna trwy 'r taleithiau oll,
A boed yn gyfraith mwy i Media a Phersia.

# TREM AR YR AMSERAU.

"DRINGODD angeu i'n ffenestri, ac efe a ddaeth i'n palasau." Do! efe a ddaeth yn hŷf i balas breninol Prydain Fawr, ac a ddygodd ymaith y Tywysog Albert, priod hoff ac urddasol Ei Mawrhydi ein Brenines, er chwithdod a galar yr holl deyrnas. Y newydd prudd ac annysgwyliadwy am farwolaeth y Tywysog Cydweddog,—dyna sydd y dyddiau hyn yn destun siarad a chwynfan y milfiloedd Prydeiniaid; ac amlygir yn gyffredinol y cydymdeimlad dyfnaf â'n Brenines garuaidd yn ei cholled annhraethadwy. Marw ei chymhar, ei chynghorwr, ei chyfnerthwr, prïod ei hieuenctyd, tad ei phlant, a hyny yn ddisymwth, ac efe eto yn mlodau ei ddyddiau!—mae yn rhaid fod y dyrnod iddi hi yn ergyd i'r byw; ac y mae yr ystyriaeth wladwriaethol o'r loes a'r rhwygiad yn peri fod myrdd-myrddiynau o weddïau yn cydanadlu tua'r nefoedd, "Duw a gadwo y Frenines!" Yr ydym yn cael y Wasg, yn ddïeithriad, yn rhoddi pob canmoliaeth i'r diweddar Dywysog Breninol; ac nid yn ddiachos—nid oddiar yr egwyddor, "A fyno glod bid farw"—ond am na fêdd y gwirionedd manylaf namyn geirda am dano. Yr oedd gwaed goreu yr Allmaen, ys dywed un ysgrifenydd, yn rhedèg yn ei wythenau. Hynafiad iddo oedd Ffrederic y Doeth, amddiffynydd a chefnogydd Luther, ac felly yn un o dadmaethod y Diwygiad Protestanaidd. Ond er ei fod yn Allmaenwr o enedigaeth, efe a ymroddodd yn gwbl i lesâu ei wlad fabwysiedig. Gan gadw ymhell oddiwrth bob ymyriad politicaidd a phleidiaeth wladol, defnyddiodd ei alluoedd a'i ddylanwad i ddwyn ymlaen gysuron gwareiddiad a gwelliadau celfyddydol. Iddo ef, fel un o'r rhai penaf, os nid y blaenaf oll, y priodolid y meddylddrych am Arddangosiad Fawr 1851; ac yr oedd wedi bod yn egnïol yn parotöi y ffordd i Arddangosiad 1862. Yr oedd yn berchen meddwl cryf a choeth, yn ysgolaig rhagorol, yn amaethwr da, ac yn gyfarwydd mewn gwyddoniaeth gyffredinol; yr oedd yn ei holl ymddygiad personol, yn gystal ag yn ei fuchedd gyhoeddus, yn ddiargyhoedd a chanmoladwy; ac anrhydeddid a cherid ef yn arbenig gan y rhai a wyddent fwyaf am dano. Er na chafodd enw a swydd Brenin, yr oedd yn cyfranogi o holl ofal a phryder y Frenines, ac mewn modd llednais yn gynnorthwy iddi yn ei holl ddyledswyddau. Ond! "Pa ŵr a fydd byw ac ni wêl farwolaeth?" Y gŵr agosaf at yr orseddfainc benaf yn y byd, a'r anwylaf gan yr hon oedd yn eistedd arni, a syrthiodd, yn addfedrwydd ei oedran, i'r bedd. Ddarllenydd, tro adref, gosod hyn at dy galon, a gwybydd dy ddiwedd!

Y mae Eglwys Rydd Scotland, ac yn wir Eglwys Crist yn gyffredinol, wedi cael colled ddirfawr yn marwolaeth y Parch. Dr. Cunningham, prif athraw y Coleg Newydd yn Edinburgh, ar ol ychydig ddyddiau o gystudd. Fel y dywedasom yn y TRAETHODYDD tua deng mlynedd yn ol, ar ol cael y fantais o'i weled a'i glywed, yr oedd efe yn ddyn mawr ymhob

ystyr; enaid mawr wedi ei addurno â dysg mawr, a'r enaid hwnw yn preswylio mewn corff mawr. Yr oedd wedi ei enwogi ei hun, pan yn ŵr ieuanc, yn ei areithiau nerthol yn erbyn y blaid Erastaidd yn Nghymanfa Gyffredinol Eglwys Scotland; a phan sefydlwyd yr Eglwys Rydd, edrychid arno ef fel un o'i "thri chedyrn," er nad oedd efe y pryd hyny "yn llawn deugain mlwydd oed." Cyfrifid ef yn un o'r rhai mwyaf cyfarwydd mewn hanesyddiaeth eglwysig; ac mewn gwybodaeth a medr duwinyddol nid hawdd oedd cyfarfod â'i gyffelyb. Er pan fu farw Dr. Chalmers, ni chafodd Scotland, meddir, gymaint o achos i alaru ac i hiraethu ag yn ymadawiad Dr. Cunningham.

Yn Nghymru, ac yn enwedig ymysg Methodistiaid Cymru, yr oedd enwau William Morris, Tyddewi, ac Evan Harries, Merthyr, yn adnabyddus iawn, fel pregethwyr hynod ac enwog, a dynion Duw; ond ni welir hwynt yma mwyach, "canys Duw a'u cymerodd hwynt." Yr oedd Mr. Harries yn nodedig am gyflawnder a grym ei arabedd; ond nid ffraethineb dinôd ac anmherthynasol oedd yr eiddo ef; gofalai yn wastad am ergydio at y galon a'r gydwybod; a gwnai i'w wrandawyr wenu ac wylo ar unwaith. Ei lais hanner-crynedig ond treiddiol—ei lygaid eryraidd yn gwreichioni—ei ddarluniadau naturiol a'i gymhariaethau gafaelgar—a gofir yn hir gan bawb a'i clywsant. Yr oedd efe, er yn oedranus, yn dal i bregethu hyd o fewn ychydig ddyddiau i'w farwolaeth; a bu farw yn gryf yn ei Dduw. Am Mr. Morris, mae yn hysbys ei fod ef er ys rhai blyneddau bellach wedi ei lesteirio i bregethu gan anhwyldeb, er ei fod yn llawn ysbryd pregethu hyd y diwedd; ac yr oedd ei farwolaeth yn rhyddid dedwydd i'w ysbryd, er ei alluogi i seinio yn berffaith, Iachawdwriaeth i'm Duw i, ac i'r Oen! Cyfrifir ef yn un o'r pregethwyr goreu yn ei oes. Yr oedd yn dduwinydd cyflawn ac o'r iawn ryw, ac yn bregethwr o anian, ac ynddo gydgyfarfyddiad hapus o elfenau gweinidogaeth adeiladol a phoblogaidd: parodrwydd, serchogrwydd, tanbeidrwydd, efengyleiddrwydd, a nefoleiddrwydd. Efe, tybygem, ydoedd yr henaf oedd yn fyw o weinidogion ei gyfundeb; ac fe ddichon nad oedd neb o'i gyfoeswyr gweinidogaethol wedi pregethu mwy nag ef. Teithiodd lawer "i efengylu pethau daionus" trwy holl Gymru; a chyfrifid ei ymweliadau yn wastad "fel gwlithwlaw ar îrwellt, ac fel cawodydd ar laswellt." Tywallted Pen yr eglwys yn helaeth o'r Ysbryd oedd yn addurno yr hen bregethwyr anwyl hyn ar eu holl frodyr sydd yn aros ar eu hol!

Mae y traethawd ar "y Cythrwfl Americaidd" yn y rhifyn hwn yn rhoddi i'r darllenwyr adroddiad helaeth ac eglur am achosion ac amgylchiadau y rhyfel cartrefol sydd wedi tori allan yn Nhaleithiau Unedig (gynt) yr America. Nid oes dim newyddion o bwys wedi ein cyrhaedd yn ddiweddar ynghylch yr anghydfod gresynus yn y Taleithiau; ond yr achos pwysig sydd yn awr yn sugno pob teimlad pryderus ato ei hun yw yr hyn y cyfeirir ato yn niwedd yr erthygl grybwylledig—y tebygolrwydd am gyhoeddiad rhyfel rhwng Prydain Fawr â Llywodraeth Gyfansoddiadol America. Bernir yn gyffredinol yn y wlad hon, a thrwy Ewrop, dybygid, fod gwaith cadben y llong-ryfel Americaidd yn ymddwyn fel y gwnaeth at lestr Brydeinaidd yn ymddygiad anamddiffynadwy, ac yn gyfryw sarhâd ar faner Prydain, arglwyddes y môr, nas gellir edrych yn ysgafn arno; a sicrhëir i ni yr un peth gan y rhai penaf ymysg ein hawd-

urdodau cyfreithiol. Y mae Prydain yn enwog ymysg holl wledydd y byd am estyn ei nawdd dros bob ffoadur tramor a ddelo ati am loches, cyfrifer ef yn wrthryfelwr neu beidio, neu pa un bynag ai gorthrymwr ai gorthrymedig ydoedd; ac edrychid ar long Brydeinig yn hollol yr un fath â daear Prydain, yn noddfa gysegredig; a rhaid i'n gwlad gadw ei chymeriad yn hynyma. Y mae ein Llywodraeth wedi anfon cenadwri i'r America yn achos y traha a wnaed ar y *Trent;* ac ni ddaeth yr ateb yn ôl eto. Ofnir yn fawr rhag na fyn, neu yn hytrach rhag na faidd, y Llywydd Lincoln a'i weinyddwyr benderfynu y mater yn wrthwyneb i lais y *mob* yn New York a dinasoedd eraill yr America; ac y mae y werinos yno yn eu bôst ddall yn edrych ar attafaeliad Mason a Slidell yn ogoniant mawr cenedlaethol. Ond pa beth bynag a fydd yr ateb, mae pawb sydd yn wir ystyriol a difrifol yn ein teyrnas yn dymuno ac yn gweddïo na byddo rhyfel yn ganlyniad iddo. Mae y *Times* dieg-wyddor â'i holl egni yn chwythu tân rhyfel, ac y mae llawer yn ei ddilyn yn y fath orchwyl esgymun. "Nis gallaf gau fy llygaid rhag y ffaith," ebe y Parch. Newman Hall yn ddiweddar mewn araeth alluog, "fod llawer sydd â'u crochwaedd am ryfel yn ceisio rhywbeth arall heblaw amddiffyn ein hanrhydedd cenedlaethol. Y rhai hyny sydd yn talu gwarogaeth i gotwm fel brenin, ac nas gwaeth ganddynt pa ffordd y gall-ant ei gael drosodd yma—y cenedloedd tramor hyny a'u goruchwylwyr [Ffrainc, fel y dengys rhai o'i phapyrau], y rhai, er nad wyf yn meddwl y cymerent y cyfleusdra i ymosod ar ein harfordiroedd, ond y byddai yn dda ganddynt ymosod ar ein trafnidiaeth, a gwasanaethu ein cwsmeriaid tra y byddem ni yn ymladd â hwy—y rhai hyny nad oes ynddynt un cydymdeimlad â'r caethwas negröaidd truan, ac a lawenychent o'n gweled yn myned yn fraich i'w orthrymwyr—y rhai hyny a fynent drwy ryfel tramor dynu ein sylw ymhell oddiwrth ddiwygiadau cartrefol mewn Eglwys a Gwladwriaeth, fel na chyffyrdder â'r drygau sydd yn elw iddynt hwy—y rhai hyny sydd yn ofni y galwad am gynnildeb gwladol fel yn arwyddo gostyngiad cyflogau a diddymiad segurswyddau, gan wybod nad oes ar adeg rhyfel poblogaidd un attalfa ar dreuliadau gwladwriaethol—ïe! a chefnogwyr cyflogedig y llywodraethau unben-aethol a gormesol yn Ewrop, y rhai a fynent dynhâu y gadwen ar y bobl sydd mewn ymdrech am ryddid, ac sydd yn tybied os bydd gan Brydain ryfel pwysig ar ei llaw, y bydd hi yn llai tebyg o estyn ei chyd-ymdeimlad at Poland, Hungary, neu Italy—mae gan yr holl rai hyn gy-mhelliadau dirgel i geisio ennyn a chryfhâu ysbryd rhyfel." Pa mor andwyol bynag y byddai y cyfryw ryfel i achos y Taleithiau Gogleddol, amlwg yw y byddai o'r ochr arall yn drychineb annhraethadwy i ni yn y wlad hon. Nid ennillem oddiwrtho namyn dyryswch masnachol, trethi cynnyddol, a drudaniaeth ymborth. A'r fath olygfa i'r byd a fyddai gweled dwy genedl o'r un gwaed, yr un iaith, a'r un grefydd, a'r grefydd hono yn Brotestaniaeth efengylaidd, yn trochi eu dwylaw yn ngwaed y naill y llall! Ar ryw gyfrif, yn wir, y mae yn ddigon anhawdd dyoddef ein câr Jonathan yn ei haerllugrwydd crachfostgar; ac y mae Prydain er ys blynyddoedd wedi goddef yn ddystaw herfeiddiadau sarhäol oddiar law America, o herwydd yr hen berthynas genedlaethol a'r holl gysyllt-iadau masnachol, na buasai er dim yn eu goddef oddiwrth genedloedd eraill. Camddeallid yr amynedd gan yr Americiaid, a dywedent fod

ar Siôn Ben Tarw ofn eu ffrewyllau hwy. Ond dylent fod yn eu camsyniadau hunanol yn wrthddrychau ein tosturi yn hytrach na'n llidiogrwydd. Bachgen mawr wedi gor-dyfu yw Jonathan, heb ddyfod i'w oed a'i synwyr. Mae y bobl oreu yn yr America, yn gystal ag yn y wlad hon, yn "heddychol ffyddloniaid." Gobeithio yn fawr yr ydym y gweithreda ein llywodraeth yn ol penderfyniad Cynnadledd y Cynghorau Gwladol yn Paris yn 1856, pan yr oedd cynnrychiolwyr y gwledydd yn cydgyttuno arno, sef,—os byddai i anghydweślediad pwysig gyfodi rhwng y naill lywodraeth a'r llall, fod iddynt, cyn apelio at arfau rhyfel, arfer pob moddion, i gael llywodraeth a fyddo yn gyfeillgar â'r ddwyblaid, i athrywynu a chyflafareddu rhyngddynt. Y mae Cyfeisteddfod Cymdeithas Heddwch wedi anfon cofeb at Arglwydd Palmerston i argymhell hyny, a chyfarchiadau hefyd at weinidogion yr efengyl o bob enwad. A da oedd genym weled hanes am gyfarfodydd gweddïau unol a llïosog yn Llundain a manau eraill, i ofyn i'r Hwn y mae calonau pawb oll yn ei law oruwchreoli cynghorau Prydain ac America, a'u bendithio â thangnefedd.

Y mae Poland, ar ol ei hir orthrymder, wedi dangos ei bod eto yn fyw; ac oddiwrth ymddygiadau canmoladwy Ymherawdwr presennol Rwssia yn ei wlad uniongyrchol ef ei hun, er pan yr esgynodd i'r orseddfainc, yr ydym yn dysgwyl na edy efe i'r wialen haiarn fod yn estynedig dros y Pwyliaid ond am fyr enyd. Mae llawer o bethau yn ymddangos yn darogan fod tymmor eu rhyddfreiniad heb fod ymhell. Aros ei hamser y mae Hungary i daflu oddiwrthi iau Awstria. Ac er nad oes cymaint o son am Italy y dyddiau hyn, mae bywyd yr adenedigaeth wladwriaethol yno yn cryfhâu, ac yn ymbarotoi yn ddystaw i wneuthur eto orchestion y bydd y byd yn eu rhyfeddu a'u mawrygu.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

Yr ydym yn teimlo braidd yn bryderus wrth ail-ddechreu cyflwyno ein Nodiadau Llênyddol ger bron ein darllenwyr, rhag i ystyr unrhyw sylw a wneler genym ar ba lyfr bynag a ddelo ger ein bron gael ei gamddeall gan neb o honynt. Yr ydym yn ofni, os gwir a glywsom, fod rhai, weithiau, wedi camgymeryd cymaint ar amcan ambell i Nodiad o'r eiddom, ag i beri gradd o niwed iddynt eu hunain, os nad i eraill hefyd. Yr hyn a olygir genym ydyw rhoddi, o bryd i bryd, rhyw frasolwg ar lênyddiaeth ein teyrnas, gan alw sylw neillduol at y llyfrau galluocaf a mwyaf awgrymiadol adnabyddus i ni ar ba destyn bynag a farner genym yn anghenrheidiol neu yn ddymunol cyfeirio meddyliau ein darllenwyr atynt. Yr ydym yn golygu ein darllenwyr yn *efrydwyr;* ac felly yn teimlo yn fynych yn rhydd i arganmawl llyfr iddynt hwy nas gallem mewn un modd ei arganmawl i'r difeddwl. Y pwnc mawr i'r efrydydd ydyw meddwl, a'r llyfr iddo ef yw y llyfr a'i cynhyrfo i hyny. Nid yw yn ddi-

gon fod meddwl ynddo, y mae ei eisieu ynddo mewn gwedd *awgrymiadol*, —nid yn y fath fodd ag i hebgor meddwl i'r darllenydd, ond i beri iddo feddwl ei hun. I'r efrydydd, gan hyny, nid cywirdeb dysgeidiaeth neu athrawiaeth llyfr ydyw y pwnc penaf, er nad yw hyny i'w esgeuluso, ond gwedd neu ffurf y ddysgeidiaeth hono, a'r yni meddwl â pha un y cyflwynir hi. Fe dâl llyfr o nodwedd felly am yr arian a roddir am dano a'r amser a rodder iddo, hyd yn nôd pe byddai eisieu gradd o ofal i ddidol y gwerthfawr oddiwrth y gwael, ïe, hyd yn nôd pe na byddai ond ychydig iawn ynddo a ellid olygu ymhob ystyr yn werthfawr; eto os meddianna y gallu i dynu y darllenydd i siarad âg ef, ac i beri iddo wrth ei ddarllen ddeffro i ddadleu ei osodiadau, i ammheu grym neu briodoldeb ei resymau, ac, yn enwedig, i'w arwain i ymchwil mwy manwl drosto ei hunan am y gwirionedd, ar yr hyn a fyddo dan sylw ynddo,—y mae yn wir yn anmhrisiadwy. O bob peth diwerth i efrydydd, y peth mwyaf diwerth yw llyfr llywaeth, llonydd, diyni, a dienaid, heb un meddwl ynddo digon nerthol i gyffroi meddwl yn ei ddarllenydd. Gall y fath lyfr fod yn hollol iach o ran y ffydd, ac yn wir yn eiddigus drosti; ond y mae ynddo rywbeth gwaeth braidd na chyfeiliornad yn ei ddylanwad ar y sawl a'i darlleno—gwaeth yn ddiammheu na chyfeiliornad pan yn cael ei gyflwyno yn y fath fodd ag i gyffroi y meddwl i ymofyniad annibynol am y gwirionedd. Ni a geisiwn ofalu na bydd i ni roddi canmoliaeth i unrhyw lyfr, am unrhyw ragoriaeth a dybiwn ynddo, heb geisio hefyd adgofio ein darllenwyr o unrhyw beth a allai fod ynddo yn anghydweddol â'r hyn a olygir genym ni yn hanfodol i fywyd a grym yr efengyl; ond ni a obeithiwn hefyd y gwna ein darllenwyr oll y tegwch â ninnau o beidio ein gwneyd mewn un modd yn gyfrifol ond am yr hyn a gymeradwyir genym.

Mae y flwyddyn sydd yn awr ar derfynu wedi bod drwyddi yn dra digynnyrch mewn ystyr lênyddol. Ychydig iawn o lyfrau â dim rhagoriaeth arbenig ynddynt mewn un gangen, hyd y mae yn hysbys i ni, a gyhoeddwyd yn ystod y flwyddyn. Yr oedd y dysgwyliad yn y misoedd cyntaf o honi am ddiddymiad y dreth ar y papur yn cadw ein prif gyhoeddwyr rhag ymgymeryd âg unrhyw anturiaethau pwysig; ac erbyn i amser diddymiad y dreth ddyfod, yr oedd amgylchiadau cyffredin masnach ein gwlad, oblegid y cythrwfl yn America, y fath ag i beri iddynt oedi, dybygid, hyd ryw amser mwy manteisiol, ddwyn allan amryw lyfrau gwerthfawr ag sydd wedi eu hir addaw. Yn y misoedd diweddaraf y mae ein hargraffwyr, ein cerflunwyr, a'n llyfr-rwymwyr, wedi bod yn brysur yn parotöi y llyfrau cyffredin i'r tymmor presennol fel Anrhegion Nadolig a Blwyddyn Newydd, ac y mae golwg orwych yn wir ar lawer o'r llyfrau eleni a fwriedir i hyny. Wedi y darfydder â'r rhai hyn, hwyrach y gallwn ddysgwyl ymddangosiad eraill mwy sylweddol os nad mor hardd.

Yr un pryd y mae amryw lyfrau neu ranau o lyfrau tra gwerthfawr wedi eu dwyn allan yn nghorff y flwyddyn ag y gallwn yn frysiog alw sylw ein darllenwyr atynt. Un o'r cyfryw ydyw,

*The History of England from the Accession of James the Second. By* Lord Macaulay. *Volume* V. *Edited by his Sister,* Lady Trevelyan. London: Longman, Green, Longman, *and* Roberts. 1861. Yr oedd dysgwyliad mawr a phryderus am gyhoeddiad y gyfrol hon. Gwyddid y cynnwysai y gweddill o'r hyn y gellid gobeithio byth am

dano o'r gwaith ardderchog y perthynai iddo. Nid yw y gweddill hwnw yn llawer, ac y mae wedi ei gyhoeddi dan yr holl anfanteision cysylltiedig âg ysgrifeniadau pob awdwr fyddo wedi gadael ei amcan yn anorphenol; ac eto y mae ar bob tu dalen yn dwyn tystiolaeth i'r un gallu dysgrifiadol a phortrëadol ag sydd mor amlwg yn hynodi y cyfrolau blaenorol; ac y mae rhai rhanau o hono yn rhagori braidd ar ddim a ellir ganfod hyd yn nôd ynddynt hwy. Y mae yn cynnwys gyda hyny Fynegai cyflawn i'r holl waith. Y mae yn ddrwg genym ddeall i filoedd lawer o gopïau o'r gyfrol hon gael eu difa yn y tân mawr a gymerodd le ychydig fisoedd yn ol yn Paternoster Row. Fe wna hyny y gyfrol, hyd nes y cyhoedder argraffiad newydd, yn dra phrin. Ei phris ydyw deuddeg swllt.

Mae yr ail ran wedi ei dwyn allan o'r bedwaredd gyfrol o *Alford's Greek Testament,* yn cynnwys Epistolau Ioan a Judas, a Dadguddiad Ioan. Mae y gwaith hwn yn awr wedi ei gwbleiddio, ac, er amryw ddiffygion pwysig, yn cyfansoddi trysor gwerthfawr iawn i'r efrydydd Ysgrythyrol. Pris yr hanner cyfrol presennol ydyw pedwar swllt ar ddeg.

Un o'r cyfrolau mwyaf dysgedig a ddaeth erioed i'n llaw ar unrhyw ran o'r Ysgrythyr ydyw,—*Coheleth, commonly called The Book of Ecclesiastes: Translated from the Original Hebrew, with a Commentary, Historical and Critical. By* Christian D. Ginsburg. London: Longman, Green, Longman, *and* Roberts. 1861. Mae yr awdwr, dybygid, yn cartrefu yn Liverpool, ac y mae y gyfrol wedi ei hargraffu yno yn gywir a phrydferth iawn gan Marples, Lord Street. Ychydig flynyddoedd yn ol, ni a alwasom sylw ein darllenwyr at gyfrol arall o eiddo yr un gŵr ar Gân y Caniadau. Prin yr ydym yn tybied i'r gyfrol hono gael y cefnogaeth a deilynga ei dysgeidiaeth, a'i hymchwil, a'i hannibyniaeth, pa beth bynag a ddyweder am olygiad yr awdwr ar ystyr y Gân. Mae y gyfrol hon yn llawer iawn helaethach na'r un flaenorol ar y Caniadau, ac yn amlwg yn ffrwyth ymchwil maith a manwl. Mae yn cynnwys yn gyntaf Ragarweiniad helaeth a gwerthfawr; yna cyfieithiad newydd, gydag esboniad tra dysgedig a beirniadol; ac yna ddau neu dri o attodiadau ar yr hen gyfieithiadau, ac yn cynnwys cyfieithiad llythyrenol a chywir o'r hen Aralleiriad Caldeaeg. Yn y Rhagarweiniad, yr ystyr a gymerir ganddo i *Coheleth,* yr hyn yn ein cyfieithiad ni a elwir "Pregethwr," ydyw un yn *cynnull* neu yn *casglu,* ac y mae yr enw yn cael ei roddi ar Solomon yn y llyfr hwn, am mai *amcan* yr awdwr ynddo oedd cynnull neu gasglu yr Israeliaid i ymddiried yn rhagluniaeth y Duw mawr, yn ngwyneb cyfarfod â rhyw amgylchiadau dyrys ynddi yn tueddu i wanhâu eu ffydd ynddo, a pheri iddynt wadu ei bobl ef. Y dull, yn ol golygiad ein hawdwr, a gymerir ganddo i hyn ydyw, trwy ddangos annigonolrwydd hollol pob ymdrech o eiddo dyn i gyrhaedd gwir ddedwyddwch, ac nas gellir ei sicrhâu trwy ddoethineb, na phleser, na diwydrwydd, na chyfoeth, &c., ond ei fod yn gynnwysedig mewn mwynhâu bywyd yn dawel, ymostwng i drefniadau Rhagluniaeth, ymroddi i wasanaeth Duw, a chredu mewn byd ar ol hwn o wobr a chosb, lle y bydd holl ddirgeledigaethau amgylchiadau presennol y byd yn cael eu hesbonio. Y mae Coheleth yn gwneyd hyn, nid trwy ysgrifenu traethawd manwl arddansoddol ar ddedwyddwch, gan olrhain y gwahanol gyfundraethau yn mherthynas iddo a ffurfiwyd gan wahanol feddyliau,

ond trwy gyflwyno Solomon fel yn adrodd ei brofiad poenus ei hunan yn yr ymgais a wnelsid ganddo ef i'w gyrhaedd. Nid yw yr awdwr yn credu mai Solomon ei hunan ydyw awdwr y llyfr, ond y mae yn cymeryd y golygiad a roddir gan Hengstenberg yn ei Esboniad ar y llyfr, iddo gael ei ysgrifenu tua'r amser yr oedd yr Israeliaid dan lywodraeth y Persiaid, gan rywun anadnabyddus; a bod yr awdwr, pwy bynag ydoedd, yn rhoddi ei feddyliau ei hunan yn ngenau Solomon,—gan ei bersonoli ef megys Doethineb, yr hyn hefyd a gyfrif, yn ei feddwl ef, am y ffurf fenywaidd sydd ar y gair Coheleth. Er fod yr awdwr yn ymddangos yn gwbl hyderus o gywirdeb ei olygiad ar hyn, ac yn barod braidd i roddi i lawr, yn gwbl ddiseremoni, bawb a wahaniaethant oddiwrtho, eto nid ydym yn meddwl fod y dadleuon a ddefnyddia yn erbyn yr hen olygiad mewn un modd mor benderfynol ag i gyfreithloni y diystyrwch a deflir ganddo ef ar y sawl a'i coleddant. Mae y rhan o'r Rhagarweiniad sydd yn cynnwys golygiad ar yr amrywiol awdwyr, Iuddewon a Christionogion, sydd wedi ysgrifenu ar y llyfr, yn dda ragorol, ac yn arddangos ymchwil anghyffredinol i hanes esboniadau, yn gystal a mesur helaeth, dybygid, o degwch wrth sylwi arnynt, oddieithr yn unig gyda golwg ar awduriaeth y llyfr. Pris y gyfrol ydyw deunaw swllt.

Daeth i'n llaw yn ddiweddar *Solomon's Song: Translated and Explained, in Three Parts. 1. The Manuduction. 2. The Version. 3. The Supplement. By* Leonard Wittington, *Senior Pastor of the First Church in* Newbury, Mass. Boston: J. E. Tilton *and Company*, 161 Washington Street. 1861. I'r rhai hyny o'n darllenwyr ag sydd i fesur yn gydnabyddus â llênyddiaeth grefyddol America, y mae yn ddiammheu genym fod enw yr awdwr hwn yn gwbl gydnabyddus. Y mae yn efrydydd o'r iawn ryw, ac y mae yn arbenig yn meddiannu y gallu, yn nerth ei feddwl ei hunan, i gynnyrchu meddwl yn ei ddarllenwyr hefyd. Y mae y rhan fwyaf o lawer o'r gyfrol bresennol yn cael ei gwneyd i fyny o'r hyn a elwir ganddo ef *Manuduction*, wrth yr hyn y golyga fod y darllenydd yn cael ei gymeryd ganddo megys gerfydd ei law i ysbryd ac ystyr y Gân sanctaidd y mae yn ysgrifenu arni. Y mae yr awdwr yn ddibetrus yn cymeryd yr hen olygiad mai aralleg ddwyfol yw y Gân, yn gosod allan yr anwyldeb a'r serchogrwydd sydd rhwng Iesu Grist a'i eglwys. Y mae yn tybied mai achlysur hanesyddol y Gân oedd i Solomon gymeryd un o ferched un o'r tywysogion Arabaidd cymydogaethol yn wraig iddo, a'i fod yn gosod allan ei hoffder o honi, a'r cymundeb anwyl oedd rhyngddynt â'u gilydd. Ond golyga fod rhagluniaeth y Nefoedd âg amcan uwch yn y cyfansoddiad, ac mai yr amcan hwnw oedd, portreiadu y cariad ysbrydol y cyfeiriasom ato. Mae yr amddiffyniad a wneir gan yr awdwr i'r golygiad hwn yn nodedig o alluog, yn gyfryw yn wir ag nas gall prin lai na siglo meddyliau y rhai mwyaf gwrthwynebus a dalo sylw diragfarn iddo. Pris y gyfrol yn y wlad hon yw saith a chwech.

Daeth cyfrol arall, anarferol o alluog, i'n llaw ychydig o amser yn ôl o America, *Occasional Sermons and Addresses. By* Samuel W. Fisher, D.D., *President of Hamilton College*. New York: Mason Brothers, 5 *and* 7 Mercer Street. 1860. Anfynych iawn yn wir y cyfarfyddir â chyfansoddiadau cyffelyb i'r rhai a ddygir yma ger ein bron. Mae ynddynt gyfuniad braidd o bob rhagoriaeth anghenrheidiol er eu gwneuthur, yn ol eu gwahanol amcanion, yn gyfryw ag nas gallant ddyoddef dim trwy eu

dwyn i gymhariaeth â chynnyrchion goreu meddyliau goreu Ewrop. Gellir darllen rhai o honynt drosodd a throsodd drachefn gyda blas adnewyddol, ac nid heb radd o syndod at wybodaeth ëang, chwaeth goethedig, hyawdledd nerthol, a dulliaith pur a naturiol yr awdwr. Y mae y cyfryw feddwl, ni a obeithiwn, i gyfoethogi y byd, os caniatëir einioes iddo, â rhywbeth gwerthfawrocach ac o natur uwch na dim sydd yma yn gyhoeddedig; oblegid wedi y cwbl nid ydym yn cymeryd yr anerchiadau a'r pregethau hyn oddieithr fel prawf o'r hyn a allai yr awdwr ei wneuthur o nodwedd llawer uwch, ond iddo ymaflyd o ddirif ynddo. Pris y gyfrol yn y deyrnas hon ydyw pedwar swllt ar ddeg.

Cyfrol o ymddangosiad allanol hardd ac o gynnwysiad rhagorol ydyw, *Sermons Preached in Lincoln's Inn Chapel. By* William Thomson, D.D., *Chaplain in Ordinary to the Queen, Provost of the Queen's College, Oxford, and Preacher to the Honourable Society of Lincoln's Inn.* London: John Murray, Albemarle Street. 1861. Mae yr awdwr, ar ol ymddangosiad y gyfrol hon, wedi ei ddyrchafu i Esgobaeth Caerloyw. Mae yn ddiammheu ei fod yn adnabyddus i liaws o'n darllenwyr trwy ei *Outlines of the Necessary Laws of Thought* a'i *Bampton Lectures on the Atonement*, a rhai cyfansoddiadau eraill, fel ysgrifenydd galluog ac amddiffynydd ffyddlawn i'r hyn a gredir yn ddiammheu yn ein plith fel yn hanfodol i sylwedd yr efengyl. Yr oedd yn llawenydd mawr genym fod gŵr o syniadau mor efengylaidd wedi cael ei ddewis ac wedi ymgymeryd â'r gwasanaeth o fod yn bregethwr yn Lincoln's Inn. Prin y gellir meddwl am gynnulleidfa bwysicach yn yr holl deyrnas. Yr oedd yn gyfnewid rhyfedd a thra gwerthfawr iddi gael Dr. Thomson yn lle Mr. Maurice. Yr ydym yn hyderu yn fawr y bydd iddo ar y fainc esgobol barhâu yr un mor ffyddlawn i grefydd efengylaidd ag oedd pan yn gweithio ei ffordd tuag ati. Y mae y gyfrol hon drwyddi yn dwyn tystiolaeth amlwg i'r dull syml ac eglur, ac eto meddylgar a dwfn, a arferid ganddo tra yn Lincoln's Inn i gymhell gwirioneddau crefydd ar feddyliau a chalonau ei wrandawyr. Pris y gyfrol ydyw deg a chwech.

Cyfrol arall nid annheilwng o sylw ydyw, *Sermons on the Beatitudes, with others mostly preached before the University of Oxford; to which is added a Preface, relating to the recent volume of Essays and Reviews. Second Edition. By* George Moberly, D.C.L., *Head Master of Winchester College.* Oxford *and* London: J. H. *and* Jas. Parker. 1861. Mae Dr. Moberly yn dra adnabyddus fel ysgolaig o'r radd uchaf; ac er ei fod o dueddiadau uchel-eglwysaidd, cydnabyddir ef yn gyffredin ymhlith pob dosbarth yn yr Eglwys Sefydledig fel un o'r gwŷr galluocaf a berthynant iddi. Mae y pregethau yn y gyfrol hon yn dda iawn, yn neillduol rhai o honynt; ac y mae y rhagymadrodd, yn enwedig, wedi tynu cryn sylw fel un o'r ymosodiadau cyntaf a wnaed gan ŵr o ddim bri o fewn yr Eglwys ar yr *Essays and Reviews.* Lled eiddil, y mae yn rhaid cydnabod, ydyw yr ymosodiad hwnw: ond nid oedd yr awdwr yn amcanu dim mwy na dynoethiad cyffredinol ar ddysgeidiaeth y gyfrol, gan ystyried y byddai hyny yn ddigon i'r rhai a olygid yn benaf ganddo ef yn ei anerchiad. Pris y gyfrol ydyw deg a chwech.

Cyfrol o bregethau tra dyddorol ydyw *The Contrasts of Christianity with Heathen and Jewish Systems: or Nine Sermons Preached before the University of Oxford on Various Occasions. By* George Rawlinson, M.A.,

*Late Fellow and Tutor of Exeter College; Bampton Lecturer in* 1859. London: Longman, Green, Longman, *and* Roberts. 1861. Mae yr awdwr, trwy ei Bampton Lectures, wedi gwneuthur gwasanaeth gwerthfawr iawn i achos Cristionogaeth yn ein gwlad, ac y mae rhai o'r pregethau yn y gyfrol hon â chystal tuedd ynddynt i ddyrchafu yr efengyl, mewn gwrthgyferbyniad i bob dysgeidiaeth arall, ag odid ddim a ddarllenwyd genym. Y mae ol ymchwil mawr ar yr holl gyfrol, ac y mae Nodiadau dysgedig iawn ar amryw bethau yn y pregethau wedi eu hattodi ganddo yn ei diwedd. Ei phris ydyw naw swllt.

Ymhlith yr amrywiol lyfrau a achlysurwyd gan yr *Essays and Reviews,* y mae *Scepticism a Retrogressive Movement in Theology and Philosophy,—as contrasted with the Church of England, Catholic (at once) and Protestant, Stable and Progressive:—Two Lectures on Points of Present Interest, Addressed to the Rev.* W. B. Bryan, M.A., *and the Honourable* Colin Lindsay. *By* Lord Lindsay. London: John Murray. 1861. Cyfrol dra galluog ac anghyffredin o feddylgar. Ychydig o'n darllenwyr a allant gyttuno âg ef yn ei ffydd yn Eglwys Loegr, fel yr unig amddiffyn diogel rhag Pabyddiaeth ar y naill law, a rhag Anffyddiaeth ar y llaw arall; ond y rhai mwyaf cydnabyddus o honynt â hanes Athroniaeth a Duwinyddiaeth 'fyddant y rhai parotaf i gydnabod priodoldeb a grym llawer iawn o'i sylwadau, ac yn enwedig ei osodiad mawr mai tuedd ammheuaeth ydyw taflu y naill a'r llall o honynt yn ôl, ac nid dylanwadu er eu perffeithiad. Pris y gyfrol yw naw swllt.

Cyfrol arall a achlysurwyd yr un modd ydyw *The Bible and its Critics: An Enquiry into the Objective Reality of Revealed Truths. Being the Boyle Lectures for* 1861. *By the Rev.* Edward Garbett, M.A., *Incumbent of St. Bartholomew, Gray's Inn Road.* London: Seeley *and* Griffiths, 2 Hanover Street. 1861. Wyth o ddarlithiau gwerthfawr ar y pynciau cyffredin yn y ddadl rhwng Anffyddiaid â Christionogion, yn arwyddo cydnabyddiaeth helaeth â'r prif ysgrifenwyr o'r naill du a'r llall, ac yn amddiffyn yn dra galluog hawliau y Dadguddiad Dwyfol ar ein ffydd yn ei gynnwys. Prin, pa fodd bynag, y mae y gyfrol yn dyfod i fyny â'r dysgwyliadau a gynnyrchir trwyddi, ac y mae rhyw ddiffyg undeb rhwng ei hamrywiol ranau ag sydd yn gwanychu ei heffaith ar feddwl y darllenydd. Ei phris ydyw deg a chwech.

Y mae yr *Essays and Reviews* yn parhâu yn destun cryn sylw, er fod y cyffro mawr yn ei chylch i gryn fesur wedi tawelu. Ni byddai i ni synu llawer, pa fodd bynag, pe byddai i'r prawf cyfreithiol sydd, tra yr ydym yn awr yn ysgrifenu, yn myned rhagddo yn erbyn un o'r ysgrifenwyr—ein cydwladwr y Dr. Rowland Williams—effeithio er gwneuthur y llyfr eto am ryw yspaid yn dra phoblogaidd. Ni byddai hyny ond rhywbeth tebyg i'r hyn a gymerodd le eisoes gyda golwg ar y llyfr. Am ychydig fisoedd wedi ei gyhoeddiad cyntaf, ni thynodd nemawr sylw; ond yn raddol fe ddaeth yn wrthddrych condemniad cyhoeddus yr esgobion a gwŷr urddasol eraill o bob gradd yn yr Eglwys Wladol, yn gystal ag ymhlith Ymneillduwyr efengylaidd y deyrnas yn gyffredin, ac fe effeithiodd hyny yn ddirfawr er cynnydd ei ledaeniad, fel y mae erbyn hyn wedi myned trwy naw neu ddeg o argraffiadau helaeth, a chryn alw yn barhâus am dano. Yr ydym yn ystyried fod hyn i'w briodoli yn llawer mwy i'r gwrthwynebiad a wnaed iddo, ac awydd pawb braidd am weled yr hyn y dywedid cymaint

yn ei erbyn, nag i un cydymdeimlad yn y wlad â'r syniadau a ddysgir ynddo. Yn wir nid oes eisieu prawf amlycach fod Prydain eto, beth bynag, yn gwbl anaddfed i dderbyn y fath ddysgeidiaeth, â'r parodrwydd a ddangosir ymhlith pob dosbarth braidd i ddyfod allan i'w gwrthwynebu; tra ar yr un pryd y dylid cydnabod hefyd fod llïaws mawr o'r pethau sydd wedi ymddangos fel atebiad iddynt yn profi yn hytrach awydd yr ysgrifenwyr i amddiffyn y gwirionedd na'u gallu i hyny. Y mae holl bwys, ac agos holl niwed, y gyfrol yn cyfodi oddiar sefyllfäoedd eglwysig a chymdeithasol ei hysgrifenwyr, ac nid oddiar un newydd-deb yn y dadleuon a ddygir ynddi yn erbyn yr hyn a gredir yn gyffredin yn ein plith fel gwirionedd, nac oddiar unrhyw allu neillduol a amlygir gan ei hysgrifenwyr yn nghyflead yr hen wrthddadleuon cyffredin yn erbyn y Bibl. Ond y mae yn rhaid cyfaddef ei fod yn beth newydd fod gwŷr sydd, gan mwyaf, ac oll oddieithr un, mewn urddau eglwysig,—wedi llawnodi Erthyglau Protestanaidd yr Eglwys Wladol,—yn derbyn eu cynnaliaeth oddiwrth waddol yr eglwys hono,—ac amryw o honynt yn y sefyllfäoedd pwysicaf yn y deyrnas mewn cysylltiad âg addysg yr oes sydd yn codi,—wedi cyttuno â'u gilydd i gyhoeddi cyfrol—pa anghydfwriad bynag a ganiatëir iddynt ynghylch ei chynnwysiad—sydd, dybygid, yn gwadu nid yn unig wirionedd gwyrthiau y Bibl, ond eu posiblrwydd; yn gwawdio yn anmharchus rai o'i hanesion mwyaf cysegredig; yn esbonio ymaith ei holl ragfynegiadau, er yn gwneuthur hyny mewn ysbryd ac iaith sydd yn cyflawni braidd yn llythyrenol yr hyn a ddywedir ynddo ynghylch rhyw "watwarwyr" oedd i ddyfod "yn y dyddiau diweddaf;" yn hòni ffaeledigaeth hollol ei ysgrifenwyr yn eu dysgeidiaeth ar y pynciau y bwriadwyd ef yn uniongyrchol i fod yn arweinydd arnynt; ac, er mwyn ceisio ymgadw rhag gwneyd ond càn lleied ag a fyddo yn bosibl o aberth dros eu hegwyddorion, yn amcanu, dybygid, cyfiawnhâu ymddygiadau nas gallai dyn cyffredin, heb wybod dim am ystryw ysbryd cyfeiliorni, lai na'u hystyried yn gwbl dwyllodrus;—y mae hŷn oll yn newydd; a buasai yn arwyddo yn ddrwg iawn, nid yn unig am Gristionogaeth, ond am foesoldeb ein teyrnas, pe buasai yn cael ei oddef i fyned heibio yn ddisylw. Yr ydym ymhell o feddwl fod pob un o'r ysgrifenwyr wedi myned mor bell oddiwrth y gwirionedd a'u gilydd, na'u bod oll mor ddiystyr o deimladau Cristionogol eu cydweinidogion a'u cydaelodau o fewn yr Eglwys Sefydledig, ac ymhlith Ymneillduwyr, ag yr ymddengys fod rhai o honynt; ond, a chymeryd y gyfrol gyda'i gilydd, nis gallwn lai na'i golygu yn brawf galarus iawn o'r eithafion y gall dyn fyned iddynt wedi iddo ddechreu myned ar gyfeiliorn oddiar ffordd deall, ac o'r perygl mawr y dichon i Gristionogaeth ein gwlad fod yn agored iddo, tra y caniatëir i ddynion, yn rhith gweinidogion iddi, ac mewn sefyllfäoedd pwysig fel dysgawdwyr i'r cyfryw, wadu pob peth sydd hanfodol iddi, a chymeryd arnynt olygu pawb na chydwelont â hwynt, naill ai yn rhy ddwl i fedru dirnad ystyr eu dysgeidiaeth, neu yn rhy anonest i wneyd proffes deg o'r hyn mewn gwirionedd a gredir ganddynt. Y mae llïaws mawr o draethodau wedi dyfod allan yn erbyn y gyfrol, ac y mae rhai o honynt yn lled dda; ond nid oes yr un wedi ymddangos eto, adnabyddus i ni, yn cymeryd i fyny o un i un y cwestiynau a gódir yma ger ein bron, gan edrych arnynt yn eu holl gysylltiadau, ac yn rhoddi y darllenydd mewn mantais deg i weled gwendid y gwrthddadleuon, ac yn neillduol

fel y mae pob anhawsder sydd yn achlysur i'r wrthddadl, o'i iawn ystyried, yn troi yn amddiffyniad i'r gwirionedd. Dysgwylir yn fuan am fwy nag un o'r nodwedd hwnw.

Mae ein darllenwyr, lawer o honynt bellach, yn gydnabyddus â *History of Protestant Nonconformity in Wales, from its Rise to the Present Time. By* Thomas Rees. London: John Snow, 35 Paternoster Row, 1861. Cyfrol drwchus, hardd, gyflawn o ffeithiau, a llawer o honynt yn cael eu cyhoeddi am y tro cyntaf, a chan mwyaf agos oll felly yn yr iaith Saesoneg. Nis gallwn ar hyn o bryd ond yn unig grybwyll fod y gyfrol yn cynnwys Rhagarweiniad, yn rhoddi cipolwg ar hanes crefydd yn Nghymru o'r Diwygiad Protestanaidd hyd ddechreuad Anghydffurfiaeth. Yna y mae ynddi bennodau ar hanes Anghydffurfiaeth yn Nghymru, o'i dechreuad yn y flwyddyn 1633 hyd ddechreuad y rhyfeloedd cartrefol 1642—yna o ddechreuad y rhyfeloedd hyny hyd y pryd y cyhoeddwyd Deddf Unffurfiaeth, yn 1662—yna o amser Deddf Unffurfiaeth hyd y Chwyldröad yn 1688—yna o'r Chwyldröad hyd gyfodiad Methodistiaeth Galfinaidd yn 1735—yna o gyfodiad Methodistiaeth hyd ddiwedd y deunawfed canrif—ac yna oddiyno hyd y dyddiau presennol. Ychwanegir pennod fechan, yn y diwedd, ar Athrofeÿdd yr Anghydffurfwyr Cymreig o'r flwyddyn 1662 hyd yn awr. Fe welir ar unwaith fod yr awdwr yn myned dros feusydd tra dyddorol i bawb sydd yn teimlo dros Gymru a'i chrefydd; ac y mae yn hawdd iawn gweled hefyd ar wyneb y llyfr, mai nid trwy ychydig lafur y casglwyd ynghyd ganddo y defnyddiau sydd yn gwneuthur i fyny ei gynnwysiad. Nid ydym yn meddwl fod yr awdwr yn amcanu dim pleidiol, ond yn sicr nid ydyw Methodistiaeth Cymru yn meddu ond ychydig iawn o le yn y llyfr wrth sydd iddi yn ein gwlad ac yn hanes Anghydffurfiaeth ein cenedl. Ond nid oes genym hamdden yn awr i fyned i mewn i'r cwestiynau sydd yn codi yn naturiol yn ein meddyliau oddiwrth rai rhanau o'r llyfr. Yr ydym yn hyderu y bydd y derbyniad a roddir iddo y fath ag i ad-dalu yr awdwr i ryw fesur am y llafur y bu ynddo, a'r costau yr aeth tanynt wrth gasglu a pharotoi ei ddefnyddiau i'r wasg. Pris y llyfr ydyw deg a chwech.

Mae ein darllenwyr, ni a hyderwn, yn cymeryd gofal i feddiannu iddynt eu hunain yr argraffiad newydd o'r *Drych Ysgrythyrol, neu Gorff o Dduwinyddiaeth, gan y diweddar Barch.* George Lewis, D.D., *gyda Rhagdraith gan y Parch.* Lewis Edwards, M.A. *Idea* hapus o eiddo y Meistriaid Hughes o Wrexham oedd cyhoeddi yr Argraffiad hwn gyda'r Rhagdraith y buont mor ffodus a chael gan Mr. Edwards ymgymeryd âg ef. Nid oes eisieu i ni ddywedyd y ceir yn y Rhagdraith hwn ffrwyth meddwl manwl, a dwfn, a chryf, a choeth; ffrwyth darlleniad ëang ar yr hen awdwyr goreu yn ngwahanol oesoedd yr eglwys, yn gystal ag ar y rhai diweddaraf dysgedicaf; a'r cyfan wedi ei grynhoi, fel yn unig y gall meistr perffaith wneuthur, i gylch mor fychan mewn cymhariaeth, a'i gyflwyno mewn iaith mor briodol, a syml, a phrydferth, ac eto nerthol, âg i'w wneyd yn gynllun i'w efelychu gan bawb a fynont ragori yn y fath gyfansoddiadau, ac yn arweinydd o'r fath oreu i'r efrydydd ieuanc yn ei fyfyrdodau Duwinyddol. Yr ydym, yn y modd mwyaf calonog, yn ei gymhell i sylw ein holl ddarllenwyr.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

## GORONWY OWEN—EI WAITH A'I ATHRYLITH.

Yn unol â'n haddewid, yr ydym yn dychwelyd at wrthddrych ein sylwodau blaenorol, sef Goronwy Owen, gyda y bwriad o wneyd rhai sylwadau pellach ar ei waith a'i athrylith; canys dyma yr unig gymunrodd a adawodd ar ei ol i'w genedl, trwy ba un y bydd ei enw, mae yn debyg, yn glodfawr yn eu mysg hyd na byddo amser mwyach. Mae ei farddoniaeth wedi ei gyfansoddi yn ol yr hen ddull Cymreig ar y Mesurau Caethion, ac yn gynnwysedig gan y mwyaf o Gywyddau ac Awdlau, a'r rhai hyny yn ol dull yr hen feirdd, yn fyrion, heb fod dros gant neu ddau o linellau. Yr Awdlau ydynt ar y Pedwar Mesur ar Hugain, oddigerth dwy, un o ba rai a gyfansoddwyd ganddo cyn gwybod beth oedd Awdl.

Yr oedd llênyddiaeth Gymreig mewn cyflwr pur wahanol pan flodeuodd Goronwy Owen i'r hyn ydyw yn bresennol. Nid oedd ond ambell un yma ac acw, a gawsai well manteision na'r cyffredin, yn alluog i ddarllen y pryd hwnw, ac ychydig iawn o lyfrau Cymreig oeddynt i'w cael, a hyny yn unig ymysg y gradd a ystyrid yn ddysgedig o'r bobl. Dywed Goronwy Owen ei hun na welsai efe yr un llyfr Cymraeg yn werth ei ddarllen, oddigerth y Bibl a'r Bardd Cwsg. Yr oedd rhai awdwyr Cymreig o enwogrwydd, mae yn ddiammheu, yn ei amser ef; ond bychan iawn oedd eu rhifedi; eithr ar yr un pryd yr oeddynt mewn ystyr yn gawri llênyddol wrth eu cymharu â'r tô presennol o ysgrifenwyr yn Nghymru, y nifer fwyaf o'r rhai ydynt yn anwybodus, yn hunanol, ac yn ddiddysg. Ieuan Brydydd Hir a William Wynn oeddynt yn ddynion dysgedig, yr un modd â Goronwy Owen; a'r tri brawd, sef Lewis, Richard, a William Morris, oeddynt yn enwog yn eu dydd fel dynion o wybodaeth ëang, a gradd helaeth o ddysgeidiaeth; a Mr. Richards o Ystrad Meurig oedd hefyd yn ysgolaig da, ac yn fardd coeth. Ond ychydig o farddoniaeth Gymreig oedd yn argraffedig, oddigerth Llyfr y Ficer, a rhyw nifer o gerddi llygredig a masweddol; ac nid oedd nifer digonol o ddarllenwyr yn y Dywysogaeth i wneyd i farddoniaeth o radd uchel fel yr eiddo Goronwy Owen dalu am y gôst o'i hargraffu. Yr oedd Williams o Bant y Celyn, fe allai, yn dechreu argraffu rhai o'i ganiadau tua'r pryd hwn, a daeth y rhai hyn, o herwydd rhwyddineb yr iaith a'r mesurau, a'r eneiniad efengylaidd oedd yn perthyn iddynt, yn fuan yn dra phoblogaidd, er eu bod yn cynnwys barddoniaeth o radd uchel. Ond yr oedd gwaith Goronwy Owen o nodwedd wahanol: ei iaith yn uwch ac yn fwy dysgedig, ac ymhell uwchlaw cyrhaeddiadau y lliaws i'w

iawn brisio. Tywyll ac anwybodus oedd sefyllfa y werin Gymreig yn y cyfnod hwn, er bod y lefain yn dechreu gweithio trwy offerynoliaeth ysgolion Griffith Jones o Landdowror, a'r Ysgolion Sabbothol, tuag at gyfnewid ansawdd yr holl Dywysogaeth. A gwelwn gyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle erbyn dechreu y ganrif ddyfodol, trwy i'r Cymry gael eu haddysgu i ddarllen yn eu hiaith eu hunain. Canys wedi iddynt unwaith ddysgu darllen Cymraeg, yr oedd y rhai mwyaf deallus yn eu mysg yn ymgyrhaedd am wybodaeth trwy gyfrwng yr iaith hono, ac felly dechreuodd llyfrau amlhâu, trwy fod nifer y darllenwyr yn cynnyddu.

Tua y flwyddyn 1763 y cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf o'r "Dyddanwch Teuluaidd," yn cynnwys gwaith y Parch. Goronwy Owen, Lewis Morris, Ysw., a Mr. Hugh Hughes, wedi cael ei gasglu gan Hugh Jones o Langwm. Nid oedd y fath beth mewn bod â chyhoeddiad misol Cymreig am hir amser ar ol hyn, a newyddiadur yn yr iaith ni welwyd nes myned ymhell i'r ganrif ddyfodol. Nid rhyfedd, pan ystyriom y pethau hyn, fod y fath waith a'r eiddo Goronwy Owen heb dderbyn y sylw a deilyngai yn yr oes a aeth heibio ymysg ein cenedl, ac nad oedd ond ambell un yma ac acw yn gallu prisio ei deilyngdod. Yr oedd yn rhy ddysgedig ac yn rhy goeth, ac yn rhy bell uwchlaw deall y lliaws darllenwyr Cymreig; ac y mae yn parhâu felly i raddau hyd heddyw, er maint y cyfnewidiad er gwell sydd wedi cymeryd lle yn chwaeth lênyddol ein cenedl yn ystod y deng mlynedd ar hugain a aethant heibio. Yn ein dyddiau ni, yr anffawd sydd yn dygwydd i agos bob cyfansoddiad Cymreig o wir deilyngdod a chwaeth bur ydyw, nad oes ond ychydig o bobl a gawsant fanteision uwchraddol dysgeidiaeth yn ei ddarllen. Llyfrau Seisonig a ddarllenir gan y rhai hyn, ac nid ydynt yn darllen nac yn deall Cymraeg, er eu bod yn byw yn Nghymru. Ac yn ngwyneb y fath amgylchiadau, mae yn anhawdd gwybod beth fydd tynghedfen llênyddiaeth Gymreig ymhen can' mlynedd eto; pa un ai cynnyddu ac ennill nerth a wna, ynte diflanu ymaith a marw yn y diwedd. Yr ydym yn gwybod bod y Saesoneg yn ennill tir yn feunyddiol yn ein mysg, ac mae manteision tymmorol ein cenedl yn galw am hyny, ac felly mae y peth yn sicr o fyned rhagddo; a'r cwestiwn pwysig sydd yn ymgynnyg i'r meddwl ydyw hwn, Pa hyd y pery y Gymraeg yn iaith fyw, pan ddelo corff y genedl yn gydnabyddus â'r Saesoneg? A ydyw teilyngdod ein llênyddiaeth yn ddigonol i'w chadw yn fyw, yn unol â phrophwydoliaeth Taliesin, hyd ddiwedd amser, pan y mae yn debyg y gwelir rhyw *Ddoli Pentraeth*, yr unig un ar dir y byw a fyddo yn alluog i'w siarad, yr un modd â'r hen Gernywaeg? Y ganrif ddyfodol, mae yn debyg, a esbonia y dirgelwch mawr hwn.

Nid oedd neb o'r beirdd Cymreig, a aethant o flaen Goronwy Owen, wedi rhoddi y fath brawf o'u medr i gyfansoddi ar y Mesurau Caethion ag a roddes ef; ac fe allai na chyfododd neb ar ei ol yn rhagori arno yn hyn. Yr ydym yn cael yn ngwaith awdwyr eraill gymaint a mwy o dân awenyddol, a meddylddrychau llawn mor rymus a gwreiddiol; ond ni wyddom am neb yn dyfod i fyny âg ef yn esmwythder a naturioldeb ei gynghaneddion, a'r chwaeth bur, a'r ymadroddion i'r pwrpas, a ddefnyddir ganddo. Nid oedd efe yn cyfrif dim yn farddoniaeth heb gynghanedd yn yr iaith Gymraeg, ac nid oedd yn foddlawn i alw *Coll Gwynfa* yn farddoniaeth yn yr iaith Saesoneg. Dyma a ddywed am dano,—

"*Coll Gwynfa* Milton sydd lyfr a ddarllenais gyda phleser, ïe, gyda syndod a'r hyfrydwch mwyaf. Gelwch ef yn waith mawreddog, arddunol, a nerthol, neu os ydych yn dewis, yn waith nefolaidd, cewch fi yn barod i gyduno â phob peth a ddywedwch i'w ganmawl, os peidiwch a'i alw yn farddoniaeth; neu os gwnewch hyny, rhaid i chwi adael i minnau ganiatâu i'r *Bardd Cwsg* gymeryd ei eisteddle ymysg y beirdd. Fel ag y mae barddoniaeth Seisonig yn rhy benrhydd, felly mae yr eiddom ni yn rhy gaeth a therfynol; nid yn y cynghaneddion, canys hebddynt hwy ni byddai yn farddoniaeth o gwbl, ond yn hŷd ei llinellau a'r caniadau hefyd; ein llinellau hwyaf heb fod dros ddeg sill (rhy fyr a phrin i gynnwys dim mawreddog), a'n caniadau hwyaf heb fod uwchlaw triugain o linellau, hŷd cyffredin Cywyddau Dafydd ab Gwilym, yr hyn sydd yn llawer iawn rhy fyr i Bryddest Arwraidd. Pa fodd bynag, anhawsderau ydyw y rhai hyn nad wyf yn meddwl y cânt byth eu symud ymaith. Dyma y cynlluniau a adawodd ein doethion gyndadau i ni, a'r rhai hyn, mae yn debyg, a fernid ganddynt hwy yn fwyaf cydweddol âg anianawd ein cenedl a'n hiaith. Ond mae rhyw gymaint o ryddid mewn dull o gyfansoddi wedi bod, ac yn bod, bob amser, yn fwy hapus ac effeithiol na gormod o fanyldra caethiwus." Dyna farn Goronwy Owen am yr hen fesurau Cymreig, a theilyngdod barddoniaeth ein cydgenedl y Saeson. Ond nid allwn gydweled âg ef yn y peth hwn; ac mae yr oes bresennol wedi gadael cynlluniau yr hen dadau Cymreig yn llwyr, y rhai ag y soniai ef am danynt gyda chymaint o barch. Yn lle Awdlau a Chywyddau o driugain i gant o linellau o hyd, ceir yn bresennol Awdlau yn filoedd o linellau, a Chywyddau yn ddegau o filoedd! Ond ein barn ninnau ydyw bod natur Awdl a Chywydd yn eu cymhwyso ar gyfer caniadau byrion, fel yr eiddo yr hen Gymry, ond bod oes y fath gyfansoddiadau wedi myned heibio, ac oes yr Awdlau a'r Cywyddau o'r dull hwnw wedi dyfod i'w therfyn.

Wedi dywedyd cymaint â hyn mewn ffordd o ragarweiniad, ni a ddychwelwn yn awr at waith barddonol ein hawdwr. A'r dernyn cyntaf a ddaw dan ein sylw ydyw ei *Gywydd i'r Awen*, ar ddull un o Awdlau Horas. Cywydd byr ydyw hwn, a gwir deilwng o'r awdwr, lle mae yn gosod allan feddylddrychau y bardd Lladinaidd mewn gwisg ac arddull Gymreig, a hyny yn dra champus a rhagorol. Dyma y modd y mae yn cyfarch ei awen,—

"O f' Awen deg! fwyned wyt!
Dïodid, dawn Duw ydwyt;
Tydi roit, â diwair wên,
Lais ëos i lysywen!
Dedwydd o'th blegid ydwyf;
Godidog ac enwog wyf;
Gair yn son am *Oronwy*
*Llonfardd Môn*, llawn fyrdd a mwy,
Caf arwydd lle cyfeiriwyf,
Dengys llu â bys lle b'wyf.
Diolch yt', Awen dawel,
Dedwydd wyf, deued a ddêl;
Heb Awen, baich yw bywyd,
A'i rhodd yw rhyngu bodd byd."

Gwelir ar unwaith, wrth ddarllen barddoniaeth Goronwy Owen, mai

ei ragoroldeb, mewn cymhariaeth i bob bardd arall, hen a diweddar ag y gwyddom ni am dano, ydyw ei ddull rhwydd a naturiol o osod allan ei feddyliau mewn cynghanedd goeth a llithrig, heb yr ymdrech leiaf i'w chanfod ar ei ran, fel ag y gwelir yn ngwaith llawer. Ei iaith sydd ar y cyfan yn bur a dirodres. Ei fai mwyaf ydyw tuedd i ddefnyddio geiriau annealladwy ac wedi myned allan o arferiad. Ac y mae ei feddylddrychau yn newyddion; ac er nad ydynt fe allai yn meddu ar yni a nerth o'r gradd uchaf yn gyffredin, maent yn gwneyd i fyny am hyny yn y swyn a'r naturioldeb a geir ynddynt. Ni cheir ynddynt ddim o'r chwyddiaith anmhriodol a ganfyddir yn ngwaith llawer o awdwyr mwy diweddar, na'r ymdrech i ymddangos yn fawreddog a rhwysgfawr pan nad ydynt felly mewn gwirionedd.

Ei *Gywydd i Lewis Morris, Ysw.*, yn dangos nad oes dim a geidw goffadwriaeth am ddyn gwedi angeu yn well na gwaith bardd, sydd yn efelychiad o un arall o awdlau Horas, sef *Lib.* 4, *Ode* 8. Fel hyn y dywed ar y mater,—

"Pwy a g'ai, oni b'ai bardd,
Glywed unwaith glod iawnhardd?
Tlws ein hiaith, *Taliesin* hen,
Parodd goffhâu *ap Urien;*
Aethai heb dant na chantawr,
Ar goll hanes *Arthur gawr.*
Cân i fad, a rydd adwedd
O loes, o fyroes, o fedd!
Cerdd ddifai i rai a roes
Ynnill tragywydd einioes."

*Cywydd y Serch, neu Galendr y Carwr*, yr hwn a gânt y bardd yn Mhwllheli, ynghylch y flwyddyn 1743, ac a ddiwygiodd ychydig arno yn 1753, sydd gyfansoddiad ar ddull rhai o Gywyddau Dafydd ab Gwilym; ac yr ydym yn meddwl ein bod yn gweled ynddo amryw feddylddrychau a brofant ei fod yn dra chyfarwydd yn ngwaith y Petrarch Cymreig. Dyma fel y cwyna o herwydd ei aflwyddiant yn ei hynt garwriaethol,—

"Drwy gorff nos yr arosais
(Dwl im') ac ni chlywn dy lais.
Cnithio 'n gras ar y glaswydr
A'm bys, gydag ystlys gwydr,
Llwyr egru llawer awgrym,
Dysgwyl i'r ddôr egor ym';
Yno gelwais (â llais llwrf
Rhag cwn, a pheri cynhwrf),
*Mari fwyn*, mawr yw f' anwyd,
Oer ydyw, o clyw, o'th clwyd;
Mawr yw fy nghur, lafur lwyth,
Deffro gysgadur diffrwyth;
Gàlwad, ond heb ateb oedd,
Mudan, fy nyn im' ydoedd;
Symudaw 'n nês, a madws,
Cyrhaedd dôl dryntol y drws,
Codi 'r glicied wichiedig,
Deffro porthor y ddôr ddig,
Gan ffyrnig wŷn uffernol
Colwyn o fewn, cilio 'n f' ol.
Llemais, a mawr ffull, ymaith
Yn brudd, wedi difudd daith,

Ac anferth gorgi nerthol,
Llwyd, yn ymysgwyd o'm hol.
Cyrhaedd trwyn y clogwyni,
Perthfryn lle na 'm canlyn ci;
Bwriais gyrch hyd *Abererch*,
(Llan yw hon wrth afon Erch,)
Cerdded rhag ofn gweled gwyll
Grebach (na bo' 'nd ei grybwyll!)
Neu gael i 'mafael â mi
Goeg ysbryd drygiawg asbri;
Tori ar draws tir i'r dref,
Ar ddidro, cyrhaedd adref;
Wrthyf fy hun eiddunaw
Yn frau, i wellâu rhagllaw."

Mae yn dra hoff o ddefnyddio geiriau tywyll ac anarferedig, ac anadnabyddus i'r cyffredinolrwydd o ddarllenwyr Cymreig; ond mae yn ddiammheu bod caethder y gynghanedd yn ei orfodi i hyn yn fynych. Yn y dyfyniad uchod cawn *madws, colwyn, ffull, gwyll, grebach, asbri, &c.*, er nad ydyw yn agos mor llawn o'r cyfryw eiriau anarferedig â rhai darnau eraill o'i waith.

Ei *Awdl y Gofuned* a ganwyd yn 1752, cyn gwybod beth oedd Awdl, medd yr hyn sydd yn ei rhagflaenu. Felly yr ydym yn gweled bod Goronwy Owen o gylch deg ar hugain oed cyn y gwyddai beth oedd Awdl; ac wrth sylwi ar y cyfansoddiad hwn, nid ydym yn meddwl y gellir yn briodol ei alw yn Awdl, o herwydd mai caniad ar un mesur ydyw; ond yn unol â rheolau cyffredin barddoniaeth Gymreig, caniad ar wahanol fesurau ydyw Awdl. Cynnwys y ganiad hon restr o'r pethau ag yr oedd y bardd yn dymuno am iddynt fod yn ei feddiant, ac yr ydym yn gweled ynddi gryn debygolrwydd i Horas, *Satira* 6. *Lib.* 2. Dyma rai o'r pethau ag yr oedd yn dymuno eu cael,—

"Synwyrfryd doeth, a chorff anfoethus,
Cael, o iawn iechyd, calon iachus;
A pheidio yno â ffwdanus—fyd
Direol bawlyd, rhy helbulus."

"Dychwel i'r wlad lle bu fy nhadau,
Bwrw enwog oes, heb ry nag eisiau,
Yn *Môn* araul, a man orau—yw hon,
Llawen ei dynion, a llawn doniau."

"Rhent gymedrol, plwyf da 'i reolau,
Tŷ is goleu-fryn, twysg o lyfrau;
A gwartheg res a buchesau—i'w trin
I'r hoew *wraig Elin* rywiog olau."

"Gardd i minnau, gorau ddymuniad,
A gwasgawdwydd o wiw gysgodiad,
Tra bwy' 'n darllain cain aceniad—beirddion
Hil *Derwyddon*, hylaw adroddiad."

"Minnau a'm deulanc mwyn i'm dilyn,
Gwrandawn ar awdl, arabawdl *Robyn*,
Gan dant *Goronwy* gywreinwyn—os daw
I ware dwylaw ar y delyn."

Hynod mor gelfyddgar a meistrolgar y mae yn trin y cynghaneddion, gan osod synwyr da, a lledneisrwydd ymadroddion, yn ei holl linellau.

Yr ydym yn canfod, oddiwrth y crybwylliadau mynych mae yn ei wneyd am y peth yn ei lythyrau, ei fod yn meddwl yn uchel o'i *Gywydd y Farn*, a'i *Gywydd Bonedd a Chynneddfau yr Awen;* ac mae mewn un man yn dywedyd ei fod wedi darllen Homer a Virgil drwyddynt i'r dyben o gasglu nodau ar *Gywydd y Farn*. Ond wrth i ni ystyried mawredd ac ardderchogrwydd y testun, ac hefyd doniau ac athrylith y bardd, rhy brin y mae y Cywydd hwn yn ateb ein dysgwyliadau. Ymddengys y cynllun i ni yn rhy gyfyng, a'r cyfansoddiad yn llawer rhy fyr, i gael ei restru fel un o'r darnau barddonol hyny ag sydd i gael edrych arnynt fel yn meddu nodwedd o ragoriaeth cenedlaethol yn perthyn iddynt. Dyna yn ddiammheu fel yr ystyrid Cywydd y Farn yn yr oes a aeth heibio, megys un o brif gyfansoddiadau y genedl. Ond nid ydym yn meddwl bychanu ei deilyngdod megys cyfansoddiad rhagorol, càn belled ag y mae yn myned; ac y mae mewn llawer o bethau yn wir deilwng o Goronwy Owen. Mae dechreuad y Cywydd yn bur annealladwy; a rhaid ei ddarllen lawer gwaith drosodd cyn y gellir canfod yn iawn beth ydyw y meddwl. Collir yr hyfrydwch a geir wrth ddarllen barddoniaeth, os byddys dan yr anghenrheidrwydd o fyned i chwilio Geiriaduron am ystyr llawer o eiriau a fyddo ynddo. Am y sicrwydd o ddyfodiad dydd y farn, ac arwyddion ei ddyfodiad, dywed yr awdwr,—

"Y dydd, diogel y daw;
Boed addas y byd iddaw;
Diwrnod anwybod i ni
A glanaf lu goleuni;
Nid oes, f' Arglwydd, a wyddiad
Ei dymp, onid ef a'i Dad.
Mal cawr aruthr yn rhuthraw,
Mal lladron dison y daw;
Gwae 'r diofal ysmala!
Gwynfyd i'r diwyd a'r da!
Daw angelion, lwysion lu,
Llym naws â lluman Iesu;
Llen, o'r ffurfafen, a fydd,
Mal cynfas, mil a'i cenfydd,
Ac ar y llen wybrenog
E rydd Grist arwydd ei grog."

Mae'r dyfyniad uchod yn dda, ac yn cynnwys darluniadau cyffröus a tharawiadol; ond yn rhy brin y mae yn dyfod i fyny â mawredd y testun. Beth o fewn cwmpas yr holl olygfëydd ag y gall y deall dynol ffurfio dychymyg am danynt, sydd yn fwy mawreddog ac yn fwy ofnadwy nag ailddyfodiad Mab y dyn i farnu y ddaear? Mae yn amlwg bod hualau mesur Cywydd, byrder y llinellau, a chaethder y gynghanedd, yn ei wneyd yn gyfrwng pur anghymhwys i ddarlunio y fath olygfëydd rhyfeddol, a buasai yn well genym ni y Bryddest ddiodl o lawer i ymwneyd gyda'r fath destun. Ond nid dyna oedd barn Goronwy Owen. Wrth fyned rhagddo, yr ydym yn canfod y bardd yn ennill nerth a thân adnewyddol. Darlunia y Barnwr yn disgyn o'r nef—yn marchog ar adenydd y gwynt —a miloedd o angelion gwynion gwlad y gogoniant yn ei amgylchu, gan seinio mawl iddo! Llef o'r ffurfafen, a dolef yn seinio mal clych yn entrych nef, yn peri gosteg trwy yr holl ddaear—y rhaiadr yn darfod â'i ruadau—angel yn gosod yr udgorn wrth ei fant—darluniad o hono

(mae hwn yn fwy tebyg i ddarluniadau Homer na'r eiddo y Testament Newydd)—effaith y dyfyn ar y grëadigaeth—y ddaear yn dychlamu, pob cnawd yn trengu—a gloes farwol yn treiddio trwy holl natur—y creigiau uchel yn cwympo i lawr—y gelltydd yn cael eu gwneyd yn gydwastad â'r llawr—yr Eryri yn diflanu nes myned yn un â'r gwastadedd—y môr yn ymgynhyrfu, gan ddygyfor a llifo yn y fath fodd nad oedd dylif Noah ddim i'w gymharu âg ef—goleuadau y nef yn cael effeithio arnynt—a nos yn gorchuddio'r byd—trwy fod yr haul yn llewygu yn yr uchelderau yr un modd ag yn amser croeshoeliad Crist—y lloer yn attal ei llewyrch, a'r sêr yn syrthio trwy'r ëangder gwag i'r eigion pell—pyrth uffern yn cwympo i lawr, a'r wàl ddiadlam yn myned yn chwilfriw—y cythreuliaid yn crynu gan arswyd—a'r diafol yn ffoi i lechu yn y tywyllwch eithaf! Dyna rai o'r pethau mwyaf pwysig a ddygir ger ein bron yn Nghywydd y Farn. Yr alwad ar y meirwon a'r adgyfodiad cyffredinol a ddarlunir fel y canlyn,—

"Dyfyn a enfyn Dofydd,
Bloedd erchyll, rhingyll a'i rhydd,
Dowch y pydron ddynionach
Ynghyd, feirw byd, fawr a bach;
Dowch i'r farn a roir arnoch,
A dedwydd beunydd y bo'ch."

"Cyfyd, fal yd o fol âr,
Gnwd tew, eginhad daear,
A'r môr a ŷr o'r meirwon
Fil myrdd uwch dyfnffyrdd y don;
Try allan ddynion tri-llu,
Y sydd, y fydd, ac a fu,
Heb goll yn ddidwn hollol;
Heb un o naddyn yn ol."

Yna cawn ddarluniad o'r cydgasgliad mawr ger bron y Barnwr—agoriad y llyfrau—cyhoeddi y ddedfryd olaf—y cyfiawnion yn esgyn i'r gwynfyd—a'r drygionus yn cael eu gyru i'r tân tragywyddol—y Barnwr yn dychwelyd i'r nef a'i ddilynwyr gydag ef—i uno yn y gân ddiddarfod. Ac mae'r Cywydd yn terfynu gyda'r llinellau canlynol,—

"Boed im' gyfran o'r gân gu,
A melysed mawl Iesu,
Crist fyg a fo 'r Meddyg mau,
Amen, a nef i minnau."

Wrth sylwi yn fanwl ar y Cywydd hwn o'r dechreu i'r diwedd, y modd y cydgrynhoir cymaint o faterion mewn cylch mor fychan, ac mewn dull mor gryno a rheolaidd, y darluniadau grymus a geir yma ac acw ynddo, a'r cyfan yn y mesur Cymreig caethiwus, sef Cywydd, yr ydym yn ei gyfrif yn gampwaith nad oes yn yr iaith Gymraeg ddim yn rhagori llawer arno mewn cylch llai na dau cant o linellau. Mae ynddo amryw linellau pur dywyll ac anhawdd eu deall, ac nid ydyw esboniad Llewelyn Ddu arno yn ddigon i'w hegluro ymhob man. Am yr esboniad hwn, mae yn debyg mai Goronwy Owen ei hun oedd ei awdwr, ond iddo gael ei roddi ar ddeall mai nid cymhwys ydoedd i awdwr ysgrifenu esboniad ar ei waith ei hun. Nid ydym yn gweled llawer o deilyngdod yn y nodau

hyn, am eu bod yn cynnwys ar y mwyaf o arddangosiad o ysgoleigdod, lle nad oedd galw am y peth. Ieuan Brydydd Hir a William Wynn a feïent y Cywydd am ei fod yn cynnwys gormod o gynghaneddion *llusg* a *sain*—bai bychan iawn, yn ein tyb ni, gan fod yr awdwr yn cael dewis y cynghaneddion a fynai; ac mae ef ei hun yn sylwi ar y peth hwn, yn un o'i lythyrau i'r cyffelyb bwrpas. Y bai mwyaf genym ni arno ydyw ei fod yn rhedeg yn rhy frysiog dros y materion pwysig mae yn ei gynnwys, a bod ynddo ormod o eiriau anghyffredin ac annealladwy.

Yn ei *Gywydd ar Fonedd a Chynneddfau yr Awen*, mae yn dechreu trwy grybwyll am naw awen Homer, ac yna addefa nad oedd y cyfryw chwedlau ddim yn amgen na breuddwydion y beirdd Paganaidd. Ac mae yn myned rhagddo i sôn am ddechreuad llawer hynach i'r awen na'r un a honai yr hen awdwyr Paganaidd i'r eiddynt hwy. Y côr nefolaidd a'i harferent yn moreu y crëad, sêr y boreu a gydganent, sef—

"Meibion nef yn cydlefain
A'u gilydd mewn cywydd cain;
Perffaith yw dy waith, Duw Iôn,
Dethol dy ffyrdd a doethion,
A mâd ac anchwiliadwy,
Dduw mawr, ac ni fu ddim mwy."

Ac mae'r sêr crwydredig yn clywed eu cân, ac yn neidio yn ôl i'w cylchoedd, er mwyn gallu ymuno yn y cydgan gorfoleddus. Adda yn mharadwys sydd yn eu clywed ac yn ymuno â'u cân, ac Efa drachefn sydd yn cael y fath hyfrydwch wrth glywed Adda yn canu, nes y mae hithau yn ymuno gydag ef, ac mae'r ddau yn cydganu mawl i Dduw o doriad gwawr y boreu hyd yr hwyr. Dyma wir ddechreuad awen, yr hwn nas gwyddai y Groegiaid a'r Rhufeiniaid ddim am dano. Ac mae'r dalent nefol hon yn dilyn plant Duw o oes i oes, ac

"Ni chydfydd awenydd wâr
A dynion dybryd anwar;
Ion ni rydd hyn o roddiad,
Wiwles, ond i fynwes fad."

Mae hyn yn cydfyned âg athrawiaeth yr hen feirdd Cymreig, sef mai dawn yr Ysbryd Glân ydoedd awen. Mae yr awdwr yn myned rhagddo, gan sôn am awen Moses, Dafydd, a Solomon, a therfyna gyda chân y gwaredigion yn y gogoniant; ac wrth derfynu dywed—

"Dyledswydd a swydd hoew sant
Yw gwiw gân a gogoniant;
Dysgwn y fâd ganiad gu,
Ar fyr awn i'w harferu;
Cawn awenlles cân unllef,
Engyl â ni yn ngolau nef,
Lle na thaw ein pêr awen,
Sant, Sant, Sant! moliant, Amen."

Am rai o'r llinellau sy'n gynnwysedig yn y Cywydd hwn y dywedai Mr. Lewis Morris,—"Parhâ y llinellau hyn yn dragywydd, er gwaethaf rhwd amser a malais gelynion; nis gall tân na dwfr mo'u dinystrio; ac ni ddarfyddant nes elo'r byd yn chwilfriw, ac hyd nes na byddo dyn

mewn bod." A thrachefn—"Pan y gwelaf yn Milton, Dryden, neu Pope, y fath linellau grymus, a'r fath ymadroddion godidog, bydd i mi eu hedmygu hwynt yn gymaint â Goronwy Owen, ac nid cyn hyny." Nid oes anghen am ragor o ganmoliaeth na hyn.

*Cywydd y Maen Gwerthfawr*, wrth yr hwn y mae yn meddwl "dedwyddwch," sydd yn un o'r darnau mwyaf awenyddol o'i waith. Gwelwn ef yn myned i ymofyn am dano ymhob man, i bob gwlad o dan haul, ac er hyny yn methu ei gael. Dyma yr hanes a rydd am ei hynt i ymofyn am dano,—

"Chwiliwn o chawn y dawn da,
Hyd rwndir daear *India*,
Dwyrain a phob gwlad araul,
Cyfled ag y rhed yr haul,
Hyd gyhydlwybr yr wybren
Lle 'r ä wawl holl awyr wèn;
Awn yn noeth i'r cylch poethlosg,
Hynt y llym ddeheuwynt llosg;
I rynbwynt duoer enbyd
Gogledd anghyfannedd fyd;
Cyrchwn, ni ruswn oer ôd,
Rhyn, oerfel, rhew anorfod,
A gwlad yr iâ gwastadawl,
Crisian-glawdd, na thawdd, na thawl,
Od awn i'r daith drymfaith draw,
Ofered i'm lafuriaw!"

Ar ol iddo deithio y byd i ymofyn am ddedwyddwch a methu ei gael, mae yn troi ffordd arall trwy ymofyn am dano ymysg y dysgedigion, trwy gynnull twr o lyfrau, a hel defnyddiau dysg; ond mae yr holl ymdrech hon yn troi allan yn ddiddefnydd. Ei iaith ydyw yn ngwyneb hyn—

"Ni chaf islaw ffurfafen
*Ddedwyddyd* yn myd em wen;
Ni chair yr em hardd-drem hon
Ar gyrau 'r un aur goron,
Na chap Pab, na chwfl abad,
Na llawdr un ymerawdr mad.
Llyna sylwedd llên *Selef*,
Daw 'n ail Efengyl Duw nef;
D'wedai un lle nad ydoedd,
A'r ail ymha le 'r oedd."

Mae yn canfod mai trigfa gwir ddedwyddwch ydyw y nefoedd; ac yno—

"Pob careg sydd liwdeg lwys,
Em wridog yn Mharadwys;
Ac yno cawn ddigonedd
Trwy rad yr Ion mad a'i medd.
Duw yn ein plith, da iawn ein plaid,
Fe 'n dwg i nef fendigaid.
Drosom, Iachawdwr, eisoes
Rhoes ddolef, daer gref, ar groes;
Ac eiddo-ef, Nef a ni,
Dduw anwyl, fe 'i rhydd ini."

Gellir dywedyd am agos i bob dernyn o'i eiddo mai ei fai mwyaf ydyw ei fod yn rhy fyr—bai hollol wrthwynebol i'r un a ganfyddwn yn ngwaith awdwyr yn ein dyddiau ni, sef eu bod yn rhy faith.

Ei *Awdl er coffadwriaeth am Lewis Morris, Ysw.*, sydd yn meddu ar fwy o ddyddordeb nag odid yr un o'i gyfansoddiadau eraill, o herwydd iddi gael ei chyfansoddi ganddo yn America, ar ol iddo fod yn preswylio yno am dros ddeng mlynedd o amser. Ac yn ol yr hanes a gafwyd am dano yn ddiweddar, ni bu yntau ei hun byw ond dwy flynedd ar ol cyfansoddi yr Awdl hon; canys fel y dywedasom yn ein herthygl flaenorol, yn ol yr hanes a ddaeth atom, bu ef ei hun farw yn y flwyddyn 1769, a chyfansoddodd yr Awdl hon yn 1767, fel y gwelir wrth y dyddiad a geir yn ei diwedd. Y nodau sydd yn ei chanlyn, ar rai pethau hynod ynddi, a gynnwysant ryw gymaint o wybodaeth ynghylch yr awdwr ei hun, yr amser yr oedd yn ysgrifenu; ac ymysg pethau eraill, dywed ei fod wedi colli y rhan fwyaf o'i deulu ar y môr wrth fordwyo i'r fan y preswyliai yn America. Ac yn niwedd yr Awdl, cawn y nodiad a ganlyn wedi ei ychwanegu ganddo ef ei hun,—"Yr Awdl hon a gânt Goronwy Owen, Person Llanandreas yn swydd Brunswic, yn Virginia, yn y Gogleddawl America, lle na chlybu ac na lefarodd hayach ddeng air o Gymraeg er's gwell na deng mlynedd." Ag ystyried yr Awdl fel cyfansoddiad barddonol, nid ydym yn meddwl ei bod yn sefyll mor uchel â llawer o'i gynnyrchion eraill ef. Ond mae ynddi lawer byd o ryw fath o gywreinrwydd a medr; canys gwelwn ei bod wedi ei chyfansoddi ar y Pedwar Mesur ar Hugain, ac mae pob llinell ynddi yn terfynu yn *on*, neu yn cydodli â'r gair *Môn*. Ni fuasem yn dysgwyl y fath fympwy plentynaidd yn Goronwy Owen, ac mae yn rhyfedd gweled un a gwynai gymaint o herwydd caethder yr hen fesurau Cymreig yn ychwanegu fel hyn at eu caethiwed. Yr oedd ef ei hun wedi llefaru fwy nag unwaith gyda gradd o ddirmyg am rai o'r Pedwar Mesur ar Hugain, ac er hyny pan yn cyfansoddi Awdl, gwelwn ef yn gyffredin yn eu defnyddio i gyd. Dyma fel y llefara am rai o honynt yn un o'i lythyrau at Mr. W. Morris,—"Am y rhelyw o honynt, sef Gorchest y Beirdd, Huppynt Hir a Byr, y rhai mwyaf newydd, ac yn cael eu hystyried, ond yn gyfeiliornus, y mwyaf cywrain a pherffaith o'r mesurau, yr ydwyf yn edrych arnynt megys anmherffeithderau yn ein barddoniaeth, wedi cael eu dyfeisio gan ryw fodau hunanol heb feddu chwaeth at farddoniaeth. Gadawaf chwi i farnu pa fath beth gwael a diaddurn ydyw Gorchest y Beirdd."

Mae yr Awdl hon yn agoryd gydag acenion galar a thristwch, ac mae yr awdwr fel pe buasai mewn gwirionedd yn teimlo ei destun. Dyma fel mae yn dechreu,—

"Och dristyd ddyfryd ddwyfron! och Geli!
Och galed newyddion!
Och eilwaith, gorff a chalon!
Och roi 'n y bedd mawredd Môn!"

Yna ni a gawn—

"Mae tònau dagrau digron,—i'm hwyneb,
Am hynaws gâr ffyddlon;
Llwydais i gan golledion,
Oer a fu 'r hynt i'r fro hon.

"Bro coedydd, gelltydd gwylltion, pau prifwig,
Pob pryfed echryslon;—
Hell fro eddyl llofruddion—
Indiaid, eres haid, arw son!"

Yn y llinellau uchod mae yn amlwg bod y bardd yn cyfeirio at ei helyntion pan yn ymsefydlu yn y parth hwnw o America, ei golledion ar y fordaith, ac ansawdd y wlad yr oedd yn preswylio ynddi. Ac nid oes genym ammheuaeth nad oedd y darluniad yn dra chymhwys o dalaeth Virginia yr amser hwnw, sef o gylch can' mlynedd yn ol. Yn yr ymadrodd "hell fro eddyl llofruddion," mae yr awdwr yn ddiammheu yn cyfeirio at ymosodiadau gwaedlyd yr Indiaid ar y drefedigaeth yn Virginia, pan ydoedd yn ei babandod, pryd y bu agos iddynt ei llwyr ddinystrio.* Am wybodaeth ëang a galluoedd gwrthddrych y Farwnad hon, dywed—

"Mesurai, gwyddai bob agweddion,
Llun daear ogylch, llanw dŵr eigion;
Amgylchoedd moroedd mawrion, a'u cymlawdd,
Iawn y dangosawdd nid anghyson."

"Daear a chwiliodd drwy ei chalon,
Chwalai a chloddiai ei choluddion,
A'i dewis wythi meini mwynion,
A thew res euraid ei thrysorion,
A'i manylaf ddymunolion—bethau,
Deuai i'r golau ei dirgelion."

"Olrheiniodd, chwiliodd yr uchelion,—
Llwybrau 'r taranau, a'r terwynion
Fflamawg fellt llamawg, folltau llymion—
Is awyr ganaid a sêr gwynion,
Nodau lloer a'i newidion—hynt cwmwl
O fro y nifwl i fôr Neifion."

"Ebrwyddaf oedd o'r wybrwyddion, hyglod,
A llwyr ryfeddod holl rifyddion!
Traethai, fe wyddai foddion—teyrnasoedd,
Rhoi o hen oesoedd wir hanesion."

Er maint y clod a roddir i Mr. Lewis Morris yn y dyfyniadau uchod, nid ydym yn meddwl ei fod uwchlaw ei haeddiant; canys yr oedd yn ddiammheu yn un o'r Cymry enwocaf yn ei oes; a chyrhaeddodd ei enwogrwydd trwy rym ei alluoedd a'i ddiwydrwydd ei hunan yn hollol. Dywedir mai cylchlestrydd *(cooper)* oedd wrth ei alwedigaeth; ond gadawodd y gorchwyl hwn yn fuan, a daeth yn dirfesurydd *(land surveyor)*. Ar ol hyny, cafodd ei osod yn arolygwr ar fwngloddiau y Llywodraeth yn swydd Geredigion, lle y bu yn preswylio dros gyfran helaeth o'i oes mewn lle a elwir Gallt Fadog, a lle arall a elwir Pen y bryn; ac yno y bu farw yn y flwyddyn 1765. Tua y flwyddyn 1737, cafodd ei benodi gan y Llywodraeth i arolygu, mesur, a darlunio, porthladdoedd, aberoedd, ac arfordiroedd Cymru; a chyhoeddwyd ei waith yn y flwyddyn 1748, dan yr enw *Plans of Harbours, Bays, and Roads, in St. George's Channel.* Ystyrir y gwaith hwn hyd heddyw yn waith o gywirdeb a

* Gwel Robertson's "*History of America,*" *Books* 9, 10.

buddioldeb mawr i'r rhai sydd yn mordwyo o amgylch arfordiroedd Cymru. Yr oedd Mr. Lewis Morris hefyd yn henafiaethydd a bardd enwog yn ei oes, ac ysgrifenodd lawer ar henafiaethau Brydain a Chymru, yn enwedig ei *Celtic Remains*, yr hwn a gyhoeddwyd gan y ddiweddar Barch. Walter Davies; a'i lythyrau dysgedig at Mr. Pegge, a Mr. Carte, a Dr. Percy, a Mr. Vaughan o Hengwrt, a gyhoeddwyd yn y *Cambrian Register*. Megys prawf o'i fedr a'i gywreinrwydd, dywedid am dano y medrai wneyd telyn a'i chwareu, gwneyd llong a'i hwylio, a gwneyd cân a'i hargraffu ei hun. Y mae Mr. Morris, yr aelod dros fwrdeisdrefi Caerfyrddin, yn un o'i deulu. Nid ydyw ei farddoniaeth, yr hwn a gyhoeddwyd yn y "Dyddanwch Teuluaidd," yn deilwng o hono. Efe ydoedd athraw barddonol Goronwy Owen, fel y rhoddir ni ar ddeall ganddo yn y Farwnad dan ein sylw.

*Cywyddau* Goronwy Owen *at Huw ap Huw, y bardd o Lwydiarth Esgob*—un wedi ei gyfansoddi yn y flwyddyn 1753, a'r llall yn y flwyddyn 1756, ydynt yn cynnwys rhai o'r darnau mwyaf barddonol a tharawiadol yn ei waith. Mae yn crybwyll am ei wlad enedigol, a'i hiraeth am dani, yn y naill a'r llall o'r Cywyddau hyn, mewn iaith doddedig a theimladwy dros ben. Dyma fel y mae yn anerch ei wlad, sef Môn,—

"Henffych well, Fôn, dirion dir,
Hyfrydwch pob rhyw frodir;
Goludog, ac ail Eden,
Dy sut, neu Baradwys hen;
Gwiwddestl y'th gynnysgaeddwyd,
Hoffder Duw Ner, a dyn wyd;
Mirain wyt ymysg moroedd,
A'r dŵr yn gan' twr it' oedd;
Eistedd ar orsedd eursail
Yr wyd, ac ni welir ail,
Ac euraid wyt bob goror,
Arglwyddes a meistres môr."

"Nid oes hefyd, byd a'i barn,
Gydwedd yt', *Ynys Gadarn*,
Am wychder, llawnder, a lles,
Mwnai 'mhob cŵr o'th mynwes,
Dyffrynoedd, glynoedd, glànau,
Pob peth yn y toreth tau;
Bara a chaws, bir a chig,
Pysg, adar, pob pasgedig;
Dy feichiog ddeiliog ddolydd
Ffrwythlon, megys *Saron* sydd,
A phrenau dy ddyffrynoedd,
Crwm lwyth, megys *Carmel* oedd."

Drachefn—

"Poet yt hedd pan orweddwyf
Yn mron llawr estron lle 'r wyf.
Gwae fi na chawn enwi nod,
Ardd wen, i orwedd ynod;
Pan ganer trwmp Iôn gwiwnef,
Pan gasgler holl nifer nef,
Pan fo Môn a'i thirionwch,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorog wythi arian,
A'i phlwm a'i dur yn fflam dân!

Pa les cael lloches o'r llaid?
Duw rano dŷ i'r enaid."

Nid oes yn yr iaith ddim yn rhagori ar y dyfyniadau uchod. Yn y Cywydd arall, cawn y syniadau dwysion a thoddedig a ganlyn—

"Pell wyf o wlad fy nhadau,
Och son! ac o Fôn gu fau;
Y lle bum yn gware gynt
Mae dynion na 'm hadwaenynt;
Cyfaill neu ddau a'm cofiant,
Prin ddau, lle 'r oedd gynnau gant!"

Hefyd—

"Daear *Môn*, dir i minnau,
Yw, o chaf ffun, i'w choffau;
Mawr fy nghwynfan am dani;
Mal *Sion* yw *Môn* i mi;
O f' einioes ni chaf fwyniant
Heb *Fôn*, er na thôn na thant;
Nid oes trysor a ddorwn,
Na byd da 'n bywyd hwn,
Na dail llwyn, na dillynion,
Na byw hwy, oni bae hon;
Troi yma wnaf, tra myn Ner,
O'm hedfa, oni 'm hadfer,
Duw Nefol a'm deoles,
Duw 'n rhwydd im', a llwydd, a lles,
Crist D'wysog, eneiniog Nef,
Cedrwŷdd, a'm dyco adref."

Pan oedd yn preswylio yn Walton, cafodd ei ethol yn aelod o *Gymdeithas y Cymrodorion* yn Llundain, a gwnaeth *Awdl o Folawd* i'r Gymdeithas. Wrth gydnabod ei ddiolchgarwch i Mr. Richard Morris am yr anrhydedd hwn, cwyna nad oedd ef mewn modd yn y byd yn alluog i'w gwasanaethu fel y buasai yn dymuno. Ac os oedd ganddo unrhyw deilyngdod o fath yn y byd, mai fel ieithydd a bardd yr oedd yn ei feddu; fel hanesydd a naturiaethwr, dywedai nad oedd ganddo yr un math o deilyngdod. Yr oedd yn meddwl mai yr unig foddion i adnewyddu gogoniant ac anrhydedd cynhenid yr hen iaith Gymraeg ydoedd y moddion a ddefnyddid gan y Cymrodorion, sef gwneyd ei theilyngdod a'i hardderchogrwydd yn adnabyddus i ddyeithriaid, a chyhoeddi pethau o deilyngdod ynddi ag a fyddent yn werth eu darllen gan yr oes oedd yn dyfod ar ol. Yna mae yn beio ei gydwladwyr ei hun am wadu eu hiaith, ar ol iddynt fyned i breswylio yn Lloegr; a sonia am un Mr. Owen, yr hwn a fu yn beriglor Warrington, ac oedd yn enedigol o Sir Drefaldwyn, iddo ei gyfarfod mewn cwmni yn ei gymydogaeth, pryd y cymerai arno nad allai siarad na deall dim Cymraeg, er y gwyddai Goronwy Owen well pethau am dano. Mae digon, ysywaeth, o gymheiriaid i Mr. Owen i'w cael eto, er fe allai nad cynifer ag a fu unwaith. Am yr Awdl i'r Cymrodorion dywed, pan yn ei hanfon i Mr. Richard Morris,—"Dyma i chwi ryw fath ar ddynwared caniad ar y 24 mesur i'ch cymdeithas a'ch iaith; a chan mai hwn yw y cynnyg cyntaf a roddais erioed ar ganu y 24, nid wyf yn dysgwyl amgen na bo rai beiau a gwallau ynddo; eto os yw

Grammadeg Siôn Rhydderch yn gywir, yr ydwyf yn tybied nad oes nemawr o feiau anafus yn y gerdd ychwaith. Pan ddêl Ioan Dafydd Rhys i'm dwylaw, mi ganaf yn gywreiniach. Ni yrais mo hwn i'r Allt Fadog eto, ond mi a'i gyraf pan gaffwyf amser; ac yno mi gaf wybod beth a dalo. Chwi ellwch weled na bydd mo'r lle i'r *Gwyn* nac i'r *Hir* (William Wynn a Ieuan Brydydd Hir) i achwyn bod gormod o *lusg* a *sain* yn hwn, a bychan o'r *groes* a'r *draws*, oblegid nis gwn fod ynddo ond y *groes rywiog*, os yw hono yn well nag eraill; eithr nid wyf fi yn medru canfod gorchest yn y byd ar un gynghanedd mwy na'r llall; yr oreu yn fy nhyb i yw'r hon a ddelo naturiolaf."

Mae yr Awdl hon yn cynnwys llawer o dlysni a chywreinrwydd, ond nid ydym yn gallu canfod bod ynddi gymaint o farddoniaeth ag a geir mewn llawer o'i Gywyddau. Yr englyn cyntaf ynddi sydd yn llithrig a thra adnabyddus,—

"Mawl i'r Iôn! aml yw ei rad,—ac amryw
I *Gymru* fu 'n wastad;
Oes genau na chais ganiad,
A garo lwydd gwŷr ei wlad?"

Sonia am helyntion cenedl y Cymry yn yr oesoedd gynt, a'r driniaeth chwerw a oddefasant dan iau haiarnaidd estroniaid yn yr hen amseroedd—

"Doe *Rufeinwyr*, dorf, unwaith,
I doliaw 'n hedd, dileu 'n hiaith,
Hyd na roes Duw Iôn, o'i rad,
O'r daliad wared eilwaith."

"Aml fu alaeth mil filoedd,
Na bu 'n well, ein bai ni oedd."

"Treiswyr trawsion
I'n hiaith wèn hon
Dygn adwyth digwyn ydoedd
Tros oesoedd, tra y *Saeson*."

Ar ol yr hyn a ddywedai am Gorchest y Beirdd, fe allai nad annymunol fyddai gweled pa fodd y mae ef yn ymdaro gyda'r *cursed low, grovelling thing*, fel y mae yn ei alw. Dyma yr un a geir yn yr Awdl hon—

"Medriaith mydrau,
Wiriaith eiriau,
Araith orau,
Wyrth eres.
Wiwdon wawdiau,
Gyson geisiau,
Wiwlon olau
Lân wiwles."

Gadawn i'r darllenydd farnu am deilyngdod y fath rigwm diaddurn; ond ar yr un pryd rhaid cofio bod ynddo lawer iawn o gywreinrwydd ac anhawsdra, pe na byddai gair o synwyr ynddo. Ond nid barddoniaeth ydyw y fath gywreinrwydd â hyn, ond yn hytrach chwareu gyda geiriau.

Nid barddoniaeth yw gosod geiriau i ateb y naill y llall, a gwneyd llinellau yn unol â rhyw reolau penodol. Dywed Arglwydd Macaulay bod lluoedd o ysgrifenwyr wedi cyfodi yn Lloegr yn amser Pope, y rhai oeddynt wedi dysgu llunio llinellau deg sill mor berffaith ac mor gywrain ag yntau, a'u taflu allan wrth y miloedd a'r degau o filoedd, i gyd mor gywrain, mor orphenedig, ac mor debyg y naill i'r llall, ag yw y *blociau* sydd yn pasio trwy felin Mr. Brunel yn Portsmouth. Yr un modd yn gymhwys y gwelir llawer o awdlau gan feirdd Cymru wedi eu ffurfio ar y cynlluniau a osodwyd i lawr gan Goronwy Owen ac eraill, ond heb yr un mymryn o farddoniaeth ynddynt.

Awdl arall ar y Pedwar Mesur ar Hugain a gyfansoddodd Goronwy Owen ydyw ei *Farwnad ar ol Mr. John Owen o'r Plas yn Ngheidio yn Lleyn,* hen gyfaill anwyl iddo gynt. Yn ei lythyr o Walton at Mr. Richard Morris, dywed am wrthddrych y Farwnad hon fel y canlyn,—"Ond gadewch i mi ddywedyd i chwi, bod yr holl bethau a draethais am dano yn syrthio yn fyr o wneyd cyfiawnder gyda'i nodweddiad. Yr oedd yn un o'r esiamplau dysgleiriaf o rinwedd Cristionogol, yn ol ei sefyllfa (yr hwn nid oedd ond boneddig o amaethwr), o neb a fu erioed yn addurn i'r wlad hon. Yr oedd ei onestrwydd diwyrni, ei gymedroldeb, ei ostyngeidrwydd, a'i deimlad, yn nodedig iawn. Yn y blynyddoedd tostion hyny, pan oedd yr ymborth gàn brined a chàn ddruted, hyd nad oedd gorfod i lawer werthu eu gwelyau danynt i brynu lluniaeth, a phawb a feddai ŷd yn ymryson am y drutaf a'r caletaf,—yr oedd y pryd hyny galon John Owen yn agored cystal a'i ysguboriau; ac yn Plas yn Ngheidio cai y rhan fwyaf o ddynion Lleyn eu lluniaeth, yn enwedig y trueiniaid llymion, y rhai gan y mwyaf oeddynt bysgodwyr Nefyn. Nid oedd yno ddim nâg ar ŷd, bid arian bid peidio; talent, os gallent, pan lenwai Duw eu rhwydau, ac onidê (fal y dywedai yntau, mi a'i clywais e yn aml), 'Doed a ddel, rhaid i bob genau gael ymborth.'" Yr oedd y fath ŵr yn deilwng o Farwnad, ond prin mae'r Farwnad a gafodd yn deilwng o'i hawdwr. Mae ynddi ormod o lawer o chwareu ar y Mesurau. Cymharer hon gyda *Marwnad Marged Morris,* gwraig Morris ap Rhisiard Morris, o Bentre Eirianell yn Môn, a mam Mr. Lewis Morris, ac yna ceir prawf o'r hyn a feddylir genym. Beth sydd yn fwy naturiol na'r llinellau canlynol?—

"Llawer cantorth o borthiant
Roe hon, lle bae lymion blant;
Can hen a ddianghenodd,
I'r un ni bu nâg o rodd;
Gwiw rodd er mwyn goreudduw,
Gynes weinidoges Duw.
Gwraig ddigymmar oedd *Marged*
I'w plith am ddigyrrith ged,
A ched ddirwgnach ydoedd,
Parod, heb ei dannod oedd."

Hefyd—

"Da iawn fam! diau na fu
Hwnt haelach perchen teulu;
Rhy dda i'r byd ynfyd oedd,
Iawn i fod yn nef ydoedd;

Aeth i gartref nef a'i nawdd,
Duw Iesu a'i dewisawdd;
Uniawn y farn a wna fo,
Duw Funer, gwnaed a fyno.
Dewisaf, gan Naf, i ni
Oedd ddeisyf iddi oesi,
Hir oesi, cael hwyr ŵysiad
Adref i oleunef wlad."

Ei *Englynion i Ellis Roberts y Cowper*, Llanrwst, ydynt o natur wahanol i'r cyffredin o'i gyfansoddiadau. Mae yn debyg nad oedd llawer o gariad rhyngddo âg Ellis er ys blynyddau cyn cyfansoddi yr Englynion hyn iddo. Canys yn ei lythyr at Mr. William Morris, dywed fel y canlyn am dano,—"Mi fum i unwaith yn nghwmni Elisa yn Llanrwst, er's ynghylch 14 blynedd i rwan, yn ymryson prydyddu *extempore*, ac fe ddywed fy mod yn barota bachgen a welsai erioed; ac eto er hyn, cyn y diwedd, ni wasanaethai dim oni chai o a lleban arall o Sir Fôn oedd yn ffrind iddo, fy lainio i; a hyny a wnaethent oni buasai Clochydd Caernarfon oedd gyda mi. Tybio yr wyf mai prifio yn rhy dost o rychor iddo a wnaethum yn ei arfau ei hun, sef dychanu a galw enwau drwg ar gân." Nid ydyw yr hanes uchod yn rhoddi i ni ryw ddrychfeddwl ffafriol iawn am ymddygiadau ac arferion Beirdd yr oes hono, sef "dychanu, a galw enwau drwg ar gân." Yr oedd Ellis y Cowper yn ddyn o gryn enwogrwydd yn ei ddydd megys awdwr cerddi, caniadau, ac *Interludes*. Ei ddull o farddoni oedd yn tebygu i'r eiddo Twm o'r Nant, ond bod ei dalent yn îs o amryw raddau, a'i chwaeth yn fwy llygredig. Dyma'r cynghor a rydd Goronwy Owen iddo—

"Yn fardd, os chwi a fyn fod,—o hirddysg
I harddu Eisteddfod;
I hwylio cler a hel clod,
Ceisiwch yr holl drec isod.

Hyd rhaff rawn o lawn linyn,—y seiri,
I fesuro 'ch englyn;
A rhasgl a dyr bob rhisglyn,
Llif frâs, a chwmpas, a chŷn.

Os hir y gwelir y gân,—y llafur
Fydd llifio darn allan;
Wrth y cwmpas gloewlas glân,
Cofiwch, rhaid rhasglio 'r cyfan.

Dylech mewn prifodl ei dilyn,—rhagoch,
Megys rhigol corddyn;
Heb wyro lled gwibedyn,
A'r twybil, wiw gynnil gŷn.

Yn fardd glân buan y bo'ch,—Elisa,
Hwylusaidd y dysgoch;
Doed a ddêl, bid da gwneloch
Anhepgor gyngor Huw Goch."

Yn enw Mr. Hugh Hughes, y Bardd Coch, yr anfonodd yr Englynion i Ellis, am nad oedd yn dewis iddo wybod mai efe oedd yr awdwr.

Ei *Gywyddau ar ddydd Calan*, sef ei ddydd genedigaeth ef a'i fab henaf, ydynt yn dra rhagorol, ac yn cynnwys llawer o syniadau pwysig, mewn

iaith rymus a barddonol iawn. Dyma fel y dechreua ei Gywydd ar y testun, a gyfansoddodd yn 1752,—

"Cyn bod gwres yr haul tesfawr,
A gorphen ffurfafen fawr,
Difai y crëawdd Dofydd
Oleu teg a elwid dydd.
A Duw, gan hyfryted oedd,
Dywedai mai da ydoedd;
Cywraint fysedd a neddair!
Gywir Ion, gwir yw ei air.
Hardd gweled y planedau,
A'u llwybr yn y gylchwybr gau;
Tremiadau tramwyedig,
A chall yn deall eu dig.
Canfod (a gwych eurddrych oedd),
Swrn nifer sêr y nefoedd,
Rhifoedd o sêr (rhyfedd son!)
Crogedig uwch *Caergwydion.*
Llun y llong, a'i ddehonglyd;
Arch *No*, a'i nawdd tra bawdd byd,
A'r tewdws, dwr sêr tidawg,
A thid nas rhifid y rhawg.
Er nifer sêr y nefoedd,
(Nifer fawr o wychder oedd,)
Ac er lloer wèn ysblenydd,
Nid oes dim harddach na dydd,
Gwawl unwedd â goleunef,
Golau o ganwyllau nef.

Y mae yn dangos y fendith o gael goleuni dydd, a bod pob dydd yn gyfartal, nes i ryw ddygwyddiadau neillduol hynodi un dydd yn fwy na'r llall. Ac aiff rhagddo i son am ddydd *Calan*;—

"*Calan*, fy ngŵyl anwyl i,
*Calan*, a gŵyl Duw Celi;
Da, coeliaf, ydyw Calan,
A gŵyl a ddirperai gân,
Ac i'r *Calan* y canaf,
*Calan*, well na huan haf!
Ar ddydd Calan y'm ganwyd,
*Calan*, nid annyddan wyd,
Gwaeth oedd genedigaeth *Jo*,* 
Diwrnod a gwg Duw arno,
*Calan* wyt ni'th cwliai Naf,
Dwthwn wyt na's melldithiaf.
Nodwyl fy oedran ydwyt,
Ugeinfed a degfed wyt;
Cyflym ydd â rym yr oes,
Duw anwyl, fyred einioes!"

* Job.

Y Cywydd arall ar yr un testun a gyfansoddodd pan fu yn glaf yn Walton; ac mae yn cyfeirio at y peth yn y Cywydd ac yn un o'i lythyrau. Dyma fel mae yn dechreu y Cywydd hwn—

"Ow hen Galan, hoen gŵyliau,
Cychwynbryd fy mywyd mau,
Ond dyddan i'm gynt oeddit
Yn Ionor? Hawdd ammor it'!

Os bu lawen fy ngeni,
Onid teg addef hyn i ti?
Genyt y cefais gynnydd
I weled awr o liw dydd,
Pa ddydd a roes im' oesi,
Trwy rad Ion ein Tad, ond ti?
Adrodd pob blwydd o'm hoedran,
O ddiwyd rif, oedd dy ran,
A gwelwyd, ben pob gŵyliau,
Mai tycio wnaeth y maeth mau."

Yn ei *Gywydd Arwyrain y Nennawr*, yr hwn a gyfansoddodd pan yn byw mewn *garret* neu nennawr yn Llundain, cyn ei fynediad i Northolt, cawn rai darluniadau campus a naturiol. Dyma fel mae yn darlunio trwst heolydd Llundain,—

"Torfoedd ynfyd eu terfysg,
Un carp hwnt yn crio pysg,
Tro arall, *Howtra hora!*
Crio pys, ffigys, neu ffa;
Gwich ben, â trwy 'r ymenydd,
Dwl dwrf, trwy gydol y dydd;
Trystiau holl Lundain trosti,
A'i chreg waedd ni charai gi."

Yn ei *Anerch at Ieuan Brydydd Hir*, pan oedd offeiriad Tregaron, wedi dywedyd am Farwnad Ffredric, Tywysog Cymru, gan Ieuan, nad oedd ynddi nac iaith na chynghanedd, cawn amryw syniadau teilwng o Horas ei hun. Beth sydd yn fwy gwirioneddol, ac ar yr un pryd yn cael ei osod allan mewn dull mwy hapus, na'r syniadau canlynol?—

"Gwyfyn, du elyn dilyth
Awen, yw cenfigen fyth;
Cenfigen ac awenydd
Ymhob llin, finfin a fydd;
O dwf llawn, dwy efell ynt,
O chredi, dwy chwaer ydynt;
Dwy na wnaed i dynu 'n ol,
Dwy ydynt, pwy a'u didol?"

Hefyd—

"A diau, boed gau, bid gwir,
Buan ar fardd y beïir.
E geir, heblaw 'r offeiriad,
Gan bron yn dwyn gwŷn a brad;
Milweis eiddig, mal *Suddas*,
Heb son am *Dregaron* gas."

Un o gyfeillion Goronwy Owen, pan oedd yn preswylio yn Northolt, oedd Mr. William Parry, *Deputy Comptroller of the Mint*, yr hwn oedd ei hunan yn ŵr o Fôn, ac mae yn debyg yn un o gyfeillion Mr. Richard Morris hefyd. Ei *Gywydd y Gwahawdd*, a anfonwyd ato yn y flwyddyn 1755, i erfyn arno ddyfod i ymweled âg ef, sydd yn ol ei hŷd ymysg goreuon ei waith. Beth sydd yn fwy pert, a mwy llawn o synwyr, na'r hyn a ganlyn?—

"Dithau ni fyni deithiaw
O dref hyd yn *Northol* draw,
I cael cân (beth dyddanach?)
A rhodio gardd y bardd bach;
Ond dy swydd hyd y flwyddyn,
Yw troi o gylch y *Twr gwyn*,
A,thori, bathu arian,
Sylltau a dimeiau mân;
Dod i'th *Fint*, na fydd grintach,
Wyliau am fis, *Wilym* fach,
Dyfydd o fangre 'r dufwg,
Gad, er nef, y dref a'i drwg;
Dyred, er dâed arian,
Ac os gwnai, ti a gai gân,
Diod o ddwr, doed a ddel,
A chywydd, ac iach awel,
A chroeso calon onest,
Ddiddichell, pa raid gwell gwest?
Addawaf (pam na ddeui?)
Ychwaneg, ddyn teg, i ti;
Ceir profi cwrw y prif-fardd,
A 'mgomio wrth rodio 'r ardd;
Cawn nodi, o'n cain adail,
Gwyrth Duw mewn rhagorwaith dail;
A diau pob blodeuyn
A hysbys ddengys i ddyn,
Ddirfawr ddyfnderoedd arfaeth,
Diegwan Ior, Duw a'i gwnaeth.
Blodau 'n aurdeganau gant,
Rhai gwynion mawr ogoniant;
Hardded wyt ti, 'r lili lân!
Lliw 'r eira uwch llawr arian,
Cofier it' guro cyfoeth
Selyf, y sidanbryf doeth."

Yr ydym yn gweled bod yn rhaid i ni ddwyn ein hysgrif i derfyn, er bod amryw ddarnau campus o farddoniaeth ein hawdwr ag y buasai yn ddymunol genym wneyd sylw o honynt, megys ei *Gywydd y Gynghorfynt neu'r Genfigen*, ei *Gywydd Cryfion Byd*, ei *Gywydd i Ddiawl*, ei *Awdl ar farwolaeth ei unig ferch*, ei *Gyfieithiadau o waith Anacreon*, *Cywydd i Dywysog Cymru*, ei *Awdlau Lladinaidd*, ac amryw ddarnau eraill o'i eiddo, y rhai ydynt oll yn meddu ar deilyngdod cynnyrchion anfarwol eu hawdwr enwog. Yr ydym wedi gosod ger bron y darllenydd yn ein hysgrif flaenorol, yn gystal a'r un bresennol, ddyfyniadau helaeth allan o'i lythyrau, a gadawn i'r rhai hyn lefaru drostynt eu hunain. Buasem yn hoffi gweled mwy o ofal yn netholiad rhai o'i lythyrau i gael eu cyhoeddi, trwy adael allan ambell air neu ddywediad nad ydyw yn un anrhydedd i goffadwriaeth yr ysgrifenydd; y rhai a adawodd, yn hollol ddifeddwl, i basio heibio wrth ysgrifenu at ei gyfeillion mynwesol, heb erioed feddwl y byddai i'r llythyrau hyny gael eu dwyn ger bron y byd, pan y byddai ef a'i gyfeillion yn huno yn mhriddellau y dyffryn. Dylid gwneyd gyda'r cyfryw lythyrau wrth eu cyhoeddi yr hyn ag y gallesid yn naturiol ddysgwyl i'r awdwr ei hun wneyd, pe buasai ar dir y byw; ac mae yn gam â'i goffadwriaeth ymddwyn yn wahanol i hyn at ei lythyrau cyfrinachol.

Wrth derfynu hyn o sylwadau ar gynnyrchion llênyddol un o wir

blant yr awen, yr ydym yn teimlo agos yn sicr y bydd i'r darllenydd gyduno â ni pan ddywedwn, mai nid mewn dull annheilwng y rhoddir i Goronwy Owen y safle uchel a gaiff ymysg Beirdd ei wlad enedigol. Pe gofynid i ni fyned trwy restr ein Beirdd, o ddyddiau Aneurin, Taliesin, a Llywarch Hen, hyd y dydd heddyw, a nodi allan dri o'r rhai mwyaf awenyddol yn eu mysg, yr ydym yn sicr y byddai Goronwy Owen yn un o'r tri, er nad ydym mor sicr pwy fyddai y ddau eraill. Mae ei farddoniaeth ef fel yr aur pur, yn sicr o barhâu yn ei deilyngdod a'i ddysgleirdeb tra pery yr iaith y mae ynddo. Ei linellau ydynt yn dwyn arnynt argraff anfarwoldeb ag nad oes dim ond gwir dalent yn alluog i'w gynnyrchu. Mae eu swyn yn taro ar y teimlad ac yn glynu yn y côf, nes bod llawer o honynt wedi bron ddyfod yn ddiarebion ymysg ei genedl. Trwy ystòd ei arosiad yn Donnington a Walton y cyfansoddodd y rhan fwyaf o'i farddoniaeth, a hyny, fel y gallwn gasglu oddiwrth yr hyn a ddywed ef ei hun, pan yn nghanol trallodion a helbulon y byd, ac ar brydiau mewn tlodi a phrinder mawr. Ond nid oedd hyn yn effeithio ar ei ymroddiad i ddilyn ei duedd naturiol a'i hoff gelfyddyd, sef ysgrifenu barddoniaeth, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb; yr oedd ei dlodi a'i helbulon yn ei symbylu ymlaen i anfon allan rai o'i ddarnau barddonol mwyaf prydferth, yn debyg i'r hyn a ddywedir am yr ëos, mai yn nyfnder y nos dywyllaf, a phan yn gorphwys ar y gwely mwyaf anesmwyth, y bydd yn canu yn fwyaf peraidd a swynol. A phan ymadawodd o'i wlad enedigol, daeth ei farddoniaeth i sylw a bri uwch na chynt ymysg ei genedl, ac yr oedd llais ei awen yn cyrhaedd atynt o dir pell ei alltudiaeth gyda grym a nerth adnewyddol, ac acenion ei odlau melus yn ennill bywyd a swyn wrth groesi tònau y Môr Werydd. Mae agos i gan' mlynedd wedi tynu eu lleni duon dros y cyfnod yr oedd yn byw ynddo; ond mae ei farddoniaeth yn fwy adnabyddus ac yn uwch ei fri y dydd heddyw nág oedd yn yr oes hono; ac yn ol pob tebygolrwydd pery i ennill bri adnewyddol o oes i oes hyd ddiwedd amser; yn debyg i un o'r afonydd mawrion hyny yn y cyfandir gorllewinol, lle y gorphenodd ei daith ddaearol, sydd yn dechreu ei gyrfa yn ffrwd fechan yn mhellderau yr anial, tua llethrau y Mynyddoedd Cèrygog, ond sydd yn ennill nerth a mawredd yn ei gyrfa tua yr eigion, nes ei bod o'r diwedd yn fôr nofiadwy.

# YR EPISTOLAU CYFFREDINOL.

## EPISTOL CYNTAF CYFFREDINOL PEDR.

### PEN. I.

1. PEDR, apostol Iesu Grist, at y dyeithriaid* ydynt ar wasgar yn
2. Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia, etholedig yn ol rhag-
wybodaeth Duw Dad, trwy sancteiddiad yr Ysbryd, i ufudd-dod† a
thaenelliad gwaed Iesu Grist;—rhad a heddwch a liosoger i chwi.
3. Bendigedig fo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn
yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd‡ i obaith bywiol, trwy
4. adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw, i etifeddiaeth anllygrad-
wy, a dihalogadwy, ac anniflanadwy,|| a gedwir yn y nefoedd i ni, y
5. rhai gan allu Duw a ddiogelir§ trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod
6. i'w dadguddio yn yr amser diweddaf: yr hyn y gorfoleddwch am
dano,¶ er yn awr dros ychydig enyd (os rhaid hyny) yn tristâu o
7. herwydd amryw brofedigaethau; fel y byddo eich ffydd,** sydd la-
wer mwy gwerthfawr na'r aur a dderfydd er ei brofi gan dân, i fod,
wedi ei phrofi, er clod ac anrhydedd a gogoniant,†† ar ddadguddiad
8. Iesu Grist: yr hwn heb ei ganfod a garwch; yr hwn, heb yn awr
yn ei weled, ond yn credu, y gorfoleddwch ynddo â llawenydd an-
9. nhraethadwy a gogoneddus, gan dderbyn cyflawniad o'ch ffydd,
iachawdwriaeth eich eneidiau.‡‡
10. Yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd ac yr ymchwiliodd am
11. dani y prophwydi, a brophwydasant am y rhad hwn i chwi; gan
chwilio pa bryd neu pa ryw amser yr amlygai Yspryd Crist oedd
ynddynt am dano, pan y rhagdystiolaethai am ddyoddefiadau Crist
12. a'r gogoneddiadau|||| ar ol hyny: y rhai y dadguddiwyd iddynt, nad
iddynt hwy eu hunain, ond i ni, y gweinent y pethau a fyneg-
wyd yn awr i chwi gan y rhai a bregethasant i chwi yr efengyl trwy
yr Ysbryd Glân a ddanfonwyd o'r nef; yr hyn bethau y chwen-
nycha angelion edrych arnynt.

* Geilw hwynt yn "bererinion" hefyd yn pen. ii. 11.

† Etholwyd hwynt *i* ufudd-dod, nid *am* ufudd-dod, ac i gael eu taenellu â gwaed Iesu Grist er maddeuant pechodau.

‡ Gwel Att. N.

|| Nis gellir eu llygru neu eu dinystrio gan ddylif neu gan dân, na'i halogi fel Canaan gan blant Israel, ac ni ddiflana fel etifeddiaeth fydol.

§ Yn llythyrenol, "a wersyllir," neu, "a warchodir:" amddiffynir hwynt, a gwylir arnynt, fel pe baent mewn gwersyllfan.

¶ Sef, am ddadguddiad o'r iachawdwriaeth, yr hon a berffeithir y dydd diweddaf, o ran y corff yn gystal a'r enaid.

** Yn llythyrenol, "Profiad eich ffydd," yr hyn a arwydda, yn ol arfer yr Hebraeg, "eich ffydd brofedig," neu, "wedi ei phrofi." Y gymhariaeth sydd rhwng ffydd ac aur.

†† Caiff ffydd "glod" gan y Barnydd pan wna ei chymeradwyo, "anrhydedd" ger bron dynion ac angelion, ac arwain i "ogoniant" tragywyddol.

‡‡ Hyn yn awr, a'r corff hefyd yn yr adgyfodiad.

|||| Y gogoneddiad cyntaf oedd yr adgyfodiad; yr ail, ei esgyniad i'r nef, ac wedi hyny ei seddiad ar ddeheulaw Duw, ac ymostyngiad iddo o holl alluoedd nef.

13. O herwydd hyn, gan wregysu* lwynau eich meddwl *a* bod yn
gymedrol,† cyflawn obeithiwch‡ am y rhad a ddygir i chwi ar ddad-
14. guddiad Iesu Grist; fel plant ufudd, heb gydymagweddu â'r chwant-
15. au blaenorol yn eich anwybodaeth; ond gan fod yr Hwn a'ch galw-
odd yn sanctaidd, byddwch chwi hefyd yn sanctaidd yn eich holl
16. ymarweddiad; oblegid ysgrifenwyd, "Byddwch yn sanctaidd, o
herwydd myfi, sanctaidd ydwyf."
17. A chan y gelwch ar y Tad, yr hwn a farna heb dderbyn wyneb
yn ol gwaith pob un, ymddygwch mewn ofn‖ dros amser eich
18. ymdeithiad; gan wybod nad â phethau llygredig,§ arian neu aur,
y prynwyd chwi oddiwrth eich ofer ymarweddiad, oedd yn ol tra-
19. ddodiad y tadau, ond â gwerthfawr waed Crist, megys Oen difeïus a
20. difrychau;¶ yr hwn yn wir a ragdrefnwyd cyn seiliad y byd, ond a
21. amlygwyd yn yr amseroedd diweddaf er eich mwyn chwi, y rhai a
gredwch trwyddo yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd oddiwrth y meirw,
ac a roddodd iddo ogoniant, fel y byddai eich ffydd a'ch gobaith yn
Nuw.
22. Gan i chwi buro eich calonau trwy ufudd-dod i'r gwirionedd trwy'r
Ysbryd, o ran brawdgarwch diragrith, cerwch eich gilydd o galon
23. bur yn wresog;** gwedi cael eich haileni,†† nid o hâd llygredig,
ond anllygredig, trwy air Duw, sydd yn fywiol‡‡ ac yn parhâu yn
24. dragywydd: o herwydd pob cnawd sydd fel glaswellt, a holl ogon-
iant dyn fel blodeuyn glaswellt; gwywa y glaswellt a syrthia ei
25. flodeuyn; ond gair yr Arglwydd a erys yn dragywydd; a hwn yw y
gair a bregethwyd i chwi.

PEN. II.

1. Yna gan roi heibio bob drwg‖‖ a phob twyll, a phob rhagrith,§§
2. a chenfigenau, a phob absenau, fel plant newydd eni, chwen-
3. nychwch bur¶¶ laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo; gan*** y
profasoch fod yr Arglwydd yn haelionus.†††
4. Yr hwn gan ddyfod ato, y maen bywiol, gwrthodedig yn wir gan
5. ddynion, ond gan Dduw yn etholedig *a* gwerthfawr, chwi hefyd, fel

* Gwel Att. O.
† Sef, o ran yfed a bwyta.
‡ Hyny yw, gobeithio yn llawn, heb betrusder, a chydag awydd i fwynhâu yr hyn a obeithir.
‖ Mae pedwar math o ofn—ofn gwasaidd—ofn mabaidd—ofn parchus—ac ofn gwyliadwrus. Yr olaf a feddylir yma, gan fod ymdaith yn gofyn gwylio rhag peryglon ar y ffordd.
§ Sef, darfodedig; felly yn adn. 23.
¶ Cyfeirir at yr hyn a orchymynid tan y ddeddf. Deut xv. 21.
** Brydlawn, angherddol, nid yn oeraidd.
†† Dywed am buro'r galon gyntaf, yna ä yn ôl at aileni. Dyma'r drefn a ganfyddir yn aml yn yr Ysgrythyr. Enwa Paul gyffes o flaen ffydd. Rhuf. x. 9.
‡‡ Mai'r "gair" a feddylir sydd amlwg oddiwrth adn. 25. Nid yw y gair yn farw neu heb nerth, ond yn alluog, ac yn parhâu.
‖‖ Bob math o ddrygioni.
§§ Yn llythyrenol, rhagrithiau.
¶¶ Felly ei ystyr yma, heb gymysgedd o un peth niweidiol. Arwydda "ddidwyll" pan ddywedir am ddynion.
*** Neu, yn gymaint ag, nid "os" yn y lle hwn.
††† Sef, trwy iddynt gael eu hadgenedlu ganddo.

meini bywiol, a adeiladwyd yn dŷ ysbrydol, yn offeiriadaeth sanct-
aidd,* i gyflwyno aberthau ysbrydol, cymeradwy gan Dduw trwy
6. Iesu Grist. Ac o herwydd hyn cynnwysir yn yr Ysgrythyr,
"Wele, gosodaf yn Sïon bencongl-faen, etholedig *a* gwerthfawr;
7. a'r hwn a gredo ynddo, nis cywilyddir." I chwi gan hyny a gred-
wch y mae yn werthfawr; ond i'r anufuddion, y maen a wrthododd
8. yr adeiladwyr, yr hwn a ddaeth yn ben y gongl, *a ddaeth* hefyd yn
faen tramgwydd ac yn graig rhwystr; *sef iddynt hwy* y rhai gan fod
yn anufudd a dramgwyddant wrth y gair; yr hyn beth hefyd y
9. trefnwyd hwynt iddo:† ond chwi ydych yn hiliogaeth etholedig,
yn offeiriadaeth freninol, yn genedl sanctaidd, yn bobl brynedig,‡
fel y mynegoch foliannau‖ yr hwn a'ch galwodd allan o dywyllwch
10. i'w ryfeddol oleuni: y rhai nid *oeddech* gynt yn bobl, ond yn awr
yn bobl Dduw; y rhai ni thrugarhäwyd wrthych, ond yn awr a
gawsoch drugaredd.
11. Erfyniaf arnoch chwi, anwyliaid, megys dyeithriaid a phererin-
ion,§ i ymgadw rhag chwantau cnawdol, y rhai a frwydrant¶ yn
12. erbyn yr enaid; gan gadw eich ymarweddiad yn hardd** ymysg y
cenedloedd, fel yn gymaint ag yr absenant chwi fel drwgweithred-
wyr,†† gan weled eich gweithredoedd da, y gogoneddont Dduw yn
nydd *eu* hymweliad.‡‡
13. Ymostyngwch gan hyny i bob sefydliad dynol‖‖ o herwydd yr
14. Arglwydd, pa un ai i'r brenin fel y goruchaf, neu i'r llywiawdwyr
fel wedi eu danfon ganddo er cosbi drwgweithredwyr a chymerad-
15. wyo gweithredwyr da: o herwydd hyn yw ewyllys Duw, fod i chwi
trwy wneuthur yr hyn sydd dda ddystewi anwybodaeth dynion di-
16. synwyr;§§ fel yn rhyddion, ond nid â rhyddid genych megys gor-
17. chudd dros ddrwg,¶¶ ond fel gweision Duw. Anrhydeddwch bawb,
cerwch y frawdoliaeth, ofnwch Dduw, anrhydeddwch y brenin.
18. Y gweision, ymostyngwch i'ch meistriaid gyda phob ofn,*** nid yn
19. unig i'r da a'r addfwyn, ond i'r anhynaws hefyd. Canys hyn sydd
gymeradwy, os o herwydd cydwybod tuag at Dduw y goddef neb
20. dristwch, gan ddyoddef yn anghyfiawn. Oblegid pa glod yw, os
pan bechoch, ac y cernodier chwi, yr ymoddefwch? ond os a chwi
yn gwneuthur yr hyn sydd dda ac yn dyoddef, yr ymoddefwch, hyn
21. sydd gymeradwy ger bron Duw: canys i hyn y galwyd chwi;
oblegid Crist hefyd a ddyoddefodd trosoch, gan adael i chwi gyn-

* Yn "dŷ," lle yr anneddai'r Ysbryd, ac "offeiriadaeth" i wasanaethu Duw. Dywedir hyn, nid am weinidogion, ond am yr eglwys. Mae pob credadyn yn offeiriad.

† Sef, i dramgwyddo wrth y gair o herwydd eu hanufudd-dod neu eu hanghrediniaeth. I hyn eu trefnwyd neu eu gosodwyd, yn ol tystiolaeth yr Ysgrythyr. Gwel Att. P.

‡ Neu, "bobl trwy bryniad." Gwel pen. i. 18.

‖ Gwel Att. R.

§ "Dyeithriaid," rhai oddicartref. "Pererinion," teithwyr i wlad arall.

¶ Fel milwyr tan arfau.

** Neu, "yn dda," sef yn gywir ac yn weddus."

†† Trwy ymwrthod â'u coelgrefyddau.

‡‡ Dydd yr efengyl.

‖‖ Neu "osodiad dynol."

§§ Yn llythyrenol, "difeddwl"—anystyriol, neu, "ddiddeall"—annoeth, disynwyr. Ond y difeddwl sydd hefyd yn ddisynwyr.

¶¶ Sef, er cuddio y drwg o anufudd-dod i lywodraeth.

*** Ofn Duw, ac ofn parchus tuag at eu meistriaid. Gwel nôd ar pen. i. 17.

22. lluniad, fel y dilynech ei gamrau; yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni
23. chaed twyll yn ei enau; yr hwn, pan ddifenwyd, ni ddifenwodd
drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd, ond traddododd *ei hun*
24. i'r hwn a farna yn gyfiawn; yr hwn a ddygodd ei hun ein pechod-
au* yn ei gorff ar y pren, fel y byddem ni, gwedi ein rhyddhâu
oddiwrth bechodau,† i fyw i gyfiawnder; yr hwn trwy ei gleisiau
25. yr iachäwyd chwi: canys yr oeddech fel defaid yn crwydro; ond
yn awr dychwelwyd chwi at Fugail ac Arolygwr eich eneidiau.

## PEN. III.

1. Yn yr un modd y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr priod, fel y
byddo iddynt, od oes neb heb ufuddhâu i'r gair, gael eu hennill
2. heb y gair trwy ymarweddiad y gwragedd, wrth ganfod eich hymar-
3. weddiad diwair‡ ynghydag ofn: y rhai, bydded eu haddurn,|| nid
yr un allanol, o blethu gwallt, ac o amgylchu âg aur, neu o wisgo
4. dillad;§ ond cuddiedig ddyn y galon, yn yr hyn sydd anllygredig,
*yr addurn* o ysbryd addfwyn a dystaw,¶ yr hwn sydd ger bron Duw
5. yn dra gwerthfawr. Oblegid felly gynt hefyd yr addurnai eu hun-
ain y gwragedd diwair a obeithient yn Nuw, gan fod yn ostyngedig
6. i'w gwŷr priod; megys Sara, *yr hon* a ufuddhäodd i Abraham, gan
ei alw yn Arglwydd: yr hon, ei merched ydych, tra y gwneloch yr
hyn sydd dda, ac nac ofnwch unrhyw fraw.**
7. Y gwŷr yn yr un modd, cydgyfanneddwch *â hwynt* yn ol gwybod-
aeth,†† gan roddi anrhydedd i'r gwragedd megys i'r llestr gwanaf,
ac megys i'r *rhai* a gydetifeddant rad y bywyd, fel na rwystrer eich
gweddïau.
8. Yn ddiweddaf, *byddwch* oll o gyffelyb feddwl,‡‡ yn cydymdeimlo,
9. yn frawdgar, yn dynergalon, yn gyfeillgar; nid yn talu drwg am
ddrwg, neu sen am sen; ond yn y gwrthwyneb, yn bendithio; gan
10. wybod y galwyd chwi i hyn, sef fel yr etifeddoch fendith. "Oblegid
y neb a fyno garu bywyd a gweled dyddiau da, cadwed ei dafod
11. oddiwrth ddrwg a'i wefusau rhag llefaru twyll; gocheled ddrwg a
12. gwnaed dda, ceisied heddwch a dilyned ef. O herwydd llygaid yr
Arglwydd ydynt ar y cyfiawn, a'i glustiau tuag at eu gweddi; ond
13. wyneb yr Arglwydd sydd yn erbyn y rhai a wnant ddrwg."|||| A

* Sef eu cosb. Es. liii. 5, 12.

† Eu llywodraeth, eu harglwyddiaeth. Rhuf. vi. 14. Nid eu cyfrifiad a feddylir yma, neu ryddhâd oddiwrth euogrwydd trwy faddeuant, o herwydd nid heddwch â Duw y dywedir am dano, ond "byw i gyfiawnder."

‡ Dihalog, dianllad, glân, pur.

|| Neu, "tlysni," harddwch, prydferthwch.

§ Sef, gwneyd gormod o hyn, gan roddi'r bryd arno.

¶ Neu, "tawel," yn wrthwyneb i ysbryd cynhenus, grwgnachlyd; fel y mae "addfwyn" yn wrthwyneb i ysbryd nwydwyllt, uchelfryd, a digofus. Nid *hollol* y gwarafunir yr addurn allanol, ond mewn cymhariaeth, megys y gwarafunir "llafurio" yn Ioan vi. 27.

** Oddiwrth eu gwŷr digred, pan fygythient hwy o ran eu ffydd. Yr oeddent i roddi ofn parch (adn. 2), ac i ymgadw rhag ofn dychryn.

†† O sefyllfa a gofynion y berthynas rhyngddynt, trwy roddi anrhydedd iddynt megys i'r llestr gwanaf, ac hefyd megys i'r rhai ydynt gydetifeddion o'r bywyd rhad, o'r bywyd a rad roddir. Rhuf. vi. 23.

‡‡ Nid o un ond o gyffelyb feddwl.—*Tynergalon*, neu yn dosturiol, yn hytrach nag yn drugarog.—*Cyfeillgar*, yn caru fel cyfaill.

|||| Salm xxxiv. 12—16. Gwna'r apostol ychydig gyfnewidiad: arfera'r trydydd dynsawd yn lle yr ail; *cadwed*, yn lle *cadw*.

14. pwy a'ch dryga os gwnewch ddilyn yr hyn sydd dda? Ond os y
dyoddefwch hefyd o herwydd cyfiawnder, dedwydd ydych; a rhag
15. eu hofn nac ofnwch, ac na chynhyrfer chwi; ond sancteiddiwch yr
Arglwydd Dduw yn eich calonau;* a byddwch barod bob amser i
ateb pob un, a ofyno air† ynghylch y gobaith sydd ynoch, gydag
16. addfwynder ac ofn;‡ gan gadw cydwybod dda,|| fel yn gymaint ag
yr absenant chwi fel drwgweithredwyr, y cywilyddio y rhai a gam-
gyhuddant eich ymarweddiad da yn Nghrist.
17. Canys gwell dyoddef, os myn ewyllys Duw, am wneuthur da,
18. nag am wneuthur drwg: oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddef-
odd dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at
Dduw, gan gael ei farwolaethu yn y cnawd, ond ei fywhâu gan yr
19. Ysbryd: yr hwn hefyd yr aethai trwyddo,§ ac y pregethasai i'r
20. ysbrydion *yn awr* yn ngharchar,¶ gynt yn anufudd, pan yr arosodd
wrthynt hiramynedd Duw yn nyddiau Noa, tra darparid yr arch,
yr hon yr achubwyd ynddi ychydig o eneidiau, sef wyth, trwy
21. ddwfr; yr hwn y gwna arwydd gyferbyniol iddo, sef bedydd, ein
hachub ni (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, ond ammodiad** cyd-
22. wybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist; yr hwn
sydd ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nefoedd, angelion a gor-
uchafiaethau a galluoedd yn ddarostyngedig iddo.

## PEN. IV.

1. Yna gan i Grist ddyoddef trosom yn y cnawd,†† arfoger chwi
hefyd â'r un bwriad: oblegid yr hwn a ddyoddefodd yn y cnawd‡‡ a
2. beidiodd â phechod, fel na byddo fyw mwyach, dros yr amser sydd
3. yn ol yn y cnawd, i chwantau dynion, ond i ewyllys Duw. Canys
digon i ni yr amser a aeth heibio o'n bywyd i weithredu ewyllys y
cenedloedd, gan rodio mewn trythyllwch, trachwant, gloddest,
4. cyfeddach, dïota, ac eilunaddoliad ananianol.|||| O herwydd hyn y
synant, sef, am na chydredwch â hwynt i'r unrhyw ormodedd o
5. afradlondeb, gan eich difenwi; y rhai a roddant gyfrif i'r hwn sydd
6. barod i farnu y byw a'r meirw. Canys er mwyn hyn yr efengylwyd

* Neu anrhydeddwch Dduw, trwy ei ofni Ef yn fwy na neb, a thrwy ei gyfrif yn alluog i'ch cynnal a'ch gwaredu tan bob amgylchiad.

† Llythyrenol yw hyn, a hollol ddealladwy yn y Gymraeg.

‡ Sef o barch: "atebwch yn fwyn ac yn barchus."

|| Heb wneuthur yr hyn sydd groes i'r hyn a dybiom yn gywir.

§ Cyffelyb i'r hyn a ddywed Paul am Grist gwedi ei esgyniad i'r nef, "Ac efe a ddaeth ac a bregethodd," &c. Eph. ii. 17.

¶ Gwel Attodiad T.

** Nid *ymateb* yw ystyr y gair; arwydda *ammodi* neu *gyfammodi*, yr hyn a wneir gan y bedyddiedig. *Cydwybod dda*, sef onest, ddiragrith.

†† Gwedi troi megys o'i lwybr yn adn. 19 o'r bennod ddiweddaf, dychwel yn awr at y peth oedd ganddo mewn llaw, y cynlluniad a roddodd Crist o ddyoddef yn anhaeddiannol. Gwel Att. U.

‡‡ Sef trwy erlidigaeth: nid yw mwyach yn arwain bywyd pechadurus. Mae ysgariaeth wedi cymeryd lle rhyngddo â phechod.

|||| Mae y geiriau hyn oll yn y rhif lïosog; ond gan na arferir y rhan fwyaf o honynt felly yn y Gymraeg, rhoddir hwynt oll yn y rhif unigol. *Ananianol*, croes i anian: cyfeiria at y pethau budreddus a chreulawn a arferid gan eilunaddolwyr, megys puteinio ac aberthu dynion a phlant.

hefyd i'r meirw,* fel y barned hwynt gan ddynion yn y cnawd, ac
yr adfywier hwynt gan Dduw trwy yr Ysbryd.
7. Ond diwedd pob peth a nesäodd: † am hyny byddwch gymedrol a
8. gwyliwch i weddïo. Ac uwchlaw pob dim, bydded genych gariad
gwresog tuag at eich gilydd, o herwydd cuddia cariad lïaws o
9. bechodau.‡ Byddwch lettygar y naill i'r llall heb rwgnach.
10. Pob un, megys y derbyniodd rodd, gweinyddwch yr un y naill
11. i'r llall, fel da|| oruchwylwyr o rad amrywiol Duw. Os llefara neb,
*llefared* megys geiriau Duw; os gweinydda neb, *gweinydded* megys
trwy'r nerth a rydd Duw; fel ymhob dim y gogonedder Duw trwy
Iesu Grist; yr hwn y bo iddo y gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd.
Amen.
12. Na synwch, anwyliaid, o herwydd y tân cyneuol §sydd yn eich
plith, *yr hwn* sydd er eich profi, fel pe dygwyddasai i chwi beth
13. rhyfedd: ond gan y cyfranogwch o ddyoddefiadau Crist, llawen-
hëwch; fel y llawenhäoch hefyd yn orfoleddus ar ddadguddiad o'i
ogoniant.¶
14. Os gwaradwyddir chwi am enw Crist, dedwydd ydych; oblegid
gorphwys arnoch Ysbryd gogoneddus Duw:** ganddynt hwy yn wir
15. difenwir Ef, ond genych chwi Efe a ogoneddir. Ond na ddyoddefed
neb o honoch fel llofrudd, neu leidr, neu ddrwgweithredwr, neu
16. ymyrydd;†† ond os fel cristion, na chywilyddied, ond gogonedded
17. Dduw o herwydd hyn; canys yr amser yw i'r farn ddechreu ar dŷ
Dduw;‡‡ ac os yn gyntaf arnom ni, beth *fydd* diwedd y rhai a
18. anufuddhânt efengyl Duw? ac os o braidd yr achubir y cyfiawn,|||| p'le
19. yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur? Am hyny hefyd tra-
ddoded y rhai a ddyoddefant yn ol ewyllys Duw, eu heneidiau iddo
Ef megys i Berchenog§§ ffyddlawn, gan wneuthur yr hyn sydd dda.

## PEN. V.

1. Yr henuriaid sydd yn eich plith a annogaf fi, *eu* cydhenuriad a

* Y rhai a fuont farw tan erlidigaeth. *Fel y barned,* neu y collfarnèd hwynt gan erlidwyr o ran y corff; ond cânt eu bywhâu yn y dydd diweddaf gan yr Ysbryd. Gwel Att. W.

† Gelwir dyddiau'r efengyl yn ddyddiau diweddaf: gan hyny, nesâu wna diwedd pob peth. Gwel 2 Ped. iii. 8—14. Heblaw hyn golygir angeu a barn yn yr Ysgrythyr yn gydamserol, gan na chymer un cyfnewidiad le rhyngddynt.

‡ Trwy eu maddeu. Maddeuant a rydd y naill i'r llall a feddylir. "Maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr."

|| Nid *daionus*, ond *da*, sef ffyddlawn.—*Oruchwylwyr*, neu ddosbarthwyr.

§ Llythyrenol, "y taniad:" cyffelyba erlidigaeth i dân yn llosgi, gan mor annyoddefol oedd.

¶ Neu, "ar ei ogoneddus ddadguddiad."

** Neu, "y Duw gogoneddus."

†† Sef mewn pethau gwladol, cynhyrfwr yn y llywodraeth, cyffröwr terfysg yn y wladwriaeth. Yr oedd yr Iuddewon yn enwedig yr amser hyn yn ymyrwyr bron ymhob gwlad.

‡‡ Tebyg y cyfeiria at Ioan xvi. 2. Gwel hefyd Matth. xxiv. 9—13; Luc xxi. 14.—Cristionogion a feddylir wrth *dŷ Dduw*.

|||| Rhag y dinystr oedd yn dyfod ar y genedl Iuddewig. Gwel Luc xxi. 18, 19, 36.

§§ Neu, "Feddiannydd." Mwy cymhwys i'r lle hwn yw *Perchenog* na "Chrëawdwr," gan y dynoda ddiogelwch. Y maent tan nawdd eu perchen ac yn ei feddiant, ac ef yn un ffyddlawn.

thyst o ddyoddefiadau Crist, ac yn gyfranog o'r gogoniant a ddad-
2. guddir :* Porthwch braidd Duw sydd yn eich plith, gan oruwch-
wylio, nid o orfod, ond yn wirfoddol; nid er mwyn budrelw, ond o
3. haelfryd; nid chwaith fel yn tra-arglwyddiaethu ar *ei* etifeddiaeth-
4. au,† ond gan fod yn gynlluniadau i'r praidd: a phan ymddangoso
y Penbugail, cewch dderbyn coron anniflanedig y gogoniant.
5. Yn yr un modd yr ieuengaf ymostyngwch i'r henaf;‡ ac ymos-
tyngwch bawb i'ch gilydd; addurner chwi oddifewn â gostyngeidd-
rwydd; o herwydd gwrthwyneba Duw y beilchion, a rhydd rad i'r
6. gostyngedig. Byddwch gan hyny yn ostyngedig tan law gadarn
7. Duw,|| fel y derchafo chwi mewn pryd;§ gan daflu arno eich holl
ofal, o herwydd gofala am danoch.
8. Byddwch gymedrol, gwyliwch; oblegid eich gwrthwynebwr Diafol,
rhodia oddiamgylch fel llew rhuadwy, gan geisio y neb a allo
9. lyncu: yr hwn gwrthwynebwch, yn ddiysgog yn y ffydd; gan wy-
bod y dyoddefir yr un blinderau gan eich brodyr¶ ydynt yn y
byd.
10. A Duw pob rhad, yr hwn a'ch geilw, wedi dyoddef o honoch
ychydig,** i'w ogoniant tragywyddol trwy Iesu Grist, perffeith-
11. ied,†† cadarnhäed, cryfhäed, sefydled chwi: Iddo y bo'r gogoniant
a'r gallu yn oes oesoedd. Amen.
12. Gyda Silfan, eich brawd ffyddlawn, fel y tybiaf, yr ysgrifenais
mewn ychydig eiriau, gan *eich* annog, a thystiolaethu mai gwir rad
Duw yw yr hwn y sefwch ynddo.
13. Anercha chwi y rhai ydynt gydetholedigion‡‡ yn Babilon, a Marc
fy mab. Anerchwch eich gilydd â chusan cariad.|||| Heddwch i
chwi oll ydych yn Nghrist Iesu. Amen.

## AIL EPISTOL CYFFREDINOL PEDR.

### PEN. I.

1. Simeon§§ Pedr, gwas ac apostol Iesu Grist, at y rhai a gawsant
ffydd o ogymaint gwerth â ninnau, trwy gyfiawnder¶¶ ein Duw a'r

* Iaith ffydd yw hon: golygai ei hun yn gyfranog eisoes o'r gogoniant dyfodol.
† Felly y golygai y cynnulleidfäoa tan oruchwyliad yr henuriaid. Rhenid etifeddiaethau Canaan trwy goelbrenau; a choelbrenau yw ystyr y gair.
‡ Yn llythyrennol, *ieuengach* a *henach;* ond mwy cydwedd âg arferiad y Gymraeg yw *ieuengaf* a *henaf*.
|| Sydd yn trefnu pob peth yn ei anfeidrol allu.
§ Yr amser y gwelo yn dda.
¶ Yn llythyrenol, "gan eich brawdoliaeth."
** O ran amser, neu o ran gradd. Gwel Att. Y.
†† Perffeithio yw'r gwaith diweddaf; a'r pethau eraill ydynt yn anghenrheidiol tuag at hyn.
‡‡ "Y brodyr" a enwa yn adn. 9; a eilw yn "frawdoliaeth," sef y corff Cristionogol. Gwel pen. ii. 19. Ni arfera'r gair eglwys yn un o'i ddau Epistol.
|||| Gelwir ef yn "gusan sanctaidd" gan Paul, Rhuf. xvi. 16; 1 Cor. xvi. 21; 2 Cor. xiii. 12. Arferiad perthynol i'r oes, heb ei orchymyn, ond ei iawn gyfarwyddo, gan y dywed Paul y dylai fod yn "sanctaidd," nid yn halogedig; a Phedr, y dylai fod yn nôd o "gariad," nid anianol ond ysbrydol.
§§ Gelwir ef hefyd Simon. Luc v. 8; Act. xv. 14.
¶¶ Yn cyflawni yr addewidion, ffyddlondeb. Gwel Att. AA.

2. Iachawdwr Iesu Grist,—Rhad a heddwch a liosoger i chwi trwy
wybodaeth o Dduw ac o Iesu ein Harglwydd.*
3. Gan y rhadroddodd ei allu dwyfol i ni bob peth tuag at fywyd a
duwioldeb, trwy adnabyddiaeth o hono Ef a'n galwodd i ogoniant
4. a rhinwedd; er mwyn yr hyn† y rhadroddwyd i ni addewidion
mawr iawn a gwerthfawr, fel y rhai y delech trwyddynt yn gyfranog
o'r ddwyfol anian, gwedi ffoi oddiwrth y llygredigaeth sydd yn y
5. byd trwy drachwant;—ïe, o herwydd hyn,‡ gan ddefnyddio pob
diwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd rinwedd,|| ac at rinwedd
6. wybodaeth, ac at wybodaeth gymedroldeb,§ ac at gymedroldeb
7. ymoddef,¶ ac at ymoddef dduwioldeb,** ac at dduwioldeb frawdgar-
wch,†† ac at frawdgarwch, gariad.
8. Oblegid y pethau hyn, os ydynt genych ac yn helaeth, gwnant
chwi na byddoch yn ddiwaith nac yn ddiffrwyth yn ngwybodaeth
9. ein Harglwydd Iesu Grist. Ond yr hwn nâd oes ganddo y pethau
hyn, dall yw, yn cau ei lygaid,‡‡ gwedi anghofio ei lanhâd oddiwrth
10. ei bechodau gynt.|||| O herwydd hyn, frodyr, ymdrechwch yn fwy§§
i wneyd yn ddiogel¶¶ eich galwad a'ch etholiad; oblegid os gwnewch
11. y pethau hyn, ni syrthiwch ddim un amser: canys felly yn helaeth
y gweinyddir i chwi ddyfodfa i deyrnas dragywyddol ein Harglwydd
a'n Hiachawdwr Iesu Grist.
12. Am hyny nid esgeulusaf eich hadgoffhâu bob amser o'r pethau
hyn, er eich bod yn wir yn eu gwybod, ac wedi eich cadarnhâu yn
13. y gwirionedd presennol.*** Ond tybiaf yn iawn, tra fyddwyf yn y
14. babell hon, eich deffroi trwy eich hadgoffhâu; gan wybod mai yn
fuan y rhoddaf heibio fy mhabell, fel yr hysbysodd i mi hefyd ein
15. Harglwydd Iesu Grist:††† ac ymdrechaf hefyd fel y byddo i chwi
gael y pethau hyn mewn côf ar ol fy ymadawiad.‡‡‡
16. Oblegid nid chwedlau o ddychymygion cyfrwys|||||| a ddilynasom,
pan hysbysasom i chwi allu a dyfodiad ein Harglwydd Iesu

* Gwel Ioan xvii. 3.

† Sef, gogoniant a rhinwedd. Gogoniant y terfyn, a rhinwedd a arwain iddo. Felly yn flaenorol, yr enwa "fywyd a duwioldeb." Y peth mwyaf yn gyntaf, ac yna yr hyn a arweinia iddo.

‡ Sef, am roddi o Dduw iddynt bob peth tuag at fywyd a duwioldeb, adn. 3,—bywyd tragywyddol a duwioldeb yn gymhwysiad iddo.

|| "Rhinwedd" yw pob peth da, cymhwys a chyfiawn.

§ Neu ymattaliad, sef rhag gormodedd mewn bwydydd a diodydd, a rhag llywodraeth ein nwydau: hunanlywodraeth a arwydda y gair.

¶ Tan adfyd erlidigaeth.

** Crefyddoldeb, ymarfer â gweddi ac addoliad.

†† Cariad at frodyr ffydd, ac yna cariad at bawb.

‡‡ Felly arwydda y gair: dengys hyn ei fod yn ddall o'i wirfodd.

|||| Pan wnaethai broffes trwy fedydd.

§§ O herwydd y perygl o fod yn ddiffygiol o'r pethau a enwyd.

¶¶ Sef iddynt eu hunain, ac i eraill, a hyn trwy feddiannu y pethau a enwyd. Enwir yr effaith, y peth amlwg, "galwad," yn gyntaf; ac yna yr achos, y peth rhagflaenol, "etholiad." Felly y gwneir yn aml yn yr Ysgrythyr.

*** Sef, yr hyn y dywedaf am dano.

††† Tebyg na chyfeiria at Ioan xxi. 18, 19, gan y nodir yno y *fath* o farwolaeth oedd i fod iddo, ond yma y *pryd*.

‡‡‡ Bwriadai ddau beth—eu hadgoffhâu,—a gadael ar ei ol mewn ysgrifen yr hyn a fyddai er budd iddynt wedi ei farwolaeth.

|||||| Dyma y fath bethau oeddynt gan yr holl fyd Cenedlig, chwedlau o ddychymygion cyfrwys, neu ddichellgar, y gau yn rhith y gwir.

17. Grist,* ond buom yn orolygwyr† o'i fawrhydi; canys derbyniodd gan
Dduw Dad anrhydedd a gogoniant, pan ddaeth ato o'r mawrwych
ogoniant y cyfryw lef a hon, "Hwn yw fy anwyl Fab, yr hwn y bodd-
18. lonwyd fi ynddo:" a'r llef hon a glywsom yn dyfod o'r nef, pan
oeddem gydag Ef ar y mynydd sanctaidd.
19. Y mae genym hefyd yn fwy cadarn air y Prophwydi,‡ yr hwn y
gwnewch yn dda i ddal arno, fel ar oleu yn llewyrchu mewn lle
tywyll, hyd oni wawrio'r dydd, ac y codo'r seren-ddydd yn eich
20. calonau; || gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth
21. yn yr Ysgrythyr o ddehongliad neb ei hun; § oblegid ni ddaeth
gynt brophwydoliaeth trwy ewyllys dyn; ond dynion sanctaidd
Duw a lefarasent, gan gael eu harwain gan yr Ysbryd Glân.

PEN. II.

1. Ond yr oedd gaubrophwydi hefyd ymhlith y bobl,¶ megys ag y
bydd gauathrawon yn eich plith chwi, y rhai a ddirgel-ddygant i
mewn gamgredau dinystriol,** gan wadu hyd yn nôd y Llywiawdwr††
2. a'u prynodd, a thynant arnynt eu hunain ddinystr buan: a dilyna
llawer eu hanlladedd,‡‡ y rhai o'u herwydd yr enllibir ffordd y gwir-
3. ionedd; ac o gybydd-dra gwnant fasnach o honoch trwy eiriau
rhagrithiol,|||| y rhai nid yw eu barn er ys talm§§ yn oedi, na'u dys-
tryw yn hepian.
4. Oblegid os nad arbedodd Duw yr angelion a bechasent, ond gan
eu taflu i uffern, a'u rhoddodd mewn cadwynau tywyllwch i'w cadw
5. i farn; ac *os* nad arbedodd yr henfyd, ond a gadwodd Noa yr wyth-
fed,¶¶ pregethwr cyfiawnder, pan ddygodd y dylif ar fyd o annuw-
6. iolion; ac *os* collfarnodd â dymchweliad ddinasoedd Sodom a
Gomora, trwy eu troi yn lludw, gan eu gosod yn gynlluniad i'r
7. rhai a fyddent yn annuwiol; ac *os* gwaredodd Lot gyfiawn, a flinid
8. gan ymddygiad yr afreolus*** yn eu hanlladrwydd (canys y cyfiawn
hwnw, yn trigo yn eu mysg, wrth weled a chlywed, a boenai ei

* Cawn yma yr un drefn ag yn adn. 10; "gallu" yn gyntaf, ac yna "dyfodiad," yr hyn oedd flaenorol.

† Arwydda y gair y rhai a graff-edrychant ar unrhyw beth.

‡ Mai hyn yw'r iawn gyfieithiad sydd amlwg oddiwrth yr hyn a ganlyn: cyffelybir y gair prophwydol i oleu mewn lle tywyll, yr hwn oeddent i syllu arno hyd oni chodai y wawrddydd: a gwnai hyn ef yn fwy goleu, ac felly yn fwy cadarn.

|| Y wawr a'r seren-ddydd oeddent yr efengyl. Yr oedd felly o ran y gair prophwydol, gan fod yn fwy goleu, ac hefyd o ran y byd a ddaw, yr hwn a fydd yn gyflawn ddydd.

§ Gwel Attodiad BB.

¶ Yr oedd gynt brophwydi gau, yn gystal â rhai gwir; felly hefyd y bydd gauathrawon tan yr efengyl.

** Yn llythyrenol, "pleidiau dinystr;" ond mabwysiadent dybiau gau.

†† Gwadent awdurdod llywodraethol, ac nid rhad ein Prynwr: am hyny arfera'r Apostol air a ddynoda lywodraeth benadurol. Addefent Grist yn Iachawdwr, ond nid yn Frenin i'w llywodraethu. Crefyddwyr penrhydd oeddynt.

‡‡ Yn llythyrenol, eu hanlladeddau, sef pob math o anlladrwydd. Dyma'r darlleniad mwyaf unol â'r hyn a ganlyn. Gwel adn. 14.

|||| Trwy fod yn llawn o frydedd, ac mewn geiriau yn amlygu cariad tuag atynt, a gofal am eu lles, pan mai elw iddynt eu hunain oedd yr unig amcan.

§§ Sef, a gyhoeddwyd er ys talm: rhagfynegwyd eu barn.—Gwel Judas, adn. 4.

¶¶ Sef yr wythfed a achubasid rhag y dylif.

*** Nid ymostyngent i un ddeddf neu ddefod foesol neu wladol.

enaid cyfiawn o ddydd i ddydd o herwydd eu gweithredoedd cam-
9. weddus;*)—*yna* gŵyr yr Arglwydd pa fodd i waredu y duwiol o
10. brofedigaeth, ac i gadw yr anghyfiawn i ddydd y farn i'w cosbi, ac
yn enwedig y rhai a ânt ar ol y cnawd yn eu chwant at aflendid, ac
a ddiystyrant lywodraeth.
11. Rhyfygus, hunanol, ni arswydant gablu† urddasau, pan ni wna
angelion, ydynt fwy mewn nerth a gallu, ddwyn barn gableddus yn
12. eu herbyn ger bron yr Arglwydd: ond y rhai'n, megys milod
direswm, anianol, a wnaed i'w dal a'u dyfetha, yn cablu y pethau
13. ni wyddant am danynt, a ddyfethir gan eu llygredd eu hunain, trwy
dderbyn cyflog eu hanghyfiawnder.‡ Gan y cyfrifant foethau ar
hyd y dydd yn hyfrydwch, mannau a brychau *ydynt*;‖ yn ym-
14. ddigryfu yn eu hudoliadau pan yn cydwledda â chwi; yn meddu
llygaid yn llawn o odineb, ac heb orphwys oddiwrth bechod; yn
llithio eneidiau anwadal, a chanddynt galon wedi ymgynnefino â
15. chybydd-dra; plant y felldith! Gwedi ymadael â'r ffordd uniawn,
crwydrasant,§ gan ddilyn ffordd Balaam, mab Bosor, yr hwn
16. a garodd gyflog anghyfiawnder, ond a gafodd gerydd am ei
gamwedd; anifail mud, gan lefaru â llais dynol, a waharddodd¶
ynfydrwydd y Prophwyd.
17. Y rhai'n ydynt yn ffynnonau diddwfr, yn gymylau a yrir gan
dymhestl,** y rhai y cedwir iddynt gaddug y tywyllwch dros byth.
18. Canys gan lefaru geiriau chwyddedig gorwagedd,†† llithrant trwy
chwantau'r cnawd i drythyllwch y rhai a ffoisent yn gyfangwbl
19. oddiwrth y cyfryw ag ydynt yn byw mewn cyfeiliorn; gan addaw
iddynt ryddid, a hwy eu hunain yn weision llygredd! Canys yr
hwn y gorchfygwyd neb ganddo, hwnw yr aeth hefyd yn gaethwas
20. iddo. Oblegid os wedi iddynt ffoi oddiwrth halogiadau'r byd trwy
wybodaeth yr Arglwydd a'r Iachawdwr Iesu Grist,‡‡ y gorchfygwyd
hwynt trwy ymddyrysu drachefn ynddynt, y diwedd sydd iddynt yn
21. waeth na'r dechreu.‖‖ Canys gwell a fuasai iddynt fod heb adna-
bod ffordd cyfiawnder, nag wedi ei hadnabod, i droi oddiwrth y
22. gorchymyn sanctaidd a draddodwyd iddynt. Ond dygwyddodd
iddynt yn ol y wir ddiareb, "Dychwelodd y ci at ei chwydiad ei
hun; a'r hwch a olchwyd, i'r ymdreiglfa yn y llaid."

## PEN. III.

1. Yr ail Epistol, anwyliaid, yw hwn a ysgrifenaf yn awr atoch; y

* Anghyfiawn, croes i bob peth cyfreithlawn.

† Neu enllibio, trwy ymadrodd sarhâus a gwawdlyd, gan ddrwgliwio a melldithio: felly y cablent urddasau, sef llywodraethwyr gwladol, megys ynadon, a weinyddent y cyfreithiau.

‡ Yr ystyr yw, y byddai iddynt gael eu cosbi gan yr urddasau gwladol.

‖ Tebyg oeddynt i fannau anafus ar gorff dyn, neu i fannau brwnt ar ddillad gwychion.

§ Nid oes dim ond crwydro pan adewir yr uniawn ffordd. Num. xxii—xxiv.

¶ Neu, a attaliodd: rhoddodd attalfa ar wallgofrwydd y prophwyd.

** Heb ddwyn dim gwlaw.

†† Neu, chwyddeiriau geuedd; sef, geiriau rhwysgfawr, heb ddim ynddynt ond gwegi, neu heb ddim ond geuedd, hollol anwir. Ymffrostio yn chwyddedig a wna gauathrawon ymhob oes, gan weini i ryw reddf neu nwyd lygredig dyn,—balchder, hunan, neu chwant y cnawd—tri gelyn gwir grefydd.

‡‡ Sef, trwy yr efengyl.

‖‖ O herwydd pechent yn awr yn wybodus, o'r blaen mewn anwybodaeth.

2. rhai* y deffroaf ynddynt eich meddwl didwyll† trwy eich hadgoff-
hâu, fel y cofioch y geiriau a ragdraethwyd gan y prophwydi sanct-
aidd, a'n gorchymyn ni, apostolion yr Arglwydd a'r Iachawdwr;
3. gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr,
4. yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain, ac yn dywedyd, "P'le y
mae yr addewid o'i ddyfodiad? canys er pan hunodd y tadau,‡ felly
erys pob peth o ddechreu y greadigaeth."
5. Ond hyn y maent o wirfodd yn anwybodus o hono, mai trwy air
Duw yr oedd y nefoedd gynt, ac y cydsafai y ddaear o'r dwfr ac yn
6. y dwfr, y rhai|| y dyfethwyd trwyddynt y byd oedd y pryd hwnw,
7. gan gael ei orchuddio gan ddwfr; ac y trysorir y nefoedd a'r ddaear
ydynt yn awr, gan yr un gair, gan gael eu cadw i dân, erbyn dydd
y farn a dystryw dynion annuwiol.
8. A hyn, anwyliaid, na fyddwch yn anwybodus o hono, fod un
dydd ger bron yr Arglwydd megys mil o flynyddau, a mil o flyn-
9. yddau megys un dydd. Nid oeda yr Arglwydd ei addewid,§ fel y
cyfrif rhai oedi;¶ ond hir ymarhôus yw tuag atom, heb ewyllysio
10. bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. Ond daw
dydd yr Arglwydd fel lleidr yn y nos; yr hwn yr ä heibio ynddo y
nefoedd gyda thwrf, a thodda'r elfenau gan boethder, a llosgir y
11. ddaear a'r gweithiau ydynt ynddi. Yna gan yr ymollwng y pethau
hyn oll, pa fath rai y dylech chwi oll fod mewn pob ymarweddiad
12. sanctaidd a phob duwioldeb,** gan ddysgwyl a thaer ddymuned††
dyfodiad dydd Duw; yr hwn yr ymollwng ynddo y nefoedd, gwedi
13. eu rhoi ar dân, ac y todda'r elfenau gan boethder. Ond nefoedd
newydd a daear newydd,‡‡ yn ol ei addewid, a ddysgwyliwn, y rhai
y cartrefa ynddynt gyfiawnder.
14. Am hyny, anwyliaid, gan y dysgwylwch y pethau hyn, ymdrech-
wch eich cael ganddo mewn heddwch, yn ddifannau ac yn ddifrychau
15. a chyfrifwch hiramynedd ein Harglwydd yn iachawdwriaeth: megys
ag yr ysgrifenodd atoch hefyd ein hanwyl frawd Paul, yn ol y
16. ddoethineb a roddwyd iddo, fel yn ei holl epistolau hefyd, gan lef-
aru ynddynt am y pethau hyn:|||| y rhai y mae rhyw bethau
ynddynt§§ yn anhawdd eu deall; y rhai a wyrdröa yr annysgedig
a'r ansefydlog, fel yr ysgrythyrau eraill hefyd, er dinystr iddynt eu
hunain.
17. Chwi gan hyny, anwyliaid, gan y rhagwyddoch *y pethau hyn*,

* Sef, y cyntaf a'r ail: ni énwa y cyntaf, ond dynoda ef "yr ail."

† Neu, diragrith, onest.

‡ Hyny yw, heb gyfodi drachefn: un tô ar ol y llall yn ymadael heb ddychwelyd; felly o ddechreu'r byd.

|| Y ddau ddwfr—dwfr yr wybren a dwfr y dyfnder. Gen. vii. 11.

§ Sef, ei chyflawniad.

¶ Neu, "ohiria," &c., ac, "ohiriad." Arafu, fe allai, yw ystyr briodol y gair.

** Yn llythyrenol, ymarweddiadau sanctaidd a duwioldebau, yn y rhif lïosog; yr hyn a ddynodo ymarweddiad sanctaidd ymhob peth, a duwioldeb yn ei holl ranau.

†† Brysio yw ystyr wreiddiol y gair, ond brysio mewn ewyllys, yw taer ddymuned.

‡‡ Yr un yw'r rhai'n a'r "ddinas" a'r "wlad well" y dywed Paul am danynt, Heb. xi. 10, 16. Ni ddywed mai y nefoedd a'r ddaear bresennol a fyddant, fel y camgasgla rhai.

|||| Sef, diwedd y byd a'r ddinas a'r wlad well, neu y nefoedd newydd a'r ddaear newydd.

§§ Ei Epistolau, yn ol y darlleniad a gymeradwyir gan lawer: ond os "y pethau" a olygir, nid oes nemawr o wahaniaeth.

gwyliwch fel na syrthioch o'ch sefyllfan* eich hun, trwy gael eich
18. harwain ymaith gan amryfusedd yr afreolus: ond cynnyddwch yn
rhad a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.†
Iddo y bo'r gogoniant yn awr ac yn dragywydd. Amen.

## ATTODIAD.

### N. Tu dal. 153.

1 Pedr i. 3. Nid yw "adgenedlu" yma yn dynodi adenedigaeth, sef y gwaith adnewyddol ar yr enaid, pan blaner ynddo anian ysbrydol; ond y cyfnewid a gymerodd le, mewn perthynas i obaith am fywyd tragywyddol, trwy adgyfodiad ein Harglwydd. Pan roddwyd Crist i farwolaeth edwinodd y gobaith hwn, ond pan adgyfododd, adfywiodd, a daeth yn obaith bywiol, effeithiol, sylweddol. A'r cyfnewidiad hwn a elwir yn adgenedliad, a phriodolir ef i'r adgyfodiad, ac nid i weithrediad yr Ysbryd. Hynod fel y camolygir yr ystyr yma gan ddeonglwyr yn gyffredin. Y cyffelyb ystyr sydd i'r gair *cenedlu*, pan ddywedir, "Myfi heddyw a'th genedlais." Heb. i. 5.

### O. tu dal. 154.

i. 13. "Gan wregysu," &c. Cyfeiriad sydd at arfer yn y dwyrain o wisgo dillad llaes, yn cyrhaedd hyd y llawr; a phan fyddent yn egnïol yn ymafael mewn unrhyw waith, neu yn brysio ar daith, crynhöent eu dillad, a chlyment hwynt â gwregys o gylch eu llwynau, modd na rwystrer hwynt gan eu dillad; a byddai y gwregys yn nerth iddynt hefyd. Llwyr ymdrech meddwl a feddylir; a thuag at hyn yr oeddent i fod yn gymedrol, gan fod meddwdod a glythineb yn gwanhâu y meddwl, fel nad allo ymdrechu yn egnïol. Gwel Luc xi. 34, ac Eph. vi. 14.

### P. tu dal. 155.

ii. 8. "Faen tramgwydd," &c. Tramgwydda un pan y tarawo ei droed wrth rywbeth ar y ffordd ac y llithro heb gyflawn syrthio. Rhwystrir un pan y byddo rhywbeth ar y ffordd yn ei attal i fyned yn y blaen.

Gosodir yma 'y ddwy blaid, credinwyr ac anghredinwyr, yn ol y drefn arferedig: credinwyr yn gyntaf yn adn. 7fed a dechreu yr 8fed; ac yna anghredinwyr neu anufuddion ar ddiwedd yr 8fed ac yn y 9fed.

### R. tu dal. 155.

ii. 9. "Foliannau:" arfer y Deg a Thriugain yn aml y gair a gawn yma yn yr ystyr hwn, gwel Es. xlii. 8, 12; a chydwedda yn well â'r lle hwn na "rhinweddau." Felly y Saesoneg—*praises*.

* Y cyflwr yr oeddent wedi cael eu sefydlu ynddo.

† "Rhad" a gynnwys yr holl fendithion a ddeilliant oddiwrth Grist; a dyma y peth penaf: a thuag at gael ei rad, rhaid cael y wybodaeth a rydd i ni yn ei air. Rhad yw y cyfoeth, a gwybodaeth yw y modd i'w gael.

S. TU DAL. 155.

ii. 24. "Yr hwn trwy ei gleisiau," &c. Dyma eiriadaeth llwyr Gymraeg, yn gywir unol â'r Hebraeg. Gwel Gen. i. 12, 29. Canlynir hyn ambell waith yn ein cyfieithiad, ond nid mor fynych ag y dylasid. Nid yw yn unol â nodwedd y Gymraeg i roddi *trwy*, *yn*, *am*, neu ymron unrhyw ragair, o flaen "hwn," neu "rhai," ond o flaen y rhagenw a arddodir. Nid oes braidd unpeth a esgeulusir yn fwy na hyn, a hyny trwy ddilyn geirwedd y Saesoneg.

T. TU DAL. 157.

iii. 19. Bu llawer o ysgrifenu ynghylch yr adnod hon; ond yr ystyr a gymeradwyir yn gyffredin yw'r un a ddynodir yma. Cyfrifir fod *yn awr* yn ofynedig gan *gynt* yn yr adnod a ganlyn. Dyma olygiad Beza, Doddridge, Macknight, a Scott.

U. TU DAL. 157.

iv. 1. *Bwriad*, sef o ddyoddef. Dyoddefodd Crist hyd angeu, cafodd ei *farwolaethu*, neu, ei roi i farwolaeth; ond er cysur i ddyoddefwyr, dywed yr Apostol iddo gael ei fywhâu gan yr Ysbryd. Felly y dywed yn adn. 6, y caiff y rhai a gollfernir gan ddynion yn y byd.

W. TU DAL. 158.

iv. 6. Y dyben o bregethu'r efengyl i'r rhai a fuont farw tan erlidigaeth, sydd yn ymddangos yn hynod. Ond cofier yr hyn a ddywed yr Apostol yn pen. ii. 21, "I hyn y galwyd chwi," sef i ddyoddef. Fel hyn y dygwyddai iddynt yr hyn a ddygwyddodd i'w Harglwydd. *Adfywio*, neu fywhâu, sydd yn ol ystyr yr Hebraeg.

Y. TU DAL. 159.

v. 10. Nis gellir yn amgen gysylltu y geiriau, *wedi dyoddef*, &c.; gan fod *perffeithio*, &c., i gymeryd lle yn y byd, tra byddent ar y ddaear. Ond trefn y geiriau a fu yn anhawsdra i lawer. Y mae eto yn unol â'r hyn a ganfyddir yn aml yn yr Ysgrythyr,—y peth mwyaf yn gyntaf, ac yna'r pethau a arweiniant iddo. Yr ystyr yw, "perffeithied chwi;" a thuag at hyn, "cadarnhäed chwi;" a thuag at fod yn gadarn, "cryfhäed chwi;" a thuag at fod yn gryf, "sefydled chwi," neu seilied chwi, sef, gosoded chwi ar sail safadwy, fel yr arwydda'r gair.

AA. TU DAL. 159.

2 Pedr i. 1. Arwydda "cyfiawnder" yn aml ffyddlondeb Duw yn cyflawni yr hyn a addawodd. Cawsant ffydd trwy gyflawniad o'r addewidion a roddasai Duw yn yr Hen Destament, a thrwy ffyddlondeb Crist yn dyfod yn ol yr addewidion am dano. Gan y dywedir am Dduw ac am Iesu yn wahanol yn yr adnod nesaf, mwy cymhwys i'w hystyried felly yma. Nid oes sail ddigonol i'r hyn a ddywedir gan rai ynghylch y bannod *(article)*. Cysondeb y lle yw y rheol oreu.

BB. TU DAL. 161.

i. 20. "O ddeongliad neb ei hun," neu, o hunaneglurhâd. CALVIN, o hunanawgrymiad *(of private suggestion)*; DODDRIDGE, o hunanymmodiad *(of private impulse)*; MACKNIGHT, o hunanddychymygiad *(of private invention)*. Yr ystyr yn ddiau a roddir gan yr awdwyr hyn, gan eu cadarnheir gan yr hyn a ganlyn, "oblegid ni ddaeth," &c.

---

# ARWRGERDD HIRAETHOG.

[EMMANUEL: *neu Ganolbwnc Gweithredoedd a Llywodraeth Duw. Gan* GWILYM HIRAETHOG. Cyfrol I.]

Y MAE y saer maen yn dra gofalus wrth osod ynghyd y meini sydd yn ffurfio y bwa yn y mur, yn wyneb y palas, ar yr hwn y byddo yr holl adeilad yn pwyso. Y mae yn edrych am fod pob careg yn gyfan—heb yr un graith, na bwlch, na hollt, ac am eu bod yn gorwedd yn deg yn eu lle, ac yn enwedig y maen-clo, yr hwn sydd yn cysylltu y cyfan, ac yn eu hasio yn un darn teg. Y mae hwnw yn uwch na'r lleill, ac yn taflu ychydig allan, ac wedi ei gerfio yn fwy addurnol na'r lleill oll, ac felly yn tynu mwy o sylw; a'r rheswm da a rydd y gweithiwr am y rhagofal a'r pryder hwn ydyw, am mai ar y dernyn yma y mae diogelwch yr adeilad yn dibynu ac y mae ei gymeriad yntau fel crefftwr i sefyll am byth ger bron y byd. Y mae Gwilym Hiraethog wedi cwblhâu bwa ei balas barddonol. Bu yn ofalus yn ei ffurfiad drwyddo. Edrychasom arno yn gosod y gareg gyntaf yn ei lle. Buom yn haeru weithiau fod gormod o ôl y morthwyl a'r cŷn ar rai, a bod ychydig o olion gwaith y drywel i'w canfod o amgylch y lleill; ond yr oedd yn rhagori bob tro fel yr elai ymlaen. Ar un ochr, gosododd ei "Gantre'r Gwaelod," a'i "Frwydr Trafalgar," a'i "Awdl Heddwch;" ac ar yr ochr arall, gosododd ei "Bryddest Cystuddiau Job," ei "Bennillion yr Argyhoeddedig," a'i "Farwnad Williams o'r Wern." Ond yr oedd y cyfwng yn aros heb ei law hyd yn awr; ac o'r diwedd, dyma efe wedi gosod y maen-clo rhyngddynt, sef "EMMANUEL," yr hwn ydyw y gorpheniad i'r cyfan. Dyma y prif faen, a'r darn mwyaf hywel yn y gwaith. Ar hwn y disgyna tremiad yr edrychwr gyntaf, er mai efe a ddaeth ddiweddaf i'r mur. Edrychir yn graff arno o bob cyfeiriad. Chwilir ef, ôl a blaen, gyda llygaid treiddgar, os nid gyda chwyddwydrau. Y mae tynghed yr adeiladaeth rywfodd yn crogi ar deilyngdod hwn; ac wedi dwyn allan y maen penaf, bydd cryn ddysgwyliad gan y llênorion a glywir y cyhoedd yn gwaeddi, "Rhad, rhad iddo!"

Y mae yn haws gofyn, Pa beth yw Barddoniaeth Arwrol nag ateb y cwestiwn. Dywed yr awdwr, yn ei ragymadrodd, "Os gofynir i mi i ba

ddosbarth o farddoniaeth y perthyna y gerdd hon, rhaid i mi ateb nas gwn i ddim yn wir. Nis gellir yn briodol ei galw yn Arwrgerdd, os profir hi wrth y ddeddf Roegaidd, yn ol cynllun Homer yn yr *Iliad*. Gesyd y ddeddf hono fel un nôd anghen Arwrgan, bod y brif *act* a osodir allan ynddi wedi dygwydd o fewn cylch penodol o amser, a'r amser hwnw heb fod ddim yn hŵy na blwyddyn i'r eithaf. Yr wyf fi yn methu gweled pa fodd, yn ol y ddeddf hon, y gellir galw *Odyssey* Homer ei hun yn Arwrgerdd, yr hon, dybygaf, sydd yn wahanol i'r *Iliad* yn hyn o beth. Ac ymhellach, yr wyf yn meiddio ammheu cyfreithlondeb yr awdurdod a fyn gaethiwo yr Arwrgerdd yn y modd hwn." Yr ydym ninnau yn ddigon penderfynol i roddi ein hadsain i'r dadganiad hwn, ac yn cymeryd ein rhyddid i wneyd rhai nodiadau ychwanegol. Defnyddiwyd yr ymadrodd gan y Groegiaid i ddynodi rhai caniadau neillduol a briodolid yn benaf i Homer; ac arferir ef genym ninnau yn aml wrth gyfeirio at "*Æneid*" Virgil, "*Jerusalem*" Tasso, ac hyd yn nôd at gyfansoddiadau tra gwahanol i'r rhai hyny, megys yr eiddo Dante a Milton, ac eraill. Mewn arferiad cyffredin, y mae yn cael ei ddefnyddio wrth gyfeirio at ganiadau hanesyddol helaeth a meithion o wahanol deithi; ac os ammheuir nad ydyw y "*Lady of the Lake*" yn perthyn i'r dosbarth hwn, ni bydd yr un rheswm yn cael ei roddi am hyny ond bod y cyfansoddiad yn rhy fyr. Yr ydym ni yn lled ammheu a oes rheol warantedig i ddangos beth ydyw yr Epos, gan fod cynifer o wahanol syniadau yn cael eu dadgan gan wahanol feirniaid galluog. Pa fodd bynag, ar bwnc mor agored, y mae yn rhydd i bawb ei farn, a myn pob un ei ryddid i draethu ei lên. Nid oes neb yn ammheu fod cynneddfau penodol yn perthyn i'r bryddest arwrol, y rhai y mae y cyfryw ag sydd yn gynnefin â darllen barddoniaeth yn dysgwyl eu cael mewn cyfansoddiadau tebyg i'r un sydd ger ein bron yn awr. Yr oeddym ni, er ys blynyddau bellach, wedi ei ffurfio yn gredo i ni ein hunain, mai *cân hanesiol, seiliedig ar ffeithiau mawrion gwirioneddol, ydyw yr arwrol.*

Dysgwylir i'r Arwrgerdd fod yn seiliedig ar wirionedd, ond caniateir i fanylion yr amgylchiadau gael eu gwisgo â syniadau tybiol, tra na byddont yn anghyson â gwirionedd, nac yn milwrio mewn un modd yn erbyn amcan y gân. Nid all y darllenydd neu y gwrandäwr deimlo nemawr o ddyddordeb yn y cyfansoddiad, ond tra y credo fod yr hyn a draddodir, o leiaf, yn seiliedig ar yr hyn a gredir yn ddiammheuol gan bawb. Y mae yn debyg mai hyn ydyw yr achos paham y mae gweithiau Dante a Milton mor ddiflas gan yr ammheuwyr hyny, y rhai ni dderbyniant y syniadau am uffern, paradwys, cwymp dyn, ac arfaeth yr Iôr, fel gwirionedd. Ac o'r ochr arall, beth yw yr achos o'r diflaswydd a deimlwn ninnau wrth ddarllen y darnau hyny o waith Tasso ac eraill, er maint eu rhagoroldeb cyfansoddiadol, ag sydd yn cynnwys yr haeriadau sydd ynddynt dros swynion a rhiniau, ond ein hanghrediniaeth o'r cyfryw ddychymygion? Ni theimlir unrhyw ddyddordeb mewn ffugiant na rhamant, yn ddim pellach nag y credir fod y darluniadau ffugyrol a swynol wedi codi oddiar hanesion sylweddol. Y mae hyn yn cael ei brofi, feddyliem, oddiwrth deimlad plentyn. Adrodder chwedl darawiadol i blant, ac y maent yn teimlo i'r byw wrth ei gwrando; ond càn gynted ag yr hysbysir hwy nad oedd y cyfan ond ffug, a thwyll, a chelwydd, y maent yn colli yr holl bwysigrwydd a deimlent o'r blaen ar

unwaith yn llwyr. Yr ydym o'r farn, gan hyny, nad oes yr un cynnyrchiad barddonol yn deilwng o'r enw Arwrgerdd, na fyddo yn seiliedig ar wirionedd. Y mae y cylch o ryddid i dynu allan y darluniad dychymygol o'r golygfeydd amgylchiadol, er mwyn amrywiaeth a dyddordeb, ac i arbed undonedd difywyd, yn dibynu ar ddoethineb a medr y cyfansoddwr. Y mae awdwr "Emmanuel," yn ei nodiadau arweiniol, yn crybwyll ymhellach y "dichon yr achwyna rhai fod y gân hon yn amgylchog, a bod llawer o bethau yn cael ei dwyn i mewn iddi a ymddangosant yn anmherthynasol i'w thestun." Yr oedd hyn yn burion fel eglurhâd, ond nid oedd ei eisieu fel diheurad, oblegid fod hyny yn hanfodol i natur y gwaith. Dyma un o'r prif orchestion. Nid ydym wrth ddywedyd hyn yn awgrymu nad oes terfynau priodol i ymgadw o'u mewn. Mewn cân hanesiol, sylfaenedig ar wirionedd, yr ydym yn cael sylwedd, llawnder, amrywiaeth, a bywyd, tra nad ydym yn cael mewn "hud a lledrith" ond gwagder masweddol nad all byth ymledu o flaen y meddwl fel darlunlen briodol i ddangos yr arwr yn ei holl agweddau a'i ragoriaethau naturiol.

Y mae ffeithiau pellenig a henafol, yn ol ein bryd ni, yn fwy priodol i Gân Arwrol na'r rhai diweddar, pa un bynag ai "heb fod yn ddim hŵy na blwyddyn i'r eithaf," ynte *deng* mlynedd yn ol, y byddo yr amgylchiadau a ddarlunir wedi cymeryd lle. Y mae yn rhaid i'r ffeithiau fod yn gyfryw ag na byddont yn agored i feirniadaeth fanwl yn y manylion amgylchiadol a osoder ger bron. Y mae y bardd yn llunio gwisgiad hanesiol mor briodol ag y gallo at amcan ei gân, ac nid yw yn dewis i'w gyfansoddiad gael ei wysio i lŷs cywirdeb hanesyddol. Dyma y brif linell derfyn sydd yn sefyll rhwng barddoniaeth a rhyddiaeth. Ni ddysgwylir fod cywirdeb hanesiol llythyrenol yn cael ymgadw ato mewn barddoniaeth. Os ymofynir am y ffaith noeth, fanwl, ddiaddurn, rhaid myned i dir rhyddiaeth i chwilio am dani. Dywed y Dr. Vaughan, yn ei "*Revolutions of Race*," gyda golwg ar hanesion yr hen Gymry, "*Many parts ef these productions consist of worthless traditions; but there is a vein of truth in them, that may be separated to the purposes of history*; felly y dywedwn ninnau mewn rhan am yr Arwrgerdd,—rhaid bod *vein of truth*, o leiaf, yn rhoddi hanfod bywyd i'r holl gân. Y peth sydd briodol i farddoniaeth, nid yw bob amser yn briodol i ryddiaeth; a'r peth sydd briodol i ryddiaeth, nid yw bob amser yn briodol i farddoniaeth. Y mae y nodiadau uchod yn cael eu dadgan, er profi mai ffeithiau mawrion henafiaethol—heb fod yn ddiweddar, nac o fewn côf y byw—ydynt y testunau mwyaf cyfaddas i'r dosbarth hwn o awenyddiaeth, oblegid nad ydynt mor agored i lymder beirniadaeth ac adolygiad. Nid yw teimlad y cyhoedd mor ddarostyngedig i gael ei archolli ynddynt. Y mae Gladstone, yn ei "*Studies of Homer, and on the Homeric age*," yn gystal a Grote, a Thirlwall, a Mure, wedi gwneyd llawer o nodiadau ar gymeriad personau, ac ar weithrediadau dynion penodol, mewn cysylltiad â thestun cân Homer; ond y maent oll yn ddigon pell o olwg, yn nghysgodion niwl y cynfyd, fel nad yw eu holl drafodaeth arnynt yn lleihâu dim ar ddyddordeb yr hanes, yr hyn a fuasai yn dra gwahanol pe gwnaethid y fath ddynoethiad ar gymeriadau oeddynt yn adnabyddus i'r oes. Gwnaeth Phrynichus chwaronawd *(drama)* o gymeriad Miletus, gan y Persiaid; ac er fod y beirniaid yn Athen wedi penderfynu rhoddi y wobr iddo am

ei orchestwaith, eto mynasant ei ddirwyo am y sarhâd a roddasai ar deimladau y bobl, yn ei dduchan arnynt, yr un pryd. Y mae hyn yn profi y dylai testun Arwrgerdd fod yn ddidramgwydd i deimladau y cyhoedd.

Wedi dywedyd cymaint â hyn mewn nodiadau cyffredinol, dymunem fynegi, er ein bod wedi bod yn lled amgylchog, ar ryw gyfrif, eto nad oeddym heb gadw ein golwg ar "EMMANUEL" ar hyd y ffordd. Dyna ein safon ni am Arwrgerdd wedi ei ddodi ger bron, wrth yr hon yr ydym yn anturio rhoddi y cyfenw i'r gwaith dan sylw yn awr. Cawn weithian ddyfod i wneyd rhai sylwadau yn fwy uniongyrchol ar y gwaith. Wrth gyfeirio at gynnwysiad y gân, nid allwn wneyd hyny yn well nag yn ngeiriau yr awdwr ei hun. Y mae yn ffurfio dau ddosbarth. Yn y cyntaf yr ydym yn cael *Caniad* I. Y Duwdod:—Hollddduwiaeth, Amlddwiaeth. *Caniad* II. Y Frwydr Fawr:—Annuwiaeth. Ac yn yr ail ddosbarth y mae *Caniad* III. Y Crëad:—Cyntefigaeth y Ddaear, &c. *Caniad* IV. Y Cyfnodau. *Caniad* V. Y Carcharorion. *Caniad* VI. Cyfrinach y Goedwig. *Caniad* VII. Yr Ardd. *Caniad* VIII. Y Prawf. *Caniad* IX. Breuddwyd Efa. *Caniad* X. Cain ac Abel.

Am uchder ac addurnedd y testun, ni raid i ni ond mynegu mewn gair mai "*y* testun ydyw—testun y testunau ydyw!" Nid ydym yn gweled yn briodol i amcan y nodiadau hyn i ni fanylu ar holl gysylltiadau cynllun y gwaith hwn drwyddo, oblegid y byddai hyny yn sicr o'n harwain i feithder annymunol. Pa fodd bynag ni a gyfeiriwn at brif elfenau y gwaith. Y mae Goleugan (enw cyntefig Satan) a'r angelion drwg —Ariel a'r angelion da—Dewi y Duwinydd—y Ddrychiolaeth neu yr Ymwelydd—Merch y Graig, &c., ymysg y personau mwyaf amlwg ar yr esgynlawr. Y mae Cyfnodau y chwe' dydd yn nghrëadigaeth, neu yn hytrach yn adffurfiad y ddaear—Cwymp ac Adferiad Dyn, &c., yn cymeryd lle golygus yn nhrefniant y gwaith, ag y dylem ddyfod heibio iddynt yn ein dyfyniadau, gan ymdrechu rhoddi cyfleusdra i'r darllenydd edrych ar ysbryd, cynllun, a chymeriad y gân, yn gystal ag i arddangos y gwahanol olygfeydd, darluniadau, ysgogiadau, teimladau, a nwydau, a phob agweddiad amlwg arall, sydd yn y gwaith, ac heb anghofio yr ieithwedd, y gwreiddioldeb, yr ysbryd barddonol, y nôd athrawiaethol, a'r duedd ymarferol sydd yn rhedeg drwy y cyfan.

Dichon y dylem ddechreu ein dyfyniadau gydag agoriad y gân:—

"EMMANUEL Duw yn y cnawd yn ddyn,
Y meddwl mwyaf o feddyliau Duw
Ei hun; digrifwch ei fyfyrdod oedd
Er tragwyddoldeb; yn ngogoniant hwn,
A'r gwaith gyflawnodd ynddo a thrwyddo ef,
Yr ymhyfryda 'i enaid wrth ei fodd
I dragwyddoldeb. Hwn yw testun, O,
Fy enaid deffro! Awen traetha gân;
Gwregysa 'n dŷn dy lwynau, gwisg dy nerth;
Ymdrwsia 'n hoewder dyddiau 'th ieuenctyd, a
Chysegra dy alluoedd, galw 'th holl
Egnïon allan. * *
DRAGWYDDOL YSBRYD! Ti wyt ffynnon pob
Gwybodaeth a doethineb, dawn a nerth;
Goleuni, bywyd, a dedwyddwch nef
A daear ydwyt ti; o honot tardd
Afonydd o fendithion, hedd a gras.

A redant trwy holl froydd y Wynfa fry,
Yn ffrydiau llydain, dyfnion, gloewon, pur,
I'w dyfrhâu; ac ar eu glânau tyf
Anfarwol goed, a'u holl gangenau teg
A wisgir â thragwyddol wyrddion ddail
A blodau na edwinant; rhwng y rhai
Chwareua llygaid engyl, tra y maent
Yn sugno gwynfyd o'u hargoelion pêr.
Ysgydwad dy adenydd dwyfol di,
Yr Hwn, o nef, ar ffurf colomen wèn
Ddisgynaist ar Waredwr mawr y byd,
Sydd yn cynnyrchu yr awelon byw
A gludant newydd feddylddrychau o hyd,
I borthi awenyddiaeth bur y nef;
O! par im' hysbryd marwaidd, llesg, a llwfr,
Anadlu o'r awelon bywiol, fel
Y cyfranogo awen marwol ddyn
O naws a rhin eu hawenyddiaeth hwy,
Ac gallo'r marwol wneyd anfarwol gân;
Anfarwol gân, ar destun a fydd byw 'n
Brif destun cân, tra byddo awen nef
Ei hunan byw ——"

Y mae yr agoriad uchod yn dwyn llawer o ddelw awenydd yr hen feirdd, eto heb lynu wrth eu ffurfioldeb. Myn amryw yn y dyddiau hyn ymwrthod â'r rhaglith hon yn lân; ond pan y byddo yn anadlu yr ysbryd a deimlwn yma, nid ydym yn cael dim i'n hanfoddio yn y drefn.

Rhaid i ni gyfaddef, wrth gychwyn, i'r awdwr daro ar linyn go dyner yn ein calon, yn ei gyfeiriad at barhâd yr hen iaith yn y llinellau tarawiadol hyn:—

"Os trengu wna ein hiaith cyn trengo 'r haul
Goleuwyn acw, a chyn marw o'r hen
Ddaearen yma, bydded byw fy nghân;
Ymblethed ei llinellau 'n dýnion am
Serchiadau saint Cymreig, a chluder hwy
Yn eu mynwesau, fry i wlad y gân
Dragwyddol, fel y b'ont ar gadw, ar gael
Pan goller amser, pan ddifiano 'r byd."

Y mae y rhanau dilynol yn myned rhagddynt, ac yn darllen yn dda, er eu bod yn cyfranogi o'r llonyddwch sydd yn briodol i amrywiaeth y gwaith; ond pan yr ydym yn dyfod at y darluniad o amcan anffyddwyr Ffrainc i ymlid Cristionogaeth o'r wlad, y mae gwreichion byw yn neidio allan rhwng pob llinell, ac y mae yr ymadroddion mor gyffröus, nes yr ydym yn teimlo megys pe byddai ein gwallt yn codi ar ein pen wrth eu darllen. Y mae un tu dalen o'r fath farddoniaeth yn ddigon o iawn am ddau o rai canolig:—

"* * * * Ond darboder hyn—
Ei rwymo wrth gynffon asyn, fel y bu
Ei Awdwr ar gefn asyn, meddent hwy.
Cyhoedder dydd o gyffredinol ŵyl,
A rhoer yr asyn ddydd yr ŵyl yn llaw
Y dïenyddiwr, i'w arweiniaw trwy
Heolydd cyhoeddusa 'r ddinas fawr.
Cynneuer tanllwyth mawr o dân ar un
O'r petrualau—bwrier iddo 'r llyfr,



A llosger ef yn lludw; ac felly gwnawn
Ddybendod arno 'n nghanol bloedd a sain
Cân a llawenydd. Yna caiff y byd
Oddiwrth y felldith hon ymwared llawn!
Ni raid i ni ond rhoddi 'r siampl hon,
Na bydd holl wledydd a dinasoedd cred
Yn cydgyfodi i wneuthur yr un modd!"

Y mae y cynlluniad am "beth i'w wneyd âg angeu," yn dyfod i mewn yn dra naturiol, ac yn hynod o rymus. Ac fel newidiad i'r olygfa, y teimlad, a'r nwyd, mewn perffaith gyferbyniad â'r blaenorol, y mae y chwedl am y Ddallhuan yn dilyn, gyda'i "Tw Hw!"—"Tw Hw!" yn adsain dros y fro.

Y mae y darluniad o Gân yr Angelion fore crëadigaeth y byd yn taro yn seingar:—

"Angelion Duw, pan welsant waith ei law,
Yn addurniadau y ffurfafen faith,
Edrychent ar y cynta 'n ddystaw syn,
Gan syllu ar y gwaith fel delwau mud;
Eu syndod yn y man a dorai 'n gân
O fawl i enw y Crëawdwr, gan
Gydchwareu ar holl offer cerdd y nef,
Nes y dyhidlai rhwng eu bysedd cain
Beroriaeth eu halawon nefol: trwy
Holl awyrgylchau 'r bydoedd hedai 'r sain,
Ar esgyll tyner yr awelon lleddf;
A sêr y boreu gydganasant oll;
A chyd-ddawnsiasant trwy yr awyr werdd,
Wrth alaw pêr gerddoriaeth meibion Duw."

Y mae y darluniad uchod yn dwyn i'n côf bennill o gyfansoddiad yr awdwr, a glywsom er ys rhai blyneddau yn ol, ag sydd yn ein cymhell i wneyd nodiad ar y mesur a ddewiswyd at y cyfansoddiad hwn. Dichon ar y cyfan mai y mydr diodl oedd y mwyaf cymhwys at y gwaith hwn. Yr ydym yn methu peidio cyferbynu yr hen bennill, er hyn oll, â'r ddosran uchod. Y mae rhywbeth mewn mesur, wedi y cwbl, ac y mae rhyw fesurau neillduol yn taro yn well at destunau neillduol na'u gilydd. Dyma y pennill y cyfeiriwn ato:—

"Pan y galwyd yn y bore restr enwau sêr y nen,
Deuent oll dan ganu a dawnsio heibio i'r orseddfa wèn;
Yn ei thro, ymysg y lliaws, ymddangosai 'n daear ni,
Cododd gwrid i wyneb Cariad Dwyfol pan y gwelai hi!"

Yr ydym yn methu yn lân a chanfod fod y paragraph uchod oll yn dyfod i mewn â nerth y pedair llinell sydd yn y pennill uchod. Er hyn, nid ydym yn credu y byddai y fantais gymhariaethol yn debyg i hyn mewn amgylchiadau eraill. Yr ydym wedi bod bob amser o'r farn nad oes dim yn y mydr diodl yn anghydweddol â'r Gymraeg, er nad allwn edrych arno mor fanteisiol i'n hiaith ni ag ydyw i'r Saesoneg. Y mae y terfyniad unsillog didor sydd yn diweddu pob llinell yn raddau o gaethiwed i'r bardd Cymreig. Y mae y Bryddest sydd yn odli mewn lliaws-sill yn rhwyddach i gyfansoddi ynddi na'r mydr diodl yn Gymraeg, oblegid y prinder cymhariaethol sydd yn ein hiaith o eiriau unsill. Y

mae y lliaws yn ddeusill, neu drisill, ond nid oes cyflawnder digonol, mewn cymhariaeth, o eiriau unsill, at law y bardd Cymreig. Dichon mai hyn ydyw yr achos fod cymaint o arwyddion diofalwch i'w canfod yn nghyfansoddiadau ein gwlad, gyda golwg ar y corfanau, y disgyniadau, a'r acenion. Dichon nad yw hyn ond peth lled ddibwys ynddo ei hun, eto wedi y cwbl, gan fod rheol dylid ei chadw, neu ynte syrthio yn ôl i'r rhyddiaeth yn gwbl oll. Nid ydym wedi cael cwbl foddhâd yn hyn o beth hyd yn hyn, ond mewn ychydig iawn o enghreifftiau. Y mae rheolau manwl y mesurau cynghaneddol yn dangos yn ddigon amlwg na buasai yr un o'r rhai hyny ar wahân, na'r cyfan ynghyd ychwaith, yn addas at ddybenion cân fel hon, er cystal y meistrolwyd hwy gan Gwilym Ganoldref yn ei "Salmau," a Dafydd Ionawr yn ei "Drindod." Y mae yn eglur hefyd na buasai mesur cyffredin y Bryddest a'r Emyn, mor fanteisiol, ar y cyfan, er rhagored yr ymddangosant yn nwylaw Ieuan Glan Geirionydd yn ei "Adgyfodiad," a Williams Pant y celyn yn ei "Olwg ar Deyrnas Crist."

Y mae y darluniad am yr olwg gyntaf a gafodd yr ysbrydion ar y ddaear yn ddernyn tra dyddorol:—

"Fel y prysurent heibio ar eu taith,
Daeth seren newydd yn y gorwel pell
I'w golwg:—craffent arni yn ddyfal, ac
Ar archiad eu tywysog, sefyll wnaent;
Pob un a laesai 'i aden yn y fan.
Ef, ar y seren bell, ail sylwai 'n graff—
Adnabu hi. 'Fy ngweision,' eb efe,
'Wel dacw dalaeth fy llywodraeth i;
Mi âf o'ch blaen, prysurwch ar fy ol;
Cawn wel'd yn fuan bellach pa fath yw
Y wlad a welai Duw yn dda ei rhoi
Yn etifeddiaeth ini i'w mwynhâu.'
Fel y nesäent ati, mwy o hyd
Y chwyddai ei gogoniant hi a'i maint;
A phan ddisgynent hwy ar uchaf gŵr
Ei hawyr gylch, ei golwg oedd mor deg,
Nes swyno 'u llygaid ganddo—teimlent ryw
Ddyeithriol ias yn treiddio trwyddynt oll;
A chwäon tyner byw ei hawyr hi
Anadlent iddynt wynfyd a mwynhâd,
O'r fath ag na phrofasent hwy o'r blaen;
Pob anadl dynent o'r awelon hyn
Oedd lawn o beraroglau mwynion, nes
O'r braidd na syrthient i berlewygfeydd,
Gan y mwynhâd a brofent ar y pryd!"

Y mae y darluniad canlynol o uffern yn un o'r darnau mwyaf gewynog, gafaelgar, a nerthol, a ddarllenasom erioed. Nid oedd dim llai na meddwl beiddgar, a darfelydd ëofn, a allasai feddu digon o galonrwydd i anturio cydio yn y fath syniadau ercwlffaidd, a'r fath ymadroddion treiddgar:—

"Ar hyny, dadblygasant faner ddu
Gwrthryfel yn awelon awyr Duw;
Ac felly cyd-gwympasant i'r un pwll
O golledigaeth—dan dragwyddol farn
A melldith gyfiawn damnedigaeth dost.

A dyna 'r pryd ennynwyd fflamau tân
Gehena gyntaf—ïe, dyna 'r pryd
Y crëwyd Uffern; a'i chrëawdwr hi
Oedd Satan, ac efe a'i teimlai o'i fewn;
Ac felly hefyd teimlai 'r lleill un modd—
Pob un yn cludo 'i Uffern ynddo 'i hun,
Pob un yn Uffern danllyd drwyddo oll—
Yn Uffern o drueni, ing, a gwae,
Gelyniaeth, a chynddaredd, melldith, gwŷn,
A llid, a malais, a chenfigen cas;
Yn llosgi, 'n ysu, drwyddynt yn ddibaid!
Hunan-gondemniad ac euogrwydd llym
Yn porthi ac yn chwythu 'r tân o hyd—
Y nwydau a'r elfenau erchyll hyn
A gyfansoddent hanfod uffern dân.
Pa fynwes bynag wnelont hwy yn nyth,
Ai 'n nghalon angel, ynte calon dyn,
Mae hanfod Uffern ynddi—Uffern yw;
Ac nid oes uffern lle ni byddant hwy!"

Yr ydym yn canfod bellach na byddai derfyn ar ddyfynu, ac y dyfynem y llyfr i gyd cyn y diwedd, pe yr elem ymlaen fel hyn; a rhaid i ni dori ar y rhestr, canys ni waeth gwneyd hyny yn fuan nag yn hwyr; y mae yn anmhosibl darllen rhan o'r gwaith heb fynu ei weled i gyd. Ac nid un darlleniad a wna y tro i bob dyn o chwaeth, ond ail a thrydydd darlleniad; ac adroddiad aml linell oddiar y côf yn awr ac eilwaith wedi hyny. Rhaid i ni adael yr "Ymosodiad ar yr Haul"—"Yr anghenfil," neu "Y Ffwl," sef y darnau hyny ag sydd yn ymylu ar y digrifol, gyda'r darluniadau hapus o'r golygfëydd hynod ar ansawdd y ddaear a'r awyrgylch yn ystod y gwahanol gyfnodau, lle y mae gwreichion byw barddoniaeth danllyd yn neidio allan, nes trydanu'r galon megys bob yn ail llinell—y golyfëydd swynol ar drefniad a dodrefniad yr holl adeiladaeth—ïe, mewn gwirionedd, a rhai o honynt mor effeithiol, fel y tarewid ni mor rymus wrth eu darllen, fel y gorfyddai arnom sefyll ar ganol y llinell, a chau y llyfr, a gwaeddi allan, megys er ein gwaethaf, "*Well done*, Hiraethog! Dyma rywbeth o werth. Yr ydym yn hollol foddlawn i alw peth fel hyn yn farddoniaeth!"

Y mae yn Nghaniad y pummed ddarluniad o'r dieifl, fel carcharorion, ar ol eu cwymp, yr hwn a gaiff y Duwinydd gan yr Ymwelydd, a ystyriwn yn un o'r desgrifiadau mwyaf nerthol ag yr ydym yn cofio tremio arnynt erioed. Yr oedd yn dwyn i'n cof hanes a glywsom, flynyddau yn ol, am ymddyddan rhwng Mr. Williams o'r Wern â chyfaill, ynghylch rhyw bregethwr ieuanc gobeithiol ag yr oedd y cyfaill hwnw wedi bod yn ei wrando. Gofynai Williams iddo, "A fedr ef grëu mellt, dywed?—os gall ef grëu mellt, gellir dysgwyl rhywbeth oddiwrtho." Pa fodd bynag am hwnw, y mae yn y dernyn canlynol grëadigaeth o fellt a tharanau oddiuchod, a chynhyrfiadau daeargryn o danodd, nes yr ydym fel pe byddem yn dychymygu clywed defnyddiau *volcano* yn ymgasglu dan ein traed:—

"Ymholi 'r oeddit ti ynghylch pa le
Yr ydoedd Satan a'i angelion ef
Yr holl gyfnodau hyny? Beth a wnaent?
Rhwymedig oll mewn cadwyn fawr yn dŷn

Wrth ganol bwnc y ddaear oeddynt, fel
Nas gallent symud dim ymhellach gam,
Nag y goddefai hŷd y gadwyn gref
Oedd yn eu dal. Ymgodent weithiau i'r làn,
Ymsuddent wed'yn i'r dyfnderau 'n ôl—
Dyfnderau, gorddyfnderau dig o dân,
Yn llosgi 'n eirias ffyrnig fyth o'u cylch;
Ond mil ffyrnicach eilwaith oedd y tân
A losgai ac a ysai o hyd o'u mewn.
Ymdröent mewn poenau a dirdynol ing
Wrth chwilio am orphwysfa, a methu 'i chael;
Swn eu hoch'neidiau a gydgymysgai â swn
Och'neidiau 'r ddaear oedd yn nhân ei barn—
Och'neidiau cryfion, trymion o'r fath all
Angelion ocheneidio:—ceisient borth
I ddianc trwyddo i ddihanfod dranc;
Ond och! y cyfryw borth nid oedd i'w gael!
Pob un fel hyn oedd garchar iddo 'i hun,
Ei hunan oedd ei garchar nesa' i mewn.
A charchar ydyw hwn—unwaith yr êl
Crëadur truan iddo, nad oes fodd
Trwy unrhyw ddyfais iddo ymryddhâu!
Pe buasai ddichonadwy iddynt hwy
I dori cryf gadwyni 'r t'wyllwch certh,
A dianc tros ragfuriau 'u carchar poeth,
A myned ymaith i ryw arall barth
O'r grëadigaeth, carcharorion fyth
Fuasent hwy—yn gaethion yn nalfeydd
Collfarnedigaeth eu heuogrwydd, fel
Y llofrudd dynol a lwyddasai i ffoi
O garchar caeth, a chael ei draed yn rhydd—
Aed ef lle 'r elo, caeth garcharor yw!
Mae 'i garchar, ac mae 'i Farnwr, ef o'i fewn,
I'w ddal, a'i rwymo, a'i gondemnio o hyd;
A dyna oedd truenus erchyll stâd
Y collangelion dan eu cyfiawn farn!"

Eto, nis gallwn roddi terfyn ar y dyfyniadau, heb ychwanegu o leiaf arweiniad Abel i'r nef, ynghyd a'r gân waredigol gyntaf a seiniwyd yn Ngwynfa erioed:—

"Ond enaid Abel—merthyr cynta' 'r ffydd,
A ddygwyd gan angelion fry i'r nef;
Cyntafanedig angeu oedd efe,
Cyntafanedig anfarwoldeb pur!
Wrth borth y nefoedd safai gosgordd wèn
O bendefigion uchaf radd y llys,
I'w ddysgwyl a'i groesawu ef i mewn;
A phan y daeth cydwenent arno oll!
Golygfa newydd iddynt hwy oedd hon
Ar brynedigol enaid pur a glân,
Fuasai 'n aflan gynt—golchasid ef
Yn ddifrycheulyd, ac yn berffaith wŷn.
Y newydd olwg hon effeithiai er creu
Teimladau newydd ynddynt yn y fan;
A chanent newydd gân ar newydd dôn,
Mewn newydd ysbryd, ac mewn newydd hwyl,
A hwyl felusach nag brofasant hwy
Erioed o'r blaen, oedd hono. Trwy y porth
I mewn i'r Ddinas Nefol yn y blaen
Arweinient ef yn nghanol dawns a chân,

Gan ei gyflwyno o flaen gorsedd Duw
Fel t'wysen blaenffrwyth y cynauaf mawr
O waredigion y gyfryngol drefn!
Tywynai gwenau hedd y Duwdod Mawr
Trwy 'i enaid dedwydd, nes dysgleiriai 'n hardd,
Yn harddach nag un angel gwŷn ei wedd!
Llygadu arno wnai y nefol lu,
Ac ar eu gilydd hefyd bob yn ail;
Cawodydd o olygon sanctaidd serch,
A chariad ac anwyldeb, yn ddi-baid,
Ddisgynent ar ei wynfydedig ben!
Dechreuai yntau ganu yn y man;
Dystawai pawb i wrando 'r ddyeithr dôn;
A'r dôn bereiddia glywsai 'r Nef erioed
Oedd hono;—tôn pechadur yn mawrhâu
Anfeidrol ddwyfol ras am faddeu bai,
A'i godi i fyny o ddyfnderau 'r pwll
I'r lan, i fywyd a mwynhâd didranc!
Tra seiniai ef y waredigol gân—
Y gyntaf un a genid yn y nef—
Bysedd y telynorion nefol oll
A lonydd safent—aeth yn fud bob tant—
Ac Abel aeth â'r gân ei hun i gyd!
Ei lais oedd ar y cynta' 'n ddystaw fain,
Ond chwyddo wnai yn raddol a chryfhâu
Hyd nes o'r diwedd y cyrhaeddai nôd
Na chyrhaeddasai angel mo'no erioed!
A'r nodyn hwnw pan gyffyrddwyd ef
A roddai fywyd newydd—treiddiai drwy
Awelon yr anfarwol wlad i gyd."

Y mae yn rhaid i ni dori y llinyn arian hwn ar ei ganol, fel y gollyngom y darllenydd i ymofyn am y llyfr ei hun!

Fel cyfansoddiad trwyadl, yr ydym yn edrych ar y gân hon yn gaffaeliad newydd gwerthfawr, ag sydd yn ychwanegiad anmhrisiadwy at drysorau llênyddol y genedl. Nid yw yn ormod genym gyfaddef i ni fod unwaith o'r un teimlad, i raddau mawr, â rhai o ewyllyswyr da yr awdwr, cyn darllen y gwaith, oeddynt yn lled ofni, wrth ystyried holl gangenau ei lafur, y gallasai fod wedi gadael ôlion brys ar rai rhanau o hono ag a fuasai yn rhoddi gwedd anorphenol arno. Ond erbyn hyn, yr ydym yn gallu llefaru yn groew ar y pwnc, ac yr ydym yn anturio dywedyd yn ddibetrus, yn ol ein tyb ni, pe buasai cymaint o amser wedi ei gymeryd i adeiladu y gwaith ag y gallesid dywedyd, fel y dywedai yr Iuddewon am yr hen adail enwog yn Jerusalem gynt, "Chwe' blynedd a deugain y buwyd yn adeiladu y deml hon," na buasai ei meini teg na'i rhoddion yn rhagori dim. Ni buasai yn rhagori dim yn ei gwir werth. Y mae ei dychymygiad yn ddedwydd, a'r cyd-ddilyniad yn rheolaidd; ac y mae ei holl ddosbarthau amrywiaethol yn berffaith ranau o un cyfanwaith gorphenol. Y mae y cynllun yn dda a'r gwaith yn dda. Y mae iddo wreiddioldeb ag sydd yn dwyn llawer o ddelw "Coll Gwynfa" Milton, a "Duwdod" Ragg. Y mae iddo brif elfenau mawrfrydigrwydd aruchel ac arddunol yr awen wir. Y mae y meddylddrychau yn goethedig, a'r amliniau yn dlysion. Y mae ynddo y darluniadau mwyaf aruthrol o'r mawreddog, a'r portreiadau mwyaf dillyn o'r tyner. Y mae ynddo y syniadau athrawiaethol mwyaf gwerthfawr a welsom mewn gweithiau o'r fath, ac y mae tuedd ymarferol y darlleniad yn union y peth y dylai fod.

Y mae o'r braidd yn afreidiol i ni wneyd unrhyw sylw ar drefniant ieithyddol y gwaith. Nid oes genym ond ychydig iawn o eithriadau i'n cymeradwyaeth gyffredinol. Y mae ffurfiad rhai ymadroddion heb fod yn cwbl gyfarfod â'n chwaeth. Fe allai fod ychydig o ddiofalwch wedi ei ddangos weithiau gyda'r aceniadau; ac os bu Dr. Puw yn rhy gaeth gyndyn i gau allan y sillgollau o'i GOLL GWYNFA, fe allai fod Hiraethog wedi bod yn rhy hael o honynt yn ei EMMANUEL. Wrth grybwyll am hyn yn y fan hon, caniatäer i ni fyned allan o'n ffordd am linell neu ddwy. Paham na thalai *Roedd* yn ein hysgrifau, yn un gair, yn lle *'R oedd*, yn gystal a *Wedyn*, yn lle "*wedi hyn*," a *Rhain*, yn lle y "*rhai hyn*." Y mae y Saeson yn gallu gwneyd un gair o *Whosoever*, a phaham nad allem ninnau wneyd un gair o *pwybynag*, a'r cyffelyb? Ond tra yr ydym yn cyfeirio at y brychau disylw hyn, yr ydym yn addef nad ydynt ond manylwch, heb fod o'r braidd yn werth eu crybwyll. Ymysg yr eithriadau hyn yr ydym yn cael rhai geiriau hefyd, megys *enactio*, *stori*, *corcio*, &c., er nad ydynt, ar y cyfan, ond pynciau chwaeth yn hytrach na hanfodolion iaith.

Y mae yr hyn a fynegwyd, feddyliem, yn ddigon o awgrymiad y dylai pob darllenydd Cymraeg fynu gweled y gwaith, ei ddarllen drwyddo ei hunan, a barnu drosto ei hun am ei deilyngdod. Y mae pob dyn o feddwl, chwaeth, a theimlad, yn sicr o hoffi pob barddoniaeth a fyddo yn deilwng o'r enw—barddoniaeth ag a fyddo yn dangos meddwl dyrchafedig, crebwyll cyfoethog, a dychymyg dillyn, a holl gynnyrchion y cynneddfau hyny wedi eu tywallt i iaith bur. Dyma rai o deithi arbenig EMMANUEL!

Y mae dylanwad y fath awenydd yn effeithiol iawn yn ffurfiad cymeriad cenedl. Y mae, nid yn unig yn sicrhâu anrhydedd i'w hawdwyr, ond yn bendithio y byd â gwir adeiladaeth. Beth oedd awen baganaidd, aneneiniedig Homer, i'w chymharu yn ei heffeithiau llesol i farddoniaeth arwrol Milton, neu weithiau chwaronawl Shakspeare? Y mae hyn yn llefaru llawer mewn ffordd o annogaeth at ddarlleniad cyffredinol o EMMANUEL Hiraethog. Y mae meddylddrychau cyfoethocaf yr Ysgrythyrau wedi eu cyfrodeddu â syniadau yr awdwr yma. Y mae yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw ar y cyfan. Y mae yn cymeryd teimlad y darllenydd cristionogol yn hollol i'w ysbryd ei hun, ac y mae yn sicr o gyfeirio ei draed yn ffyrdd rhinwedd a daioni.

Yr ydym wrth derfynu yn dymuno dadgan ein bod yn derbyn y Gyfrol Gyntaf fel ernes foddhäol o'r Ail. Y mae ein pryder am y dyfodol wedi ei leddfu gan y boddlonrwydd a gawsom yn yr hyn sydd ger ein bron. Nid yw yn anhawdd genym fynegu fod awen Hiraethog wedi cynnyrchu o'r blaen linellau a ddarllenir cyhyd ag y byddo y Gymraeg yn iaith lafar; ond yn ydym yn awr o'r braidd yn barod i ddywedyd ymhellach,—ei fod wedi gallu codi piler ag a fydd yn amlwg ymysg y colofnau ag sydd yn ei chynnal i fyny; ac ni fyddem ni yn anfoddlawn i hyny fod am "Oes y byd!" Pe caem nifer eto o weithiau a efelychent EMMANUEL am eu gwir werth, cymhellent ni i ddywedyd, wrth gloi hyn o sylw—

Arfon, yn mhen y morfa,—a gloddir,
I gladdu yr Wyddfa,
Cyn claddu 'n hiaith—heniaith dda,
O'r golwg yn nhir Gwalia.

# SIOR Y PEDWERYDD.

## AIL ERTHYGL.

MEWN canlyniad i'w briodas â'r Dywysoges Caroline, ennillodd Tywysog Cymru gryn fantais. Rhyddhäwyd ef oddiwrth faich aruthrol o ddyled, ac ychwanegwyd yn ddirfawr at swm ei dderbyniadau blynyddol. Gyda hyn, pa fodd bynag, dygodd arno ei hun warthrudd ac euogrwydd dirfawr, yn gymaint ag iddo yn ebrwydd droi yn anffyddlawn i'r ymrwymiadau cysegredig yr aethai efe danynt wrth droed yr allor. Yr eiddo ef yn ddïau oedd un o'r priodasau mwyaf anffortunus a gymerodd le erioed. Nid oedd y pleidiau mewn un modd yn gyfaddas i'w gilydd. Y fath oedd y teimlad o rinwedd o un tu, a grym llygredigaeth o'r tu arall, fel na ddylesid cysylltu y ddeuddyn hyn ynghyd mewn glân briodas. I'r Dywysoges Gydweddog yr oedd y canlyniadau yn llwyr alaethus, canys yr oedd ei phriod urddasol eisoes wedi ymrwymo i fod yn ffyddlawn i eraill. Yr oedd arno addunedau y rhai nis gallai, neu yn hytrach y rhai nis mynai efe, ar un cyfrif eu tori; a phwrpas yr addunedau hyn oedd, fod iddo wrthod, casâu, a dirmygu ei wraig briod gyfreithlawn, a rhoddi y flaenoriaeth ar bob achlysur i'w chydymgeisyddion. Yr oedd ei bywyd hi i gael ei wneyd yn druenus drwy bob sarhâd a dirdra a ellid roddi i deimladau tyneraf y galon, tra yr oedd y lleill i gael eu hanrhydeddu â phob serch, a'u coroni â phob mawredd a bri.

Nid aeth nemawr o wythnosau heibio heb i Dywysoges Cymru wneyd y darganfyddiad difrifol a thorcalonus nad oedd ei phriod yn teimlo tuag ati y gronyn lleiaf o wir serch. Ar fyrder dechreuodd ei Uchelder Breninol ymddyeithrio oddiwrthi, gan fod yn ofalus, yn enwedig ar achlysuron cyhoeddus, i ymddwyn tuag ati yn y modd mwyaf sarhâus. Mwyach nid arferai y pâr breninol gyfarfod ynghyd, oddieithr yn mhresennoldeb eraill. Yr oedd digon o brofion ar yr un pryd fod y Tywysog yn byw ar delerau hynod gyfeillgar gyda boneddigesau y rhai nid oeddynt yn eiddo ef. Adnewyddwyd drachefn y gyfathrach annheilwng rhyngddo â Mrs. Fitzherbert, sefydliad yr hon o hyn allan a ymddangosai yn fwy ysplenydd nag erioed. Yr oedd y bywyd a arweiniai Tywysog Cymru am lawer blwyddyn ar ol hyn yn gyfryw ag a adlewyrcha fythol waradwydd ar ei enw a'i goffadwriaeth.

Ymhen llai na blwyddyn ar ol dydd ei phriodas, sef ar yr 17eg o Ionawr, 1796, rhoddes y Dywysoges Caroline enedigaeth yn Carlton House, i'r Dywysoges hono ag y mae ei hanes mor adnabyddus i'r cyffredin, sef y fythgofus Charlotte Augusta. Llawenychai y genedl am hyn, o herwydd teimlid nad oedd achos petruso mwy ynghylch olyniaeth y goron. Cyflwynai y ddau Dŷ o Senedd hefyd anerchion o gydorfoledd i'r Brenin a'r Frenines, a'r un modd i'w Hucheldder Breninol Tywysog a Thywysoges Cymru. Rhy brin yr oedd y fam wedi ei hadferu i'w hiechyd arferol, pa fodd bynag, cyn i'w phriod annynol wneyd ymosodiad

arall ar ei hapusrwydd. Er cynddrwg y byd, nid mynych y clywir ynddo son am ddirdra cyffelyb i'r un dan sylw. Gwelodd "Boneddwr penaf yr oes" yn dda ysgrifenu â'i law ei hun nad oedd yn unol a'i archwaeth ef ddal un math o gymdeithas a'i wraig briod mwyach,—mai ei ewyllys oedd, fod iddynt fyw ar wahân; ac ychwanegai, gyda thynerwch dieilfydd, na fyddai iddo ddeisyf cydfyw â hi, hyd yn nôd pe dygwyddasai angeu gymeryd ymaith eu hunig blentyn! Nid oedd y cyfnewidiad a ddilynodd yr ymdrafodaeth yma ond ymddangosiadol yn unig, canys yr oedd y pleidiau, ysywaeth, yn byw ar wahân eisoes. Yr unig wahaniaeth oedd, ddarfod i'r Tywysog mewn modd grasol, beri i'r palas y trigent ynddo gael ei ranu o newydd, pryd y rhoddid y rhan ddistadlaf o hono i'r Dywysoges ei briod, tra y cadwai yntau y rhan oreu iddo ei hun a'i anwylaf arglwyddesau.

Yn nydd ei chyfyngder, penderfynodd y Dywysoges ymgynghori â'r tyneraf o freninoedd, sef Sior y Trydydd. Yn ebrwydd talodd ei Fawrhydi iddi ymweliad caredig. Amlygai ei gydymdeimlad dwysaf â hi o herwydd ei sefyllfa drallodus, a gwnelai yr oll ag a allai er adferu pethau i'w priodol le. Nis gallai, mae yn wir, waradwyddo ei fab heb gondemnio ei hunan i ryw fesur, yn gymaint â bod y briodas wedi ei chynllunio rhyngddynt er mwyn ateb dybenion gwladlywiaeth dymmorol. Nid oedd neb a ymofidiai yn fwy na'i Fawrhydi yn achos afreoleidd-dra bywyd y Tywysog; ac o barth y cysylltiadau oedd rhyngddo â boneddigesau eraill, gwyddai pawb beth oedd teimlad ei Fawrhydi, ac nad oedd ond ofer condemnio mwyach, yn gymaint a bod pob ymgais yn y ffordd hono wedi profi yn aneffeithiol hyd yn hyn. Yn wyneb yr amgylchiadau, barnai y Brenin mai y peth goreu fuasai trefnu i'r Dywysoges sefydliad ar ei phen ei hun yn rhyw le, a chaniatâu iddi £20,000 yn flynyddol tuag at ei chynnaliaeth. Eraill, pa fodd bynag, a gynghorent fod iddi wrthod y cyllid hwnw, ac anfon ei chyfrifon yn flynyddol i gael eu talu gan y Tywysog ei hun. Parhäodd am yspaid ar ol hyn i drigo yn Carlton House, a'r Tywysog yntau a ymddifyrai tua Windsor a Brighton; ond o'r diwedd ymneillduodd i bentref prydferth Charlton, ger Llundain, lle y bu yn aros mewn annedd dlos am oddeutu dwy flynedd. Yr oedd ei gorhoff blentyn, y Dywysoges Charlotte, yno gyda hi.

Gan mai difyrwch oedd y peth penaf yr ymgyrhaeddai Tywysog Cymru ato yn y blynyddoedd hyny, y mae yn canlyn nad oes genym ddim oll o werth i wneyd crybwylliad am dano, mor bell ag y mae hanesiaeth y cyfnod dan sylw yn cyrhaedd. Yn y flwyddyn 1803, pa fodd bynag, sef ymhen wyth mlynedd wedi iddo ymbriodi, cawn iddo gynnyg ei wasanaeth i fod yn un o faeslywyddion y fyddin Brydeinig, drwy yr hyn yr ennillodd fwy o enwogrwydd yn ngolwg y genedl na thrwy ddim a wnaethai efe erioed o'r blaen. Yr oedd hyn yn union ar derfyniad heddwch byrhoedlog Amiens, ac mewn adeg pan oedd y wlad yn ferw gwyllt drwyddi gan ofn goresgyniad oddiwrth luoedd profiadol Napoleon y Cyntaf. Anmhosibl i ni yn awr yw ffurfio dirnadaeth briodol am angerddoldeb y brwdfrydedd cenedlaethol ar y pryd. Yr oedd pawb fel am ymbarotöi i ryfel.. Ai peth anrhydeddus, gan hyny, a fuasai i etifedd y goron fod yn llonydd a dystaw ar y fath adeg bwysig? Yr oedd ei frawd y Duc o York yn *Commander-in-Chief*, ac yr oedd tri eraill o frodyr ieuengach yn dal swyddau anrhydeddus yn y fyddin. Ond am Dywysog

Cymru nid oedd efe ond "*Colonel of Dragoons*" yn unig. Pe tiriasai y gelyn, gan hyny, ni fuasai ganddo fawr obaith am ymenwogi fel milwr, tra y buasai yn ddarostyngedig i awdurdod a rheolaeth, fe allai, un o'i weision ei hun. Er iddo ysgrifenu lliaws o lythyrau ar y mater, ac i'r unrhyw gael eu dwyn ger bron y Senedd, eto ni lwyddodd efe yn ei gais. Yr oedd ewyllys anhyblyg y Brenin ar ei ffordd. Rhaid oedd iddo ymfoddloni ar y swydd oedd ganddo, tiried Napoleon neu beidio. Dyna oedd penderfyniad ei Fawrhydi, a phwy a allasai ei symud o hono? Wedi y cyfan, tybiai cyfeillion y Tywysog fod ei nodweddiad fel gwladgarwr ëon a gwrolfrydig wedi ei sefydlu yn ddigonol ger gwydd Ewrop a'r byd, ac yr oedd hyny yn ddigon. Nid peth bychan oedd iddo ennill y fath bluen â hon yn ystod 1803, canys yr oedd ei ddyledion, druan o hono! newydd fod dan sylw y Senedd unwaith yn rhagor, a hyny drwy annogaeth y Brenin ei hun. Dichon na fu erioed y fath dwyll-chwareu digywilydd nag ar yr achlysur dan sylw, pan y codai ei gyfeillion yn eu lleoedd yn y Senedd, ac yr hònent mai nid i ryddhâu ei Uchelder Breninol o unrhyw gyfyngderau arianol y gofynent hwy am rodd ychwanegol iddo, ond yn unig i'w alluogi i adferu ei sefydliad i'w ogoniant blaenorol, ac i fyw yn deilwng o'i urddas fel etifedd tebygol yr orsedd. Dadleuid fod y cyllid blynyddol o £138,000, a benodasid iddo yn 1795, yn llawer rhy fychan, ei fod o'r pryd hwnw allan wedi byw yn gynnil iawn, ac nad oedd ei sefydliad o ran maint ac ysplenydd-der ddim yn hanner y peth y dylasai fod. Traddodai Fox, Sheridan, ac eraill, areithiau hyawdl yn ffafr y Tywysog; a'r penderfyniad y daethpwyd iddo yn y diwedd oedd, fod i'w Uchelder Breninol dderbyn am y tair blynedd dyfodol flwydd-dâl o £60,000 yn ychwanegol at ei gyllid arferol. Yn wyneb yr amgylchiadau yr oedd y wlad ynddynt ar y pryd, ymddangosai fod hyn yn gefnogaeth gweddol gysurus i afradlonedd a gwastraff Tywysog Cymru.

Er maint oedd doniau ac ymdrechion ei gyfeillion i'w ddyrchafu yn ngolwg y wlad, parhâu yn hynod anmhoblogaidd yr oedd efe drwy y cyfan. Un achos arbenig o'i anmharchusrwydd ydoedd ei ddiystyrwch o deimladau ac awdurdod ei riant urddasol, gyda'r hwn yr oedd efe yn byw mewn sefyllfa o anghydgordiad parhâus. Nis gall y da fyw ond gyda'r da; a chan fod Sior y Trydydd yn ddynsawd o arferion dilwgr, ac yn gyfaill i rinwedd a phob daioni, ystyrid mai yr achos nad allai y tad a'r mab fyw ar delerau caruaidd at eu gilydd ydoedd, fod rhinweddau y naill yn annyoddefol i ddrygau y llall. Er pan y trôdd y Tywysog allan i'r byd gyntaf, ei arferiad oedd diystyru yr awdurdod freninol. Ymrestrodd ar unwaith dan fanerau gwrthwynebiad i'w lywodraeth ef fel teyrn, ac o hyny hyd y cyfnod am ba un yr ydym yn sôn, proffesai ymlyniad diysgog wrth egwyddorion politicaidd arweinydd galluog y blaid wrthwynebol yn y Senedd. Gwnelai yr oll ag a allai i gloi olwynion y peiriant llywodraethol, ac attal cwblhâd amcanion y Weinyddiaeth gyhoeddus. Gwyddai pawb ymhob cyfeiriad, fod ymarweddiad penrhydd, anfoesol, etifedd y goron, yn dwfn archolli calon y rhiant breninol; a chofid hefyd fod pob addunedau i ddiwygio a wnaethid ganddo hyd yn hyn, wedi eu gwneuthur yn unig i'w tori, fel mai nid cynt y byddai llaw maddeuant yn estynedig tuag ato, nag y byddai y glust freninol yn clywed am gyflawniad rhyw weithred o nodwedd fryntach a mwy ysgeler nag y clywsid am dani o'r blaen, fel nad allasai fod braidd un math o gyfathrach bersonol rhwng y pleidiau.

Gwnelid y rhwyg gryn lawer yn waeth hefyd, yn gymaint a bod y Brenin yn parhâu o hyd i gefnogi achos Tywysoges Cymru, ac yn gwrthod, yn y modd mwyaf penderfynol, ganiatâu i'r Tywysog gymeryd gofal addysgiaeth ei ferch ei hun. A dyma fel y safai pethau rhwng y pleidiau breninol hyd tua diwedd y flwyddyn 1804, pryd, drwy ryw foddion, na wnaed byth yn hysbys, y cymerodd cymmodiad le rhyngddynt. Dysgwylid y byddai i'r amgylchiad fod yn gynnyrchiol o'r canlyniadau dedwyddaf, ond canfyddid cyn hir nad doeth oedd rhoddi gormod o hyder hyd yn nôd mewn tywysogion. Yn mhalas Kew yr ymgyfarfuant â'u gilydd, pryd yr oedd y Frenines a'r Tywysogesau yn bresennol. Yr oedd y cyafrfod yn un o'r nodweddiad mwyaf serchiadol. Ar ol treulio awr helaeth mewn cydymddyddan ynghylch gwahanol bethau, dychwelodd y Brenin yn ôl i Windsor, a'r Tywysog yntau, yn nghwmni y Duciaid Sussex a Kent, a ddychwelai i Carlton House. Drannoeth ysgrifenai ei Fawrhydi lythyr caredig at Dywysoges Cymru, yn dwyn cyfeiriad at yr hyn a gymerasai le y dydd o'r blaen yn mhalas Kew. Dywedai ddarfod iddynt gymeryd gofal o bob tu i beidio dwyn dim i fod yn destun ymddyddan a allasai achlysuro dadl, a'i fod o ganlyniad yn hollol yn y tywyllwch gyda golwg ar ddymuniad Tywysog Cymru i ddychwelyd i fynwes ei deulu. Crybwyllai mai amser yn unig a brofai pa un a oedd ganddo y fath ddymuniad ai peidio. Beth bynag a ddeuai, mynegai ei Fawrhydi mai ei amcan ef fyddai cynnal i fyny ei hawdurdod hi fel mam. Trigai y Dywysoges y pryd hwnw yn Montague House, Blackheath, oblegid rhoddasai y Brenin iddi yr hyn a elwir "*the Rangership of Greenwich Park*," er y flwyddyn 1800.

Gwyddai y rhai a adwaenent y Tywysog oreu, mai pell iawn oddiwrtho oedd meddwl am newid ei ddull o fyw. Tua'r goriwaered y mynai efe fyned er pob peth. Ymddangosai fel un yn teimlo mai amcan penaf ei fodolaeth ydoedd boddhâu trachwantau iselaf y natur ddynol. Nid oedd waeth faint o rinwedd a ddinystrid, dim ond iddo ef gael mwynhâu ei dueddiadau anifeilaidd. Yn ol y tystiolaethau sydd ger ein bron, rhaid fod Carlton House y pryd hwnw yn un o'r manau mwyaf nodedig am dwyll, ac ystryw, ac annuwioldeb o bob math, dan dywyniad haul; ac y mae yn rhaid hefyd fod yr esiampl o lygredigaeth a phenrhyddid a roddid gan Dywysog Cymru, càn belled ag y cyrhaeddai ei ddylanwad ef, yn myned ymhellach tuag at anfoesoli cymdeithas na dim a wnaed gan unrhyw dywysog arall ag y ceir son am dano ar ddalenau hanesiaeth Brydeinig. Hawdd yw dirnad fod llŷs llygredig yn tueddu at gynnyrchu pendefigaeth lygredig, ac oddiyno parod fydd y drwg i ymweithio i lawr drwy holl gylchoedd cymdeithas. "Yn Lloegr," ebe un, "mewn canlyniad i anfadrwydd llŷs Tywysog Cymru, aeth cymdeithas dan gyfnewidiad hanfodol, a chyfnewidiad ydoedd nad allai nodweddiad rhinweddol Sior y Trydydd, nac ymarweddiad dichlynaidd ei Frenines, mo'u gwrthweithio na'u hattal. Ymledai y gwenwyn yn agos ac ymhell, yr oedd y drwg yn ddwfn a thrwyadl, ac ymweithiai drwy holl ddosbarthiadau cymdeithas. Mewn gair, yr oedd arferion llŷs Tywysog Cymru, os teilynga ei enwi yn llŷs, wedi llygru y corff gwladwriaethol ymhob cyfeiriad; ac yr oedd yr ymlygriad yn gyfryw nad allai rhith duwioldeb, na chyflawniad allanol o ddefodau crefydd, mo'i wella na'i ddirgelu mewn modd yn y byd."

Fe wêl y darllenydd goleuedig nad ydym eto ond prin wedi cyffwrdd â helyntion difrifolaf bywyd yr un sydd yn wrthddrych ein sylw presennol. Erys y bennod dduaf yn ei hanes eto i'w hysgrifenu. Pa iaith a fedr osod allan erchylldod ei ymddygiad ef a'i lŷs tuag at y fenyw ddiniwed, annedwydd, a diamddiffyn hono, sef y Dywysoges, ei briod? Sonia pobl am ddrygioni, a thrais, ac anudoniaeth llŷs Harri VIII., ond yma, ysywaeth, ymegyr o'n blaen olygfëydd a daflant yr unrhyw i'r cysgod am byth. Yr oedd y cydfradwriaeth a wnaed yn erbyn Tywysoges Cymru, nid yn unig y dygwyddiad hynotaf yn mywyd yr un dan ein sylw, ond hefyd y peth dyeithraf, o bosibl, a gymerodd le yn hanesiaeth cenedloedd gwareiddiedig er ys llawer oes. Oni bae nerth angerddol y teimlad cyhoeddus a ymgrynhôdd yn ei ffafr hi, nid oes achos i ammheu mai ei thynghed fuasai gorphen ei bywyd dan y pren dyoddef. Dechreuodd y cydfradwriaeth dan sylw mor gynnar a'r flwyddyn 1801, pan y preswyliai y Dywysoges yn Montague House, Blackheath. Dyna y pryd y dechreuodd y gydnabyddiaeth rhyngddi â'r Arglwyddes Charlotte Douglas, yr hon wedi hyny a ddygodd yn ei herbyn gyhuddiad o'r nodwedd mwyaf ysgeler. Yr oedd y canlyniadau yn ddifrifol a gorbwysig. Ysgrifenwyd cyfrolau o berthynas iddynt, ymgodai pryder y genedl ar y pryd i uchder digyffelyb, ac mewn trefn i gadarnhâu rhai o'r pethau yr honir ddarfod iddynt gymeryd lle yn Montague House, taenwyd a chyhoeddwyd y fath grynswth o gamdystiolaethau ag nas clybuwyd am eu tebyg braidd erioed.

Yr hyn yr amcenid ei gadarnhâu, yn unol â haeriad yr Arglwyddes Douglas ydoedd, fod y Dywysoges, mewn modd dirgelaidd, wedi ei rhyddhâu ar blentyn, yr hyn, pe yn wir, a fuasai yn drosedd i'w gosbi â marwolaeth. Er ys talm hir yr oedd llu o yspïwyr ar waith, yn gwylio ymarweddiad y Dywysoges annedwydd, gan ddyfal geisio cael rhywbeth yn ei herbyn. Yn wyneb yr amgylchiadau, nid rhyfedd ydoedd ddarfod i adroddiad gael ei gynnyrchu o'r diwedd a barai i bobl feddwl ei bod wedi cwympo i'r fagl apwyntiedig. Yr oedd y cyhuddiad yn un ysgeler, eto fe'i gwnaed, ac aruthrol oeddynt yr ymdrechion a wnaethpwyd i'w gadarnhâu fel gwirionedd. Anmhosibl yw i ni, a ni yn gwybod am anrhydedd uchel llŷs ein graslonaf Victoria, edrych yn ôl ar yr ystrywiau a ddefnyddid, a'r lliaws mawr o oruchwylwyr o bob gradd a sefyllfa a gymerent ran yn y cydfradwriaeth damniol hwn, heb i deimladau o syndod annhraethol godi ynom. Yr oedd gwŷr a gwragedd a ystyrid o urddas mawr, a chyfreithwyr galluog, gyda llu o îs-gynnorthwywyr cyflogedig, a gweinidogion a gyfrifid yn rhai enwog yn yr Eglwys, a holl lŷs y Tywysog, ac hyd yn nôd ei weision a'i forwynion,—yr oedd y cyfan wedi cyd-ymgynghreirio i gwblhâu dinystr y wraig unig ac annedwydd hon, tra yr oedd ei phriod, o ganol ei ordderchadon, yn rhoddi pob cefnogaeth a allai i'r ymosodiadau hyny nad oedd iddynt un amcan llai na rhoddi i'w bywyd derfyniad buan a gwaradwyddus.

Gwnaed ymchwiliad manwl i ansawdd y cyhuddiad yn erbyn y Dywysoges, nid gan ei chyfeillion ei hun, ond gan gymdeithion politicaidd a phersonol ei hawddgaraf briod. Y canlyniad fu iddi gael ei llwyr ryddhâu oddiwrth bob peth ond yn unig y cyhuddiad ddarfod iddi, i'r dyben i amrywio ychydig ar nodwedd undonol ei bywyd neillduedig, fabwysiadu plentyn rhyw un o sefyllfa gyffredin yn nghymydogaeth ei

phreswylfod. Yn absennoldeb cymdeithas ei hunig ferch, naturiol ddigon fyddai iddi chwennych cael yn ei phresennoldeb wrthddrych gyda pha un y gallai ei greddfau naturiol fel mam dderbyn ychydig foddhâd, a'i chalon orlwythog o drallod fwynhâu ychydig esmwythdra. Wedi yr holl helynt, ni chaed yn erbyn y Dywysoges un bai a allasai ei dwyn i waradwydd. Am y Dirprwywyr a benodasid i wneyd yr ymchwiliad dyeithr dan sylw, y mae yn wybyddus iddynt ymddarostwng i wneuthur sylw o amryfuseddau bychain hollol ddibwys; a chan nad beth oedd eu hamcan, arnynt hwy y disgynodd yr anfri o hyny. Yr oedd yn warthus tu hwnt i bob peth iddynt wneyd felly, tra yr ymgadwent mor ofalus i beidio dynoethi euogrwydd yr un hwnw, drwy anffyddlondeb ffieidd-frwnt yr hwn y troisid bodolaeth Tywysoges anrhydeddus yn un olygfa ddidor o drueni a phoen.

Safai amryw o ddynion galluocaf y deyrnas yn ffyddlawn i achos y Dywysoges drwy bobpeth. Yn eu plith yr ydoedd Perceval, Canning, ynghydag Arglwydd Eldon, y rhai a brofasant yn gynghorwyr ffyddlawn iddi yn wyneb ei holl anhawsderau. Anhawdd yn ddiau fuasai dyfod o hyd i ddynion ar y rhai y gallasai ei Huchelder Breninol bwyso am allu-ocach cynnorthwy fel dadleuwyr, neu ddoethach cynghor fel cyfeillion. A thra yr amddiffynid ei hachos yn y modd hwn gan ddynion o'r bri uchaf yn y wladwriaeth, rhoddai y bobl, braidd yn ddïeithriad, eu pleidlais o du y Dywysoges. Yr oedd y ffaith fod ei hachos yn cael ei drin, a'i phrawf yn cymeryd lle, ger bron brawdle *ddirgelaidd*, yn peri fod y teimlad o ddigllonrwydd mewn llawer man yn ymgodi tu hwnt i bob terfynau. "Anhawdd," ebe Arglwydd Brougham, "yw desgrifio y cyffro a wnelid gan Adroddiad y Brawdlys Dirgelaidd, lle bynag y cyrhaeddai gwybodaeth am ei gynnwysiad. Fod i wraig, a Thywysoges, ac estron, gael ei darostwng i oddef triniaeth o'r nodwedd fwyaf creulawn ac annynol,—fod iddi wed'yn gael ei hymlid odditan gysgod cronglwyd ei phriod,—fod iddi gael ei hamgylchu gan yspïwyr a gaudystion, ac yna ei chyhuddo am drosedd o'r fath benaf—ïe, âg uchelfradwriaeth—fod iddi gael ei phrofi o'r tu cefn, gyda y dadleuwyr galluocaf o du ei herlynydd a'i chyhuddwr, heb un bod dynol yn bresennol drosti hi, dim cymaint ag i groesholi tyst, na chwaith i gofnodi tystiolaeth,—yr oedd hyn yn beth a darawai feddyliau pawb â syndod ac â braw, ac ymddangosai fel yn dyfod yn nês i'r cyfryw wawd ar holl egwyddorion cyfiawnder, a arddangosir yn yr hanesion am *seraglios* dwyreiniol, nag yr ymdebygai i ddim a adwaenir ymhlith cenedloedd sydd yn byw dan nawdd Llywodraethau cyfansoddiadol. Ond os oedd yr ymchwiliad ei hun fel hyn yn wrthddrych condemniad a ffieidd-dod, rhoddai y canlyniad o hono, pe yn ddichonadwy, lai fyth o foddhâd. Beth oedd i'w ddyweyd am ddedfryd a ddangosai nad ellid cael, hyd yn nôd tra y profid hi o'r tu cefn, a chan frawdlys anweledig a ffurfiasid yn gwbl o blith ei gelynion,—nad ellid cael un cysgod o euogrwydd yn ei holl ymarweddiad, tra y methai dychymygion gorfywiog a holl gaudystiolaethau gwaradwyddus yr yspïwyr gyflwyno ger bron unrhyw fater neillduol yn haeddu condemniad; ac eto, yn lle ar unwaith ei chyhoeddi yn ddiniwed, a'i bod wedi ei chyhuddo yn anghyfiawn, a wrthodent iddi y boddhâd tlodaidd o dderbyn rhyddhâd; a chan ofni caniatâu iddi yr oruchafiaeth a deilynga diniweidrwydd, rhag tramgwyddo y camgyhuddwr, ni wnelid un crybwylliad am y camwri

digyffelyb a wnelid tuag ati, a gadewid gwarthnod ar ei henw, drwy y gymeradwyaeth benagored a roddid fod i'r Brenin ei chynghori ynghylch rhyw bethau ysgeifn, neu droion anghall yn ei hymddygiad—yr hyn oedd gyfeiriad mor anmhenderfynol, fel y gallai rhywun lenwi i fyny yr *outline* ddu fel y gwnelai ei ddychymyg ei alluogi, neu ei ddiffyg o gared-igrwydd cyffredin ei gynhyrfu i wneuthur? Gwyddai pawb, pe buasai yno yr anmhriodoldeb lleiaf yn weladwy, er yn syrthio ymhell yn ol o fod yn drosedd, y buasai hyny ar lawr yn yr adroddiad; ond gwasan-aethid dybenion y cyhuddwr yn well, i'r hyn beth yr ymwerthasai y barnwyr dirgelaidd eu hunain, drwy ddefnyddio iaith dywell, anmhen-odol, a olygai bob peth, ac unrhyw beth, yn gystal â dim, drwy yr hyn y galluogid ef i ledanu drwy ei anwylion cyflogedig, ymhob cylch o gym-deithas, unrhyw enllibiau newyddion y dewisai efe eu dyfeisio."

Yn yr un flwyddyn ag y cyflwynid i'w Fawrhydi y Brenin yr Adrodd-iad at ba un y cyfeirir uchod, y bu farw dau o'r gwladweinyddion gallu-ocaf, o bosibl, a welodd y deyrnas hon erioed. O anghenrheidrwydd, yr ydym yn cyfeirio at Pitt a Fox, âg enwau pa rai yr ymgysyllta yr hyn oll sydd oruchel mewn grym dealltwriaethol, neu fawreddus yn nghyrhaedd-iadau y meddwl dynol. Hwy a fuont am dymmor maith yn wrthwyneb-wyr i'w gilydd yn y Senedd; ac yr oedd eu hymrysonfëydd hwynt, megys y cofir, yn rhai i ysgwyd a chynhyrfu cenedloedd; ond yn 1806, wele y ddau mewn ychydig fisoedd i'w gilydd yn cwympo i lwch angeu. Cym-erodd marwolaeth Mr. Pitt le ar y 23ain o Ionawr, a'r eiddo Mr. Fox ar y 13eg o Fedi.

Gan i ni yn ein herthygl o'r blaen roddi ychydig ddesgrifiad o'r Sen-eddwr a enwasom olaf, teg fyddai i ni yma amcanu gwneyd yn debyg gyda golwg ar y blaenaf. Yr oedd yr Anrhydeddus William Pitt yn fab i'r galluog William Pitt, Iarll Chatham, yr hwn a ystyrid y penaf a'r mwyaf hyawdl o Seneddwyr ei oes. Gwnaeth William Pitt, y mab, ei ym-ddangosiad ar chwareufwrdd bywyd cyhoeddus yn gynnar, oblegid pan yn bedair ar hugain oed, yr ydoedd efe yn Brifweinidog Prydain Fawr. Eisteddai yn ben yn nghynghorfäoedd ei wlad, a synid Ewrop a'r byd wrth weled ei fod yn llywio ei holl amgylchiadau mawrion ac ëang gyda doethineb a medr o radd uwch na chyffredin. Yr oedd nerth, a chraff-der, a mawrhydi, ymysg cynneddfau meistrolgar ei feddwl ef o'r dechreu. Dygasid ef i fyny yn *statesman;* meddai wybodaeth ëang ynghylch pync-iau gwladwriaethol; yr oedd ei amgyffredion yn y ffordd hon yn hollol glir, a'i olygiadau yn seiliedig ar yr ymresymiad mwyaf pwyllus a chywir. Talai y sylw manylaf i holl achosion y Llywodraeth, ac nid arbedai unrhyw drafferth i ymgydnabyddu â'r hyn oll a allai fod yn gysylltiol â'i llwyddiant. Daliai ei hun yn hollol gysegredig i'r wladwr-iaeth; ei phethau hi a ddygent ymaith ei holl fryd; nid allai pleser na dim arall ei demtio i ymsymud mewn cyfeiriad gwahanol; o gylch yr un pegwn y troai ei holl ofal; y wladwriaeth oedd yn bob peth iddo; dyma yr elfen ymha un yr ymddangosai ei fod yn ymsymud ac yn byw. Ni chaniatâi iddo ei hun ond ychydig seibiant oddiwrth ei gofalon; yr oedd ei feddwl o hyd ar waith, a'i fywiogrwydd yn gyfartal i fawredd y gorchwyl-ion y gelwid arno fyned drwyddynt. Er fod ei allu yn fwy nag eiddo un prifweinidog arall y gallwn feddwl am dano, eto ychydig iawn o fes-urau a adawodd efe ar ol o herwydd y rhai y mae genym reswm neillduol

i fendithio ei goffadwriaeth. Yr oedd y cyfnod ymha un y chwareuai efe ei ran yn un o gyfnewidiad a therfysg,—y mwyaf peryglus ydoedd, o bosibl, yn holl hanes yr ymherodraeth Brydeinig. Tynodd allan gynllun er gwaredu Ewrop rhag dinystr, ond bu drwy hyny yn achos i ddwyn i mewn wastraff ag y bydd ei ôl ar y deyrnas hon am ganrifoedd lawer. Yr hyn a fwriadai, a gyflawnai â'i holl nerth. Yr oedd ei gynlluniau oll yn llawn o yni, canys credai nad oedd modd, yn wyneb yr amgylchiadau, fod eu gwell. Oddiwrth unrhyw fesur a ystyriai efe yn anghenrheidiol, nid gorchwyl hawdd fuasai ei symud ymaith. Yr oedd ganddo yr ymddiriedaeth llwyraf ynddo ei hun, a dyma un o elfenau ei lwyddiant mawr. Ni chyfarfu gweinidog erioed â chryfach gwrthwynebiad, eto pwy a allasai ddal i fyny ei boblogrwydd fel efe? Pan y rhoddai i fyny ei swydd yn 1801, fe welid ei fod wedi llwyddo i ddal yr awenau yn ei law am yr yspaid maith o ddeunaw mlynedd, a hyny yn wyneb ymosodiadau a fuasent yn ddigon i ddiddymu unrhyw wladweinydd arall. Am lawer blwyddyn, rhaid fu iddo ymladd brwydrau ei lywodraeth heb braidd gymaint ag un cynnorthwywr o ddim gwerth, tra ar yr ochr wrthwynebol y ceid fod y fath ddynion â Burke, Windham, Sheridan, North, Erskine, Lee, Barr, a Fox, a phob un o'r rhai hyn yn dŵr o gadernid ynddo ei hun. Oni buasai am gefnogaeth y bobl, a'r Llŷs, a'r Arglwyddi, sicr ydyw y buasai wedi ei lethu yn ystod eisteddiad cyntaf ei weinyddiaeth.

Fel areithiwr, safai Pitt yn y dosbarth blaenaf. Yr oedd yn goeth ac aruchel, a phob amser yn gynnil yn ei waith yn defnyddio ffugyrau ymadroddol. Nid cynt y safai efe i fyny nag y dechreüai gludo ei wrandäwyr gydag ef, a chadwai bob meddwl yn sefydlog ar y mater mewn llaw, hyd nes y gwelai efe yn dda eu gollwng drachefn, ac yna, megys y sylwa Brougham, gan ddyfynu o Milton,

> "So charming left his voice, that we, awhile,
> Still thought him speaking, still stood fix'd to hear."

Yr oedd ei areithiau seneddol yn hynod o ymresymiadol. Os nad oeddynt yn fyw drwyddynt gan orddysglaer ffraethineb fel eiddo Sheridan, yr oeddynt bob amser yn gynhyrfiol, coeth, a chlasurol. Dygent arnynt eu hunain argraffiadau anfethadwy o wreiddiolder. Y fath oedd eglurder ei honiadau, perffeithrwydd dihafal ei drefniadau, grym ei apeliadau at reswm a theimlad y gwrandäwyr, urddas ei olwg, mawrhydi ei iaith, ynghyda dyfnder a grym swynol ei lais, nes peri i'w wrandäwyr deimlo eu bod yn mhresennoldeb rhyw un mawr—fod llywodraethwr y bobl yno, yn sefyll i fyny i drafod egwyddorion a hawlient sylw cenedloedd. Pan yn ateb ei wrthwynebwyr, byddai ei barodrwydd a'i yni meddyliol yn dysgleirio allan fel am y cyntaf. Yr oedd ei watwareg, pan y gwelai yn dda ei defnyddio, yn ofnadwy lem a deifiol. Byddai ei areithyddiaeth weithiau yn gyflym a thrydanol, eto o hyd yr ennillgar ac argyhoeddiadol. Yr oedd yn graff i weled manau gweiniaid yn areithiau ei wrthwynebwyr. Ar achlysuron felly, mynych y gwnaeth efe yn debyg i Wellington ar ol gweled colofnau byddin Marmont wedi ymwasgaru yn ormodol, sef cyflawni y symudiad prysur hwnw drwy ba un yr ennillodd efe fuddugoliaeth Salamanca. Dilynid areithiau William Pitt yn awr ac eilwaith gan yr effeithiau mwyaf nodedig. Pan yn codi i fyny i ateb yr

araeth fawreddog a draddododd efe ar y rhyfel yn 1803, sylwai Mr. Fox gyda golwg arni, y buasai prif areithwyr y cynoesoedd nid yn unig yn ei hedmygu, ond hefyd, yn ol pob tebyg, yn eiddigeddu o'i herwydd. Mynegir fod yr hanner awr olaf o honi yn rhyw un llifeiriant didor o'r *declamation* mwyaf aruchel a glywsid erioed. Felly hefyd, yn 1791, pan y traddodai efe ei araeth ar y Gaethfasnach, yr hon oedd un o'i egniadau mwyaf gorchestol, dywedir wrthym fod yr effeithiau yn gyfryw fel yr elai amryw o gedyrn y blaid wrthwynebol adref y noswaith hono wedi ymgolli mewn syndod yn yr olwg ar ëangder cylch hyawdledd dynol, a theimlent fel pe na buasent wedi ffurfio dirnadaeth briodol ar y mater erioed cyn hyny. Y mae genym i ychwanegu fod y dyn athrylithgar hwn yn nodedig ar gyfrif uniondeb ei egwyddorion. Nid oedd neb a allasai am foment ammheu ei onestrwydd a'i gywirdeb ef. O ganlyniad rhoddai y bobl ynddo ymddiried diderfyn. Bu fyw nid i gyfoethogi ei hun a'i deulu, ond i wasanaethu ei wlad a'i genedlaeth. Gallasai wneyd yn well fyth drwy osod gogoniant y Crëwr mawr yn nôd i'w holl gyrhaeddiadau. Ond pa fodd bynag y bu gyda golwg ar hyn, mae y ffaith yn eglur iddo fyrhâu ei oes drwy orweithio ei hun. Tua y diwedd ymsuddodd ei feddwl i drallod anghyffredin, canys hysbysir ni gan Mr. Wilberforce iddo farw wedi tori ei galon.

Ond i ddychwelyd at Dywysog Cymru a'i hanes. Ymhen ychydig gyda phedair blynedd wedi marwolaeth Mr. Fox (tuag at yr hwn, yn ei gystudd olaf, y dangosai efe y cyfeillgarwch mwyaf), ni a'i cawn ef yn *Regent*, neu Raglaw yn lle ei dad, oblegid yn awr yr oedd anhwylder meddyliol yr hen Frenin Sior y Trydydd wedi dychwelyd gyda grym nad allasai dim ei wrthsefyll neu ei droi draw. Yn ddiweddar, effeithiasai trallodau teuluaidd yn drwm ar feddwl ei Fawrhydi. Drylliwyd ei deimladau yn enbyd o herwydd diswyddiad y Duc o York o fod yn Briflywydd y Fyddin, yn achos ei gamfucheddau. O'r diwedd, ar yr 2fed o fis Tachwedd, 1810, derbyniodd y ddyrnod orphenol yn marwolaeth ei hawddgaraf ferch y Dywysoges Amelia. Gyda'i hysbryd tawel, caruaidd hi, ehedodd ei reswm yntau ymaith, nid i ddychwelyd mwy. O hyn allan trigai mewn byd newydd wedi ei lenwi â chrëadigaethau dyeithr o'i eiddo ei hun, yr hwn fyd i bawb eraill oedd aruthr, a thywyll, ac arswydol iawn. Cyn myned ymaith, yr ydoedd yn mryd y Dywysoges hawddgar gyflwyno i'w thad a anwylid ganddi mor fawr, ryw arwydd o serch i fod gydag ef yn barhâus. A'r weithred olaf a gyflawnwyd ganddi oedd gosod am ei fys fodrwy gywrain a weithiasid yn ol ei chyfarwyddiadau hi ei hun, ac oedd yn cynnwys ychydig o'i gwallt, gyda'r geiriau tarawiadol yn gerfiedig arni, "*Remember me.*" Megys yr awgrymwyd, yr oedd yr olygfa yn ormod iddo ymgynnal dani; ac o herwydd y trychineb a ddilynodd, rhaid oedd i'r Senedd unwaith yn rhagor drafod pwnc pwysig y Rhaglawiaeth.

Cymerodd ei Uchelder Breninol y llwon gofynol cyn ymgymeryd â'i swydd fel Rhaglaw, ar y 5ed o Chwefror, 1811. Yr oedd y seremoni yn un rwysgfawr odiaeth. Ar y cyntaf gweithredai ei awdurdod odditan attalfëydd, i'r rhai y teimlai efe gryn wrthwynebiad. Ymhen ychydig flynyddoedd, tynwyd y *restrictions* hyny ymaith, fel yr ydoedd ef rhagllaw hyd adeg ei goroniad yn frenin ymhob peth ond yr enw. O'r dechreu yr oedd y teimlad o anymddiried ynddo yn un cyffredinol. Nis gwydd-

om braidd am un Tywysog arall a ddechreuodd afael yn yr awenau yn nghanol cymaint o furmur ac anniddigrwydd. Ysywaeth, yr oedd gweithredoedd cyntaf ei lywodraethiad yn tueddu at wneyd sefyllfa pethau gryn lawer yn waeth. Profai mor anffyddlawn i'w gyfeillion politicaidd ag y buasai i'w wraig; ymddygodd mor ddibris o'r egwyddorion a broffesasai yn gyhoeddus, ag y gwnaethai o'i ymrwymiadau priodasol, er y flwyddyn 1795. Yn awr cefnai ar y blaid Ryddfrydig gyda pha rai y gweithiasai am gymaint o amser; ac wrth wneuthur hyn, ymwrthodai, â'r dynion a safasent gydag ef yn ei holl helynion personol, a'i ymrysonau teuluaidd. O bwrpas megys i ddangos anwadalwch y dyn, cymerai i'w ffafr neillduol ei elynion mwyaf egnïol, a gwaeth fyth, y rhai a fuasent yn parotöi ymosodiadau yn ei erbyn, o nodwedd rhy ysgeler i neb feddwl am anturio eu cyhoeddi! Nid heb reswm arbenig yn ddïau y cymerai efe i'w ffafr gyfeillion Tywysoges Cymru, oblegid o hyn allan, fe welid y byddai eu pleidgarwch a'u hegnïadau drosti hi ar ben. Mor siomedig ydyw dynion, a'r rhai hyny a dybir yn oreu o honynt hefyd, ar brydiau! Erbyn i hyn o gyfnewidiad gymeryd lle, ni wnelent unrhyw sylw o'r hon y buasent yn dadleu ei hachos cyfiawn gyda y fath wresogrwydd gynt, pan oedd y Tywysog yn wrthwynebydd iddynt. Yr unig un o'u nifer a wrthodai dalu y deyrnged a ofynai y llŷs, sef bradychu achos y Dywysoges, oedd y bythglodfawr Mr. Canning, er y mae yn wir nad oedd efe mewn swydd ar y pryd, ac na bu chwaith am nifer o flynyddoedd ar ol hyn.

Parhäodd Tywysog Cymru i weini ei awdurdod swyddol fel Rhaglaw o'r flwyddyn 1811 hyd ei esgyniad i'r orsedd yn 1820, gyda llawn cymaint o gymeradwyaeth ag a allesid ddysgwyl. Yr oedd dygwyddiadau y cyfnod hwn yn ei fywyd yn dra phwysig, a rhaid i ni yma fwrw golwg frysiog dros rai o honynt, er mwyn ymgydnabyddu yn well â nodwedd arbenig yr amseroedd.

Hynodid y flwyddyn gyntaf o Raglawiaeth y Tywysog gan amryw fuddugoliaethau milwrol ynglŷn â'r rhyfel ar y Cyfandir. Er fod hyn yn achlysuro llawenydd i lawer, eto yr oedd y cyfyngder masnachol gartref yn achos o dristwch dirfawr ar gyfer hyny; a cheid ymhellach fod teimlad o anfoddlonrwydd dwfn yn ffynu, yn enwedig ymhlith y dosbarthiadau gweithiol. Tra yr oedd y Senedd yn brysur ar waith yn chwilio i mewn i'r achos o ddirywiad masnach y wlad, taflwyd yr holl genedl i'r dychryn a'r trallod mwyaf yn ddilynol i lofruddiad Mr. Perceval yn nrws Tŷ y Cyffredin, gan anfad-ddyn hanner gwallgof o'r enw Bellingham. Daethai y dyn hwn i feddwl rywfodd ei fod wedi cael cam oddiwrth lywodraeth Rwssia, a gwnaeth apeliad at y llŷsgenadwr Prydeinig yno am gael iawn ar gyfer ei golled. I ddial ar y llywodraeth gartref, am na wnaed sylw o'i gais, efe a gymerodd yn ei ben lofruddio Prifweinidog y deyrnas! Yr oedd y trychineb yn un y galarai pawb o'i herwydd, a'r golled yn un genedlaethol.

Nid elai braidd un tymmor heibio heb i'r cweryl mawr rhwng y Tywysog a'i briod ymweithio i'r amlwg mewn rhyw ffordd neu gilydd. Felly yn nechre y flwyddyn 1813, bu helynt flin ynghylch hawliau y Dywysoges fel mam i ymweled â'i merch mor fynych ag y tybiai yn anghenrheidiol. Ymddengys fod y Dywysoges Charlotte, yn unol âg ewyllys ei thad, er ys tro, wedi ei chymeryd i Windsor i dderbyn ei

haddysg, dan yr esgus fod ei hiechyd yn galw am hyn yma. Eto caniateid i'r Dywysoges ieuanc giniawa gyda'i mam, *yn mhresennoldeb eraill*, unwaith bob wythnos, naill ai yn mhalas Kensington, neu *Warwick House.* Yn ddiweddarach, nid oeddynt i gyfarfod ond unwaith bob pythefnos, a bygythid cyn hir gwtogi eu rhyddid i gymdeithasu â'u gilydd yn fwy fyth. Anfonodd y Dywysoges gan hyny lythyr at ei phriod i gwyno o herwydd annifyrwch ei sefyllfa. Drachefn a thrachefn, anfonid y llythyr yn ôl iddi heb ei agor. Ar fyrder, annogwyd ar fod i'r llythyr ymddangos yn y *Morning Chronicle.* Crëodd hyn gyffro rhyfeddol drwy yr holl deyrnas. Gosodwyd y mater ger bron y Cyfringynghor, a phenderfyniad hwnw oedd fod gan y Rhaglaw hawl i wneyd fel y gwelai yn oreu ynghylch addysgiaeth ei ferch. Bu y canlyniadau yn dra annedwydd i'r fam, oblegid ar ol hyn, gwrthodid iddi gael ymddangos yn y llŷs o gwbl, a chafodd ei hamddifadu yn llwyr braidd o gymdeithas yr hon oedd anwylach iddi na'i heinioes ei hun.

Oddiwrth yr anghydfyddiaethau teuluaidd hyn, gadawer i ni am foment droi i ystyried sefyllfa boliticaidd y genedl y pryd yma. Hwn yn ddïau oedd y cyfnod dysgleiriaf oll yn mywyd y Tywysog fel swyddog uchaf y wladwriaeth. Yr oedd buddugoliaethau Lloegr y pryd hwn mor aml ac mor ysplenydd fel ag i lyncu i fyny holl feddylfryd y genedl. Yn wir, nid oedd gan bobl amser braidd i ddim arall ond i ystyried a sôn am lwyddiant arfau Prydain. Yn mis Tachwedd, 1813, agorodd y Rhaglaw y Senedd mewn araeth o'r orsedd, a chariwyd yr anerchiad gyda yr unfrydedd gwresocaf. Gydag un bleidlais, penderfynwyd codi at ddwyn ymlaen y rhyfel, y swm anferth o £33,000,0000, ynghyda 100,000 o arfau dinystr. Ymddangosai fod y Senedd, fel y bobl, wedi meddwi ar lwyddiant milwrol. Yn nechreuad y Rhaglawiaeth, yr oedd Napoleon yn nghanolddydd ei nerth; eisteddai ar golofn o orseddau, ac yr oedd gyddfau tywysogion iddo yn droedfainc. Yr oedd ei adnoddau megys yn anfesurol, a'i allu yn ddiderfyn. Ymgymerasai Lloegr â'r gwaith mawr o fyrhâu y gallu hwnw, a dyhysbyddu yr adnoddau oedd ganddo. Yn nhymmor y Rhaglawiaeth y dechreuodd ei gobaith ymagor a blodeuo. Profasai talentau milwrol Napoleon yn rhy drech i gadfridogion penaf Ewrop, ac yr oedd byddinoedd Ffrainc wedi gorchfygu galluoedd pob teyrnas arall. Gwelid yn awr fod cyfnewidiad i fod; gŵyrai haul y gorchfygwr tua'r gorwel, a phrysurai i fachludo. Arthur Wellesley, arwr Assaye, oedd yr un a alwyd i ddwyn ymlaen weithrediadau milwrol Prydain ar Gyfandir Ewrop. Yr oedd ei athrylith filwrol yn gyfartal i eiddo ei wrthwynebydd, tra y meddai ragorach penderfyniad. Canfu Ffrainc wedi ei darostwng draw o Vimiera. Teimlai fod yn *rhaid* ei gorchfygu. Yr oedd yn ennillydd hyd yn nôd wrth gilio yn ôl, ymgryfhâi wrth oedi, a dyfal ddysgwyliai am gyfle i fod yn ymosodwr. Bu maeslywyddion goreu Ffrainc yn amcanu gyru yr *intruder* anhyblyg hwn i'r môr, ond yn ofer. Gorfodwyd hwynt, y naill ar ol y llall, i roddi i fyny i dalent ragorach eu gwrthwynebydd. Yr oedd galwad ar Loegr i fod yn ddiolchgar flwyddyn cyn hyn am gyfres hir o fuddugoliaethau. Yr oedd llwyddiant Syr Arthur Wellesley, yr hwn wedi hyny a ddaeth i fod yn Dduc Wellington, yn cyffroi edmygedd Ewrop a'r byd. Wedi arddangosiadau digyffelyb o wrolder, aeth y fyddin gynghreiriol i mewn yn orchfygol i brifddinas Yspaen, cyhoeddwyd fod Portugal wedi ei

glanhâu oddiwrth ei gelynion goresgynol, gadawodd y Ffrancod Cadiz i fod yn meddiant rhywun a ddeuai ar eu holau, gyrwyd y brenin Joseph Buonaparte yn ei ol tua'r Ebro, cymerodd brwydr derfynol le yn Vittoria, a Wellington yn orchfygwr, fel y gorfodwyd byddin Ffrainc i gilio yn ôl a chroesi y Bidassoa. Yn y man cwympodd cestyll Pampeluna a Sebastian o flaen y fyddin unedig, a tharewid Ewrop â syndod, yn gymaint a bod Wellington wedi croesi y terfynau i dir Ffrainc! O herwydd ei golledion yn Rwssia, cynnygiasai Napoleon ddyfod i heddwch â Lloegr cyn hyn; ond gwrthodai y Tywysog Rhaglawiol wrando arno; ac felly y gadawyd i bethau ddilyn ymlaen yn y cwrs hwnw a derfynodd yn nymchweliad Buonaparte, yn ngwaredigaeth Ewrop; ac yn nhra-dyrchafiad y genedl Brydeinaidd rhagor ei chymydogesau oll.

Wedi i ddydd gwaedlyd Waterloo fyned heibio, ac i'r byddinoedd gorchfygol ddychwelyd yn ôl, gallesid meddwl nad oedd ar y ddaear Dywysog dedwyddach na'r hwn oedd yn Rhaglaw yn y deyrnas hon. Gallasai ei fod yntau yn ystyried mewn gwirionedd nad oedd neb yn mwynhâu sefyllfa fwy anrhydeddus yn yr holl fyd; ac eto dengys hanesiaeth ei fod yn parhâu trwy bob peth yn dra anmhoblogaidd. Yr oedd y genedl o hyd fel yn teimlo fod rhywbeth mawr o'i le yn rhywle—fod rhyw gamdriniaeth ofnadwy wedi bod, a dim iawn hyd yn hyn wedi ei gael. Ac heblaw y côf am greulonderau adgas y Tywysog at yr hon yr ymrwymasai efe i'w charu a'i hamddiffyn, yr oedd hefyd yn ffaith fod rhywbeth yn wrthgenedlaethol yn ei nodweddiad, nad oedd yn cydymdeimlo â'r bobl, nac yn ystyriol o'u hawliau; ac heblaw hyny, ar ol ynfydrwydd a phleserau y cnawd y mynai efe fyned, tra yr oedd hanes ei wastraff yn ddigon i lethu teyrngarwch y bobl am byth, a hyrddio y wlad i wrthryfel agored. Yn y modd hwn, mewn adeg o wasgfa rhyfeddol ar fasnach yn y deyrnas yn 1815, pan oedd y waedd yn adseinio drwy y brifddinas fod y bobl yn marw o eisieu bara, yr oedd yn angenrheidiol dwyn pwnc dyledion y Tywysog ger bron y wlad unwaith yn rhagor. Ar y 5ed o Fehefin yn y flwyddyn hono, mynegai Arglwydd Castlereagh fod y dyledion hyny i fyny hyd at yr 20fed o Fai, yn cyrhaedd i £339,000! Yr oedd y treuliau am ddodrefn i Carlton House yn unig, yn ystod dwy flynedd a thri chwarter, yn gwneyd i fyny y cyfanswm aruthrol o £160,000. Y treuliau am ddodrefn yn ystod y flwyddyn o'r blaen, megys y sylwai Mr. Tierney, ydoedd £49,000; rhyw bethau eraill a gaed yn £2,900; yna gwydr a *china* yn £12,000! Am lestri arian mewn tair blynedd, talesid £130,000! Yr oedd y *plate* a'r *jewels* a brynid yn flyneddol yn dyfod i oddeutu £23,000! Gellid meddwl nad oedd modd i bethau fod mewn gwaeth sefyllfa. Yr oedd eisieu cryn *nerve* i ofyn i'r wlad dalu y fath filiau ar y *fath* adeg.

Agorwyd Senedd-dymmor 1816 drwy ddirprwy. Gwyddai y *Regent* nad oedd yr araeth oedd ganddo i'w thraddodi yn ddim amgen na gwawd uniongyrchol ar y bobl yn wyneb yr amgylchiadau yr oeddynt ynddynt ar y pryd. Mewn adeg pan oedd ffrydlëoedd masnach fel wedi tagu yn lân, a'r wasgfa arianol yn cyrhaedd dros yr holl wlad, cymerai ei Uchelder Breninol iddo ei hun yr hyfrydwch o fynegi ar gyhoedd fod gweithfäoedd, a masnach, a chyllid y Deyrnas Gyfunol, mewn cyflwr anghyffredin o flodeuog! Hysbysid hefyd fod y celfyddydau yn myned rhagddynt o'r goreu. Am dano ef, gwyddid yn dda ei fod yn gefnogydd

gwresog iddynt. Y fath oedd purdeb ei chwaeth, fel nad allai oddef edrych ar yr un dodrefnyn am ddwy flynedd yn olynol. Nid aethai nemawr o amser heibio er pan y rhoddasai ei Uchelder Breninol wyth can' gini am awrlais, a mil o bunnau am ddodrefnyn diwerth o wneuthuriad Chinëaidd; ac yr oedd ganddo dŷ tô gwellt, ar ba un y treuliai efe fwy o arian nag a wariai ei ragflaenwyr wrth godi palasau! Nid oedd dim a allasai fyned tu hwnt i'r digllonrwydd cyffredinol pan ddaeth y *Civil List* ger bron y Senedd yn ystod y flwyddyn hono, o herwydd ceid fod gofyneb newydd yn dyfod at y wlad am £50,000 ar gyfer y gôst yr aed iddi gyda dodrefnu y Palas Breninol yn Brighton. Ac yr oedd hyn, cofier, yn dygwydd pan oeddid newydd dalu uwchlaw HANNER MILIWN o bunnau dros ben a ddylesid, yn unig o herwydd gwastraff digyffelyb etifedd y goron. Yn ystod y flwyddyn 1816, hefyd, y cymerodd priodas y Dywysoges Charlotte le â'r Tywysog Leopold o Coburg Saalfeld, ac yr oedd yn cael eu cymeryd o arian y wlad £50,000 at iddynt ddechreu byw, a £60,000 yn flynyddol o hyny allan. Yn wyneb pob peth, rhagfynegai Brougham ac eraill yn y Senedd, fod yn rhaid i gyfnewidiad gymeryd lle, onidê fod yn debyg y chwareuid yr un *game* yn Lloegr cyn hir ag a arddangosasid yn ddiweddar yn Ffrainc.

Wrth ddychwelyd o agor y Senedd yn 1817, saethwyd at y Tywysog gan rywun o'r dorf, a bu agos i'w fywyd gael ei gymeryd ymaith. Daeth i deimlo ar ol hyn ei fod yn llwyr anmhoblogaidd, ac yn ofer y ceisiai ei gyfeillion ei ddarbwyllo i gredu i'r gwrthwyneb. Amlhäodd ei drallodau yn fawr yn y blynyddoedd dilynol. Awdwr y "*Night Thoughts*" a ddywed,

> "When sorrows come, they come not single spies,
> But in battalions;"

ac felly yn ddïau y cafodd Tywysog Cymru yn awr deimlo. O'r flwyddyn 1817, rhuthrai marwolaeth i'r palasau breninol, gan beri i gynifer gwympo nes y meddylid mai ei amcan oedd anrheithio trigfanau eu llawenydd, a diddymu y freninoliaeth yn llwyr. Gadawodd y Dywysoges Charlotte y fuchedd hon Tachwedd 9fed, 1817, yn nghanol galar dyfnach a mwy cyffredinol, o bosibl, nag a fu yn y deyrnas hon erioed, oddieithr fe allai yn ddiweddar pan ymsaethai y newydd ar edyn y mellt fod ei Uchelder Breninol y Tywysog Albert wedi ei rifo ymysg lladdedigion angeu! Yna ar y 19eg o Dachwedd, 1818, bu farw y Frenines Charlotte; ac ymhen ychydig gyda blwyddyn, sef ar y 23ain o Ionawr, 1820, bu farw y Duc Kent, gan adael ar ei ol weddw, a merch nad oedd y pryd hwnw ond wyth mis oed, ond sydd heddyw yn dal yn ei llaw deyrnwialen yr ymherodraeth. Yn yr un dyddiau, cawn fod patriarch y teulu ar ei wely angeu. Bu farw Sior y Trydydd, y mwyaf hirhoedlog o'r breninoedd, ar y 29ain o Ionawr, 1820. Er gwaethaf ei anhwylder blin, daliasai ei gyfansoddiad yn gadarn hyd o fewn ychydig wythnosau i'w dranc. Iddo ef, nid oedd dynesiad marwolaeth yn ofnadwy, a'i ofidion olaf ni fuont ond o fyr barhâd. Yn awr yr oedd ei yrfa ar ben, ei deyrnasiad maith ar y ddaear drosodd, a'i nodweddiad mewn modd mwy arbenig nag o'r blaen yn eiddo i'w olafiaid.

Ar fyrder wedi hyn, cyhoeddid gwrthddrych ein sylw presennol yn Frenin, dan y titl a welir ar ben uchaf y ddalen. Ymhen ychydig fis-

oedd, ni a'i cawn oddiar *orsedd newydd* yn Nhŷ yr Arglwyddi yn traddodi araeth yn nghlyw cynnrychiolwyr y bobl. Cynnaliodd ei *levee* gyntaf ar y 10fed o Fai, pryd yr oedd yn bresennol fil ac wyth cant o bersonau. Oddeutu dechreu y mis canlynol, cychwynid gwneyd parotöadau gogyfer â dydd y coroniad. Cauid dyeithriaid allan o Fynachlog Westminster hyd yn nôd ar adegau y gwasanaeth Dwyfol. Ar y 12fed o Orphenaf, gwnaed cyhoeddiad yn gohirio y coroniad hyd ryw amser dyfodol. Ni phenodid dydd neillduol i gyflawni y ddefod, o herwydd y fath oedd y dyryswch yn achos y Frenines Caroline fel yr oedd cryn ammheuaeth a fyddai coroni i fod ar y Sior hwn o gwbl.

Fe ddealla y darllenydd, mae yn ddïau, fod yr hon a elwid o'r blaen Tywysoges Cymru, yn awr, drwy rinwedd ei phriodas, yn Frenines Gydweddog Prydain Fawr. Yn ol y cyfreithiau, yr oedd ganddi yr un hawl i gael ei choroni ag oedd ganddo yntau, ei phriod. Yr oedd ei Mawrhydi yn awr yn Italy, lle, gan mwyaf, y buasai yn trigo er Awst yn y flwyddyn 1814. Mwynhâi ei chyllid blynyddol o £35,000 yr un modd â phe buasai gartref yn Lloegr. Yr oedd ei sefyllfa yn awr yn un o anhawsdra dirfawr. Pa fodd bynag, o herwydd yr ymosodiadau beunyddiol a wneid ar ei henw da, annogwyd hi gan ei chyfeillion a'i chynghorwyr i ddyfod drosodd i'r wlad hon gyda phob brys, mewn trefn i hòni yr iawnderau a berthynent i'w sefyllfa urddasol. Penderfynasai Sior y Pedwerydd nad oedd hi i fod yn gydgyfranog âg ef o anrhydedd yr orsedd a'r freniniaeth. Yr oedd efe er ys talm wedi bod yn ddigon llygadog i barotöi yn ddyfal gogyfer â dinystrio ei hawlfraint i hyn yma. Parasai anfon dirprwywyr medrus drosodd i Italy i ddwyn ymlaen weithrediadau dirgelaidd yn erbyn ei Mawrhydi, gyda y bwriad, pan ddeuai yr amser cymeradwy, i'w gorchuddio â gwarth, ac er cyfreithloni rhoddi iddi lythyr ysgar. Rhy brin yr oedd gweddillion marwol y Dywysoges Charlotte wedi eu dodi yn y bedd, cyn bod y dirprwywyr hyn yn cychwyn i'w taith, amcan pa un oedd dinystrio y fam yr hon oedd yn awr mewn galar anaele am ei merch. Y mae hanes y "*Milan Commission*" yn un o'r pethau adgasaf a ddarllenasom erioed. Llwyddodd y boneddigion a'i ffurfient, ar ol blynyddoedd o lafur, a thrwy lwgrwobrwyon lawer, i grafu ynghyd dystiolaethau, yn arddangos o du y rhai a'u gwnelent y fath ŵyrni melldigedig ag a bâr i'r galon glafychu wrth feddwl am danynt. Ar sail y tystiolaethau hyn, yr oedd yr ymchwiliad i gael ei wneyd i ymarweddiad ei Mawrhydi, cyn ei chydnabod yn Frenines Prydain Fawr. Fel y dynesai dydd ei phrawf, cynnyddai y pryder cenedlaethol i radd annesgrifiadwy. Ymranai y genedl i ddwy blaid—"plaid y Brenin" a "phlaid y Frenines." Cydunai pawb i ystyried yr achos yn un o hynodrwydd a phwysfawredd digyffelyb. Yn ystod y flwyddyn 1820, parai y mater annedwyddwch o'r mwyaf i filiynau o'r deiliaid. Ymddangosai fel pe na buasai masnach na dim arall yn gallu myned ymlaen fel arferol. Hon oedd y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad newydd; ac un o weithredoedd cyntaf y teyrnasiad hwnw, ysywaeth, oedd cyfreithloni ymchwiliad i ymarweddiad ei Mawrhydi yn ystod y chwe' blynedd y bu yn aros ar y Cyfandir.

Yr oedd dysgwyliad y bobl am ymddangosiad y Frenines yn awr yn angerddol mewn gwirionedd. O'r diwedd, ar y 5ed o Fehefin, glaniodd yn Dover. I bob man lle y deuai, yr oedd yno arddangosiadau o orfol-

edd digyffelyb. Yr oedd ei hymdaith o'r lle a enwyd i fyny i Lundain megys rhyw un fuddugoliaeth ysplenydd, ac yr oedd ei dyfodiad yno yn coroni y cyfan. Gorfodid Sior yn awr i deimlo nad doeth i freninoedd ruthro ymlaen mewn gwrthwynebiad i'r teimlad cyhoeddus. Peryglid diogelwch yr orsedd. Yr oedd tymhestl ofnadwy ar ymdori allan. Yr oedd gruddfanau y bobl, pa bryd bynag y gwelai y Brenin yn dda ddyfod allan i'w plith, yn argoeli rhywbeth difrifol. Daethai ei Fawrhydi, ar hyn o bryd, i fod yn wrthddrych dirmyg a gwatwargerdd cyffredinol. Nid allasai fod yn rhyw ddedwydd iawn hyd yn nôd ar ei orsedd, gan y safai hono mor agos i safn y mynydd tân. Ar unwaith, ceisiai y Frenines i'w diniweidrwydd gael ei addef a'i gyhoeddi, a gofynai am lawn fwynhâd o'i hiawnderau. Proffesai y Brenin a'i weinidogion gredu ei bod yn byw mewn anlladrwydd a godineb tra ar y Cyfandir, a phenderfynent gan hyny wrthod ei gofynion oll. Yn awr, er gwaethaf y bygythion a'r addewidion a wnelsid i'w darbwyllo i sefyll draw, wele ei Mawrhydi mewn gwirionedd wedi meiddio ymddangos ger eu bron, i herio ymchwiliad, i ddadleu eu hawl i'w herlyn megys y gwnaent, ac i ddymchwelyd y gwarth ar gorynau euog ei chyhuddwyr.

I'r rhai hyn, nid oedd ond un llwybr yn agored. Anfonid i'r ddau Dŷ Senedd y papyrau a gynnwysent y tystiolaethau oedd i euogfarnu ei Mawrhydi, a chyda hyny cyflwynid cenadwri Freninol i hysbysu yr ymgynnulliad o ddyfodiad ei Mawrhydi, ac o'r anghenrheidrwydd o dalu sylw difrifol i'r cyhuddiadau oedd yno i'w herbyn. Gwnaed adroddiad ar sail ymchwiliadau Milan, a pharotöwyd arsawd dan yr enw "*A Bill of Pains and Penalties*," gyda y bwriad o ddwyn arni ddinystr buan. Yn yr un mis, ac ar yr un dydd o'r mis, ag y dechreuai ei phrawf y waith hon, y dygid y cyhuddiad cyhoeddus yn ei herbyn bedair blynedd ar ddeg yn ol.

Ymhob rhan o'r deyrnas, ymchwyddo beunydd yr oedd y teimlad cyhoeddus yn ffafr y Frenines. Mynai y bobl âg un llais ddinystrio yr arsawd rhag-grybwylledig. Eu hiaith oedd,—"Pa un a yw hi yn euog ai peidio, nid ydym yn gofalu; derbyniodd y gamdriniaeth erchyllaf; erlidiwyd a thröwyd hi allan odditan gronglwyd ei gŵr; yspeiliwyd hi o'i hiawnderau fel gwraig ac fel mam; cafodd ei chondemnio i fyw megys yn weddw a diblant, fel y gallai yr hwn a ddylasai fod iddi yn ddiogelwch a chysur fyw bywyd o benrhyddid godinebus; nis mynwn o ganlyniad iddi gael ei mathru a'i dinystrio i foddio ei fympwy a'i ddialgarwch ef." Dyma yn wir oedd y teimlad cyffredinol,—dyma y ddedfryd gyhoeddus, a buasai y bobl yn dadleu drosti ac yn ymlynu wrthi hyd yn nôd pe buasai y cyhuddiadau yn erbyn ei Mawrhydi yn cael eu cadarnhâu gan luoedd o'r tystion mwyaf credadwy.

Yr 17eg o Awst oedd y dydd penodedig i agor yr achos anghymharol hwn ger bron Tŷ yr Arglwyddi. Edrychasai y bobl ymlaen at ddyfodiad yr adeg yma gyda phryder dirboenus, eto gyda hyder nad allasai dim ei siglo. Penderfynasant nad oedd y Frenines i syrthio yn aberth i greulondeb ei phriod, yr hwn ni feddai un hawl i gwyno yn erbyn ei hymarweddiad, gan nad pa mor ddrwg y gallasai fod. Yr oedd y teimlad o soriant yn erbyn cefnogwyr y mesur er ei dinystrio hi, erbyn hyn wedi ymgodi hyd at fin gwrthryfel cyhoeddus. Ac megys y bobl, felly hefyd yr oedd y bendefigaeth yn teimlo yn yr achos hwn y dyddordeb mwyaf. Ymgynnullai yr holl Arglwyddi tymmorol ac ysbrydol at eu

gilydd ddiwrnod ar ol diwrnod gyda dyfalwch nad oedd lluddias arno. Rhoddai y Cyffrediniaid hefyd eu presennoldeb yn y Tŷ yn barhâus, gan ffurfio y cynnulliad mawreddusaf a allasai fod. Deuai y Frenines ei hun i mewn yno amryw droion, gyda'i *suite*, gan eistedd i lawr gerllaw ei chynghorwyr galluog. Oddiallan yr oedd y cyffro drachefn yn ddirfawr, eto yr oedd yno berffaith dawelwch, am y credid yn ddïau y byddai y canlyniadau yn ffafr y gorthrymedig. Ar un adeg, pa fodd bynag, yr oedd yr amlygiadau o anfoddlonrwydd a soriant yn dra bygythiol, ac ymledai y teimlad oddiwrth y bobl i fysg y milwyr a ffurfient amddiffynfa y brifddinas. Prin y gallasai y Brenin ymddibynu ar wasanaeth y rhai hyn, pe dygwyddasai dori allan yn derfysg cyhoeddus y pryd hwnw.

Wedi darfod holi y tystion, gohiriwyd y Tŷ o'r 9fed o Fedi hyd y 3ydd o Hydref, pryd yr adgynnullodd y Tŷ, a galwyd y dadleuwyr i mewn, ac y dechreuodd Mr., yn awr Arglwydd Brougham, ei anerchiad yn ffafr y Frenines, pa un a gymerai ddau ddiwrnod i'w draddodi. Yr oedd hwn yn un o'r arddangosiadau penaf o hyawdledd a gymerodd le o fewn y ganrif bresennol. Anmhosibl i neb ond i'r rhai a wrandawsant yr araeth dan sylw, ffurfio dirnadaeth iawn am ei hardderchogrwydd a'i hysplenydd-der. Yr oedd ei cheinion yn amlwg, fel yr oedd ei heffeithiau yn drydanol. Dygai argyhoeddiad i bob mynwes o ddiniweidrwydd ei Mawrhydi, ac ysgubai ymaith y camgyhuddiadau oedd i'w herbyn gyda nerth llifeiriant taranllyd. Nid allasai dim ar y llaw arall fod yn fwy toddedig na'r desgrifiad a dynai efe o ofidion a gorthrymderau digymhar bywyd y foneddiges urddasol, o'i dyfodiad cyntaf drosodd i Loegr hyd yn awr. Yn wir,

> "Edrych yn y drych hwn dro
> Yr galon graig i wylo."

Temtir ni yma i osod ger bron y darllenydd y cyfieithiad a ganlyn o ddiweddglo yr araeth fawreddog hon, pa un mewn gwirionedd sydd yn anefelychadwy:—

"Y fath, fy Arglwyddi," ebe Brougham, "yw yr achos sydd yn awr ger eich bron; a'r fath yw yr arbrawf â pha un yr amcenir ei ddal i fyny. Arbrawf ydyw sydd yn annigonol i brofi unrhyw osodiad; mae yn analluog i amddifadu y deiliad o unrhyw hawlfraint wladwriaethol; yn ddirmygus i gadarnhâu y trosedd lleiaf; yn orwarthus i gynnal cyhuddiad o'r natur uchaf; yn anghenfilaidd i ddinystrio anrhydedd Brenines Lloegr. Beth, gan hyny, a ddywedaf am dano fel arbrawf i gynnal gweithred farnol o eiddo y wladwriaeth,—sef cyfraith *ex post facto?* Fy Arglwyddi, yr wyf yn galw arnoch arafu. Yr ydych yn sefyll ar fin craig ofnadwy. Os ä eich dedfryd allan yn erbyn y Frenines, dyma yr unig weithred o'r eiddoch erioed a aeth allan heb effeithio ei hamcan; hi a ddychwela yn ôl ar eich penau eich hunain. Achubwch y wlad—achubwch eich hunain. Gwaredwch y wlad—achubwch y bobl yr ydych yn addurniadau iddynt, ond oddiwrth y rhai, os wedi eich hysgaru, nis gellwch fyw mwy na'r blodeuyn a dorir ymaith oddiwrth y gwreiddyn a'r pren ar ba un y tyfai. Achubwch y wlad, gan hyny, fel y parhäoch i'w hadduro; achubwch y goron, yr hon a fygythir gan niwed anadferadwy; achubwch y bendefigaeth, pa un a amgylchynir â pherygl; achubwch yr allor, yr hon nid yw mwyach yn ddiogel tra fyddo yr orsedd yn ei hymyl yn siglo. Chwi a ganfyddwch, pan na chaniatâi yr eglwys a'r orsedd i un erfyniad eglwysig gael ei wneyd ar ran y Frenines, fod gweddïau calonog y bobl yn ymddyrchafu i'r Nefoedd am amddiffyniad iddi. Yr wyf yn gweddïo ar y Nefoedd drosti; ac yma y tywalltaf allan fy neisyfiadau taerion at Orsedd Trugaredd, ar fod i fendithion ddisgyn ar bobl y wlad hon, mwy helaethlawn nag a haeddodd eu llywodraethwyr, ac ar fod i'ch calonau gael eu troi at gyfiawnder."

Ar ol hyn, yr oedd tystion eto i'w holi o du y Frenines. Yna ar y 24ain o Hydref, traddodwyd araeth anarferol o hyawdl gan Mr. Denman, wedi hyny Arglwydd Denman, er dangos nodwedd wrthweithiol y tystiolaethau, ac annigonolrwydd yr arbrawf yn erbyn ei Mawrhydi. Erbyn y 30ain, yr oedd yr areithio o'r ochr arall drachefn drosodd, a mawr oedd y dyfalu beth fyddai tynghed y "*Bill of Pains and Penalties.*" Er yr adeg pan oedd Edmund Burke, a Fox, a Sheridan, yn traddodi eu hareithiau mawrion yn Neuadd Westminster, mewn condemniad i Warren Hastings gynt, ni chawsai y wlad y fath arddangosiadau o hyawdledd ag yn y dyddiau at y rhai y cyfeirir.

Yn fuan, yr achos yn erbyn y Frenines a drôdd allan yn fethiant hollol; oblegid ar y 7fed o fis Tachwedd, dacw yr arsawd a fuasai yn cynhyrfu yr ymherodraeth am fisoedd lawer wedi ei daflu dros y bwrdd. Nid allasai Gweinidogion y goron wneyd yn well na brysio o "ddinas dystryw," a gadael eu meistr druan iddo ei hunan, i ymdaro goreu y medrai. Meddyliai y Brenin wella ychydig ar ei sefyllfa, mae yn ddïau, wrth gynnyg pan yn agor y Senedd y tro nesaf, ar fod i ddarpariaeth deilwng gael ei gwneyd i'r Frenines, a chynnygiai y Weinyddiaeth, mewn ufudd-dod i'w gais, ganiatâu iddi £50,000 yn flynyddol. Ond nid oedd ei thrallodion hi drosodd eto; yr oedd y gwaethaf eto yn ôl. Wedi ei holl ymdrechion i fynu ei hiawnderau, yr oedd y coroniad i gymeryd lle, a hithau i gael ei chau allan. Dadleuid fod yr hawlfraint o drefnu pob peth ynghylch y seremoni hono yn perthyn yn gyfangwbl i'r Brenin, a'i fod yn dewis na byddai i'r Frenines ffurfio un rhan o honi. Gwrthdystid yn erbyn y fath ymddygiad dyeithr ac anghyfiawn, o anghenrheidrwydd; ond profai yr holl lafur, pa fodd bynag, yn gwbl ofer.

Cymerai y coroniad le yn Mynachlog Westminster ar y 19eg o Gorphenaf, 1821, gyda rhwysg na welsid ei gyffelyb ar y cyfryw achlysur erioed o'r blaen. Yn groes i ddymuniadau ei chynghorwyr cyfreithiol, daethai y Frenines tua'r fan, mewn cerbyd yn cael ei dynu gan chwech o geffylau. Oddimewn elid ymlaen gyda seremonïau y coroniad; oddiallan yr oedd y terfysg a'r cyffro mwyaf yn ffynu. Methodd ei Mawrhydi yn ei hamcan i fyned i mewn; nid oedd gan y milwyr awdurdod i weithredu ar ei rhan. Aeth yn ôl tua'i phalas mewn rhwysg. Grudd-fanai rhai, mae yn wir, ond yr oedd banllefau cymeradwyol y tyrfäoedd, ar gyfer hyny, yn rhwygo yr awyr. Ni welsid y fath goroniad â hwn erioed o'r blaen!

Yn ebrwydd yr oedd yr helynt fawr ar ben, y *carnival* drosodd, a'r bobl yn dechre meddwl o ddifrif am y treuliau. Nid ychydig oedd y digllonrwydd a deimlid drwy y wlad pan wneid yn hysbys fod y wisg oedd gan y Brenin am dano ddydd ei goroniad yn costio i'r deyrnas BUM MIL AR HUGAIN o bunnau. Nid oedd hon da i ddim mwyach ond i'w dodi o'r neilldu fel *lumber* diwerth yn y *wardrobe* freninol. Ond y peth y gofidid fwyaf o'i blegid o ddim ydoedd yr ymddygiad creulawn at y Frenines. Iddi hi yr oedd y tro yn angeuol. Cyrhaeddasai y chwareuydd breninol ei amcan o'r diwedd. Cymerodd y ddyrnod effaith. Nis gallai y natur ddynol ymgynnal yn hŵy. Yr oedd calon y Frenines yn un wrol iawn, ond o'r diwedd hi a dorodd. Ymneillduodd i'w hystafell, i dreulio y gweddill o'i hoes mewn unigedd tawel. Ni chwynai mewn un modd, a maddeuai i bawb. Bellach suddai yn gyflym, canys yr oedd ei chyf-

ansoddiad wedi ymddryllio yn enbyd gan ing meddyliol, pa un oedd yn llymdost iawn. Ni chwennychai fyw yn hwy. Ac felly, ar y 7fed dydd o Awst, 1821, sef ymhen oddeutu tair wythnos ar ol coroniad Sior y Pedwerydd, y gorphenodd ei Frenines annedwydd ef ei gyrfa ddaearol gan dristwch a thoriad calon.

Yr oedd Sior y pryd yma yn yr Iwerddon, ar ymweliad â'i ddeiliaid teyrngarol yno. Ni chollwyd amser heb gyflwyno iddo yr hysbysiad am farwolaeth y Frenines—amgylchiad annysgwyliadwy iddo, eto un hollol ddibwys yn ei olwg. Drannoeth ar ol derbyn y newydd, yr oedd hanes am dano yn areithio yn nghlyw torf o Wyddelod, ac yn cyhoeddi *fod hwnw y dydd dedwyddaf o'i oes!* Eto, ar yr 17eg o'r mis difrifol hwn, cawn ef yn gwneyd ei *entry* gyhoeddus i Dublin, yn nghanol rhwysg a gorfoledd o'r fath ag a foddiai ei uchelfrydedd mwyaf. Y noswaith hono yr oedd mwy o afreolaeth a meddwdod hyd heolydd prifddinas y Gwyddelod nag a welsid yno erioed o'r blaen. Drannoeth, sef y 18fed o Awst, oedd y dydd penodedig i symud corff y Frenines o Brandenburg House, gerllaw Hammersmith, i fyned i Harwich, ac oddiyno i feddrod ei thadau i Brunswick. Dilynid yr elorgerbyd drwy heolydd y brifddinas gan dyrfäoedd aneirif o bobl. Ceisiai yr awdurdodau droi ymaith yr orymdaith rhag myned drwy y ddinas; cymerodd terfysg a choll bywyd le, ond y bobl a orfuant,—daeth y *procession* i mewn i'r Strand, gerllaw Temple Bar, fel ag i dramwyo yr holl ddinas. Yr holl ffordd o Lundain tua glàn y môr, y fath oedd y dyddordeb a deimlid, fel y deuai pawb allan, a'r rhan fwyaf yn eu galarwisgoedd, nes bod y golygfäoedd o drallod a phrudd-der a welid yn taro hyd yn nôd y rhai mwyaf difater â braw. Yr oedd yr arch, drwy orchymyn ei Mawrhydi cyn marw, yn dwyn arni yr argraff cyffröus,—"*Caroline o Brunswick, breninés lofruddiedig Lloegr.*" Parai hyn i'r awdurdodau wrthod ei derbyn i'r eglwysi tra ar ei ffordd tua'r porthladd o ba un yr ydoedd i'w dwyn drosodd i'r Cyfandir. Dywedir mai anfynych y canfuwyd golygfa fwy hynod a tharawiadol na'r un a welid pan adawai gweddillion marwol y "Frenines Lofruddiedig" arfordir y deyrnas hon. Yr oedd myrddiynau o bobl o bob gradd yn gorchuddio y traeth—y môr fel drych toddedig, ac yn fyw gan fadau a llestri o bob maint, a'u banerau yn chwyfio ar ganol eu hwylbrenau, fel ar ddyddiau wedi eu cysegru i alar—tra y tywynai yr haul gyda dysgleirdeb oedd yn cyferbynu yn hynod gyda y prudd-der du oedd ar wynebau y tyrfäoedd. Fel yr ergydiai y magnelau eu trwst taranllyd dros y dyfroedd bob yn awr ac eilwaith, gwelid cadbeniaid oeddynt wedi heneiddio yn ngwasanaeth eu gwlad, wrth adgofio troion caredig ac elusenau y Dywysoges, o'r rhai y buasent yn dystion neu weinyddwyr,—gwelid hwy yn analluog i attal y dagrau a ymdywalltent i lawr dros eu gruddiau rhychlyd. Pwy all ddirnad y pangféydd dwysion o ofid a ddyrwygent galonau miloedd, fel y canfyddid yn olwynio ymaith y llestr hardd a ddygai ymaith am byth oddiwrthynt weddillion y Frenines Caroline, i ymgymysgu â llwch llu mawr o wroniaid ardderchog! A phan y cleddid hi, y cleddid hefyd yr hyn oll o boblogrwydd a berthynai i'r Brenin Sior y Pedwerydd.

Yn nechreu ei deyrnasiad, arddangosai y Brenin gryn lawer o fywiogrwydd yn y ffordd o deithio ac ymweled âg amryw barthau o'r ymherodraeth. Ar yr achlysuron hyn, canfyddid wrth gwrs gryn lawer o

rodres a mawrhydi, canys pobl deyrngarol yw y Prydeiniaid, eto ni phrawf hyn ddim gyda golwg ar *wir* boblogrwydd. Perchid *y teyrn*, ond nid ellid anghofio troseddau *y dyn*. Gwyddai Sior hyny yn burion. Yr oedd arno "ofn y bobl." Wedi y flwyddyn 1823, ni ddeuai byth i wyneb y cyhoedd ond pan fyddai eisieu gohirio y Senedd. Treuliai y gweddill o'i fywyd mewn neillduaeth cymhariaethol, yn nghwmni ei hoff Ardalyddes, ac hefyd i drefnu ei bysgodlynoedd a'i rodfëydd, ynghyd ag i adgynllunio a dodrefnu ei balasau. O'r diwedd, daeth ei dro yntau oddiamgylch. Bu angeu yn chwerw wrtho. Ychydig cyn trengu, efe a ddywedai, "*Oh God, I am dying!*" ac yn ebrwydd ychwanegai, "*This is death!*" Ac felly, ar fore dydd Sadwrn, y 26ain o Fai, 1830, y bu farw y penadur hwn yn Nghastell Windsor. Ymhen nifer o ddyddiau wedi, dodwyd ei weddillion i orwedd yn y *Royal Mausoleum* yn Windsor, yn nghanol arwyddion lawer a diammheuol o gyfoeth a mawredd bydol.

Yr ydym yn terfynu drwy ddyweyd, os bydd i rywrai grybwyll enw Sior y Pedwerydd gyda pharch, neu arganmawl ei gyrhaeddiadau fel yn dwyn anrhydedd i ddynoliaeth, mai yn ofer y chwilir yn hanes ei fywyd am gofnodion o'r gweithredoedd a gyfiawnhânt y cyfryw ymddygiad. Rhinwedd sydd yn dyrchafu cenedloedd, ac heb hyny nid yw hyd yn nôd breninoedd yn teilyngu parchedigaeth arosol. Mor wahanol yw llys ein Brenines Victoria i'r hyn ydoedd llys ei hewythr Sior! Iawn y sylwai Mr. Binney yn ei bregeth angladdol ar ol y diweddar Dywysog-Cydweddog, "Darfu i'r Frenines a'i phriod alluogi y genedl unwaith yn rhagor i barchu y sefydliad breniniaethol. Codasant yr orseddfainc i fyny rhag y dirmyg oedd yn dyfod arni trwy feiau y rhai a eisteddent arni. Oddiwrth ddiystyru eu breninoedd, yr oedd y bobl yn myned i ddiystyru breniniaeth." Credu yr ydym fod llys Victoria—Duw a'i cadwo!—o ran purdeb moesol yn siampl o'r fath oreu i holl deyrnlysoedd y ddaear.

---

# DYSGEIDIAETH FIBLAIDD.

Y MAE dau gamgymeriad mawr yn bod ag y mae cristionogion wedi syrthio iddynt gyda golwg ar ddeall y Bibl. Un, a'r mwyaf cyffredin, ydyw, fod eisieu cymaint o help at hyny nes bod y gorchwyl yn myned yn ormod braidd i geisio ei gyrhaedd. Y mae mor ddwfn neu dywyll fel y mae eisieu esboniad bron ar bob adnod. Y mae rhyw ddirgelwch ymhob llinell agos, ac eisieu rhyw athraw i ddwyn y dirgelwch hwnw i'r golwg. Rhaid cydnabod fod awduron, ac yn eu plith rai o'r dynion goreu, wedi rhoi gormod o achles i syniadau felly. Ond camgymeriad echrydus ydyw, a chamgymeriad sydd yn taflu anfri o'r mwyaf ar y Bibl fel dadguddiad Dwyfol. Os ydyw gair Duw mor dywyll a hyn, nid dadguddiad mohono—o'r hyn lleiaf, nid dadguddiad i'r werin. Y mae,

rywfodd neu gilydd, wedi methu cyrhaedd ei amcan. Os oes anghenrheidrwydd am i ryw un esbonio yr ysgrif Ddwyfol cyn y gall y byd ei deall, yr ydym eto mewn anghen am i ryw lais o'r nef lefaru, a rhoi sicrwydd i ni am arweinydd anffaeledig, ac yn fwy felly am fod esbonwyr y dadguddiad sydd genym yn anghyttuno â'u gilydd yn ddiderfyn. Y camgymeriad arall ydyw cymeryd y Bibl i fyny fel pe mai efe yw y llyfr hawddaf ei ddeall mewn bod—fel pe na bae rwystr yn y byd i'w amgyffred o ddechreu Genesis hyd ddiwedd Dadguddiad. Nid llawer, mae yn wir, yn y dyddiau hyn a ddywed syniadau felly, ond y mae digon eto yn ymddwyn yn y dymher yma tuag at y Bibl. Ac o'r ddau gamgymeriad, dyma y mwyaf diniwed. Ac yn wir, nid y mwyaf diniwed yn unig, ond hefyd y mwyaf cywir. Y mae dal nad oes un anhawsder penodol i ddyn meddylgar a chrefyddol ddeall holl air Duw yn nês o ddigon i'r gwirionedd na hòni bod eisieu eglurhâd ar bob ymadrodd bron. Cymered y Cymro ei Fibl Cymraeg, heb ddim i'w gynnorthwyo ond y darlleniadau ar ymyl y ddalen, a'r cyfeiriadau—yn gymhwys fel y mae y gyfrol sanctaidd yn cael ei chyhoeddi gan y Fibl Gymdeithas—a darllened ef yn feddylgar ac mewn tymher weddïol, drosodd a throsodd, a beiddiwn ddyweyd y caiff, ar y cyfan, wybodaeth gywir o air Duw. Ar yr un pryd y mae llïaws mawr o leoedd yn yr ysgrif Ddwyfol yn anhawdd iawn i'w deall yn drwyadl. Ac nid yw hyn yn rhyfedd chwaith pan y cofiwn pa fath lyfr sydd o'n blaen—ei fod wedi ei ysgrifenu yn wreiddiol mewn iaith ddyeithr—gan genedl oedd yn wahanol iawn i ni yn ei defodau a'i harferion, ac mewn gwlad oedd â'i hagweddau anianyddol yn annhebyg iawn i bob peth sydd yn ein gwlad ni ein hunain. O'r pynciau hyn y mae cynifer o rwystrau yn codi ar y ffordd i ddeall y gyfrol sanctaidd yn fanwl; a gwybodaeth o'r pynciau hyn yw yr unig foddion effeithiol i'w symud.

Fel y nodwyd eisoes, yr ydym yn credu o eigion calon y gall dyn gael gwybodaeth ëang a chywir o Air Duw heb ddeall dim ond Cymraeg, a darllen dim ond efe, trwy ei ddarllen yn gyson, yn feddylgar, ac mewn tymher grefyddol. Ond tuag at ei ddeall yn fanwl a beirniadol, y mae eisieu ymgydnabyddu â chylch ëang o wybodaeth; a'n hamcan yn yr ysgrif hon yw cymeryd adolygiad byr ar y cylch hyny. Y mae yn cynnwys pedwar peth,—Henafyddiaeth—Ieithyddiaeth—Canonyddiaeth—a Beirniadaeth. *Y pwnc blaenaf yw* HENAFYDDIAETH.

Y mae y gair, fel y cenfydd y darllenydd, yn tarddu o henafydd, un fo yn gwneyd agwedd henafol gwlad a chenedl yn destun efrydiaeth. Dan y pen yma, gan hyny, yr ydym yn rhestru y cwbl a berthyn i nodweddion y wlad, ac i agweddion cymdeithasol y trigolion. Gellir rhanu y pwnc yn bur naturiol i dri dosbarth.

1. Daearyddiaeth—neu ddesgrifiad o'r gwledydd y sonir am danynt yn y Bibl. Nid oes anghenrheidrwydd anhebgorol am fod yn fanwl yn naearyddiaeth un wlad ond Gwlad Canaan, o herwydd nid oes gan *ddaearyddiaeth* gwledydd eraill fawr o le ar ddalenau yr hen Lyfr. Y nesaf at wlad Canaan yw yr Aipht; ond nid yw agwedd ddaearyddol hono yn cael llawer o argraff ar yr hanesiaeth Ddwyfol. Ond am Wlad Canaan ei hun, y mae o'r pwys mwyaf i'r efrydydd Ysgrythyrol gael syniad manwl o'i daearyddiaeth. Yn y lle blaenaf, rhaid iddo ddeall ei nodweddion anianyddol—nid yn unig ei hŷd a'i llêd, ei mynyddoedd a'i

dyffrynoedd, ei hafonydd, ei llynoedd, a'i ffynonnau, ond hefyd pa fodd y mae yn gwahaniaethu yn y pethau hyn oddiwrth ein gwlad ni ein hunain a gwledydd eraill Ewrop. Rhaid iddo ddeall yr amrywiaethau dirfawr sydd yn ei harwynebedd ac yn ei hinsawdd, a'i bod, yn yr holl bethau hyn, yn sefyll ar ei phen ei hun ymhlith holl wledydd y byd. Y mae y gyfrol sanctaidd yn llawn o gyfeiriadau at agwedd y wlad, nid yn unig yn ei phethau cyffredin, ond hefyd yn ei neillduolion; ac yn niffyg i'r efrydydd wybod y neillduolion hyny, fe fydd yn annichon iddo ganfod grym a phrydferthwch cannoedd o gyfeiriadau. Fe allai nad oes un gangen o wybodaeth Ysgrythyrol yn taflu mwy o oleuni ar y Bibl na'r un dan sylw.

Ond dylem sylwi yma, nad ellir esbonio daearyddiaeth y wlad yn fanwl a llwyddiannus ond trwy gyfrwng yr Hebraeg. Fel y nodwyd, y mae agwedd y wlad yn un hynod, ac nid oes un iaith yn gallu ymgymhwyso yn iawn tuag ati ond yr Hebraeg. Gan fod hono wedi ei magu a'i dadblygu yn y wlad—mewn gair, gan mai iaith y wlad ei hun ydyw, y mae ganddi eiriau cyfaddas i ddynodi holl neillduolion daearyddol y wlad; ac nid ellir eu hesbonio a'u deall yn fanwl ond trwy gyfrwng y geiriau hyny. Nis gwyddom am un llyfr eto wedi ei gyhoeddi yn Mhrydain i egluro daearyddiaeth y wlad ar yr egwyddor hon oddieithr un bychan a ddaeth allan yn ddiweddar gan ein cydwladwr Mr. Mills.

Ond heblaw ei nodweddion anianyddol, y mae eisieu bod yn hyddysg yn ei rhaniadau gwleidyddol. Y mae y rhaniad cyntaf tan Josua—helaethiad y terfynau tan Dafydd a Solomon—rhaniad y genedl yn ddwy deyrnas—yn bynciau y cyfeirir atynt yn barhäus, ac yn y Testament Newydd, y rhaniad a wnawd gan y Rhufeiniaid. Y mae ugeiniau o leoedd nad ellir eu deall yn iawn heb wybod y rhaniadau hyn.

Yn awr, pan y câ yr efrydydd wybodaeth led fanol fel hyn o ddaearyddiaeth Canaan, fe ganfydda fod ei delw i fesur mawr ar nodweddiad y genedl, ac nad ellir esbonio ei hanes yn gyflawn a manwl heb gymeryd yr elfen ddaearyddol i mewn.

2. Hanesyddiaeth naturiol. Y mae hyn yn cynnwys llysiau, coed, ehediaid, ac anifeiliaid o bob math, ynghyda chynnyrchion llysieuog a mŵnol y wlad, a chèryg gwerthfawr. Nid ydym yn golygu y dylai yr efrydydd fod yn feistr mewn hanesyddiaeth naturiol y byd, er mai goreu po helaethaf y bo yn hyny, ond yn unig mor bell ag y mae yn cyfeirio at wlad Canaan. Nid gwybod ychwaith am y coed a'r anifeiliaid, &c., fel y maent mewn gwledydd eraill, ond fel y maent neu fel yr oeddynt yn ngwlad y Bibl, canys y mae y cyfeiriadau yn fynych yn cynnwys y neillduolion a gynnyrchid gan *soil* a hinsawdd y wlad hono.

Y mae y pwnc, modd bynag, hyd yma yn un lled ddyrys. Y mae yn anhawdd penderfynu mewn lliaws o amgylchiadau at ba lysieuyn neu grëadur y cyfeirir yn benodol. Ac i greu mwy o anhawsder fyth, y mae awduron wedi cymhwyso yr enwau yn fynych at wrthddrychau gwlad wahanol i'r hon y cyfeirir ati. Weithiau defnyddir gwrthddrych ar lànau yr Euphrates neu yn yr India i esbonio gwrthddrych y cyfeirid ato yn Ngwlad Canaan. Nid oedd yr Iuddewon mor fanwl, dybygid, yn eu henwedigaethau anianyddol ag oeddent yn eu rhai daearyddol. Ond y mae llawer iawn wedi ei wneyd yn ystod y blynyddoedd diweddaf i ddwyn y pwnc yn ei holl gysylltiadau i oleuni.

3. Y trigolion. Y mae o fwy o bwys o lawer i ni fod yn gydnabyddus â'r dynion a sonir am danynt yn y Bibl nag â'r ehediaid a'r anifeiliaid direswm. Y mae hyn yn wirionedd gyda golwg ar bob cenedl a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau, ond yn neillduol yr Iuddewon.

(1.) Yn un peth, y mae eisieu deall eu nodweddion cenedlaethol. Y mae yn wir mai o un gwaed y gwnawd pob cenedl i breswylio ar wyneb yr holl ddaear; ond y mae mor wir a hyny fod i bob cenedl, i ryw fesur, ei nodweddion ei hun. Yr un fath ag y mae teuluoedd yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn yr un wlad, felly y mae cenedloedd yn gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall yn yr un byd. Y mae y naill fel y llall yn cael ei achosi gan amgylchiadau allanol, megys hinsawdd y tir, dull o fyw, addysg, arferion, crefydd a moesoldeb, &c., ond eu bod, wrth gwrs, yn gweithredu mewn cylch ëangach o lawer yn eu cysylltiad â chenedl nag â theulu. Ni fu un genedl erioed yn fwy tan ddylanwad yr yr achosion hyn na'r genedl Iuddewig, o herwydd, ar un llaw, ei bod yn neillduedig oddiwrth y cenedloedd eraill; ac ar y llaw arall, y gyfundraeth genedlaethol a sefydlodd Moses yn eu mysg. Yr un fath ag y mae holl aelodau ambell deulu yn dwyn tebygolrwydd teuluaidd i'w gilydd nad ellir ei gamgymeryd, felly yr oedd y genedl Iuddewig wedi ei hargraffu â'r un ddelw.*

Ynglŷn â hyn rhaid i'r ysgolaig Biblaidd ymgynnefino â defodau ac arferion y genedl. Rhaid iddo eu canlyn i'w tai i gael golwg ar eu harferion a'u trefniadau teuluaidd, y rhai cyffredin a chrefyddol; a thrachefn rhaid iddo eu canlyn yn y cyhoedd i ganfod eu defodau yno.

(2.) Sefydliadau gwladol a chrefyddol. Rhaid i ni gofio yma nad oedd Israel, pan yn myned i lawr i'r Aipht, ond ychydig o fugeiliaid digon cyffredin, heb fod ganddynt un sefydliad arbenig, na gwladol na chrefyddol, nac unrhyw ddefod neillduol oddieithr yr enwaediad. Ond mor wahanol yr ydym yn eu cael yn amsèr Solomon, er enghraifft. Yr oeddynt y pryd hyny wedi myned yn genedl gref a chyfoethog, a chanddynt liaws o sefydliadau cenedlaethol. Gan hyny, dylai yr efrydydd chwilio pa sefydliadau oedd ganddynt,—pa rai oedd yn wladol, a pha rai oedd yn grefyddol; a pha bryd y cychwynwyd y naill a'r llall. Fe allai nad oes yr un cwestiwn yn hanes y genedl yn fwy anhawdd i'w ateb yn fanwl a boddhâus na rhai o'r cwestiynau a gyfyd ar y pwnc dan sylw. Rhaid i'r efrydydd gychwyn ei ymchwiliad yn nghymydogaeth Sinai, trwy wrando yn astud ar y Deddfroddwr mawr. Ar ol clywed yr holl "ddeddfau a'r barnedigaethau," boddhäed ei feddwl, os gall, beth sydd yn grefyddol, a pha beth sydd yn wladol. Nid yw yn bwnc anorfodadwy, ond cymeryd y llwybr iawn i'w chwilio. Os myn yr efrydydd fyned trwyddo yn llwyddiannus, rhaid iddo, yn un peth, gofio o hyd mai cyfundraeth wedi ei seilio ar Ddwyflywiaeth yw yr un y mae yn ei chwilio—hyny yw, cyfundraeth lle y mae Duw yn frenin gwladol yn gystal ag yn wrthddrych

* Nid oes dim yn dryllio cyfundraethau y rhai sydd yn gwadu unoliaeth yr hil ddynol gymaint â hanes yr Iuddewon. Yr un fath ag yr oedd eu hanes cyffredin yn wrthglawdd ansymudadwy i anffyddiaeth iselwael Voltaire a'i gyffelyb, felly y mae eu hanes neillduol i anffyddiaeth *Ethnologists* ein dyddiau ni. Nid all cyfundraeth Mr. Darwin—y fwyaf ddiweddar, gymedrol, a galluog o'r cwbl—sefyll am fynyd o flaen y ffeithiau sydd o flaen llygaid y byd yn hanes y genedl hon. A ydyw Rhagluniaeth Ddwyfol yn ei chadw fel hyn, tybed, nes bydd y meddwl dynolwedi blino ar ei anffyddiaeth o bob math, a'r holl genedloedd yn cael eu can i ffydd yr efengyl? Gwel Rhuf. xi.

addoliad. Rhaid iddo hefyd beidio cymeryd ei ddyrysu gan unrhyw gyfieithiad o'r ddeddf, ond ei darllen yn yr iaith y llefarwyd hi, gan ddal sylw manwl ar yr enwedigaethau a ddefnyddir gan y Deddfroddwr. Yn niffyg iddo gymeryd ei safle ar y tir yma, beiddiwn ddyweyd mai cynnyg anhawdd ei dehongli fydd cyfraith Moses iddo drwy gydol ei oes.

Fe allai mai yn y fan yma y dylid sylwi ar nodweddion meddyliol y genedl, a'i thueddiadau llênyddol. Hyd yr ymadawiad o'r Aipht, nid oes dim mantais i wneyd yr ymchwiliad. Cyn eu mynediad yno, nid oedd oes y genedl wedi bod yn ddigon o hyd i ddadblygu y nodweddion cenedlaethol; ac yn yspaid y caethiwed, nid ydym yn cael digon o olwg arnynt. Gyda'u bod wedi gadael yr Aipht, ac yn sefyll ar làn y Môr Coch y tu draw, y maent mewn cyflwr manteisiol i'r efrydydd gychwyn ei ymchwiliad. Ac yma fe gaiff brawf nad oedd y caethiwed wedi difa eu doniau cenedlaethol. Y mae yr emyn wir farddonol a ganwyd ar làn y môr yn dangos fod yno awen goeth a medrus yn eu mysg. Yn ngwneuthuriad y tabernacl drachefn ni a gawn fod gweithwyr campus yn eu mysg. Yr olwg olaf a geir arnynt cyn y caethiwed, y mae eu tad Jacob yn rhagfynegu, mewn barddoniaeth, beth fydd tynghed ei feibion (Gen. xlix. 2—27); ac y mae y cyfansoddiad yn brawf fod yr hen batriarch yn awenydd gwych a medrus. Ond y mae yr olwg gyntaf arnynt ar ol y caethiwed yn peri syndod fod yr awen wedi aros ymysg ei blant tan y fath amgylchiadau; ac nid hyny yn unig, ond eu bod yn fedrus hefyd yn y gweithiau cywrain sydd yn perthyn i'r celfyddydau awengar. Dichon fod y deugain mlynedd anfanteisiol yn yr anialwch wedi eu colledu o'r gweithwyr cywrain—na chododd neb o'r plant i fedrusrwydd eu tadau; ac y mae yn amlwg na fu eu cyflwr yn ngwlad yr addewid ddim yn fanteisiol iddynt feithrin unrhyw gelfyddyd goeth. Nid oedd gan Solomon mo'r fantais yn yr ystyr yma, wrth godi y deml, ag oedd gan Moses wrth godi y tabernacl. Sut bynag, rhaid i'r efrydydd ddal sylw ar y wybodaeth a'r dalent sydd yn ymddangos yn y genedl yn ngwahanol oesau ei hanes. Fe rydd hyn ddrych dyfnach iddo ar ei nodweddiad; fe wêl fod mwy o'r elfen farddonol neu awenyddol yn y genedl nag o'r elfen athronaidd; ac fe fydd canfod hyn yn rhoi help iddo fyned yn well i ysbryd eu cyfansoddiadau.

(8.) Eu hanes. Y mae y pynciau blaenorol, wrth gwrs, yn golygu gwybodaeth, i ryw fesur, o hanes y genedl; hyny yw, ei hanes fel gwladwriaeth yn Ngwlad Canaan. Ond nid yw hyny yn ddigon—y mae eisieu i'r ysgolaig Biblaidd sefyll ar dir hanesyddol uwch. I wneyd chware teg â'r pwnc, dylai gychwyn gydag Abraham o wlad ei enedigaeth i wlad yr addewid, a chanlyn ei hiliogaeth trwy holl gyfnodau eu hanesyddiaeth hyd ddiwedd amseryddiaeth y gyfrol Ddwyfol, gan ddal sylw manwl ar bob gwrthdarawiad fu rhyngddynt â chenedloedd eraill, a pha ddylanwad a gafodd hyny arnynt hwy fel cenedl. Y mae yn annichon i'r efrydydd wneyd tegwch â'r pwnc heb wybod, i ryw fesur, beth oedd nodweddion cenedlaethol y gwledydd y daeth Israel i wrthdarawiad â hwynt. O ganlyniad, rhaid iddo ymgynnefino rhyw gymaint â hanesyddiaeth henafol.

Y mae dwy wlad yn arbenig nad all yr efrydydd eu hesgeuluso—yr Aipht ac Assyria. Gyda golwg ar y flaenaf rhaid cofio mai ynddi hi y cynnyddodd Israel yn genedl fawr—fod yr Aipht y pryd hyny yn enwog

mewn dysg a doniau, ac iddi adael ei dylanwad ar y genedl ieuanc. Wrth efrydu y Pumllyfr yn feirniadol, fe wêl yr efrydydd fod delw yr Aipht arno o ben bwygilydd. Fe wêl drachefn fod yr un peth yn wirionedd, i fesur mawr, gyda golwg ar yr ail. O ran ei gysylltiad â'r pwnc dan sylw, gellir edrych ar Assyria a Babilon, gwledydd yr ail gaethiwed, fel un. Yr oeddent hwythau wedi myned trwy oesoedd o lwyddiant mewn dysg a doniau, a gadawsant argraff, ail i un yr Aipht, ar feibion y caethiwed. Cymharer, yn yr ystyr yma, lyfrau Moses â llyfrau Ezeciel a Daniel.

Y mae y dadenhuddiadau sydd wedi cael eu gwneyd yn ein dyddiau ni yn y ddwy wlad dan sylw, wedi symud lliaws o'r anhawsderau beirniadol o'r gyfrol sanctaidd eisoes, ac wedi rhoi defnyddiau yn nwylaw efrydwyr i symud ychwaneg, ac wedi rhoi ergyd marwol i'r anffyddiaeth oedd yn gwadu dilysrwydd yr Ysgrythyrau.

Yr ydym yn awr wedi rhedeg yn fras dros y prif bethau yn henafyddiaeth y gyfrol Ddwyfol; ac y mae ymgydnabyddiad â hwynt yn agor y drws i ganfod ystyr, grym, a phrydferthwch, mewn lliaws dirfawr o leoedd yn y Bibl, nad ellir byth eu canfod heb hyny.

Y pwnc nesaf yw Ieithyddiaeth.

Ar ol i'r efrydydd feistroli y materion a nodwyd, ei orchwyl nesaf fydd cyrhaedd gwybodaeth o ryw nifer o ieithoedd, er mwyn gallu darllen y llyfr ynddynt. Y mae gwybodaeth o ddwy yn anhebgorol anghenrheidiol—yr Hebraeg a'r Roeg—ieithoedd gwreiddiol yr Ysgrythyrau.

1. Yr Hebraeg. Hon, fel y nodwyd, oedd iaith yr Iuddewon ac iaith gwlad Canaan. Os nad yno y ganwyd hi, yno y bathwyd y rhan fwyaf o'i geiriau, ac y ffurfiwyd y rhan fwyaf o'i brawddegau. Y mae delw y wlad arni, ac o ganlyniad ar yr ysgrifau sydd ynddi. Ynddi hi yr ysgrifenwyd yr Hen Destament, oddieithr ychydig o adnodau; gan hyny, y cam cyntaf yn ieithyddiaeth y Bibl yw efrydiaeth yr Hebraeg. Nid oes dim a gyflawna y diffyg o hyny. Nid oes un cyfieithiad, pa mor fanwl a llythyrenol bynag y gall fod, ac ymha iaith bynag y gwneir ef, a wna'r tro yn lle y gwreiddiol. Cyn y gellir deall yr Hen Destament yn fanwl, y mae'n rhaid dysgu Hebraeg.

Wrth fyned trwy lyfrau yr Hen Destament, fe wêl yr efrydydd fod cryn lawer o wahaniaeth rhyngddynt o ran iaith; nid yn unig y gwahaniaeth rhwng iaith farddonol ac iaith rydd, ond hefyd rhwng awdwr ac awdwr. Y mae beirniaid, wrth olrhain y gwahaniaeth yma, wedi ceisio dosbarthu y llyfrau i wahanol gyfnodau, yn ol purdeb neu anmhurdeb yr iaith sydd ynddynt. Y mae rhyw gymaint o sail yn ddiammheu i hyn; ond gan fod y gwŷr enwocaf yn amrywio yn eu barn ar y pwnc, gwell i ni beidio eu canlyn ar hyn o bryd. Mae yn naturiol meddwl—a byddai yn ynfydrwydd dychymygu yn wahanol—y byddai gwahaniaeth o ran geiriau a brawddegau rhwng awduron oedd yn ysgrifenu mor bell oddiwrth eu gilydd o ran amser. Ac nid rhyfedd fod yr awduron tuag amser y caethiwed Babilonaidd yn defnyddio mwy o eiriau a brawddegau cenedlig na'u brodyr. Rhaid i'r efrydydd, modd bynag, beidio cymeryd ei gario i ffwrdd gan fympwy unrhyw feirniad, nes bod yn alluog i farnu drosto ei hun. Odid na wêl, wedi'r cyfan, fod yr amrywiaeth dan sylw yn dibynu yn fwy ar nodwedd yr awdwr nag ar y gwahaniaeth yn yr iaith fel y siaradid hi gan y genedl.

Cyn i ni fyned ymhellach, gwell i ni orphen âg ieithoedd yr Hen Destament. Y mae yr hen dybiaeth fu mor barchus cyhyd gan ddysgedigion, mai yr Hebraeg oedd iaith wreiddiol dynolryw, wedi darfod bellach. Y mae y wyddoreg ieithyddol, fel y geilw Max Müller hi, wedi rhoi gwedd newydd ar bethau; ac o hyn allan, rhaid bod yn foddlawn edrych ar yr hen iaith yn cymeryd ei lle ymhlith chwiorydd-ieithoedd parchus, ond nid mor barchus â hi o herwydd yr ysgrifau Dwyfol sydd ynddi. Ieithoedd plant Sem oedd y rhai'n. Eu cartrefi oedd Gwlad Canaan, Syria ac Assyria, Arabia, Ethiopia, yr Aipht, a rhanau o Affrica. Ond nid ein pwnc ni yn awr yw canlyn ar eu hol—gadawn hyny i'r efrydydd—ond yn unig nodi i'r famiaith, mewn oesoedd, ymranu i nifer o gangenieithoedd, ac i ieithoedd plant Sem liosogi yn ol y gwledydd yr ymsefydlasant ynddynt; nid, wrth gwrs, fel gwahanol ieithoedd annibynol, ond fel rhai o'r un gwreiddyn, ond wedi eu meithrin a'u dadblygu yn wahanol. Fe gaiff yr efrydydd fod y maes yma yn un swyngar tros ben. Ond rhaid i ni ei adael yn awr yn unig gyda nodi yr ieithoedd fydd yn gymhorth iddo yn meirniadaeth yr Ysgrythyrau.

(1.) Yr Arabaeg. Myn rhai mai hon yw yr iaith fwyaf anghenrheidiol i'r beirniad, yn nesaf at yr Hebraeg; ond y mae hyny yn bwnc pur ammheus. Nid oes ammheuaeth nad yw o wasanaeth mawr gyda golwg ar lênyddiaeth gyffredin yr Ysgrythyr, ond ei deall yn dda, er mai ei phrif werth, dybygid, yw i chwilio i dadogaeth geiriau ammheus yr Hebraeg, ac i benderfynu ystyr enwau gwrthddrychau anianyddol gwlad Canaan, megys enwau llysiau ac anifeiliaid. Y mae llênyddiaeth yr iaith yn bur ëang; ond hyd y mae ysgoleigion Ewropëaidd wedi ei chwilio, nid yw mor doreithiog i'r ysgolaig Biblaidd ag y gallesid dymuno. Y mae cyfieithiad o'r Hen Destament i'r iaith hon, a wnawd yn y ddegfed ganrif gan Iuddew o'r enw Saadjah Haggaon yn, un dorus iawn, yn neillduol y Pum' Llyfr.

(2.) Y Syriaeg. Nîth, ferch chwaer, yw hon i'r Hebraeg. Yr oedd ei mam, yr Araméaeg, yn cael ei siarad trwy wledydd Syria ac Assyria, &c., tra yr oedd ei chwaer, yr Hebraeg, yn cael ei siarad yn Ngwlad Canaan a Phenisia, a'i chwaer arall, yr Arabaeg, yn cael ei siarad yn Arabia. Ymhen oesoedd ymranodd yr Araméaeg yn ddwy—Syriaeg a Chaldaeg, ond dwy hynod o debyg i'w gilydd o ran eu holl nodweddion. Iaith Syria a rhan o Mesopotamia oedd y Syriaeg; ac yn amser y Testament Newydd, iaith gwlad Canaan hefyd. Yr oedd yr Hebraeg wedi marw er ys canrifoedd cyn hyny. Y mae gwybodaeth o'r Syriaeg yn hynod o fanteisiol i feirniadaeth yr Ysgrythyrau, y Testament Newydd yn fwy na'r Hen. Y mae gwybodaeth ramadegol o honi yn rhoi help mawr i chwilio tadogaeth geiriau yn yr Hen Destament, yn gystal a rhai geiriau yn y Newydd; ond y mae ei llênyddiaeth helaeth yn ymwneyd yn fwy â'r Testament Newydd. Ond yn benaf, y mae yr hen gyfieithiad o'r Hen Destament a'r Newydd—y Peshito—a wnawd iddi yn yr oes apostolaidd, yn ol pob tebyg, yn rhoi pwys arbenig ar wybodaeth o'r iaith hon mewn beirniadaeth Ysgrythyrol. Y mae y cyfieithiad yma wedi ei wneyd mor fanwl, a chywir, a phrydferth, fel y mae yn sefyll yn ben ar holl gyfieithiadau Cristionogol y byd. Y mae yn werth dysgu yr iaith er mwyn ei ddarllen; a byddai yn well i'r efrydydd esgeuluso yr Arabaeg na hon.

(3.) Y Galdëaeg. Chwaer i'r olaf, fel y nodwyd, yw hon; ac iaith deheubarth Assyria a Chaldëa ydoedd. Heblaw fod gwybodaeth o hon yn rhoi help, fel y Syriaeg, i chwilio i ystyr geiriau a brawddegau penodol yn yr Hen Destament, y mae dau beth arall arbenig iawn yn gwneyd gwybodaeth o honi yn werthfawr. Y cyntaf yw, fod rhanau o Ezra (iv. 8; vi. 18; vii. 12—26), a Daniel (ii. 4; vii. 28), wedi eu hysgrifenu ynddi. Y llall yw, fod yr hen gyfieithiadau Iuddewig (Targwmim) wedi eu gwneyd ynddi. Y mae un o'r rhai hyn—un Onkelos ar y Pumllyfr—yn hynod o werthfawr fel ffynnon beirniadaeth ar lyfrau Moses. Y mae y Targwmim eraill yn bur ddefnyddiol, yn neillduol un Jonathan.

Y mae y darganfyddiadau diweddar a wnawd yn Assyria a Babilonia, yn chwanegu at werth y ddwy iaith yma, yn neillduol y Galdëaeg. Y mae Dr. Hincks yn benodol wedi profi mai hi yw iaith yr hen lyfrau cèryg sydd yn awr yn dechreu cael eu darllen gan Ewropëaid, ar ol iddynt fod yn gorwedd yn y ddaear am filoedd o flynyddoedd. Y mae rhai ffurfiau gramadegol anadnabyddus o'r blaen wedi dyfod i'r golwg eisoes, a lliaws eraill, yn ol pob tebyg, yn sicr o ddyfod, yr hyn a fydd yn rhoi cymhorth, nid ychydig, i feirniadaeth Ysgrythyrol.

(4.) Y Samaritanaeg. Gan na dderbyniodd y Samaritaniaid ond Pumllyfr Moses fel llyfrau Dwyfol, nid oes ganddynt ond y Pumllyfr, oddieithr math o lyfr Josua, a chwanegiad eu hanesyddiaeth eu hunain ato, ond nid ydynt yn cyfrif hwn yn Ddwyfol. Yr un iaith yw y Pumllyfr gwreiddiol sy ganddynt â'r Iuddewig, hyny yw, yr Hebraeg, ond ei fod mewn llythyrenau gwahanol. Yn lle y llythyrenau a ddysgodd yr Iuddewon yn Babilon, ac a ddefnyddir ganddynt byth wed'yn, yr hen lythyrenau a roddwyd ar y cyntaf gan Moses yw y rhai sy gan y Samaritaniaid. Y mae hyn yn rhoddi gwerth nid bychan ar y Pumllyfr Samaritanaidd mewn mwy o ystyriaethau nag un. Y mae y gwahanol ddarlleniadau sydd ynddo, hyny yw, y gwahaniaeth sy rhyngddo â'r copi Iuddewig, yn rhoi gwerth mwy arno. Y mae y rhan fwyaf o feirniaid diweddar yn canlyn Gesenius yn hyn, ac yn rhoi llai o bris arno na'i wir werth. Y mae'n ddigon amlwg oddiwrth ei sylwadau nad oedd Gesenius erioed wedi ei ddarllen; a digon tebyg fod y dystiolaeth werthfawr y mae y copi yma yn ddwyn i ddilysrwydd y Pumllyfr, yn llanw ei feddwl anffyddol ef â rhagfarn yn ei erbyn. Y gwir yw, y mae y copi Samaritanaidd o'r pwys mwyaf yn meirniadaeth y Pumllyfr.

Ond heblaw y copi dan sylw, y mae gan y Samaritaniaid gyfieithiad o'r Pumllyfr i'w hiaith gyffredin. Ac yma fe gofia yr efrydydd fod gan y genedl hon iaith briodol iddi ei hun, ar wahân i'r Iuddewon ac i'r cenedloedd oedd o'i chwmpas. Ymhob ystyr y mae yn un o'r ieithoedd neu gangenieithoedd Semitaidd. Y mae yn cynnwys geiriau Hebraeg, Caldëaeg, a Syriaeg, ynghyda rhai dwyreiniol na cheir yn yr ieithoedd Semitaidd eraill. O ran ei gramadeg y mae yn fwy tebyg i'r Syriaeg, er fod amryw o bethau ynddi sydd yn perthyn yn unig iddi ei hun. Mewn rhai pethau y mae yn rhagori ar yr holl ieithoedd Semitaidd. Y mae cyfieithiad o'r Pumllyfr ynddi wedi ei wneyd yn bur fore yn ol pob tebyg tua saith gant o flynyddoedd cyn y cyfnod Cristionogol. Y mae yn gyfieithiad gwych ac o gryn ddefnydd mewn beirniadaeth Ysgrythyrol. Y mae y llênyddiaeth sydd ynddi hefyd yn werthfawr, mewn llawer ystyr, mewn dysgeidiaeth Fiblaidd.

(5.) Y Goptaeg. Y mae hon eto yn perthyn i'r teulu Semitaidd, ond yn fwy annhebyg na'r rhai blaenorol. Hen iaith yr Aipht ydoedd, ond erbyn hyn wedi myned yn iaith farw. Y mae cyfieithiad gwerthfawr o'r Bibl ynddi, wedi ei wneyd yn moreuddydd Cristionogaeth, ond yn anhawdd penderfynu yr amser. Sut bynag, y mae yn ddefnyddiol iawn mewn beirniadaeth; y mae y dadenhuddiadau sydd wedi cael eu gwneyd yn henafiaethau yr Aipht, a'r goleuni y mae y rhai hyny wedi ei roddi eisoes ar yr iaith hon, yn chwanegu ei gwerth yn fawr.

(6.) Yr Ethiopaeg. Y mae hon eto yn perthyn i'r teulu Semitaidd. Iaith gwladychfa o Arabiaid yn Ethiopia ac Abyssinia ydoedd, ond wedi marw er ys oesoedd. Y mae yn cynnwys cyfieithiad rhagorol o'r Ysgrythyrau, wedi ei wneyd, yn ol pob tebyg, yn y drydedd ganrif; ac y mae yn bur ddefnyddiol i'r beirniaid, er nad yw yr iaith wedi cael cymaint o sylw Ewropëaid ag ydyw y rhai blaenorol.

Fe deimla yr efrydydd ddawr nid bychan wrth efrydu a chymharu unrhyw nifer neu y cwbl o'r ieithoedd hyn am y ddau reswm a nodwyd,—sef yn gyntaf, eu bod yn perthyn i'r un teulu, ac felly yn dwyn tebygolrwydd i'w gilydd. Y mae rhai o honynt yn hynod o debyg y naill i'r llall, ac y mae meistroli un yn agor y drws, wrth gwrs, i feistroli y lleill. A gallwn chwanegu yma fod gan yr efrydydd Cymreig gystal a gwell mantais nag unrhyw efrydydd Ewropëaidd arall, o herwydd y tebygolrwydd mawr sy rhwng ei iaith ei hun â'r rhai dan sylw. Wrth ddywedyd hyn, yr ydym yn cymeryd yn ganiatäol ei fod yn deall teithi ei iaith ei hun yn dda, o ran ei gwreiddiau a'i chystrawen. Yr ail reswm yw eu bod, gyda'u gilydd, yn taflu ffrwd o oleuni ar ystyr geiriau a brawddegau y gyfrol Ddwyfol nad ellir ei gael un ffordd arall.

2. Yr iaith Roeg. Gan mai yn hon yr ysgrifenwyd y Testament Newydd, y mae mor annichonadwy i'r efrydydd fod yn ddysgedig yn y Bibl heb ei dysgu ag a fyddai iddo fod felly heb ddysgu yr Hebraeg. Nid yw o bwys yn y byd pa olygiad a fabwysiedir o barth iaith gyntaf yr Efengyl yn ol Matthew—pa un ai canlyn y dybiaeth mai yn yr Hebraeg ei hysgrifenwyd hi, ai ynte yn y Roeg—ei hiaith wreiddiol i ni, yn ystyr priodol y gair, yw yr olaf. Nid yw o gymaint pwys ychwaith, ag y myn rhai, fod yr efrydydd wedi gwneyd ymchwil manwl yn y Roeg awdurol. Wrth gwrs ni fydd dim anfantais iddo oddiwrth ei fod yn gydnabyddus â ffurfiau gwahanol briodieithoedd y Gryw, ond yn hytrach fel arall, bydd ar dir uwch yn ddïau wrth fod yn hyddysg yn hanes a phriod-ddulliau gwahanol y Doric, yr Ionic, a'r Attic; ond ychydig iawn iawn o help rydd hyn iddo at egluro a beirniadu y Testament Newydd. Rhaid iddo gofio, ar ol i Philip o Macedonia roddi terfyn ar ryddid Groeg, fel y cymysgwyd y priodieithoedd hyn, y cododd iaith newydd, mewn ystyr, allan o'r cymysgiad yma. Rhaid iddo gofio hefyd mai hon oedd iaith yr holl wladychfëydd a blanwyd gan Alexander Fawr yn ei fuddugoliaethau. Yn olaf, rhaid iddo gofio mai yr iaith yma oedd iaith Iuddewon enwog Alexandria, o'r hyn lleiaf, hon oedd sylwedd eu hiaith, ond bod ei geiriau a'i brawddegau yn cael eu cymysgu â phriod-ddulliau Iuddewig, a'r geiriau eu hunain weithiau yn cael eu troi i drosglwyddo syniadau Iuddewig. Yn yr ail iaith newydd yma, os gallwn ei galw felly—y Roeg-Iuddewig Alexandriaidd—yr ysgrifenwyd y Testament Newydd. Dyma yr iaith sy raid i'r efrydydd ei meistroli. Pa mor bell y mae yn gwahan-

iaethu oddiwrth iaith awduron cynhenid Groeg, nid oes a fynom yn bresennol; ond darllened yr efrydydd raglith galluog Stephens i'w Destament Groeg (1756), a'r ddadl boeth a ganlynai hyny, ynghyda'r gramadegau i'r Testament Newydd a gyhoeddwyd yn y canlyniad yn Ewrop ac America, a barned drosto ei hun. Ein pwnc ni yn awr yw yn unig adgoffa'r ffaith, mai yn yr iaith Roeg-Iuddewig hon yr ysgrifenwyd y Testament Newydd.

Yn awr, a chadw y ffaith yma o flaen y meddwl, gadewch i ni ofyn, Pa awduron, tybed, rydd fwyaf o gymhorth i'r efrydydd ddeall ieithwedd yr ysgrifenwyr ysbrydoledig? Dybygem y gellir ateb yn ddibetrus mai yr awduron hyny sydd wedi ysgrifenu yn yr un briodiaith. Ac felly, dylem nodi yn

(1.) Cyfieithiad y Deg a Thriugain. Nid ein pwnc yn awr yw rhoi hanes yr hen gyfieithiad enwog yma, na cheisio ei feirniadu, ond yn unig nodi mai yn iaith Iuddewon Alexandria—y Roeg-Iuddewig—ei gwnawd, yr un iaith ag iaith y Testament ei hun. Rhaid i ni gofio ymhellach fod y cyfieithiad yma wedi ei wneyd yn hir cyn y cyfnod Cristionogol, ac mai yn hwn, yn hytrach nag yn yr Hebraeg, y byddai Crist a'r apostolion yn darllen yr Hen Destament. Gan hyny, yn nesaf at efrydu yr ysgrifau Dwyfol eu hunain, nid oes dim o gymaint pwys i ysgolor y Testament Newydd a bod yn hyddysg yn y cyfieithiad dan sylw.

(2.) Ysgrifau Philo yr Iuddew. Gan mai Iuddew oedd Philo, yn byw yn Alexandria, ac yn un o wŷr enwocaf ei oes, ac wedi ysgrifenu yn yr iaith dan sylw, gellid meddwl fod ei weithiau yn gymhorth nid bychan at feirniadaeth y Testament Newydd; ac felly y mae; nid yn unig mewn ystyr geiriau a brawddegau, ond hefyd syniadau.

3. Ysgrifau Josephus. Er mai nid Iuddew Alexandriaidd oedd Josephus, yn fwy na'r apostolion, eto yn yr un fath iaith yr ysgrifenodd yntau ei hanesyddiaeth enwog. Y mae gwerth chwanegol i'r efrydydd yn ngweithiau yr awdwr hwn, yn neillduol ei henafiaethau, oherwydd ei fod yn canlyn yr hanesiaeth sanctaidd yn fanwl, ac yn adrodd amgylchiadau yr Hen Destament yn annibynol ar gyfieithiad y Deg a Thriugain. Y mae iaith a chynnwysiad Josephus o werth annhraethol i'r efrydydd.

(4.) At y rhai hyn gellid chwanegu rhai o'r awduron Cristionogol; ond gan nad oes dim o'r rhai hyn yn cyrhaedd yn uwch na'r drydedd ganrif, nid ydynt o gymaint pwys.

Yr ydym yn awr wedi rhedeg yn fras dros y maes ieithyddol a berthyn i ysgoleigiaeth y Bibl. Fe wna yr efrydydd ei hun yn gydnabyddus yn nodwedd yr ieithoedd hyn wrth fyned rhagddo yn ei efrydiaeth, ac fe'u meistrola o un i un, o'r hyn lleiaf ryw nifer o honynt, yn ol ei dueddiad a'i gyfleusderau. Rhaid iddo ymgydnabyddu, wrth gwrs, â'r ddwy wreiddiol, yr Hebraeg a'r Roeg; a pho fwyaf o'r lleill fyddo yn ei feddiant, goreu oll.

Ond rhaid i ni symud yn awr at y pwnc nesaf, sef CANONYDDIAETH.

Y mae y beirdd Cymreig wedi defnyddio y gair canon yn debyg i'r un ystyr ag y mae beirniaid Ysgrythyrol wedi ei ddefnyddio i ddynodi rheol; ac ymddengys fod y Derwyddon yn ei ddefnyddio yn ddigon tebyg i'r hyn yr oedd athronwyr Alexandria yn defnyddio y gair *κανών* *(canon)*. Ystyr wreiddiol y gair, mae yn wir, oedd ffon union, gwialen-

fesur, &c.; ond yn Alexandria daeth i arwyddo detholiad o'r awduron a fernid yn iawn i'w darllen a'u hefrydu, er mwyn dysgu eu harddull. Dyna yn bur agos yw ei ystyr eto mewn beirniadaeth ysgrythyrol. Y mae yn arwyddo y casgliad sy genym o'r llyfrau Dwyfol yn un gyfrol, "fel unig reol ffydd ac ymarferiad." Nid yw o bwys yn y byd genym yn awr pa un a yw y gair Cymreig wedi ei fenthyca oddiwrth y Roeg ai peidio, ynte ai gair yn tarddu o wreiddyn Cymreig ac annibynol ydyw. Mae ei ddefnyddiad gan ein cenedl yn ein gwarantu i'w ddefnyddio yn yr ystyr uchod. Gan hyny, y mae y gair Canonyddiaeth yn dynodi y wybodaeth sydd yn ymwneyd â'r llyfrau sydd yn y Bibl, fel llyfrau ar wahân i bob llyfrau eraill. Y mae y pwnc yn ymranu i ddwy gangen—casgliad y llyfrau yn un gyfrol, a nodwedd pob llyfr ar ei ben ei hun.

1. Ffurfiad y Gyfrol Ddwyfol. Yma rhaid i ni gofio y ffeithiau amlwg sydd o'n blaen—fod y gyfrol sanctaidd yn cynnwys 66 o lyfrau gwahanol—fod y rhai hyn wedi eu hysgrifenu mewn gwahanol oesoedd, ac o ganlyniad gan wahanol bersonau; ond eu bod rywbryd, a chan rywrai, wedi eu casglu ynghyd yn un llyfr. Pwnc yr efrydydd gan hyny fydd chwilio gan bwy a than ba amgylchiadau y gwnawd hyn. Nid yw o bwys yn y byd iddo yn y mater hwn pa un a yw y llyfrau hyn yn ysbrydoledig ai peidio—nid ysbrydoliaeth y gwahanol lyfrau yw ei destun yn awr, ond eu ffurfiad yn gyfrol. Ymresymir yn gyffredin fod y ffaith fod y llyfrau hyn yn ganonaidd yn brawf o'u Dwyfoldeb—gan fod yr eglwys Iuddewig, a'r eglwys Gristionogol, wedi eu derbyn yn rheol ffydd ac ymarweddiad, fod yn rhaid eu bod yn ysbrydoledig. Ond y mae hyn yn gamgymeriad—y mae yr ymresymiad yn rhedeg o chwith. Y ffaith eu bod yn ysbrydoledig oedd *yr achos* iddynt gael eu dwyn i'r Canon. Gan hyny y mae y pwnc o ysbrydoliaeth y llyfrau yn rhagflaenu Canonyddiaeth, a siarad yn fanwl. Yn yr ysgrif hon, modd bynag, yr ydym wedi cymeryd yn ganiatäol fod yr efrydydd wedi gwneyd ei feddwl i fyny ar hyn—ei fod yn cychwyn ei efrydiaeth ysgoleigaidd o air Duw, â'r sicrwydd mwyaf ganddo a all efe gael o ddwyfoldeb yr hen Lyfr—sicrwydd profiad; ond i'w chwilio yn feirniadol, fe allai mai y pwnc olaf o'r cwbl y dylai fod.

Wrth chwilio i ffurfiad y Canon, y dull mwyaf boddhäol fydd dechreu gyda y Testament Newydd. Nid ein hamcan ni yn awr yw dadleu y pwnc; ond y mae un ffaith yn werth i'r efrydydd gofio wrth gychwyn yn y maes yma, fydd yn help iddo leihâu ei lafur—sef fod dim llai na phymtheg rhestriad cyhoeddus ac enwog o'r llyfrau Canonaidd wedi eu gwneyd cyn diwedd y bedwaredd ganrif. Y mae chwech o'r rhai hyn yn cyfateb yn gymhwys i'r Canon fel y mae genym ni; ond y mae y gweddill yn amrywio ychydig. Ar ol i'r efrydydd eu cymharu, a chanfod seiliau yr amrywiad, odid na theimla y sicrwydd mwyaf yn ffurfiad y Canon fel y mae—fod y Testament Newydd, hyny yw, y llyfrau sydd ynddo, a dim ond y nhw—yn cael eu derbyn gan Gristionogion yr ail ganrif fel llyfrau Dwyfol—yr unig lyfrau, ynghyda'r Hen Destament, i apelio atynt mewn pethau crefydd. Y mae ymchwiliad teg a gonest i'r pwnc yn sicr o arwain yr efrydydd i'r ffydd hon—o'r hyn lleiaf felly yr ymddengys i ni; ac y mae yn ffaith fod yr ail ganrif yn derbyn y llyfrau Canonaidd hyn, wrth gwrs, yn eu cario i fyny at awdurdod apostolaidd, a dim arall.

Gyda golwg ar yr Hen Destament, y mae ei Ganon yn cael ei brofi yn y Testament Newydd, yn annibynol ar bob tystiolaeth arall. Y mae y Newydd yn cyfeirio bron i bob llyfr sydd yn yr Hen. Ac nid hyn yn unig, ond y mae hefyd yn cydnabod y dosbarthiad sydd gan yr Iuddewon ar lyfrau yr Hen—llyfrau Moses, y Prophwydi, a'r Salmau, neu yr ysgrifeniadau sanctaidd, Luc xxiv. 44. Ond heblaw y prawf yma, dylai yr efrydydd wneyd ei hun yn gydnabyddus â'r profion Iuddewig, sydd yn hollol annibynol ar y Testament Newydd. Ac yn y lle blaenaf tröed i'r rhagymadrodd i Ddoethineb Sirach, a ysgrifenwyd yn agos i gant a hanner o flynyddoedd cyn Crist, ac fe gaiff dystiolaeth bendant nid yn unig i'r Canon o ran ei hanfodiad, ond hefyd i'w ddosbarthiad Iuddewig. Yn Philo drachefn, rhyw gán' mlynedd yn ddiweddarach, fe gaiff yr un fath dystiolaeth, ynghyda'r farn oedd gan yr Iuddewon ac yntau am y llyfrau, eu bod yn *ysgrifau cysegredig*. Ond yn olaf ac yn benaf, y mae Josephus, yn ei lythyr yn erbyn Apion, nid yn unig yn enwi y pwnc, ond hefyd yn myned dros ddosbarthiad yr Hen Destament, a nifer y llyfrau, ac yn adrodd syniadau yr Iuddewon am danynt yn y modd mwyaf pendant, eu bod yn meddu *awdurdod y prophwydi*, ac nad oedd neb wedi meiddio *chwanegu dim atynt*, na *chymeryd dim oddiwrthynt*, nac ychwaith eu *cyfnewid mewn dim*.

Yn olaf ar hyn, fe fydd yn werth i'r efrydydd gofio fod yr awduron Iuddewig a Christionogol mwyaf eu bri yn yr oesoedd dan sylw wedi cyfeirio at yr oraclau sanctaidd fel llyfrau yn meddu awdurdod Dwyfol, a bod y cyfeiriadau hyny, ynddynt eu hunain, yn brawf digonol bron am awdurdod y Canon. Y mae Philo yn cyfeirio felly at holl lyfrau yr Hen Destament yn eu tro, oddieithr rhyw wyth neu naw. Y mae Josephus, heblaw eu henwi oll, yn eu defnyddio yn ei hanesyddiaeth. A mwy na'r cwbl, y mae y LXX. yn eu cyfieithu oll, ac yn eu cyhoeddi yn y Roeg fel y llyfrau Dwyfol oedd gan yr Iuddewon. Y mae gweithiau Cristionogion drachefn, o weithiau mawr Origen yn niwedd yr ail ganrif a dechreu y drydedd, hyd ysgrifau helaeth ac amryfal Jerome yn niwedd y bedwaredd ganrif, nid yn unig yn cyfeirio i holl lyfrau yr Hen a'r Newydd, ond hefyd yn dyfynu y Newydd i'r fath raddau fel y gellir dyweyd fod y Testament Newydd, fel y mae genym ni yn awr, i'w gael yn gyflawn yn yr ysgrifeniadau hyny.

2. Ar ol i'r efrydydd foddio ei hun ar bwnc y Canon, fe fydd wedi parotoi ei lwybr i chwilio pob llyfr ar ei ben ei hun. Fe fydd hyn yn agor maes ëang o'i flaen, ac un dorus dros ben. Fe fydd yn awr yn gorfod galw ei efrydion a'i ymchwiliadau blaenorol i'w gynnorthwyo—ei wybodaeth henafiaethol yn gystal ac ieithyddol; a goreu oll iddo po fwyaf trwyadl fydd ei ymchwiliad wedi bod i'r naill a'r llall. Ei bwnc blaenaf a mwyaf pwysig fydd chwilio ystyr a chynnwys y llyfr; ac yna, pwy, tybed, a'i hysgrifenodd. Ynglŷn â hyn, fe ddaw y cwestiynau ynghylch nodwedd iaith yr awdwr, a'i arddull fel cyfansoddwr, a lliaws o bethau o gwmpas y pynciau hyn. Yn y Testament Newydd, fe fydd eisieu cymaint ag y byddo modd o wybodaeth henafiaethol, er mwyn bod yn hysbys âg amgylchiadau y pleidiau sydd wedi ysgrifenu y llythyrau, a'r rhai yr ysgrifenwyd hwynt atynt.

Yn y rhan yma o ddysgeidiaeth Fiblaidd, fe fydd yr efrydydd yn rhyw gydnabyddu â barn y gwŷr enwocaf a allo eu cyrhaedd, ond rhaid

iddo beidio dibynu ar neb; rhaid iddo ddefnyddio ei farn ei hun. Cymered gymhorth gan bawb, ond na chymered ei ddallarwain gan neb. Barned drosto ei hun; ac os teimla, fel y gwna yn fynych, nad yw eto yn canfod y pwnc yn ei holl gysylltiadau yn ddigon clir i'w benderfynu, na ddigaloned; gohiried ef nes y byddo yn gallu sefyll ar dir tipyn uwch a mwy manteisiol. Yr ydym yn enwi hyn, am nad oes un gangen o ddysgeidiaeth Fiblaidd wedi cael ei chamddefnyddio yn fwy na hon. Y mae llawer o'r rhai sydd yn hòni eu medrusrwydd yn yr hyn a alwant yn feirniadaeth bur, yn penderfynu awdwr, oedran, ac amryw o bethau eraill yr ysgrif yn unig wrth yr iaith. Y maent yn medru penderfynu mai nid Homer a gyfansoddodd yr *Iliad*—yn wir, na fu yr un Homer erioed mewn bod; mai nid Shakspeare a ganodd y farddoniaeth sydd ar ei enw; o ganlyniad, nid rhyfedd eu bod yn medru penderfynu mai nid Moses a ysgrifenodd y Pumllyfr, a chwestiynau mwy anhawdd fyth. Ond wrth fyned yn ormod o ddoethion hwy a aethant yn ffyliaid. Y mae y profion a wnawd arnynt, a'r methiadau a ganlynodd, yn dangos yn ddigon amlwg nad yw eu beirniadaeth, yn nwylaw y rhai mwyaf ymhongar, ddim ond anturiaeth, ac yn ei chysylltiad â gair Duw yr anturiaeth fwyaf rhyfygus. Yn wir, ar y cyfan, nid yw yn deilwng o'r enw anturiaeth. Y mae seiliau eu beirniadaeth hwynt, pe bae iddi seiliau hefyd, yn groes i brofiad awdwyr pob oes a gwlad. Ond ni fydd llawer o berygl i'r efrydydd a fyddo wedi cael profiad o wirioneddau ysbrydol y gyfrol sanctaidd gael ei arwain ymhell gan y "breuddwydwyr" hyn,—fe fydd y parch sydd ganddo iddi fel cyfrol Ddwyfol yn ei gadw rhag myned yn afradus iawn uwch ei phen.

Y pwnc olaf yw BEIRNIADAETH.

Gellir rhanu hwn eto yn ddwy gangen—hanes y testun ac ystyr geiriau:—

1. Hanes y testun. Y mae tri ymholiad pwysig ynglŷn â hanes beirniadol y testun, sef pwy yw yr awdwr, ai hwn yw y llyfr a ysgrifenwyd ganddo, ac, a ydyw y llyfr yn aros hyd yma yn gymhwys fel yr ysgrifenwyd ef? Y mae yr efrydydd wedi ateb y ddau flaenaf eisoes; a'i bwnc yn awr yw chwilio yr olaf. Y mae y cwestiwn yn un dorus a phwysig dros ben, ond y mae yn un anhawdd iawn hefyd. Pe buasai y gwyddiad o argraffu mewn bod rhyw bedair mil o flynyddoedd yn ol fel y mae genym ni yn awr, fe fuasai ateb y cwestiwn yn orchwyl hawdd iawn mewn cymhariaeth; ond nid felly yr oedd—ysgrifenu y llyfr oedd raid ymhob oes a gwlad, hyd yn ddiweddar. Felly yr oedd yn fwy anhawdd o lawer cadw y cyfansoddiad heb i wallau ddyfod i mewn na phe buasid yn ei argraffu yn fanwl. Ond wedi y cyfan, wrth feddwl am yr holl ysgrifenu sydd wedi bod ar y gyfrol sanctaidd ymhob oes a gwlad, a'r manylwch mawr oedd yn anghenrheidiol wrth gopïo i'w wneyd yn gywir, mae yn syndod meddwl fod càn lleied o wallau wedi dyfod i mewn iddi—a'r cwbl, o ran athrawiaethau y gwirionedd, yn hollol ddibwys. Ond cwestiwn yr efrydydd yn awr yw, pa fodd y gall wybod pa mor bell y mae y testun sydd yn awr ganddo yn gwahaniaethu oddiwrtho fel y daeth o law yr awdwr? A ydyw yn gymhwys fel yr ysgrifenwyd ef ar y cyntaf; ac os nad yw, ymha bethau y mae yn gwahaniaethu? Fe wêl yr efrydydd yn fuan fod y syniad cyntaf yn y cwestiwn yn un lled hawdd i'w ateb; nad yw y testun cyffredin—y *Textus receptus*—ddim yn ddiwall;

hyny yw, nad yw y testun cyffredin ddim yn gymhwys fel y daeth o law yr awdwr, yn y Testament Newydd na'r Hen. Ond fe wêl drachefn fod ateb yr ail ymholiad yn orchwyl anhawdd, a rhaid i ni ychwanegu, annichonadwy. Ond y mae yn syndod meddwl gymaint sydd wedi ei wneyd at gyrhaedd hyn gan feirniaid y ddwy ganrif ddiweddaf; trwy gasglu llawysgrifau ynghyd, a'u cymharu yn fanwl â'u gilydd ac â'r testun cyffredin; a gwaith yr efrydydd yn awr fydd ymgydnabyddu â'u llafur hwynt. Rhaid iddo yma eto beidio cymeryd ei arwain yn slafaidd gan unrhyw awdwr; ond cymhared wahanol gyfundraethau, a cheisied farnu drosto ei hun.

Gyda golwg ar destun yr Hen Destament, fe wêl yr efrydydd mai ychydig mewn cymhariaeth sydd wedi ei wneyd, ac ychydig fe allai sydd eisieu ei wneyd. Rhyw ddau cant o flynyddau yn ol, yr oedd Buxtorf, un o ysgoleigiòn blaenaf ei oes, yn hòni fod holl lawysgrifau yr Hen Destament yn ateb i'w gilydd i'r dim; ond pan y gwrthwynebwyd ef gan Cappellus, a thrachefn gan Walton, dechreuwyd cymharu y llawysgrifau hyny yn fanwl, a chafwyd mai camgymeriad mawr oedd tybiaeth Buxtorf. O'r amser hyny hyd amser Kennicott a De Rossi—rhyw ganrif yn ddiweddarach—yr oedd llawer iawn o lawysgrifau wedi eu cymharu, a lliaws dirfawr o wahanol ddarlleniadau wedi eu casglu ynghyd. Ond yr oedd yr hen ddoctoriaid Iuddewig wedi bod wrth y gorchwyl oesoedd lawer cyn hyn, ac wedi cywiro y canddarlleniadau, fel y gwelir yn y Masorah; ac nid yw llafur yr ysgoleigion cristionogol a nodwyd wedi cael gafael ar nemawr o ddarlleniadau sydd yn gwahaniaethu yn bwysig oddiwrth y testun hwnw a ffurfiwyd yn more Cristionogaeth. Y gwir yw, y mae yr holl lawysgrifau Hebraeg, yn y dwyrain a'r gorllewin, yn tarddu o hono.

Ond fe wêl yr efrydydd, wrth fyned rhagddo, fod hanes beirniadol y Testament Newydd yn fwy ëang a dyrys. O barth i oedran llawysgrifau, fe gaiff weled fod beirniaid wedi cyrhaedd gwybodaeth o hyny i raddau boddhäol iawn—fod y gyfundraeth sydd ganddynt at hyny wedi ei seilio ar egwyddorion cywir. Ond gorchwyl mwy anhawdd o lawer fydd penderfynu gwerth cymhariaethol y llawysgrifau. Tuag at ffurfio barn iddo ei hun, rhaid i'r efrydydd fod yn gydnabyddus â llafur y prif feirniaid o amser Walton i lawr, yn neillduol â chyfundraethau Matthæi, Griesbach, a Scholz, heblaw argraffiadau penodol o'r Testament, megys rhai Mill, Wetstein, Lachman, a Tischendorf, ac yn awr esboniad Alford. Yn olaf, rhaid iddo wrandaw ar y ddadl o barth i deilyngdod cymhariaethol y llawysgrifau penigol *(uncial)* a'r rhai cyffredin *(cursive)*.

Heblaw y testun Groeg ei hun, yn y gwahanol lawysgrifau, y mae yr hen gyfieithiadau yn dyfod i mewn i'r cwestiwn dan sylw. Ond gan ein bod eisoes, dan y pen ieithyddiaeth, wedi nodi y rhai mwyaf pwysig, awn heibio iddynt yn awr heb un sylw pellach.

2. Ystyr geiriau. Nid oes dim anhawsder, ar y cyfan, i gael gafael ar ystyr geiriau y Bibl yn fwy na rhyw lyfr arall. Gan mai llyfr wedi ei ysgrifenu mewn iaith ddynol, ac at wasanaeth dynion, ydyw, gallwn fod yn sicr mai rheolau cyffredin iaith yw rheolau iaith y Llyfr. Ond y mae amgylchiadau yn yr Hen Destament a'r Newydd anhawdd i wybod ystyr priodol y gair; ac y mae olrheiniad geiriau i'w gwreiddiau yn taflu goleuni a phrydferthwch arnynt yn aml. Y mae hyn yn fwy

grymus yn yr Hen na'r Newydd; ac yn fwy dorus hefyd, o herwydd fod y geiriau Hebraeg (a'r holl ieithoedd Semitaidd) yn tarddu o wreiddiau tairllythyrenog. Y mae cyfeirio at wreiddyn y gair yn rhoi prydferthwch mawr iddo yn fynych, ac yn ddigon aml yn rhoi ystyr a grym i'r holl ymadrodd. Ond yma eto fe ganfydda yr efrydydd yn fuan, y gellir myned ar gyfeiliorn pell gyda tharddiad geiriau, a bod yr Hen Destament yn rhoi mwy o fantais i hyny na'r Newydd. Y mae rhai wedi cario hyn i bellder ynfyd, hyd yn nôd dynion gwir fawr, fel Origen, ac eraill ar ei ol. Ond nid ein hamcan ni ar hyn o bryd yw ceisio esbonio y pwnc, dim ond yn unig ei enwi fel rhan o faes yr efrydydd. Ar yr un pryd, nis gallwn lai nag awgrymu ein bod yn coelio fod tuedd mewn beirniaid yn fynych i roi gormod o bwys ar ddosraniad gramadegol, a rhy fach ar agweddion bywyd, yr ysgrifau sanctaidd wrth chwilio ystyr geiriau ac ymadroddion. Nis gallwn lai na meddwl hefyd fod beirniaid, yn fynych iawn, yn dosranu brawddegau yn rhy bell, er mwyn cael ystyr gwreiddiol i bob gair, gan anghofio fod yr ystyr yn gorwedd weithiau yn y frawddeg, ac nid yn y geiriau unigol. Dichon fod mwy o gam yn cael ei wneyd â'r Testament Newydd yn yr ystyr yma nag â'r Hen; a dichon mai un o'r ffyrdd mwyaf effeithiol i ymgadw rhag yr eithafoedd yw efrydu llawer ar y LXX., a'i gymharu â'r Testament Newydd.

Yr ydym yn awr wedi adrodd ein chwedl, heb ddyweyd dim am ddehongliadaeth. Nid oedd y pwnc hwnw o fewn cylch ein hamcan; ein bwriad yn unig oedd nodi y maes sydd gan yr efrydydd i fyned trosto tuag at fod yn ddehonglydd gwreiddiol a galluog, a dim pellach; a dyma ni ar ben. Yr oedd arnom flys, wrth fyned ymlaen, gyfeirio at lyfrau ar y gwahanol bynciau fu dan sylw; ond ymattaliasom, o herwydd yn un peth, nid ein hamcan oedd cyfarwyddo yr efrydydd yn ei lafur, eithr yn unig nodi y gwaith oedd o'i flaen; ac hefyd, buasai yn anhawdd dwyn amryw o lyfrau ger bron heb wneyd rhyw gymaint o sylwadau arnynt, yr hyn a fuasai yn arwain i feithder afresymol.

I derfynu, caniatäer i ni ddyweyd ein bod wedi ysgrifenu yn benaf er mwyn symbylu y darllenydd ieuanc i amcanu bod yn ysgolaig Biblaidd. Y mae y maes yn un toreithiog a gogoneddus iawn—yn teilyngu ei ymroddiad a'i alluoedd penaf. Ac er ei fod yn un ëang, na ddigaloned; os nad all obeithio myned tros y cwbl yn fanwl, fe dâl iddo wneyd ymdrech, o herwydd y mae pob darn yn werthfawr ynddo ei hun. Fe all feistroli rhyw gymaint, a chael golwg gyffredinol ar y gweddill, ac fe rydd hyny foddhâd dirfawr iddo. Gwnaed fel y gwnaeth Luther wrth gyfieithu y Bibl—tipyn bob dydd—ac odid na lwydda tu hwnt i'w ddysgwyliad. Neu fel y teithiwr, wrth gychwyn dringo rhyw fynydd uchel—nid edrych i fyny, a synu a digaloni, ond penderfynu dringo cam ar ol cam nes cyrhaedd y top, os bydd modd yn y byd. Fe fydd pob llathen yn talu ei ffordd. Wrth esgyn, fe fydd yr olygfa islaw yn ëangu o hyd, a'r mwyniant yn chwanegu yn ol fel bo'r rhwystrau yn cael eu gorchfygu. Yn niwedd ei daith, pe na bae wedi cyrhaedd hanner y ffordd, fe all edrych yn ôl gyda phleser annhraethol.

# AUSTRALIA.—TREFEDIGAETH VICTORIA.

NID yw adnabyddiaeth ei meibion o'u mam, y ddaear, ond tra diffygiol ac anmherffaith eto. Bu cenedlaethau chwe' mil o flynyddoedd o honynt fyw a marw arni heb allu cyrhaedd gwybodaeth gyflawn am dani; ac y mae hyn braidd yn syndod pan feddyliom nad yw ei maintioli ond megys meipen wrth fynydd, mewn cymhariaeth i fydoedd eraill y gwyddys am danynt; ac wrth ystyried hefyd bod dyn yn gréadur mor anesmwyth, dyfeisgar, ymofyngar, ac awyddus, i gael allan bob cyfrinwybodaeth, gallesid dysgwyl y buasai efe wedi chwalu a chwilio pob twll a chongl yn hir cyn hyn, fel na buasai na lle na llanerch yn un cŵr o honi yn anadnabyddus iddo. Ond nid felly y mae; nid oes neb eto a all ateb yn gadarnhäol y cwestiwn a ofynwyd i Job yn more oes dynoliaeth,—"A wyddost ti lêd y ddaear?—a adwaenost ti hi i gyd?" Os gŵyr efe ei llêd hi, nid yw yn ei hadnabod hi i gyd, nac yn agos chwaith. Bu llawer iawn o gynniwair ar hyd-ddi o oes i oes, wedi oes y patriarch hen hwnw, ac y mae y wybodaeth am dani wedi amlhâu a chynnyddu yn ddirfawr; ond y mae eto dir lawer iawn i'w feddiannu. Nid oedd gan Ewropëaid, y dynion mwyaf anturiaethus a gwybodus yn y byd, ond dychymyg yn unig am wledydd ëang canolbarth Affrica hyd yn ddiweddar iawn, pan rwygodd Dr. Livingstone, ac ymdeithwyr eraill, y llèn oedd yn eu gorchuddio o olwg y byd gwareiddiedig. Darganfyddasant hwy yn y perfeddbarth cuddiedig hwnw fröydd helaeth, tiroedd breision, iachus, a ffrwythlawn, mynyddau uchel, llynau ac afonydd mawrion, a dynion ac anifeiliaid, na wyddid dim am danynt o'r blaen; a gwnaethant y fath chwanegiadau gwerthfawr at wybodaeth y byd fel y perchir eu henwau yn hir.

Ychydig iawn, mewn cymhariaeth, a wyddid hyd yn bur ddiweddar am Australia; ac er nad ydyw y wybodaeth am dani ond tra anmherffaith yn awr, y mae ei henw a'i chlod, ar gyfrif ei thiroedd breision, ei hinsawdd ddymunol, ac yn neillduol ei chloddfëydd aur, wedi myned ar lêd trwy yr holl fyd. Rhoddodd ei darganfyddiad brif ddosbarthran newydd mewn daearyddiaeth. Ychydig gyda thri chan' mlynedd yn ol, nid oedd ond tri chwarter-ran o'r belen yn adnabyddus. Ychwanegwyd y pedwerydd yn narganfyddiad cyfandir mawr America gan Columbus; a dyma y pummed eto wedi ei ddodi atynt.

Gorwedda y gyfran hon o'r ddaear rhwng 10° 40′ a 44° o ledred deheuol; a rhwng 113° a 153° o hydred dwyreiniol. Y mae tua dwy fil a phedwar cant o filldiroedd o hŷd o'r dwyrain i'r gorllewin; a thua dwy fil o lêd o'r gogledd i'r dehau. Cyfrifir ei bod yn 3,025,000 o filldiroedd ysgwâr arwynebol; agos yn ogymaint âg Ewrop. Sefydlwyd y drefedigaeth Brydeinig, New South Wales, yn 1788. Boneddwr o'r enw Cadben Phillips a osodid yn arolygwr arni gan y llywodraeth gartrefol, yr hwn a hwyliodd yno yn 1787 gyda thuag wyth cant o ddrwgweithredwyr alltudiedig. Alltudiwyd yno filoedd lawer o ddrwgweithredwyr o dro i dro, wedi

hyny. Ennillodd llawer o honynt eu cymeriad, a daethant yn ddynion diwyd a gonest, a daeth rhai i gyfoeth ac anrhydedd; ond aeth y rhan fwyaf ymlaen yn eu hen ffyrdd drygionus gynt, ac nid effeithiodd newidiad gwlad a byd, mewn ystyr, ddim er newid eu tueddiadau. Bu y drefedigaeth felly hyd yn ddiweddar yn garthle budreddi cymdeithasol y wlad hon, hyd nes y dechreuoedd y tir dalu da am ddrwg yn narganfyddiad ei fŵn aur, ac yr ennillodd trwy hyny sylw y llywodraeth, a dynion llafurus ac anturiaethus, y rhai a ddechreuent ymfudo yn llengau llïosog yno o hyny allan.

Yn y rhifyn o'r *Argus* (newyddiadur wythnosol a gyhoeddir yn Melbourne) am Tachwedd, 1861, gwnai y golygydd y sylwadau canlynol:—

"Ymddengys ei bod nid yn unig yn anghenrheidiol ardystio bodolaeth a sefyllfa Victoria (yr ieuengaf, ond y benaf, o'r trefedigaethau Australaidd) er hysbysrwydd y famwlad, ond bod anghen gwneyd hyny yn barhâus. Os ydyw *Times* Llundain mor anghyfarwydd ag yr ymddengys ei fod gyda golwg ar raniadau daearyddol Australia, fel y tybia bod y drefedigaeth hon a Port Philip yn ddau sefydliad gwahanol, ac os oedd y prelad a apwyntid yn ddiweddar i Esgobaeth yn Queensland mor anwybodus ynghylch amgylchiadau ac ansoddau maes bwriadol ei lafur, fel y credai ei fod yn cynnwys poblogaeth o *coolies*, ac nad yw Brisbane ond taith ychydig ddyddiau o Perth, y mae yr anwybodaeth a ffyna yn Lloegr yn mherthynas i'r trefedigaethau hyn yn wir yn ddirfawr iawn, ac y mae yn anghenrheidiol ei symud yn ddioed. Dylid gwneyd hyn gyda golwg ar ein buddion ein hunain yn gystal ag er mwyn yr heidiau o ymfudwyr a adawant y famwlad bob blwyddyn, y rhai y dylid eu cyfarwyddo pa le i gael bröydd newyddion manteisiol i ymsefydlu ynddynt. Nid oddiar deimlad hunangarol y cwynwn o herwydd yr anwybodaeth hwn a ffyna yn Mrydain. Gallai gwlad sydd yn llyncu yn agos i un ran o chwech o nwyddau trosglwydd y famwlad, a'r hon, mewn deng mlynedd, a anfonodd iddi gan' miliwn o bunnau mewn aur, a chynnyrch porfäol o werth un filiwn ar bymtheg,—gall gwlad fel hon, meddwn, oddef sarhâd o'r fath heb aberthu dim o'i hunanbarch; ond yn gymaint â bod llesiant Victoria yn dibynu llawn cymaint ar gynnydd parhäol ei phoblogaeth trwy dderbyn ymfudwyr, ac ar ddadenhuddiad ei hadnoddau mewnol, y mae yn dyfod yn fater o'r pwys mwyaf i symud yr anwybodaeth, ac i unioni y camgymeriadau a ffynant yn y famwlad am danom.

"Y mae rhywbeth mwy yn anghenrheidiol na hysbysu y dosbeirth anwybodus yn Mrydain nad darn o wlad sech yw Victoria, amddifad o afonydd, a'i chynnyrch yn cael ei oleigi yn aml gan dânau yn tori allan yn y llwyni;—nad gwylltiaid digyfraith yw ei phobl, y rhai a wastraffant eu hennillion esmwyth ar wirodydd, ac a derfynant eu hymrysonau âg arfau tân. Nid digon ydyw symud y camdybiau hyn o feddyliau y cyhoedd yn Lloegr; rhaid i ni ymdrechu ein goreu i'w goleuo a'u haddysgu. Pa gynifer o'r miliynau sydd yn treulio eu bywydau, ac yn dihoeni eu hegnïon mewn ymdrech annhyciannus am gynnaliaeth druenus yn y famwlad, a allant bwyntio allan ar y *map* sefyllfa y drefedigaeth hon? Pa nifer sydd yn gydnabyddus â'r ffaith, bod ei harwynebedd yn ogymesur â Lloegr, Ysgotland, a Chymru ynghyd—a bod ei hinsawdd yn rhagori ar Nice a Lisbon—a bod y tir mor ffrwythlawn fel y dyga ddau gynnyrch yn y flwyddyn—nad oes ond un ran o ddeg a deugain o'n mŵn aurdir wedi ei agor eto, a bod pob erw a weithiwyd hyd yma, at eu gilydd, wedi talu mil o bunnau o aur—bod ein deadellau yn cynnwys yn agos i chwe' miliwn o ddefaid, a thua saith gan' mil o wartheg—bod genym filiwn o erwau o dir dan amaethiad, a ffordd o fil o filldiroedd agos wedi ei gorphen, a phedwar cant o bontydd wedi eu cynllunio—bod genym wefrhysbysydd am bymtheg cant o filldiroedd ar waith,—a bod chwe' miliwn o lythyrau yn pasio yn flynyddol trwy ein llythyrdollau; ein bod yn treulio yn flynyddol werth pymtheng miliwn o bunnau o nwyddau tramorol, ac yn codi tair miliwn o bunnau o gyllid—bod ein hariandai yn cynnwys saith milliwn o bunnau o adneuon *(deposits)*, a'n banciau cynnilo yn dal hanner miliwn o bunnau ar gyfrif un fil ar ddeg o waesddalwyr *(depositors)*—ein bod yn treulio chwech ugain mil o bunnau yn flynyddol ar sefydliadau addysg y drefedigaeth, ac yr ymddengys oddiwrth fynegiad y Cofrestrydd Cyffredinol fod poblogaeth Victoria yn mwynhâu uwch a rhagorach addysgiant nag a fwynhâ y mwyafrif o bobl Prydain Fawr.

"Ffeithiau o'r fath yna a ddylem wneuthur yn adnabyddus yn y famwlad, yn enwedig i'r rhai yr ewyllysiem eu cael atom fel ymfudwyr. Llefara y cyfryw ffeithiau trostynt eu hunain, ac y maent yn eglur i bob dyn. Trwy roddi arddangosiad cywir o'u cynnydd parhäol—trwy bwyntio allan y manteision neillduol a fwynhäwn, a rhoddi darluniad cywir o'n sefyllfa gymdeithasol, a'n llwyddiant gwirioneddol,—y gallwn hyderu y bydd i'r drefedigaeth hon ennill y flaenoriaeth yn ngolwg y bobl ar bob lle arall sydd yn gwahodd ymfudwyr iddo, fel y man mwyaf dymunol a manteisiol."

Y mae y desgrifiad uchod yn ymddangos yn dra deniadol i ymfudwyr, ac nid yw yn debygol ei fod yn cael ei orliwio. Nid yw poblogaeth y drefedigaeth eto yn ddim mwy nag un ran o bump i'r filldir ysgwâr o boblogaeth Scotland, a chymeryd pob peth at eu gilydd. Nid oes un drefedigaeth Brydeinig arall yn meddu ar gynifer o fanteision i ymfudwyr â Victoria. Cynnygia y Llywodraeth yno ddeng miliwn o erwau o dir, i'w werthu fesur y tair neu bedair miliwn o erwau y flwyddyn, mewn cyfranau o ddeugain hyd chwe' chant o erwau, am y pris o un bunt yr erw i'r ymofynydd cyntaf. Ar y dybiaeth y gallai ymdaeru gyfodi ynghylch blaenafiaeth yr ymofyniad, terfynir yr ymryson trwy goelbrawf. Gall y prynydd, trwy dalu llawn bris hanner y gyfran a ddewiso brynu, gael yr hanner arall trwy daliadau o 2s. 6c. yr erw wythwaith yn y flwyddyn, os bydd yn dewis.

Y mae llywodraeth y drefedigaeth yn hollol ymron yn ei dwylaw ei hun. Y mae ganddi ddau Dŷ Senedd, a Gweinyddiaeth Swyddol, fel y famwlad; ac ymddengys ei bod eisoes wedi cynnyrchu amryw wladweinyddion tra galluog. Dysgwylia y Llywodraeth y gellir mesur allan bedair miliwn o erwau o'r tir arwerthol erbyn diwedd y flwyddyn hon. A golygu bod y ffermydd at eu gilydd yn 160 o erwau bob un, rhoddai hyny ddwy fil a thriugain a phum' cant o amaethwyr yn ychwanegol ar y tir; a golygu drachefn bod pump at eu gilydd ymhob teulu, gellid dysgwyl ychwanegiad o uwchlaw tri chan' mil o bersonau at nifer y boblogaeth yn yr wyth neu ddeng mlynedd nesaf,—cynnydd o tua deng mil ar hugain y flwyddyn.

Ond nid yw y trefedigaethau Prydeinig yn cynnwys ond rhan fechan o'r Cyfandir Australaidd, yr hwn na wyddys ond ychydig hyd yma am ei ansoddau. Cyfanneddir parthau o hono gan lwythau o Indiaid Australaidd, cynfrodorion y wlad, y rhai ydynt yn y cyflwr iselaf o ran gwybodaeth a moesau, yn byw gan mwyaf ar helwriaeth a chynnyrch naturiol y tir, heb un drychfeddwl ganddynt am lafurio y ddaear a hau. Y maent yn ddiniwed a charedig wrth ddyeithriaid, os nad ymddygant yn drawsion ac anghyfiawn tuag atynt. O ran eu hagweddiad, y maent o'r dosbarth gwrthunaf o'r hil ddynol; ond effeithiai gweinidogaeth addysg a gwareiddiad lawer iawn er eu gweddeiddio yn yr ystyr hwn. Y mae y rhai a ddygid yn ieuainc dan ddylanwad dysgyblaeth Ewropëaid, yn ddynion hywaith yn eu hagwedd a'u moesau, ac yn weision a gweithwyr defnyddiol, os ymddygir yn gyfiawn a charedig tuag atynt; ond ychydig iawn ydyw nifer y rhai a allwyd eu derchafu o'u cyflwr crwydraidd a barbaraidd i sefyllfa o wareiddiad hyd yma. Gwariodd yr awdurdodau trefedigol hanner can' mil o bunnau, o'r flwyddyn 1821 hyd 1842, mewn ymdrechion i'w haddysgu a'u gwareiddio; ond aeth y llafur yn hollol ofer ymron, a rhoddwyd yr anturiaeth i fyny mewn anobaith. Nid oes gymaint ag un enghraifft o ddychweliad brodor Australaidd at Gristionogaeth ar gael, medd Dr. Lang. Barna rhai, gyda llawer o

debygolrwydd, na wna cenadau efengylaidd byth argraff ar y cynfrodorion hyn heb ymgymysgu â hwynt fel un o honynt, a'u canlyn yn eu crwydriadau, a byw ar wreiddiau, ac ymddwyn ymhob peth fel hwythau, fel y gwnaeth Elliot, apostol yr Indiaid Cochion yn Ngogledd America. Felly y daeth y cenadwr enwog hwnw yn gydnabyddus âg iaith yr Indiaid, ac yr ennillodd eu hymddiried, a bu yn offerynol i ddychwelyd llawer o honynt i'r ffydd yn Nghrist.

Anfonodd Cymdeithas Wyddorol yn Melbourne, ddechreu y flwyddyn ddiweddaf, bedwar o wŷr, o'r enwau Burke, Willis, Gray, a King, i gyfarchwilio y Cyfandir anadnabyddus. Llwyddasant yn yr anturiaeth; cyrhaeddasant geg yr afon Albert, a chawsant fod y wlad i'r gogledd o Forgilfach Cooper yn dir ffrwythlawn dyfradwy, ac nid yn anialwch tywodlyd a diffrwyth, fel y tybiasid. Ond buant feirw oll ond un, King, ar y ffordd yn ôl, o herwydd diffyg anghenrheidiau bywyd, pan oedd y darpariadau a anfonasid er eu cynnorthwyo bron wrth law. Ar yr ail dydd o Dachwedd diweddaf, cyrhaeddodd y newydd Melbourne o Sandhurst, fod cenad wedi cyrhaedd y lle hwnw, o'r enw Brahe, oddiwrth Mr. Howitt, a aethai i chwilio am y lleill, yn dwyn y newydd galarus fod Burke a Willis wedi marw yn Morgilfach Cooper, yn mis Mehefin diweddaf, o ludded ac anghen, a bod Gray wedi marw ychydig o'u blaen. Cafwyd King, y pedwerydd, ar y gilfach yn byw gyda'r brodorion, y rhai a ymddygent yn garedigol tuag ato; ond yr oedd mewn cyflwr nychlyd a thruenus; pa fodd bynag, efe a wellhäodd. Yr oedd teithlyfr Burke, blaenor y fyntai anturiaethus, a mapiau Willis, yn ei feddiant, y rhai sydd yn dangos i Burke a'i gymdeithion lwyddo i groesi y cyfandir hyd draethell Culfor Carpentaria, yr hwn a gyrhaeddasent ar yr 11eg o Chwefror, 1861. Dengys y siart a gedwid gan Willis iddynt ddilyn *Sturts Tract* hyd ei bwynt pellaf yn lledred 24. Pan y cawsant fod y tir ymhellach i'r gogledd yn anmhosibl i gynniwair trwyddo, troisant tua'r dwyrain yn uniongyfeiriol i'r 104° hydred gyfochrog, yr hon a ddilynasant yn unionsyth ymron, i'r gogledd, nes y daethant i'r Afon Albert. Gorphwysasant dridiau mewn pwynt ar yr afon, yn lledred 17° 53′ i'r dê, ac felly cyflawnasant yr orchest fawr o groesi y cyfandir o fôr i fôr. Wedi hyny cychwynasant yn ôl tuag adref. Lladdasant eu meirch, a rhai camelod oedd ganddynt, yn ymborth, a chyrhaeddasant Forgilfach Cooper yn llwyr ddiffygiol gan ludded a newyn, ar yr 21ain o Ebrill.

Dygodd y newydd o'u trancedigaeth brudd-der i'w ganlyn i fynwesau caredigion gwyddor a gwybodaeth ymhob man; taflwyd tref Melbourne i alar dwys pan ddaeth y newydd gofius yno. Cyflawnwyd yr anturiaeth, ond collwyd yr anturiaethwyr ond un. Hon oedd yr anturiaeth lwyddiannus gyntaf erioed i groesi y cyfandir hwnw,—ond yn ddïau nid y hi fydd yr olaf; y mae y ffordd wedi ei hagor weithian, a bydd yr ymdeithwyr nesaf yn meddu llawer o fanteision oddiwrth hysbysiadau a phrofiad eu rhagflaenoriaid, er gwneyd pob darpariadau anghenrheidiol i ddiogelu llwyddiant. Modd bynag, y mae yr anturiaeth gyntaf wedi ychwanegu un cufydd eto at faintioli y wybodaeth ddaearyddol.

Y mae hanes byr trefedigaeth Victoria yn meddu cryn ddyddordeb. Yn 1803, penderfynodd Llywodraeth Lloegr sefydlu alltudfan ar ei gororau, er rhagflaenu Llywodraeth Ffrainc, yr hon, fe dybid, a amcanai gymeryd meddiant o'r lle. Anfonwyd y Milwriad Collins, gyda lliaws o

alltudion, a myntai o filwyr, a phethau anghenrheidiol at wasanaeth y sefydliad. Wedi cyrhaedd Port Philip, a bwrw bras olwg dros y wlad, barnodd fod y parth hwnw yn anfanteisiol, a hwyliodd ymaith i Tasmania, a chychwynodd y drefedigaeth ar yr ynys hono, drwy sylfaenu *Hobart Town*. Yn ystod deng mlynedd ar hugain wedi hyny, ffurfiwyd amryw sefydliadau pysgotawl yn Ynysoedd y Bass's Strait. Daeth y pysgodwyr mewn amser yn adnabyddus o adnoddau porfäol y cyfandir cyfagos, a galwasant sylw defaid-amaethwyr Tasmania at y peth, y rhai yr oedd eu terfynau erbyn hyny yn rhy gyfyng iddynt. A dyna y pryd y dechreuodd Ewropëaid wladychu yn y parth hwnw.

Cyrhaeddodd yr ymsefydlydd cyntaf yno yn mis Mai, 1835.*Ië, mor ddiweddar a hyny—prin, rhy brin saith mlynedd ar hugain eto, y dechreuwyd sefydliad sydd erbyn hyn wedi dyfod yn rhan mor bwysig yn ymherodraeth Prydain Fawr. Yr ymfudwr oedd ŵr o'r enw John Batman, brodor o Tasmania, adnabyddus ar gyfrif ei ymdrechion dyngarol i wareiddio a llesâu cynfrodorion yr ynys hono. Tiriodd gyda'i deulu yn Port Philip, yn agos i geg yr afon Werribee, tua hanner y ffordd rhwng Melbourne a Geelong. Wedi iddo gael gafael ar nifer o'r brodorion a drigent gerllaw yr afon Werribee, amlygodd iddynt ei fwriad o ymsefydlu yn eu plith, gyda'i wraig a'i deulu, a'i ddymuniad i brynu ganddynt gyfran o'r wlad i borfäu ei anifeiliaid. Daethant o'r diwedd i gyttundeb â'u gilydd, a pharthwyd rhan helaeth o'r tir iddo, am yr hwn yr oedd i dalu ardreth flynyddol o ddeg pâr a deugain o wrthbanau, deg a deugain o gyllyll, deg a deugain o *tomahawks*, deg pâr a deugain o sisyrnau, deg a deugain o wyneb-ddrychau *(looking glasses)*, ugain pâr o wisgoedd, a dwy dunnell o flawd. Gwnaed bargen gyffelyb am gyfran arall o dir, ac arwyddnodwyd y ddau bryniad ar lân Batman's Creek, Mehefin 6, 1835. Cyfanwerth yr oll i'w dalu oedd tua dau cant o bunnau y flwyddyn. Ymddygodd Mr. Batman yn gyfiawn a charedig tuag at y brodorion, fel yr ennillodd eu hymddiried yn fuan, yr hwn a ddinystriwyd cyn hir drachefn gan ymddygiad trawsfrwnt rhai o'i gydwladwyr.

Yn fuan wedi ei ymsefydliad yno, talodd Mr. Batman fyr ymweliad â'i fro enedigol yn Tasmania, gyda'r amcan o ffurfio cwmni o ymfudwyr i'w sefydlu ar y tir a brynasai, a chyrchu daoedd. Yn ystod ei absennoldeb, synid a dychrynid ei deulu yn fawr un diwrnod gan ymweliad cawr anferth o ddyn, yn agos i saith troedfedd o daldra, wedi ymwisgo â llèn o grwyn Kangarŵ, barf hirlaes, a chnwd dirfawr o wallt, ac yn cario tarian, a chlwb, a gwaewffon. Tybient mai rhyw benaeth brodorol ydoedd, ac ofnent ar y cyntaf mai nid heddychol oedd amcan ei ymweliad; ond trówyd eu hofn yn syndod, pan welsant fod yr ymwelydd dyeithr yn dwyn prydweddau Ewropëad a Sais. Wedi cryn drafferth, cawsant ar ddeall pwy ydoedd. Ar y cyntaf nid allai siarad Saesoneg, ond yn yspaid tua phythefnos daeth yn alluog i'w siarad yn rhwydd. Buckley oedd ei enw; ei hanes yn fyr sydd fel y canlyn:—Buckley, "y dyn gwyllt o'r coed," fel ei gelwid, oedd enedigol o Sir Gaerlleon. Ymunodd â'r fyddin yn ŵr ieuanc. Wedi gwasanaethu yn y fyddin am ddwy neu dair blynedd, alltudiwyd ef am ei oes gyda chwech eraill o filwyr, wedi eu cael yn euog o gydfradwriaeth yn erbyn bywyd eu prif

* Yr oedd trefedigaeth Deheudir Cymru Newydd *(New South Wales)* wedi ei hen sefydlu cyn hyn, fel y crybwyllwyd o'r blaen.

swyddog yn Gibraltar, sef y diweddar Dduc o Kent, tad ei Mawrhydi y Frenines Victoria. Cyrhaeddodd Port Philip gyda'r alltudion a anfonwyd dan ofal y Milwriad Collins. Yn fuan wedi tirio, llwyddodd ef a dau garcharor eraill, o'r enwau Marmon a Pye, i ddianc ymaith, gan ddewis cymeryd eu tynghed yn yr anialwch gwyllt yn hytrach na threulio bywyd mewn caledwaith fel troseddwyr alltudiedig. Digalonodd Pye yn fuan, a dychwelodd yn ôl i roddi ei hunan i fyny i'r awdurdodau. Glynodd Marmon gyda Buckley am dymmor, ond digalonodd yntau, a dilynodd esiampl Pye. Ond ni chlybuwyd gair o sôn am yr un o'r ddau byth wedi hyny. Crwydrodd Buckley wrtho ei hun, gan ymgyfeirio tua Phenrhyn Otway. Blinodd yntau mewn amser ar ei fywyd unigol a thruenus, a phenderfynodd ddychwelyd ar ol ei ddau gydymaith. Ar ei ffordd yn ôl, dygwyddodd daro ar fyntai o'r brodorion, y rhai a'i derbynient yn garedig. Daeth yn fuan i ffafr y penaeth, yr hwn a elwid Nidlaboins, a chanlynai ef i bob man yr elai. O'r pryd y diangasai ymaith hyd yr amser y cyfarfu â theulu Mr. Batman, ar y 12fed o Gorphenaf, 1835, yspaid o ddeuddeng mlynedd ar hugain, ni welsai wyneb dyn gwŷn unwaith. Yr oedd wedi llawn gydymffurfio âg arferion yr Indiaid, ac wedi dysgu eu hiaith yn berffaith, ac ymhob peth fel un o honynt. Rhoddasant wraig iddo, ond wedi cael ar ddeall ei bod yn hoffach o ŵr arall, efe a ymwrthododd â hi. Rhoddwyd y wraig i farwolaeth am dori priodas, a'i gordderchwr am ei hudo. Methasai yn ei ymgais i wella dim ar arferion a dull yr Indiaid o fyw, a chafodd ar ddeall fod diogelwch ei fywyd yn eu plith yn dibynu ar ei ymroddiad i gydymffurfio â'u defodau ymhob peth. Er y teimlai bob amser yn awyddus i ddychwelyd i fywyd gwareiddiedig, yr oedd er ys llawer o flynyddau wedi rhoddi i fyny bob gobaith am hyny. Gwnaeth Mr. Batman, wedi ei ddychweliad adref, yr oll a allai dros y truan. Llwyddodd i gael maddeuant iddo, a gwnaed ef yn geisbwl yn ninas newydd Melbourne; ond o herwydd ei fod yn anfoddlawn i aros mor agos i'r lle y treuliasai flynyddoedd ei fywyd anwaraidd, symudwyd ef i Hobart Town, lle y bu farw.

Dilynid yr ymsefydlwr cyntaf yn fuan gan eraill—myntai o'r rhai, dan arolygiaeth un Mr. Faulkner, a gymerasant sefyllfa ar ochr ogleddol y Yarra Yarra, lle y mae Melbourne yn awr wedi ei hadeiladu. Symudodd Mr. Batman hefyd yno, fel sefyllfa fwy manteisiol na'r hon a ddewisasai ar y cyntaf. Gosododd llywodraethwyr y ddwy drefedigaeth, New South Wales a Tasmania, eu hwynebau yn erbyn y sefydliad newydd, drwy gyfarwyddyd y Llywodraeth gartrefol, am ei fod yn tueddu i wanhâu y lleill, ag yr ewyllysient eu meithrin a'u cadarnhâu. Rhoddodd Syr R. Bourke gyhoeddiad allan o Sidney (gan olygu fod y lle yn perthyn i'w raglawiaeth ef), yn hòni hawl y Goron iddo, yn dadgan fod pob cyttundeb ac ammod a wneid â'r cynfrodorion mewn pryniad tiroedd yn ofer a dirym, ac yn rhybuddio pawb a gymerent feddiant o unrhyw gyfran o'r tir, heb awdurdod gyfreithlawn, yn agored i erlyniad fel trawsfeddiannwyr. Ond ni thyciai dim i attal y lliaws awyddus rhag heidio yno, y rhai a ddywedent, "Awn a meddiannwn y wlad;" ac ni phetrusent ymsefydlu ynddi, er pob gwaharddiad oddiwrth y Llywodraeth. A'r bobl a orfuant; bu raid i'r Llywodraeth dynu ei chyrn ati; ac yn 1836 anfonwyd swyddog yno i arolygu dros yr amgylchiadau, ac felly deuwyd i gyttundeb.

Talodd Syr R. Bourke, rhaglywydd New South Wales, ymweliad â'r sefydliad newydd, ger Port Philip, yn 1836, ymhen llai na dwy flynedd wedi tiriad Mr. Batman yno; a chafodd 450 o drefedigaethwyr, 150 o geffylau, 2,500 o wartheg, a 140,000 o ddefaid yn y lle. Yr oedd cynllun y brifddinas wedi ei dynu y pryd hwnw. Dwy flynedd yn ddiweddarach (1839), cyfansoddid y diriogaeth yn ddibyniaeth ar New South Wales, dan yr enw dosbarth Port Philip, ac apwyntid C. J. Latrobe, Ysw., yn îs-lywydd. Yn 1850, cyhoeddwyd hi yn drefedigaeth wahanol, dan yr enw "Victoria." Yn yr yspaid byr o tua deunaw mlynedd, cynnyddodd, cryfhäodd, a llwyddodd yn ddirfawr iawn; ac y mae ei gogoniant erbyn hyn wedi taflu ei chwiorydd hynach, trefedigaethau New South Wales a Tasmania, i'r cysgod. Y mae y 450 trefedigaethwyr wedi amlhâu i gannoedd o filoedd erbyn hyn; ei dwy fil a hanner dâ corniog (eu nifer yn 1837) wedi cynnyddu i saith gan' mil, a'i saith ugain mil o ddefaid i chwe' miliwn!

Yn ol pob tebygolrwydd, bydd y wlad hon, cyn pen hir amser, yn enwog a blodeuog ymysg gwledydd y ddaear. Nid yw ond yn ei babandod eto; y mae ëangder y tir, ffrwythlonrwydd y ddaear, adnoddau cyfoethog ei mwnau, tymheredd ac iachusrwydd ei hinsawdd, fel yn gwahodd ymfudwyr yno o bob parth; ac ni chaiff galwadau manteision fel hyn eu diystyru a'u hesgeuluso gan blant dynion.

Gall y sawl a ewyllysio wybod mwy o fanylion hanes y trefedigaethau Prydeinig yn Australia, gael hyny yn rhad, ond anfon am y llyfryn a gyhoeddwyd gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, yn Llundain, dan y titl "*Australia and its Settlements,*" o'r hwn y cymerwyd rhanau o'r erthygl hon.

---

# ATHRONIAETH MORELL.

[MORELL'S *Outlines of Mental Philosophy.*]

NI a roddwn yn gyntaf frasolwg ar gyfundrefn Mr. Morell. Ei amcan yn y llyfr hwn yw dangos yr hyn yw dyn o ran bywyd, greddf, teimlad, a meddwl. Ei ddull o wneuthur hyn yw, trwy resymu oddiar yr hyn sydd o fewn cyrhaedd gwybodaeth at yr hyn sydd tu draw i'w chyrhaedd, fel y gwneir mewn anianyddiaeth. Y mae gan ddyn dri math o allu: gallu bywyd (*vital force*), gallu y gewynau (*nerve force*), a gallu meddwl (*mental force*). Y nodwedd o ymwybodolrwydd sydd yn gwahaniaethu yr olaf oddiwrth y ddau flaenaf. Y mae y tri gallu yn y cysylltiad agosaf â'u gilydd. Gwaith y cyntaf yw cadw peiriant y corff mewn trefn; gwaith yr ail yw cynnyrchu teimlad (*sensation*) ac ysgogiad, a chysylltu y corff â'r byd oddiallan; a gwaith y trydydd yw cyfeirio nerth yr holl ddyn i ateb yr amcanion oedd gan ei Grëawdwr yn ffurfiad ei berson.

O herwydd y cysylltiad sydd rhwng y tri, fe ellir rhesymu fod rhyw undeb dwfn rhyngddynt yn bod, o'r hwn fel gwreiddyn y mae y tri yn tyfu. Y mae y gair enaid yn cynnwys y tri. Gallu bywyd sydd yn ymddangos yn gyntaf; ac allan o hono fel hedyn y mae holl alluoedd y meddwl yn cael eu dadblygu. Ond pa beth yw bywyd? Fe ellir ei ddarlunio trwy ei nodweddau. Un elfen ynddo yw y duedd i fod ar wahân *(individuality)* oddiwrth y byd o'i amgylch, a'r meddiant o allu o'i eiddo ef ei hun. Elfen arall, yw ei ddibyniaeth am gynnaliaeth ar yr hyn sydd tu allan iddo; a'r drydedd yw y duedd i gynnyddu. Fe ellir dosbarthu y tair elfen dan ddwy ddeddf—deddf gweithiad, neu ddeddf i briodoli gwrthddrychau yn eiddo iddo ei hun, a deddf gwrthweithiad, neu y ddeddf i ymwahanu oddiwrth wrthddrychau. Y mae y ddeddf hon yn perthyn i bob bywyd o'r uchaf hyd yr isaf. Am hyny nid iawn yw dyweyd fod y corff a'i alluoedd yn un peth, a'r enaid a'i alluoedd yn beth arall; canys y mae y Crëawdwr wedi gwneuthur y dyn trwy roddi yn y dechreu yn yr hedyn cyntaf elfen a elwir enaid, yr hon sydd yn gweithio o'r ysgogiad cyntaf i fyny hyd ffurfiad cynneddfau uchaf y meddwl, sef y rheswm a'r ewyllys. Y gwahaniaeth rhwng bywyd a meddwl yw fod a wnelo bywyd yn unig â lles presennol y corff, ag sydd mewn cysylltiad âg ef, tra y mae y meddwl yn cyfeirio at rywbeth tu allan iddo ef ei hun. Y tir cyffredin ar ba un y mae bywyd a meddwl yn cyfarfod yw gallu y gewynau, yr hwn sydd yn allu bywyd ac yn allu meddwl. Y mae dau fath o sylwedd gewynol *(nerve matter)* yn y corff. Y mae un math o ran lliw yn llwyd, y math arall yn wŷn; y mae y cyntaf yn sylwedd llawn o gelloedd mân *(cellular)*, y mae yr olaf yn sylwedd llinynaidd *(fibrous)*. Y mae y cyntaf yn gysylltiedig â gwaith bywyd, megys cylchrediad y gwaed a magwraeth y corff; y mae yr olaf yn gysylltiedig â theimlad ac ysgogiad. Y mae y cyntaf yn derbyn argraffiadau oddiwrth y byd oddiallan; y mae yr ail yn gwneuthur argraff arno yn ol greddf neu ewyllys y crëadur. Uwchlaw y sylwedd gewynog yn y cefn *(spine)*, y mae yr ymenydd. Trwy yr ymenydd y mae yr argraffiadau a wneir ar y gewynau yn cael eu troi yn syniadau, a phenderfyniadau yr ewyllys yn cael eu troi yn weithredoedd. Y mae rhai gweithredoedd yn cael eu cyflawni nad yw y dyn yn ymwybyddus o honynt; eraill y mae yn ymwybyddus o honynt, ond heb eu rheoli gan y meddwl a'r ewyllys, y rhai a elwir yn weithredoedd greddfol; ac eraill dan lywodraeth yr ewyllys. Y mae tri dosbarth o ewynau yn cyfateb i'r tri dosbarth o weithredoedd. Y dosbarth cyntaf o weithredoedd a enwyd yw yr isaf. Ac y mae y dosbarth hwn yn sefyll yn y canol rhwng mater a meddwl. Dyma y pwynt lle y mae gallu bywyd a gallu meddwl yn cyffwrdd â'u gilydd. Y mae meddwl yn gweithredu mewn ymwybyddiaeth o'i fod yn gweithredu. Y mae meddwl ymwybyddus yn tyfu o fywyd sydd heb fod felly. Greddf yw yr enw ar y ffurf gyntaf o bob bywiogrwydd meddwl. Greddf yw rheswm, ond rheswm heb fod yn wybyddus o'i allu ei hun—rheswm heb ei ddadblygu, ac heb fod yn wirfoddol. Y mae dwy elfen mewn dyn, corff ac enaid, y rhai ydynt yn treiddio trwy eu gilydd. Y maent yn sefyll tuag at eu gilydd mewn perthynas sylwedd a ffurf. Uniad y ddau sydd yn cyfansoddi personoliaeth dyn. Nid yw bôd ysbrydol o fewn terfynau amser a lle; y mae yn gyfuniad perffaith o alluoedd bywydol ac ysbrydol. Pa fodd y gwyddom fod byd oddiallan i ni? Y mae ysgogiadau

awyr a goleuni tu allan i ni: trwy yr ysgogiadau hyn y mae argraffiadau yn cael eu gwneuthur ar y gewynau. Y ddolen sydd yn cysylltu y byd oddiallan ac ymwybodolrwydd dyn yw ysgogiad *(motion)*, yn gyffelyb y mae syniad yn cael bod mewn cyfnewidiad o un sefyllfa i sefyllfa arall. Y mae hedyn y corff yn meddu ar natur ag sydd yn crëu iddo ei hun synwyrau naturiol; felly y mae meddwl, heb feddu ar na galluoedd na syniadau cynhenid, yn meddu ar natur yr hon sydd yn sicr o roddi bod i alluoedd a syniadau. Y mae pennodau yn y llyfr ar allu y meddwl i ffurfio drychfeddyliau ac i resymu—ac ar y rheswm—yr ewyllys, a'r teimladau fel cynneddfau yr enaid. Yn y pennodau cyntaf y mae yn dosbarthu nodweddau bywyd dan ddwy ddeddf: y ddeddf yn ol yr hon y mae yn priodoli gwrthddrychau yn eiddo iddo ei hun, a'r ddeddf yn ol yr hon y mae yn gwrthwynebu pob peth sydd yn dueddol i'w ddinystrio, neu ddeddf hunanamddiffyniad. Yn y pennodau canlynol y mae yn olrhain y ddwy ddeddf hyn trwy holl gynneddfau yr enaid. Y mae yn dangos fod dyn o ran bywyd, greddf, teimlad, a meddwl, yn berson cyfanwaith, trwy olrhain y deddfau hyn, a phrofi un gweithrediad o ysgogiadau gwanaf a chyntaf y bywyd i ysgogiadau cryfaf ac uchaf y meddwl. Y ddwy ddeddf a enwyd, yn ol ei farn ef, ydyw yr unig gynneddfau cynhenid sydd mewn dyn. A'i ddarluniad o ddyn yw bôd ag sydd yn meddu ar natur sydd yn gweithio allan trwy y ddwy ddeddf a nodwyd yr holl gynneddfau ysbrydol sydd ganddo.

Dyma *system* athronyddol y meddwl y mae Mr. Morell gyda chryn fedrusrwydd yn ei hegluro yn y llyfr hwn.

Y mae yr awdwr yn dangos yn eglur mai nid undeb llëol yw undeb corff ac enaid yn unig. Ambell waith fe gymherir y corff i dŷ neu babell, a'r enaid i'w breswylydd. Pan ddefnyddir y gymhariaeth hon yn y Bibl, yr amcan yw nid dangos yr undeb sydd rhwng y corff a'r enaid, ond dangos yn hytrach y gwahaniaeth rhyngddynt—eu bod yn ddau, a bod yr undeb rhyngddynt y fath ag y mae yn bosibl ei ddattod a'i ffurfio eilwaith. Fe gymherir y corff i wisg enaid, ac fe elwir marw yn ddyosg, ond nid mewn un modd i ddangos natur yr undeb rhwng enaid a chorff, eithr yn hytrach mawredd y gwahaniaeth rhyngddynt, a'u bôd yn annibynol ar eu gilydd ar ol eu hysgariad oddiwrth eu gilydd gan angeu. Ond y mae rhyw undeb mwy a dyfnach rhwng enaid a chorff nag sydd rhwng dyn a'r tŷ y mae yn byw ynddo, neu rhwng dyn a'r wisg sydd am dano. Yn rhinwedd y cysylltiad agos rhyngddynt, y mae dyn yn un person—yn gyfanwaith, fel nad yw enaid ond rhan, er y rhan fwyaf a gwerthfawr, ac nad yw corff ond rhan arall o hono. Am hyny ni fydd addewidion y Bibl wedi eu cyflawni i ddyn nes yr adgyfodir y corff, ac y dygir ef i'r un cysylltiad â'r enaid ag yr ydoedd ynddo o'r blaen. Pan edrychir ar alluoedd y ddwy ran ar wahân, a phan welir y gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng gweithrediadau isaf y corff â gweithrediadau uchaf yr enaid, er addef posiblrwydd rhyw fath o undeb rhwng dau mor wahanol, fe ellir yn hawdd ammheu agosrwydd eu cysylltiad. Syllu ar fawredd y gwahaniaeth a arweiniodd rai o'r hen Baganiaid doethaf i dybied mai prif amcan doethineb oedd rhyddhâu yr enaid oddiwrth lyffetheiriau y corff. O'r ochr arall, pan syllir gyda manylrwydd, ac yn ol y goleu y mae anianyddiaeth wedi ei daflu ar y pwnc, ar y cysylltiad agos sydd rhyngddynt, ac ar y modd y mae y naill yn gweithredu ar a

thrwy y llall, y mae perygl anghofio y gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng natur y ddau. I'r perygl olaf hwn y mae y llyfr sydd dan ein sylw yn arwain ei ddarllenydd.

Y mae agosrwydd y cysylltiad rhwng corff ac enaid yn bwnc nas gellir ei wadu, ac yn bwnc y mae anianyddiaeth at ei rhyddid i daflu arno yr holl oleuni ag sydd o fewn gallu yr ymchwiliad manylaf a'r craffder mwyaf diwylliedig. Ond nid yw unrhyw ddarganfyddiad ar agosrwydd y cysylltiad rhyngddynt, yn effeithio i leihâu i'r gradd lleiaf y gwahaniaeth sydd rhwng natur y ddau. Y mae y ddau wirionedd i'w dal yn eu symledd: gwahaniaeth natur a'r cysylltiad agosaf; ac y mae y ddau yn ffurfio un gwirionedd mawr, sef fod dwy elfen hollol wahanol oddiwrth eu gilydd —y mwyaf gwahanol sy bosibl o ran natur heb fod yn wrthwynebol i'w gilydd, wedi eu cysylltu mewn undeb mor agos fel y maent yn cyfansoddi un person. Fe ellir gweled y ddau wirionedd yma yn cydsefyll ar amgylchiadau eraill. . Fe ellir gweled ei gysgod yn mherthynas Duw a'r grëadigaeth. Er nad yw Duw a'r grëadigaeth yn sefyll tuag at eu gilydd yn yr un berthynas ag y mae enaid a chorff yn sefyll tuag at eu gilydd, eto y mae cyfuniad gwahaniaeth a chysylltiad yn y naill berthynas yn gystal ag yn y llall. Y mae Duw a'r byd yn wahanol o ran natur, mor wahanol ag ysbryd a mater; yn wahanol o ran eu perthynas â'u gilydd, mor wahanol ag ydyw achos ac effaith; yn wahanol o ran mawredd, mor wahanol ag ydyw yr anfeidrol a'r meidrol.

Ac eto y mae rhyw gysylltiad rhyngddynt llawer nês a llawer cryfach na chysylltiad llëol. I gymeryd un esiampl o lawer, fe welir hyn yn ngweithrediad greddf yr anifail direswm. Y mae yr anifail yn actio yn berffaith yn ol rhyw egwyddorion nad oes ganddo ef yr un ddirnadaeth o honynt. Rhaid fod gan ryw un ddirnadaeth berffaith o honynt—yr hwn a fedr ac y sydd yn cyfarwyddo yr anifail anwybodus i gyflawni ei waith yn anffaeledig. A phwy yw y rhyw un hwnw ond Duw? Y mae pob egwyddor â'i chartrefle tragywyddol yn ei natur ef. A'i ddirnadaeth ef o'r egwyddorion sydd yn ei natur sydd yn tywys yr anifail. Y mae y rheswm sydd gan ddyn yn reswm sydd wedi ei gyfranu iddo gan Dduw. Nid rheswm wedi ei gyfranu gan Dduw, ond y rheswm yn aros yn Nuw, yw sail anffaeledigrwydd y reddf sydd gan yr anifail. Yn yr anifail distadlaf, y mae rhyw gysylltiad tu hwnt i olwg rheswm dynol rhwng doethineb yn Nuw a gweithrediadau ei reddf yntau. Ac nid hynod i ddynion, ar ol sylwi yn fanwl ar yr holl gysylltiadau rhwng Duw a'r byd, heb ddadguddiad Dwyfol, dybied mai perthynas enaid â chorff oedd perthynas Duw â'r byd. .

Ac y mae dadguddiad yn dangos fod yn yr Arglwydd Iesu wahaniaeth anfeidrol fwy, a chysylltiad anfeidrol nês, rhwng y Duwdod a'r ddynoliaeth sydd yn cyfansoddi ei Berson, na'r gwahaniaeth a'r cysylltiad sydd rhwng yr enaid a'r corff sydd yn cyfansoddi y ddynoliaeth.

Y mae Mr. Morell yn llwyddo i ddangos mai yn y *nerve force* y mae y ddolen sydd yn cysylltu enaid a chorff; ond wrth fanylu ar agosrwydd y cysylltiad, y mae yn ymddangos fel pe tybiai nad yw enaid ond ffurf ar gorff. Ac addef y cwbl a ddywed am agosrwydd y cysylltiad—ïe, a phe byddai ymchwiliad anianyddwyr yn dangos mewn amser i ddyfod ei fod yn nês nag ydym eto wedi ei ddychymygu, y mae ein hymwybolrwydd o alluoedd corff ac o alluoedd ysbryd yn ein hargyhoeddi o wir-

ionedd y dystiolaeth Ddwyfol, fod cymaint o wahaniaeth rhyngddynt ag sydd rhwng pridd y ddaear ac anadl y Duwdod ei hun.

Os y *nerve force* yw y cwlwm rhwng enaid a chorff, a'r cyfrwng trwy yr hwn y mae y naill yn gweithredu ar y llall, felly y mae yr enaid ei hun wedi ei ffurfio yn fath o gwlwm rhwng Duw a'r corff, ac fel eu cyfrwng yn cyffwrdd â'r ddau. Y mae yr enaid mewn cysylltiad personol â'r corff, a thrwyddo y mae yn rhoddi argraff ar, ac yn derbyn argraff oddiar, y byd gweledig. Y mae mewn rhyw gysylltiad natur â Duw, yr hyn a brofir trwy weithrediadau ei reswm a'i gydwybod. Un bôd yw yr enaid nas gellir ei ranu; ond fel pren, y mae ei wreiddiau yn ymestyn trwy, ac yn ymaflyd â holl nerth bywyd, yn y pridd coethedig a elwir corff; ac o'r ochr arall, y mae ei frigau yn ymestyn fel pe dymunent gyrhaedd a llenwi y nefoedd ei hun. Eto un yw y pren, a gweithrediad yr un bywyd sydd yn peri iddo ymrestru y ddwy ffordd. Yn ol y darluniad a roddir o grëadigaeth y dyn cyntaf, ac yn ol ymwybodolrwydd dynion yn gyffredin, dwy ran sydd mewn dyn. Ond yn ol y Testament Newydd y mae y rhan anweledig yn myned dan ddau enw. Y mae yn enaid yn ei gyffyrddiad â chorff; y mae yn ysbryd yn ei gyffyrddiad â Duw.

Y mae un gwirionedd eto i'w ystyried wrth drin y pwnc. Cyn i angeu dori y cwlwm rhwng y rhan anweledig â'r corff, y mae pechod wedi tori rhyw hen gylymau a fu rhwng y rhan anweledig â Duw. Am hyny wrth ystyried dyn fel bôd moesol ac ysbrydol, y mae yn rhaid i'r efrydwr gymeryd hefyd i'w ystyriaeth nad yw y peth y dylai fod; a bod rhyw ddrwg, yr hwn a elwir yn y Bibl yn bechod, nid yn wir wedi diddymu, ond wedi gŵyrdroi, galluoedd cynhenid ei natur.

Y mae sylwadau Mr. Morell ar berthynas bywyd a meddwl tuag at eu gilydd yn agored i feirniadaeth. Yn tu dal 28, fe ddywed am fywyd, mai allan o hono fel hedyn y mae holl gynneddfau meddwl yn cael eu dadblygu. Y mae yn ymdrechu profi hyny trwy ddangos fod dwy ddeddf ag sydd yn perthyn i fywyd yn gweithio trwy holl alluoedd y meddwl. Ac y mae yn dangos y gwirionedd hwn yn anwrthwynebol. Ond y mae yn bwnc arall a yw trwy hyny yn profi fod y fath gynneddfau a chydwybod a rheswm yn unig yn ddadblygiadau o'r bywyd anifeilaidd sydd mewn dyn.

Y mae yn amlwg mai ar gyfrif presennoldeb a gallu y ddwy ddeddf a enwyd y cymhwysir y gair bywyd mewn amgylchiadau hollol wahanol oddiwrth eu gilydd. Y mae y pren yn gweithio gwrthddrychau oddiallan iddo ei hun yn eiddo iddo er ei faeth, ac mewn hunanymddiffyniad yn gweithio yn erbyn yr hyn a'i dinystriai. Felly y mae yr anifail—felly y mae rheswm—felly y mae anian Ddwyfol. Y mae y ddwy ddeddf uchod wedi eu hysgrifenu gan fys Duw, fel yr ysgrifenwyd y dengair ganddo. Ac y maent yn gorwedd yn y gair bywyd fel y llechau yn yr arch. Y maent yn gweithio trwy holl lywodraeth Duw. Fe welir eu gallu yn yr un modd yn y blodeuyn bychan, gwylaidd, a sethrir yn anystyriol dan draed, ag yn y seraph nesaf at yr orsedd fry. Ac o ran eu hanfod y maent o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb yn natur Duw, yr hwn a grëodd y ddau er mwyn eu dangos yn eu gogoniant, a thrwy eu dangos hwy, er mwyn ei ddangos ei hun. Ond er addef cyffredinolrwydd y ddwy ddeddf, yr hyn hefyd yw addef cyffredinolrwydd bywyd yn y nef ac ar y ddaear, y mae yn ymddangos i ni yn hollol wallus dywedyd fod y naill fywyd yn cael ei ddadblygu o'r llall.

Mewn dyn y maent yn cydweithio, ond nid yw y naill o herwydd hyny yn sail neu yn wreiddyn i'r llall. Er mai yr un bôd ysbrydol sydd yn gweithredu tuag at egwyddorion anianyddol a moesol ag sydd yn gweithredu trwy y corff, ac er y gelwir y cyntaf yn fywyd rhesymol â'r olaf yn fywyd anifeilaidd, nid yw gweithrediad ysbryd mewn dwy ffordd ar ddau wahanol fath o wrthddrychau yn profi fod y naill weithred yn ffrwyth y llall, dim mwy nag y mae fod gan ysbryd ddychymyg a chydwybod mewn gweithrediad yn profi fod dychymyg yn ddadblygiad o gydwybod, neu fod cydwybod yn ddadblygiad o ddychymyg. Y mae o gymaint pwys sylwi ar y pethau sydd yn gwahaniaethu y naill fywyd oddiwrth y llall ag ydyw sylwi ar y nodweddau cyffredin i bob bywyd. Y mae y tebygrwydd rhwng gwahanol fathau o fywyd wedi tynu sylw Mr. Morell oddiwrth y gwahaniaeth sydd rhyngddynt. Y mae y gwahaniaeth rhyngddynt i'w ddarllen yn y gwahaniaeth sydd rhwng y gwrthddrychau ar y rhai y maent yn gweithredu. Y mae cymaint o wahaniaeth rhwng bywyd y pren a bywyd ysbrydol yr angel ag sydd rhwng goleu yr haul a lleithder yr awyr—gwrthddrychau y cyntaf, â chyfiawnder a chariad Duw—gwrthddrychau yr ail. Ac y mae gweithrediadau ysbryd mewn dyn tuag at Dduw a thuag at y corff mor wahanol oddiwrth eu gilydd ag ydyw yr angel a'r anifail. Fe wneir ambell waith gamgymeriad o natur gyffelyb gan rai wrth son am darddiad geiriau. Pan y gwelir geiriau tebyg i'w gilydd mewn gwahanol ieithoedd, fe dynir y casgliad ar unwaith gan rai fod y naill air wedi tarddu o'r llall, heb dybied y posiblrwydd o fod y ddau wedi cyd-darddu o ryw air oedd mewn arferiad cyn bod y naill na'r llall. Felly yr ydym yn barnu mai cyd-darddu y mae y bywyd anifeilaidd a'r bywyd rhesymol mewn dyn o'r un Ysbryd, er mai y cyntaf a enwyd sydd yn gweithredu gyntaf, ac nid fod y naill yn tarddu o'r llall. Nid ydym ychwaith yn barnu fod y gwahaniaeth y mae Mr. Morell yn ei wneuthur yn tu dalen 38 rhwng bywyd a meddwl yn hapus. Y mae yn eu gwahaniaethu yn ol gwahaniaeth eu hamcanion. Fe ddywed fod amcan gweithrediad bywyd yn cael ei gyfyngu i lesiant y crëadur ei hun, ond fod amcan meddwl yn cyfeirio at rywbeth tu allan iddo ei hun. Fe welir fod y darluniad hwn yn wallus os ystyrir fod bywyd, er mwyn ei faeth ei hun, yn cyfeirio at wrthddrychau tu allan iddo ei hun fel y mae y meddwl, a bod llawer o actau y meddwl yn cyfeirio at les personol, ïe, at les corfforol y dyn ei hun o ran ei amcan, fel y mae y bywyd anifeilaidd. Ond yn lle sylwi ar amcanion bywyd a meddwl, sylwn ar y gwrthddrychau ar y rhai y maent yn gweithredu, ac y mae natur a maint y gwahaniaeth rhyngddynt yn ymddangos ar unwaith. Gwrthddrychau bywyd anifeilaidd yw pethau tu allan iddo ei hun ag y mae gwahanol synwyrau y corff yn ymaflyd ynddynt. Gwrthddrychau y meddwl yw egwyddorion tu allan iddo ei hun ag y mae cynneddfau pur yn ymaflyd ynddynt ac yn eu priodoli. Y mae y llinell sydd yn gwahanu gwrthddrychau bywyd anifeilaidd a gwrthddrychau y meddwl, yn gwahaniaethu hefyd y bywyd a'r meddwl eu hunain. Ond nid yw unrhyw debygrwydd yn nodweddau mathau o fywyd yn y graddau lleiaf yn dileu y gwahaniaeth hanfodol sydd rhyngddynt. Er iddynt redeg yn gyfochrog â'u gilydd ryw ychydig o ffordd, y mae hŷd y llinellau yn amrywio.

Mewn cysondeb â'i farn am berthynas bywyd a meddwl â'u gilydd, y mae Mr. Morell yn barnu hefyd fod rheswm dyn wedi gwreiddio

yn ei reddf. Y mae yn dangos eu cysylltiad â'u gilydd trwy y cysylltiad rhwng y *spinal cord* a'r ymenydd. Ond y mae hefyd yn egluro ei farn am natur y cysylltiad hwnw. Y mae yn symio ei olygiadau ar y pwnc yn y dull canlynol, yn nhu dalen 62. "Yn gyffredin, fe gyferbynir greddf a rheswm, fel pe baent yn groes o ran natur, ac fel pe bae y naill yn cau y llall allan. Y gwirionedd yw, yn lle bod yn groes, yr un yw y ddau o ran hanfod. Greddf yw rheswm; ond rheswm heb ei ddadblygu, heb fod yn hollol ymwybodol, ac heb fod mewn un modd dan lywodraeth yr ewyllys. Y greddfau cyntaf a enwasom ydynt egnïon cyntaf rheswm i ddeffro o'i chwsg, ac i ddechreu bywyd newydd ac ymwybodol mewn cysylltiad â'r rhanau uchaf o gyfansoddiad dyn." Nid ydym yn dal fod greddf a rheswm yn groes i'w gilydd, fel ag i beri i'r naill gau y llall allan; o herwydd y mae y ddau mewn dyn. Ond wrth wadu eu bod yn groes i'w gilydd, nid ydym yn cael ein gorfodi i ddyweyd mai un ydynt. Y mae trydydd syniad yn bosibl, sef eu bod yn hollol wahanol heb fod yn groes i'w gilydd, ac heb hefyd fod yr un peth a'u gilydd. Y mae mewn dyn alluoedd meddwl ag ydynt yn hollol wahanol oddiwrth eu gilydd, nad ydynt yn groes i'w gilydd, megys y deall a'r dychymyg; a phaham nad all greddf a rheswm fod yn gyffelyb? Cyn gweled y gwahaniaeth rhwng rheswm a greddf, y mae o bwys yn gyntaf i ni ddirnad yn eglur pa beth a feddylir wrth reswm. Y mae Mr. Morell, er yn gwadu ei fod fel cynneddf annibynol, yn egluro yn foddhäol y gwaith a briodolir iddo yn gyffredin. Ei ddull o olrhain gwaith rheswm yw trwy holi pa beth a feddylir pan y dywedir mewn ymddyddan cyffredin fod dyn wedi colli ei reswm. Oddiwrth yr ymadrodd hwn, y mae yn tynu y casgliad mai yr hyn a feddylir wrth reswm yw y gallu sydd yn cadw trefn ac undeb yn holl weithrediadau y meddwl—ei fod i'w wahaniaethu oddiwrthynt yn y gallu sydd ganddo i weithredu ar unwaith ar amrywiol wrthddrychau a drychfeddyliau, ac i dynu casgliadau cyffredinol oddiwrthynt oll; ei fod yn cynnwys dirnadaeth gywir o berthynas pethau â'u gilydd yn y grëadigaeth. Y mae y darluniad hwn o waith rheswm ar unwaith yn ein harwain at wrthddrychau rheswm, ar ba rai nid yw Mr. Morell yn gwneuthur un sylw. Cadw trefn ac undeb yn ngweithrediadau y meddwl yw un o weithiau rheswm. Ond y mae trefn ac undeb yn cael ei gadw yn holl lywodraeth Duw. Y mae Duw mor ddoeth i reoli a threfnu ag ydyw yn alluog i grëu. Ac y mae nodwedd cyffredinol yn perthyn i bob rhan o'r llywodraeth Ddwyfol—yr hwn a osodir allan yn y gair deddf, trwy yr hwn y mae trefn yn cael ei sicrhâu. Y mae y gair *deddf*, fel y gair *bywyd*, yn cynnwys o'i fewn amrywiaeth mawr, ac ar yr un pryd rhyw unoliaeth syniad yn nghanol pob amrywiaeth. Os edrychir tua'r nefoedd, y mae gwahaniaeth mawr rhwng y planedau o ran maint, a'phwys, a dysgleirdeb, ond y maent wedi eu ffurfio yn un dosbarth heulog gan Dduw trwy ddeddfau. A chymhwyso at y grëadigaeth air priodol am ddyn—crëadigaeth heb ddeddf a fyddai crëadigaeth allan o'i rheswm. Y mae dynion mewn gwlad yn cael eu cadw mewn trefn ac mewn undeb â'u gilydd gan lywodraeth; ond y mae y llywodraeth hono yn gwneuthur ei gwaith trwy gyfrwng deddfau. Ac y mae gwlad yn cael ei gormesu gan ddeddfau drwg yn well o ran ei sefyllfa na gwlad heb yr un ddeddf o'i mewn.

Deddf yn ei hysbryd, yn egwyddor mewn calonau, sydd yn cadw trefn

yn y nefoedd; deddfau sydd yn cadw trefn mewn teuluoedd, ac mewn gwledydd, ac mewn eglwysi, ac mewn carchardai. A chymeryd i fyd y meddwl egwyddorion cyffredin llywodraeth Duw—os yw y rheswm fel penteulu yn cadw trefn ar y syniadau a'r teimladau, y mae yn gwneuthur hyny trwy weithredu ar, ac yn ol, rhyw ddeddfau neu egwyddorion. Y mae yn troi y gwrthddrychau y mae yn gweithredu arnynt yn rheolau, yn ol pa rai i weithredu mewn gwahanol amgylchiadau. Y mae dynion wedi colli eu rheswm yn camgymeryd eu meddyliau eu hunain am ddygwyddiadau tu allan iddynt. Y mae y camgymeriad yn codi oddiar fod y rheswm heb weithredu ar y ddeddf fawr—o'r gwahaniaeth hanfodol sydd rhwng meddwl a'i wrthddrych. Gwrthddrychau rheswm yw y deddfau mawrion sydd yn llywodraeth Duw—pa un bynag fyddont ai deddfau o anghenrheidrwydd ai deddfau o benarglwyddiaeth; ai deddfau i gadw trefn ar ysbrydion anfarwol, ai ar yr anifeiliaid a ddyfethir, ai ar y grëadigaeth ddifywyd.

Os gwrthddrychau rheswm yw deddfau neu egwyddorion, gwrthddrychau greddf yw y pethau y mae yr anifail yn ymaflyd ynddynt. Ac y mae cymaint o wahaniaeth rhwng rheswm a greddf ag sydd rhwng eu gwrthddrychau. Felly y mae y gwahaniaeth rhwng synwyrau y corff. Fe ellir cymeryd y synwyrau, megys y llygad a'r glust, dan sylw uniongyrchol; ond pe na bae y sylw uniongyrchol yn gyfleus i'w wneuthur, fe ellid gweled maint y gwahaniaeth rhyngddynt yn y gwahaniaeth sydd rhwng goleu a sŵn. Y mae un synwyr yn neillduol, sef y cyffyrddiad *(touch)*, yn gyffredin, i'r holl gorff. Ond nid oes neb yn camgymeryd gwaith llygad yn gweled ac yn cyffwrdd, am mai goleu yw gwrthddrych y cyntaf a chaledwch neu dynerwch yw gwrthddrych yr olaf. Yn gyffelyb nid yw agosrwydd y cysylltiad rhwng rheswm a greddf mewn dyn yn rhwystr i ni wahaniaethu rhyngddynt, yn fwy nag y mae agosrwydd y cysylltiad rhwng egwyddorion a phethau y tu allan iddo yn rhwystr i ni wahaniaethu rhyngddynt hwythau. Nis gallwn mewn un modd gydsynio â'r farn mai gwahaniaeth graddau yw y gwahaniaeth rhwng rheswm a greddf, o herwydd y mae gwahaniaeth natur rhwng eu gwrthddrychau.

Nis gall y darluniad o reswm fel greddf wedi ei dadblygu, yn ein tyb ni, fod yn gywir; o herwydd y mae greddf yn yr anifail yn berffaith, yn anffaeledig, ac er y cwbl greddf ydyw ac nid rheswm. Y mae gagendor rhwng greddf anffaeledig a'r rheswm mwyaf anmherffaith, cymaint ag sydd rhwng defnyddiau gweledig i synwyrau corff ag egwyddorion gweledig yn unig i lygad ysbryd. Ac nis gallwn byth ddysgwyl i reddf droi yn rheswm mwy nag y medr peth droi yn ddeddf. Nid yw greddf yn meddu ar ymwybodolrwydd, tra y mae rheswm yn ymwybyddus o'r gallu. Ac nid oes ond crëadigaeth a fedr groesi oddiwrth absennoldeb ymwybodolrwydd sydd mewn anifail i ymwybodolrwydd perffaith sydd mewn dyn. Ac er fod tebygrwydd yn ngweithrediadau y ddau yn profi fod y doethineb Ddwyfol a roddodd reswm mewn dyn yn cyfarwyddo yr anifail hefyd, "yn arwain y deilliaid ar hyd ffordd nid adnabuant, ac yn gwneuthur iddynt gerdded ar hyd llwybrau nid adnabuant," ac mai yr un natur yw doethineb yn Nuw a doethineb mewn dyn, —nid ydyw yn profi mai yr un natur yw doethineb a elwir rheswm mewn dyn, a'r ddoethineb a elwir greddf sydd mewn anifail; o herwydd y mae gwahaniaeth eu gwrthddrychau yn profi gwahaniaeth eu natur.

Yr un yw syniadau Mr. Morell ar derfynau gwybodaeth dyn a syniadau Mansel a Syr William Hamilton. Y mae yn symio ei farn ar y pwnc yn y geiriau, "That human knowledge can only be occupied with the phenomenal, and ceases altogether in presence of the simply real or essential,"—fod a wnelo gwybodaeth dyn yn unig â'r hyn sydd yn *ymddangos*, a'i fod yn diflanu yn hollol yn ngwyneb yr hyn sydd yn *bod*, neu y sylweddol. Y mae yn darlunio gwybod neu adnabod fel y gallu sydd gan ddyn i wahaniaethu un peth oddiwrth y llall, ac i farnu i ba bethau y mae yn debyg neu yn annhebyg. Ni wedir gan athronwyr gwrthwynebol i Mr. Morell, fod ein hadnabyddiaeth o beth yn gael ei gyrhaeddyd trwy gyfrwng ei *phenomena*—sef y nodweddau canfyddedig gan synwyrau y corff, neu ymwybodolrwydd y dyn ei hun: y gwyddom, fel enghraifft, y gwahaniaeth rhwng corff ac enaid trwy y gwahaniaeth sydd rhwng nodweddau y corff a nodweddau yr enaid.

Ond y mae yn gwestiwn pellach ai hyn yw yr holl wir. Ai y nodweddau yn unig a wybyddir? Onid yw y rheswm yn adnabod y peth sylweddol ei hun trwy ei nodweddau? Wrth ddyweyd fod gan enaid gynneddfau, y mae y dywediad yn cynnwys fod y meddwl yn adnabod enaid; am ei fod yn ei wahaniaethu, er nas gall ei wahanu, oddiwrth ei gynneddfau, ac am ei fod yn ei wahaniaethu trwy y cynneddfau hyny oddiwrth bob peth arall. Y mae hyn yn dangos fod gan ddyn ryw allu meddwl a fedr wahaniaethu pethau oddiwrth eu gilydd, na fedr holl allu ei gorff, na gallu ei enaid trwy ei gorff, byth eu gwahanu. Y mae Duw yn anfeidrol; am ei fod yn anfeidrol, ni fedr deall dyn byth ei gynnwys, ond am ei fod yn anfeidrol y mae rheswm dyn yn ei adnabod—sef ei wahaniaethu oddiwrth bob ysbryd arall. Nid yn unig y mae cynneddfau yr enaid yn actio ar ei briodoliaethau, ond trwy ei briodoliaethau ar Dduw ei hun. Wrth ddywedyd fod ganddo briodoliaethau, y mae y meddwl yn gwahaniaethu rhyngddo ef â hwynt, a thrwyddynt yn gwahaniaethu rhyngddo ef â phawb arall.

Y mae dywedyd na fedr dyn actio ond ar nodweddau yn ddarostyngiad arno i fod yn gydstâd â'r anifail direswm. Ar nodweddau yn unig y mae yr anifail yn gweithredu. Ac yr ydym yn derbyn darluniad Mr. Morell o wybodaeth dyn, fel un perffaith gywir o wybodaeth anifail direswm:—Mewn nodweddau y mae gwybodaeth anifeilaidd yn dechreu ac yn gorphen; ond eithaf yr anifail yw y rhan isaf o wybodaeth dyn. I ddangos ei bwnc, y mae Mr. Morell yn cymeryd fel esiampl ein gwybodaeth o fater. Mater, meddai, yw yr hyn sydd yn aros ar ol i ni dynu ymaith ei holl nodweddau. Yr ydym yn ammheu cywirdeb y darluniad hwn. Nid yw tynu oddiar fater bob nodwedd yn bosibl, yn weithredol nac yn feddyliol. Nid yw yn bosibl i'r meddwl synied dim am sylwedd wedi colli pob nodwedd. Felly ni a allwn resymu fod rhyw nodwedd yn hanfodol i bob sylwedd. Y mae y *definition* uchod yn diddymu mater o syniad y meddwl, trwy dybied fod peth yn cael ei wneuthur nad yw yn bosibl ei ddychymygu. Ac ar ol diddymu mater, y mae Mr. Morell yn gofyn i ni ei adnabod.

Y mae y darluniad canlynol yn ymddangos i ni yn fwy cywir. Mater yn ei hanfod yw yr hyn sydd yn meddu ar ryw nodweddau neillduol. Ysbryd yn ei hanfod yw yr hyn sydd yn meddu ar ryw nodweddau neillduol. Trwy eu nodweddau yr ydym yn gallu gwahaniaethu mater ac

ysbryd oddiwrth eu gilydd. Ac am ein bod yn eu gwahaniaethu, yr ydym yn eu hadnabod hwynt, ac nid eu nodweddau yn unig. Ni a allwn wahaniaethu cyfiawnder ac anghyfiawnder, da a drwg, y prydferth a'r anmhrydferth, achos ac effaith, ac am hyny y maent o fewn terfynau ein gwybodaeth. "The infinite cannot be grasped by the finite," meddai. Gwir. Yr Anfeidrol yn unig a fedr adnabod ei hun, yn yr ystyr o ddeall i berffeithrwydd y cwbl a ellir ei wybod o hono ac am dano. Ond yn yr ystyr yma, heb son am adnabod Duw, nid yw dyn yn gwybod dim. Ond fe all, yn ol ein tyb ni, ei adnabod fel bôd anfeidrol, trwy ei wahaniaethu oddiwrth bawb arall, fel gwrthddrych yr addoliad mwyaf gostyngedig a'r cariad mwyaf angerddol.

Ni a gydnabyddwn eto alluoedd athronyddol Mr. Morell, a'r medrusrwydd â'r hwn y mae yn dangos fod dyn yn gyfanwaith gogoneddus, er ein bod yn credu ei fod trwy sylwi ar y cysylltiad agos sydd rhwng ei gorff a'i ysbryd, wedi colli golwg i raddau helaeth ar y cysylltiad agos sydd rhwng yr ysbryd a'r ysbrydol, a'r gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng yr ysbryd a'r corff.

---

# RICHARD WATSON.

Tua therfyn y canrif diweddaf, ac o fewn rhyw dair blynedd i'w gilydd, fe dderbyniwyd i'r weinidogaeth Wesleyaidd dri gŵr ieuanc hynod iawn; tri o'r rhai hynotaf, fe allai, a dderbyniwyd iddi erioed. Yn mis Medi, 1796, mae y cyntaf o'r tri—llanc ieuanc tàl, eiddil, a llesg, dan un ar bymtheg oed—yn gadael ei gartref yn nghysgodau tawel hen eglwys gadeiriol Lincoln, ac yn tramwy ar draws y wlad i ddechreu ar ei weinidogaeth yn Ashby-de-la-Zouch, tref fechan ddigon anhynod yn nghŵr gorllewinol Swydd Leicester. Yn niwedd mis Awst, 1799, y mae'r ail, mab i wraig weddw dduwiol yn Manchester, yn gadael sefyllfa gysurus, barchus, ac obeithiol, yn y dref hono, ac yn llawn o zel ac ymroddiad yn gwynebu ar waith a phrofedigaethau efengylwr yn nhref gyfagos Oldham. Tua'r un dyddiau hefyd y mae'r trydydd yntau, mab i amaethwr cyfrifol yn Yorkshire, yn gadael tŷ ei dad yn y North Riding, a chyda *saddle-bags* newyddion, a cheffyl da dano, mae yn cyrchu tua Phocklington yn yr East Riding i ddechreu ar ei orchwyl mawr yntau. Ganwyd y tri hyn o fewn tipyn o fisoedd y naill i'r llall, a dechreuasant, fel y gwelwyd, ar orchwyl mawr eu hoes yn bur agos i'w gilydd hefyd. Pan gymerth y pethau hyn le, ychydig iawn a feddyliai neb fod y fath yrfa ardderchog i ymagor o'u blaen. Cododd pob un o'r tri i'r cylch uchaf yn bosibl yn y Cyfundeb Wesleyaidd. Ni bu neb erioed yn uwch ynddo, mewn na defnyddioldeb nac anrhydedd oddieithr John Wesley ei hun. Daeth y cyntaf yn *dduwinydd* blaenaf, rhagoraf, y Cyfundeb; daeth yr ail y *deddfwr* doethaf a mwyaf craffus a gododd ynddo erioed;

a bu'r trydydd am oes hir iawn y *pregethwr* mwyaf hyawdl, llafurus, a phoblogaidd, o fewn holl derfynau y Cyfundeb i gyd. Ond Ah! y mae "diwedd ar bob perffeithrwydd." Mae y tri-wŷr enwog hyn yn awr ar lawr y bedd! Mae'r cyntaf a'r ail—Richard Watson a Jabez Bunting, yn gorwedd yn dawel yn yr un gladdfa a John Wesley ei hun yn City Road, Llundain; ac y mae'r trydydd, yr hawddgar Robert Newton, yn gorphwys mewn hedd yn hen fonwent wledig Easingwold yn ei *Yorkshire* enedigol ei hun!

Ein hamcan presennol ni yw rhoddi hanes bras am fywyd, ysgrifeniadau, a charictor, y blaenaf o'r tri hyn—yr enwog RICHARD WATSON.

Ganwyd y gŵr mawr yma yn Barton-upon-Humber, yn Swydd Lincoln, ar yr 22ain o Chwefror, 1781. Yr oedd yn seithfed plentyn (ymhlith deunaw o blant!) i Thomas Watson y *saddler* ac Anne ei wraig. Bachgenyn gwanllyd iawn oedd y seithfed plentyn hwn. Gobaith gwan iawn oedd gan ei dad a'i fam am gael ei gadw yn hir. Bedyddiwyd ef pan yn un diwrnod ar ddeg oed, "rhag ofn i rywbeth ddygwydd iddo." Ond siomwyd eu hofnau yn rhyfedd. Er claddu pedwar ar ddeg o'u plant yn eu babandod, cawsant yr hyfryd fraint o gael magu Richard bach. Gwelsant ef cyn eu marw wedi tyfu yn ddyn, ac yn ddyn *mawr* iawn hefyd, a hyny mewn mwy nag un ystyr. Cyn bod yn bum' mlwydd oed, anfonwyd ef i'r ysgol at hen wraig dda oedd yn byw gerllaw yno; a chymaint oedd ei awydd am ddysgu, a'r awch o ganlyniad gyda'r hwn yr adroddai efe ei wersi, nes y swynodd galon ei feistres yn lân, ac y gwnaeth iddi lawer gwaith edrych yn serchus dros ei hen spectol fawr arno, ac i ddywedyd gyda'i llaw wèn grebychog ar ei goryn, "Bendith arnat! Ti fyddi yn ddyn mawr rywbryd." Chwareu teg i'r hen *lady!* Hi fu gystal a *witch* am y tro. Dyn mawr a fu efe hefyd! Pan yn saith mlwydd oed, yr oedd Richard wedi gadael ei hen athrawes; yr oedd ar y ffordd i fod yn "ddyn mawr;" yr oedd dan ofal y Parch. Matthew Barnett, curad plwyf Barton, ac yn dechreu dysgu Lladin!

Tua'r flwyddyn 1789, symudodd y teulu oll o Barton i Lincoln i fyw. Achlysurwyd y symudiad hwn gan fath o erlidigaeth grefyddol. Yr oedd Thomas Watson yn Ymneillduwr cydwybodol, ac yn ddyn pur grefyddol. Bu am flynyddau yn arfer myned dros yr Humber o Barton i Hull, ar y Sabbothau, er mwyn cael eistedd dan weinidogaeth a garai. Gwrandawai yn gyffredin ar Mr. Lambert, gweinidog Ymneillduol pur enwog yn Hull. Dymunai yn fawr, wrth gwrs, am gael pregethu Ymneillduol yn Barton, ac ymdrechodd lawer am sicrhâu hyny. O'r diwedd llwyddodd yn ei gais. Adeiladwyd capel yno, a chafwyd pregethwr yn perthyn i *Lady* Huntingdon i bregethu ynddo. Ond ychydig o lwyddiant a fu. Bu raid i'r pregethwr ymadael; a dechreuodd y *trustees* gynhyrfu am werthu y capel, a myned yn rhydd o'r baich oedd arno. Yr oedd Thomas Watson yn *drustee*, ac ni wrandawai ar y son am werthu os na werthid i'r Wesleyaid, fel y byddai yn gapel trwy bob peth, beth bynag. Ac felly y bù. Gwerthwyd ef i'r Wesleyaid, a chadwyd pregethu ynddo o hyd. Pan welodd cwsmeriaid parchus, cyfoethog, ac eglwysyddol Thomas Watson, fod eu cyfrwywr hwy mor hynod o zelog dros Ymneillduaeth, digiasant wrtho, gadawsant ei *shop*, ac aethant at eraill! Gwaelodd *business* y cyfrwywr wrth gwrs; a'r canlyniad fu symud i Lincoln, fel y nodwyd uchod. Ar ol peth amser wedi symud i Lincoln, derbyn-

iwyd Richard ieuanc i Ysgol Ramadegol y ddinas hono. Bu ei gynnydd yno yn gyflym iawn. Cyn ymadael â hi, gallai ddarllen Cæsar, Virgil, Horace, a rhanau o Cicero, yn y Lladin, ynghyda Xenophon, a Homer, &c., yn y Groeg. Gwnaeth gryn gydnabyddiaeth hefyd gyda'r *mathematics*. Ond er hyn i gyd, yr oedd ei lawysgrifen yn hynod o wael o hyd. Ac nid campus iawn fu hono fyth o ran hyny. Pa fodd y mae cyfrif am hyn? Sylwasom ein hunain ganwaith mai ysgrifenwyr tlawd fyddai bechgyn *bright* yr ysgol y rhan amlaf, a bod *dunces* mewn pobpeth arall bron yn ysgrifenwyr campus! Beth sydd yn peri hyn, tybed? A oes rhywun a ddichon ddyweyd? Ond—a gadael hyna yn awr—os oedd llawer un yn yr ysgol o flaen Richard Watson am ysgrifenu, efe oedd y darllenwr o honynt i gyd. Safai ar ben y rhês yn wastad; a mynych y dywedai'r bechgyn, "Fe wna Dick Watson berson brâf; y mae'n darllen mor dda." Fel hyn, modd bynag, fe gafodd mab y cyfrwywr gostyngedig, erlidiedig, a chydwybodol, addysg foreuol dda er gwaethaf pob helynt i gyd. Ac y mae'n ddiammheu genym eto fod yr elfen grefyddol yn yr addysg hono wedi cael sylw manwl hefyd. Yr oedd Thomas Watson, fel y crybwyllasom eisoes, yn ddyn crefyddol iawn; ac nid dyna'r cwbl chwaith, ond yr oedd hefyd yn ddyn meddylgar a deallus iawn. Fel y cyfryw, ynte, yr oedd yn sicr o "lywodraethu ei dŷ ei hun yn dda." Gofalai am les ysbrydol ei blant. Dygai hwynt yn gyson i foddion gras. Cadwai hwynt yn ofalus rhag halogi y Sabbath. Gwaharddai iddynt bob chwedlau ofer a phob caneuon masweddgar, a hyfforddiai hwynt yn rheolaidd yn Nghatecism rhagorol, os nad difai, Cymanfa Westminster. Ac at hyn oll, cafodd Richard ieuanc fantais ryfeddol arall. Ar sefydliad cyntaf y teulu yn Lincoln, cyrchent i gapel *Lady* Huntingdon i addoli; a bu gweinidog y lle hwnw yn hynod o ymdrechgar i wneuthur Watson ieuanc yn drwyadl gydnabyddus gyda'r Catecism a nodwyd. Cafodd ein gwron, gan hyny, fanteision boreuol uwchlaw y cyffredin.

Yn ei flynyddau tyner hyn yr oedd y bachgen Richard yn hynod o hoff o ddarllen. Pan oddeutu chwe' mlwydd oed darllenodd gydag awydd mawr ryw un ar bymtheg neu ddeunaw o gyfrolau o'r gwaith diderfyn hwnw, yr "*Universal History*." A mawr oedd ei awydd am gael y gweddill o hono! Ond siomwyd ef yn hyny, *poor fellow* bach! Nid hir beth bynag y bu mewn poen. Torodd y wawr arno eilwaith. Yn fuan iawn wedi symud i Lincoln, tarawodd ei dad ar "Rapin's *History of England*," gyda "*Continuation*" Tindal, yn bedair cyfrol unplyg fawr, a phrynodd hwynt i Richard. Wel, dyna wledd i'r bachgen! Llyncwyd ef i fyny ganddynt yn lân. Eisteddai am oriau heb symud o'r fan, gyda'r hen *folio* fawr ar ei liniau, a'i holl feddwl i gyd i ffwrdd ymhell gydag arferion a throion a brwydrau yr hen amserau a fu! Cymaint oedd ei awydd am ddarllen hwn, nes y ceisiodd yn ddiniwed o'r diwedd am gael eistedd i fyny trwy y nos i'w ddarllen ef! Gwrthodwyd hyny iddo wrth gwrs. Ond nid hawdd oedd concro ei awydd ef. Lluniodd lwybr i ennill ei bwnc. Yr oedd hen fàr mawr o haiarn gan ei dad, gyda'r hwn y byddai yn sicrhâu y *shutters* ar ffenestr y *shop* am y nos. Cuddiodd Richard hwnw. Pan ddaeth y nos, ac eisieu cau y *shop*, aeth yn chwilio dyfal am y bàr. Ond nid oedd i'w gael yn unman! Beth oedd i'w wneyd? Safai Richard gerllaw. Cydymdeimlai yn rhyfeddol gyda'r teulu yn eu trallod;

dywedai fod yn hynod o beryglus gadael y *shop* drwy'r nos heb ei diogelu; a dybenodd trwy gynnyg, yn hynod o fawrfrydig, ar i'r teulu oll fyned i orphwys yn dawel y noswaith hono, beth bynag, yr arosai ef ar ei draed i wylied y lle! Ac felly fu. Cafodd y bachgen awyddfawr am ddarllen noswaith gyfan gyda Rapin er gwaethaf gofal pawb! "Troion drwg yw troion fel yna, yn enwedig mewn plant," meddai ryw hen ffryndiau. Digon gwir; troion drwg ydynt. Ond gwasanaetha y tro yna i ddangos yn eglur yr awydd angerddol oedd yn Richard Watson, tra eto yn ieuanc iawn, at ddarllen a chasglu gwybodaeth.

Yn y flwyddyn 1794, rhwymwyd ef yn brentis gyda saer i ddysgu y gelfyddyd hono. Yn fuan wedi hyn, trwy ymgymysgu yn fwy gyda dynion llygredig, a bod yn llai dan lywodraeth a gofal ei dad, fe ddechreuodd drygioni naturiol ei galon ymddangos yn dra amlwg Collodd i raddau pell ei awydd am ddarllen. Daeth yn fwy ymroddol i ddirieidi a phob ffolineb. Gwawdiai grefyddwyr a chrefydd. Cyrchai i'r capel, nid i wrando a derbyn lles, ond i gellwair a phechu, trwy aflonyddu ar y pregethwyr a'r gwrandäwyr mewn llawer o ffyrdd annuwiol. O! gyfnewidiad trwm! Yr oedd pob argoelion yr amser hwn y buasai y bachgen ieuanc hawddgar, talentog, a dysgedig, yn tyfu i fyny yn ddyn drwg a phechadurus iawn, ac y buasai holl hyfforddiadau, gweddïau, a gofal ei dad rhagorol yn myned yn gwbl ofer. Ond byr fu y tymmor hwn. Cliriodd yr awyr yn fuan. Daliwyd y bachgen drwg cyn rhedeg ymhell iawn. Ac yn y modd yma y bu. Yr oedd *watchmaker* yn byw yn Lincoln o'r un enw a'n gwron, er heb berthyn dim iddo. Yr oedd hwnw yn ddyn deallus, ac ymhlith pethau eraill yn bur gyfarwydd yn y *mathematics*. Ymlynai Richard Watson ieuanc wrth y wyddoreg hono trwy ei holl wylltineb i gyd, ac felly daeth y ddau Richard Watson yn gryn dipyn o ffryndiau. Cyrchai yr ieuengaf yn fynych i dŷ yr hynaf, a llawer ymddyddan dysgedig a ddygwyddai rhwng y ddau. Yn awr, yr oedd gan yr oriorydd hwn wraig; ac y mae yn ymddangos fod hono, fel llawer gwraig arall, yn hynod hoff o siarad; ac hefyd ei bod ymhellach, yn groes i lawer gwraig arall, yn bur hoff o ddadleu ar yr ochr Galfinaidd i'r "pum' pwnc," fel eu gelwir. Erbyn hyn yr oedd Thomas Watson a'i deulu wedi gadael capel *Lady* Huntingdon, ac wedi gwneyd eu cartref yn nghapel y Wesleyaid. Bob tro gan hyny ag y deuai Watson ieuanc i edrych am yr oriorwr, fe dorai y wraig dduwinyddol hon i mewn ar draws yr ymddyddan athronyddol oedd rhwng y ddau Richard, gyda'i phynciau neillduol ei hunan, gan ddangos i Watson ieuanc fod ei dad a'r teulu wedi cyfeiliorni yn fawr wrth ymuno â'r Wesleyaid. Ceisiai Richard bleidio ei dad, ac amddiffyn ei gredo newydd, ond yn gwbl ofer; yr oedd yr *Amazon* athrawiaethol hon yn drech nag ef o ddigon. Teimlai yntau hyny, a chywilyddiai beth; ac er mwyn casglu nerth i drechu gwraig ei ffrynd, ac i roddi taw arni, penderfynodd fyned i gapel y Wesleyaid, i wrando yn astud yno ar y pethau da a glywai, gan deimlo yn sicr iawn y cai ryw atebion cadarn i ddadleuon Mrs. Watson. Aeth felly, a gwrandawodd yn fanwl iawn. Y Parch. George Sargent oedd y pregethwr. Dewis iddo gèryg llyfnion i'w dodi yn ei ysgrepan at ymladd â'n hen chwaer Galfinaidd oedd holl amcan y bachgen drwg. Ond gwelwch y canlyniad. Glynodd y gair yn ei galon. Argyhoeddwyd ef yn llym o bechod. Dygwyd ef ar ei liniau. Ymroddodd i wasanaethu

Duw. Ymunodd â'r eglwys Wesleyaidd, a dygodd ffrwythau da, yn brofion diammheuol o'i dröedigaeth gywir ac achubol trwy ras. Cyn pen y flwyddyn, dechreuodd ar y gwaith o bregethu. Traddododd ei bregeth gyntaf mewn bwthyn gwael yn mhentref bychan Boothby, yn agos i Lincoln, a hyny ar y 23ain o Chwefror, 1796, pan ond yn ddau ddiwrnod dros bymtheng mlwydd oed! Yn y mis Medi dilynol, ymhen ychydig gyda chwe' mis, dechreuodd ar ei weinidogaeth reolaidd, a hyny, fel y nodwyd eisoes, yn Ashby-de-la-Zouch. Penodwyd ef yn 1797 i Castle Donnington, yn 1798 i Leicester, yn 1799 i Derby; ar derfyn y flwyddyn hon, hyny yw, yn Nghynnadledd 1800, derbyniwyd ef i gyflawn undeb, a daeth yn weinidog llawn ac ordeiniedig. Yn y flwyddyn 1800, apwyntiwyd ef i gylchdaith Hinckley, i lafurio gyda George Sargent, offeryn ei dröedigaeth gyntaf at Dduw. Wedi prysuro fel yna yn gyflym dros y pedair blynedd a nodwyd, rhaid i ni aros ychydig yma, canys y mae'r flwyddyn hon yn Hinckley yn ffurfio cyfnod pwysig ac addysgiadol iawn yn mywyd Richard Watson.

Mae'n ffaith ddigon sicr a hysbys fod yna ryw fath o bobl i'w cael, a hyny yn rhy aml o lawer hefyd, ag sydd yn hynod o dueddol i fathru, os gallant, bob bachgen talentog yn hollol tan draed. Càn gynted ag y gwel y tylwyth yma ryw arwydd neu ddau o dalent yn ymddangos, cynhyrfant yn ddioed, a than edrych yn guchiog, a gruddfan yn dost, dywedant yn dduwiol iawn, "Rhaid cadw'r gŵr ifanc yna i lawr;" a'u gwaith dyngarol ar hyd eu hoes yw gosod cylchau trymion o amgylch meddyliau mawrion i'w cadw rhag ymagor, a phentyru cèryg trymion ar egin gwan i'w cadw rhag cryfhâu; hyny yw, os gallant. Wrth feddwl am y teulu hwn, y mae llawer eglwys dda yn ymgynnyg i ni yn awr fel rhai wedi dyoddef yn drwm oddiwrtho. Dyna eglwys T——, er enghraifft, yn Sir Aberteifi. Nis gwaeth i ni heb nodi yr enwad y perthyna iddo. Yr oedd yn yr eglwys hono, beth bynag, hen frawd rhagorol iawn yn bod, ïe rhagorol ymhob ystyr hefyd, ond yn unig ei fod yn aelod o'r dosbarth dan sylw yn awr: Mr. G—— o'r Ll——, ffarmwr cyfrifol iawn, a phrif ddyn yr eglwys hono am lawer blwyddyn faith. Ond yr oedd hyn yn Mr. G.—mor sicr ag y codai bachgen ieuanc yn yr eglwys hono yn meddu rhywfaint o ddawn a thalent, mor sicr a hyny mynai yntau, os gallai, ei "gadw i lawr." Gwnai hyny mor zelog â phe buasai iechyd ei enaid yn dibynu ar y peth. Wel, beth fu y canlyniad, tybed? Dyna fe; ar hyd yr holl flynyddau, gryn ugain neu fwy o honynt, ni chododd cymaint ag un dyn ieuanc o werth o'r eglwys hono i gyd! Y fath drueni! Ac o'r diwedd daeth yr hen gyfeillion eu hunain i deimlo hyny hefyd. Eisteddai y diaconiaid ynghyd ryw noswaith neillduol i ymdrin gyda phethau yr achos; a dygwyddodd fod yn eu mysg hefyd y tro hwnw hen frawd o bregethwr pur frac ei ysbryd, a phur finiog yn ei ddywediadau, ac un hefyd yn adwaen y bobl oedd o'i amgylch yn bur dda. Ar ol tipyn o drafodaeth gyda phethau y cysegr, fe drôdd yr ymddyddan yn rhywfodd ar dri neu bedwar o ddynion ieuainc rhagorol ag oeddynt newydd ddechreu pregethu mewn eglwysi cyfagos iddynt. Wrth siarad ar y pethau hyn, dywedodd Mr. G. o'r diwedd, "Peth rhyfedd iawn, onidê, na chodai rhywun o'n heglwys ninnau hefyd? Chododd yr un erioed, ai do?" Twymnodd yr hen bregethwr wrth glywed peth fel yma, a chan ostwng ei aeliau, ac edrych yn

sarug yn ngwyneb Mr. G., dywedodd, "Nac ydyw yn rhyfedd yn y byd! Siwt yr ych chi yn dysgwyl cael bustych a chwithau yn eu lladd i gyd yn lloi?" Go lew, yr hen bererin! Dywedodd eithaf gwir. A gwyddom i Mr. G. ei deimlo yn finiog iawn hefyd. Ond dyna, yr ydym yn crwydro. At hyn, beth bynag, y cyfeiriem; dygwyddodd i Watson ieuanc syrthio trwy rai o'r tylwyth yma, a blin iawn fu y codwm iddo hefyd. Tua'r adeg y cyfeiriwn ati, tueddwyd Mr. Watson i droi ei sylw yn fwy neillduol at athrawiaethau mawrion y Duwdod, a Pherson rhyfedd yr Arglwydd Iesu Grist. Ymhlith llyfrau eraill yn ymdrin â'r pethau hyny, yr oedd y bachgen ymchwilgar wedi cyfarfod yn rhywfodd â gwaith Dr. Watts ar Ogoniant Person Crist.* Wrth ddarllen y llyfr hwnw, daeth amryw syniadau newyddion i ymgynnyg iddo, ac yr oedd llawer o'r rhai hyny yn ddïau yn gyfeiliornus ac yn beryglus iawn. Ond gan fod y pethau yn newydd iddo, yr oedd yn bur naturiol iddo son rhyw gymaint am danynt wrth ei gyfeillion yma a thraw; nid am ei fod yn eu credu hwynt, eithr yn unig am eu bod yn newydd. Arweiniai y son hyny am danynt bob yn dipyn i ryw ddadleuon bychain yn eu cylch. Safai Watson i fyny dros Watts wrth gwrs, ond nid o ddifrif eto, eithr yn unig er mwyn dadl. Ac yn awr, attolwg, ddarllenydd, pa fachgen ymchwilgar sydd na phechodd fel yna ganwaith? Rhaid i ni, beth bynag, "guro dani," gwnaed eraill fel y gallont. Ond druan oedd Richard Watson! Rhedodd y son am ei ddadleu ef i glustiau y tylwyth a nodwyd, a mawr oedd y defnydd a wnaethant o hono. Taenwyd y gair ar led fod y "pregethwr ifanc" yn Ariad o ran ei farn, os nad yn rhywbeth oedd waeth; fod yn siŵr ei fod yn gwadu y pechod gwreiddiol, a'i fod yn afiach iawn ei farn gyda golwg ar yr Iawn, ac felly yn y blaen. Ymledodd yr enllib yn hynod o'r cyflym, fel y gwna enllib yn rhy gyffredin, âg yntau "y pregethwr ifanc," druan bach, heb wybod dim am dano, nes i'r ddyrnod o'r diwedd ddisgyn, ac iddo yntau ymollwng odditani. Cyrchodd yn ddigon difeddwl ryw brydnawn i bentref bychan yn y wlad, i bregethu yn ol ei *blan;* ond erbyn iddo gyrhaedd yno, yr oedd ei letty arferol yn gauedig yn ei erbyn; attaliwyd iddo bregethu; cefnodd ei holl hen ffryndiau arno, a gommeddwyd iddo gymaint a lletty noswaith. A'r cwbl i gyd o herwydd fod husting annymunol rhyw fradwyr llechwraidd wedi taenu y gair ei fod wedi gwadu y ffydd a chofleidio cyfeiliornad! Effeithiodd y driniaeth hon yn arswydus arno. Gwingodd yn ei herbyn yn arw. Methodd ei ysbryd annibynol ei dal. Taflodd ei gomisiwn i fyny, ac yn y fan gadawodd y Cyfundeb Wesleyaidd yn lân. Tro byrbwyll iawn oedd y tro poenus hwnw yn ddïau, a thro annoeth iawn hefyd. Ond eto cyn beïo gormod arno, edrychwn fynyd bach ar y ddau tu i'r ddalen. A gadael yn awr fod Mr. Watson wedi cael ei siglo rywfaint gan olygiadau Dr. Watts, nid triniaeth fel yr un a ddarluniwyd a ddylasai ef gael; na, dylasid yn hytrach dosturio wrtho, a cheisio ei adfer drachefn i'r iawn. Mor foreu â 1788, yr oedd y craffus John Wesley ei hun wedi ysgrifenu am lyfr Dr. Watts: "Rhai blynyddau yn ol, mi a ddarllenais rhyw hanner cant o du dalenau o draethawd cywrain Dr. Watts ar 'Ogoniant Dynoliaeth Crist,' ond fe

* "The Glory of Christ as God-Man displayed in three Discourses." WATTS' *Works, Vol. vi., pp.* 723—856. *Edit.* 1753.

ddyrysodd gymaint ar fy meddwl i, a thaflodd fi i gynifer o ymresymiadau anfuddiol, ie a pheryglus hefyd, fel na fynwn ei ddarllen drwodd am bum' cant o bunnau."* Yn awr, os effeithiodd y llyfr dan sylw i raddau mor bell â hyn ar ddyn o brofiad Mr. Wesley, paham yr oedd yn rhaid cythruddo, a digio, a dïal cymaint, yn ngwyneb effaith gyffelyb ar fachgen ieuanc dan ugain oed? Ond at hyn i gyd, y mae yn ymddangos, wedi y cwbl, fod Richard Watson yn eithaf pell oddiwrth gael ei faglu gan Dr. Watts o gwbl. Ymhen ychydig ddyddiau ar ol gadael y weinidogaeth, ysgrifenodd â'i law ei hun y geiriau pendant hyn, "Nid wyf fy hun yn Ariad, ac ni phroffesais erioed fy mod."† Dylesid gan hyny wneyd yn sicr o'i farn, cyn ymddwyn tuag ato fel at "yr ethnig a'r publican." Ond, wedi y cwbl, byrbwyll ac annoeth oedd gweithred Richard Watson; ac nid oedd neb a ddywedai hyny yn rhwyddach nag ef ei hunan ymhen amser gwedi hyn. Mynych y dywedodd wrth siarad am y tro, "Fy unig ofid yw na buaswn yn gosod fy achos ger bron fy mrodyr, ac yn gadael fy hunan yn eu dwylaw hwynt." Ar un tro neillduol, gofynodd Dr. Townley iddo, "Mr. Watson, paham yr ymadawsoch â ni?" A'r ateb gonest a gafodd oedd, "Am fy mod yn ieuanc ac yn ffol." Modd bynag, yn Nghofnodau y Gynnadledd am y flwyddyn ganlynol, sef 1801, fe roddwyd i'r cwestiwn hwnw "Pwy sydd wedi peidio a theithio?" yr ateb poenus hwn, "Richard Watson, trwy ei ddewisiad ei hun."

Ar ei enciliad fel hyn o'r weinidogaeth Wesleyaidd, aeth Mr. Watson i *fus'nes* am dymmor byr gyda phregethwr cynnorthwyol parchus yn Hinckley. Ond rhoddodd hyny i fyny yn fuan, a symudodd i Castle Donnington. Ymunodd yno mewn glân briodas gyda Miss Henshaw, merch ragorol i bregethwr cynnorthwyol ffyddlawn yn perthyn i'r *New Connexion;* a chan fod y cyfundeb hwnw ‡ yn dal yr un athrawiaethau â'r Wesleyaid eu hunain, bwriodd Mr. Watson ei goelbren hefyd gyda'r un gangen fechan o eglwys fawr Crist. Annogwyd ef yn fuan i ddechreu pregethu yn eu plith; ac yn y flwyddyn 1803, derbyniwyd ef yn siriol i weinidogaeth y cyfundeb hwnw. Penodwyd ef yn gyntaf oll i gylchdaith bwysig Manchester. Llafuriodd yno am dair blynedd, a hyny gyda derbyniad mawr; ac yna yn 1806 sefydlwyd ef yn Liverpool. Yr oedd ei waith gweinidogaethol yn ysgafn iawn yno; o'r hyn lleiaf, yr oedd y rhan gorfforol o hono felly. Un capel oedd ganddo, ac un gynnulleidfa hefyd. Gwir yw fod ganddo yr un bobl i bregethu iddynt o hyd, a bod ei lafur meddyliol yn rhwym o fod yn fawr. Ond yr oedd y gwaith o deithio yn fychan, ac yr oedd hyny yn beth mawr iawn i Watson, canys dyn llesg, afiach, oedd ef. Ac y mae yn ddidadl genym fod yn annhraethol well gan bob dyn o feddwl bregethu yn ddibaid i'r un bobl,

* *Wesley's Works, Vol.* xii., *pp.* 137, 403. *Edit.* 1841.

† Jackson's "*Memoirs of Watson,*" *p.* 58. *Edit.* 1847.

‡ Mae y "*New Connexion*" yma yn un o gyfundebau canganol yr hen Gyfundeb Wesleyaidd. O herwydd amryw gyhuddiadau pwysig yn ei erbyn, diarddelwyd Mr. Alexander Kilham, un o weinidogion yr hen Gyfundeb, gan Gynnadledd 1797. Ar ei ddiarddeliad, glynodd tri o weinidogion, amryw bregethwyr cynnorthwyol, ynghyd ag oddeutu pum' mil o aelodau yr hen Gyfundeb, wrth Mr. Kilham. Sefydlwyd y "*New Connexion*" yn y fan, ac y mae yn parhâu hyd y dydd hwn. Yn ol cyfrifon y Gynnadledd ddiweddaf (1861) y mae gan y "*New Connexion*" yn awr, trwy yr holl Unol Deyrnas, 12 o Daleithiau, 61 o Gylchdeithiau, 6 o Genadaethau, 136 o Weinidogion, a 23,350 o aelodau.

na chael arbed "gwneyd pregethau" ar draul crwydro a theithio fel ceffyl o hyd. Gan fod gartref fel hyn yn barhâus, gyda rhywfaint beth bynag o'i amser ar ei law, fe droes Mr. Watson ei sylw at orchwylion llênyddol. Yr oedd o'r blaen wedi profi ei ysgrifell trwy gyhoeddi amryw fân bethau tra yn aros yn Manchester. Ond yn awr ymroddodd yn fwy at wasanaeth y wasg. Aeth i gyttundeb â Mr. Kaye i ysgrifenu iddo ddau neu dri o wahanol bethau. Y gorchwyl cyntaf a gyflawnodd oedd Hanes Liverpool, ynghyda desgrifiad o'r lle; cyfrol fechan, hylaw, hynod o gynnwysfawr a difyr. Ar ol y gyfrol hon, ysgrifenodd drachefn "Hanes Teyrnasiad Sior III.," fel math o barhâd i "Goldsmith's *History of England.*" Ar ol y pethau hyn, cymerodd ran yn sefydliad a chychwyniad y "*Liverpool Courier,*" newyddiadur ag sydd bellach yn ddigon hysbys fel papyr teuluaidd cyfrifol a da. Yr oedd yr adeg hono yn un hynod o bwysig. Yr oedd y deyrnas hon yn nghanol ei rhyfeloedd â Napoleon Buonaparte. Yr oedd William Pitt wedi newydd adael y byd a'i bethau i gyd. Yr oedd y Weinyddiaeth newydd yn cael ei blino yn dost gan wrthwynebwyr galluog iawn, a'r wlad yn gyffredinol yn hynod o anesmwyth ac aflonydd. Yn y cyfwng tra phwysig hwn, rhestrodd y "*Courier*" ei hun dan faner ardderchog iawndrefn, gwladgarwch, a'r Goron. Ysgrifenid ei erthyglau arweiniol gan mwyaf oll gan Mr. Watson; ac y mae yn deilwng o sylw eu bod oll mor rhagorol, nes y byddai y "*London Courier,*" un o newyddiaduron mwyaf poblogaidd Llundain y pryd hwnw, yn eu codi yn gyson i'w golofnau arweiniol ei hunan, ond heb gydnabod yr echwyn o gwbl! Yn y flwyddyn 1808, anturiodd Mr. Watson ymhellach fyth i ddyfroedd terfysglyd *politics*, trwy gyhoeddi "Llythyr at William Roscoe, Ysw., yn cynnwys sylwadau ar ei gyhoeddiad diweddar." Mae enw Mr. Roscoe yn ddigon adnabyddus. Trwy ei "*Leo the* IX." a'i "*Lorenzo de Medici,*" a phethau eraill, y mae wedi ymgodi i gyhoeddusrwydd ac enwogrwydd mawr. Yr oedd yn ŵr o gyfoeth ac o ddylanwad mawr, ac at hyny yn ddyn pur dalentog a dysgedig. Y "Cyhoeddiad diweddar" o'i eiddo, at yr hwn y cyfeiria Mr. Watson, oedd ei *bamphlet* hynod hwnw, "Ystyriaethau ar achosion, dybenion, a chanlyniadau y rhyfel presennol, ac ar y priodoldeb neu y perygl o heddwch gyda Ffrainc." Yr oedd y "cyhoeddiad" hwn drwyddo yn llwyr wrthwynebus i drefniadau gwladyddol y Llywodraeth y pryd hwnw, ac yn pleidio yn y modd mwyaf dibris ymostyngiad dioedi i Napoleon I. Nid gorchwyl dibwys yn ddïau oedd ymladd brwydr â dyn fel Roscoe; ac eto i gyd anturiodd Watson yn wrol i'r maes, ac y mae'r "llythyr" nodedig a ysgrifenodd ar y pryd yn aros yn barhâus yn gofgolofn anrhydeddus i'w wybodaeth hanesyddol ëang, i'w alluoedd rhesymiadol cryfion, ac i'w wladgarwch diffuant a phur. Dywedai yn aml tua'r adeg dan sylw, "Teimlwyf awydd i wneuthur rhywbeth tuag at gynnal i fyny galon y bobl dan wasgfa drom eu beichiau a'u peryglon." Wedi treulio tair blynedd yn Liverpool fel gweinidog rheolaidd, apwyntiwyd ef yno am flwyddyn arall fel uwchrif, o herwydd gwendid ei iechyd. Yn 1810, penodwyd ef yr ail waith i gylchdaith Manchester; ac yna cyn diwedd yr ail flwyddyn ymollyngodd ei iechyd drachefn, a daeth ei gysylltiad gyda'r *New Connexion* i ben.

Mae yn ddiammheu genym fod llawer yn awr yn fyw ag sydd yn cofio yn dda y cynhwrf mawr a gymerodd le ymhlith Ymneillduwyr y deyrnas

hon tua'r adeg yma. Yn mis Mai, 1811, fe ddygodd *Lord* Sidmouth ysgrif orthrymus iawn i mewn i Dŷ yr Arglwyddi. Amcan proffesedig ei Arglwyddiaeth oedd sicrhâu ychydig o welliannau bychain yn nhrefn gweinyddiad y deddfau perthynol i Oddefiad a Rhyddid Crefyddol. Ond tuedd ymarferol anocheladwy ei ysgrif oedd dirymu yn llwyr y deddfau hyny trwy osod Ymneillduaeth yn hollol yn nwylaw yr ynadon yn y gwahanol siroedd. Mawr oedd y cynhwrf yn achos yr ysgrif hon trwy holl derfynau Anghydffurfiaeth i gyd. Yr oedd ochain ac ofni, areithio a dadlu, gweddïo a deisebu, trwy gyrau y wlad oll. Ac nid heb achos yr oedd hyny chwaith; canys eglur yw pe cawsai yr ysgrif hono ei chario, y buasai terfyn glân ar ryddid cydwybod yn Mhrydain, ac y buasai y deyrnas wedi ei gwthio yn ôl felly i gaethiwed a gorthrwm dyddiau tywyllion y Stuartiaid eu hunain. Ar nos Sabboth hyfryd yn yr adeg fygythiol hon, tarawodd Jabez Bunting a Richard Watson y naill ar y llall yn rhywle ar y ffordd fawr cydrhwng Stockport a Manchester. Yr oeddynt ill dau yn dychwelyd i'w cartrefleoedd yn y lle olaf, ar ol bod yn pregethu y noswaith hono yn y lle blaenaf. Trôdd yr ymddyddan yn bur naturiol ar y cwmwl du oedd yn crogi y pryd hwnw uwchben Ymneillduaeth. Teimlai y ddau bwysigrwydd y cyfnod. Ac i ddeffro Ymneillduwyr yn iawn i ystyriaeth briodol o wir garictor y mesur dan sylw, perswadiwyd Mr. Watson i hwylio ei ysgrifell yn achos rhyddid. Ymddangosodd llythyr ardderchog o'i eiddo ar y mater yn y "*Manchester Exchange Herald.*" Pa effaith a gafodd y llythyr hwnw ar Ymneillduwyr y deyrnas, nis gallwn ddywedyd. Y canlyniad beth bynag fu gwrthwynebiad cyffredinol bron i'r ysgrif orthrymus hono, a'i gwrthodiad hefyd gan Dŷ yr Arglwyddi ar yr 21ain o fis Mai, ar ol areithiau gwir ragorol o blaid rhyddid crefyddol gan Archesgob Caergaint a'r hyawdl *Lord* Erskine, ac eraill. Yn y cyfarfyddiad damweiniol a nodwyd cydrhwng Mr. Watson a Mr. (wedi hyny Dr.) Bunting, fe ddechreuodd cyfeillach rhwng y ddau, yr hon a barhäodd yn ddifwlch tra y bu Mr. Watson byw. Cyn diwedd y flwyddyn hono, ymollyngodd iechyd Mr. Watson drachefn. Dechreuodd ei ysgyfaint waedu eilwaith. Methodd gyflawni dyledswyddau ei weinidogaeth. Gadawodd o ganlyniad ei gylchdaith i arall. Symudodd i Liverpool i fyw; a chan anobeithio dyfod byth mwyach yn alluog i bregethu, rhoes ei le yn y *New Connexion* i fyny, a meddyliodd gysegru ei hunan yn hollol i orchwylion llênyddol. Ymgymerodd â golygiaeth y "*Liverpool Courier.*" Ymunodd drachefn fel aelod cyffredin gyda'r hen Gyfundeb Wesleyaidd; ac yna ar ol un mlynedd ar ddeg, teimlodd ei feddwl, meddai ef ei hunan, yn hollol a chwbl dawel.

Nid hir beth bynag y bu Mr. Watson gyda'i hen gyfeillion yn ôl cyn dechreu pregethu drachefn yn eu plith. Yn groes i'w ddysgwyliadau hefyd, gwellhäodd ei iechyd yn gyflym iawn. Ac yn nghynnadledd 1812, derbyniwyd ef eilwaith i'r weinidogaeth Wesleyaidd. Penodwyd ef y flwyddyn hono i gylchdaith bwysig Wakefield.

O barthed i ymadawiad Mr. Watson â'r *New Connexion,* a'i ymuniad fel hyn drachefn gyda'r hen Gyfundeb, ychydig yn ddïau sydd eisieu ei ddywedyd. Mae un peth o leiaf yn eithaf eglur; hyny yw, nid diffyg derbyniad caredig yn y Cyfundeb Newydd a barai i Watson ei adael ef. Er anrhydedd parhâus i'r Cyfundeb hwnw, fe ddylid dywedyd ddarfod iddo gydnabod gwerth a theilyngdod Mr. Watson heb oedi dim gyda'r

mater. Yn y flwyddyn 1805, tra heb deithio eto ond dwy flynedd yn y Cyfundeb hwnw, dyrchafwyd ef ynddo i fod yn Ysgrifenydd Cynnorthnorthwyol i'r Gynnadledd; ac yn 1808 etholwyd ef yn Ysgrifenydd—argoelion goleu, dybygid, o gynhesrwydd teimlad y Gynnadledd hono tuag ato. Beth gan hyny a barai ei ymadawiad ef? Yr ateb cywir yw—natur ei olygiadau ar lywodraeth eglwysig. Pan adawodd Mr. Watson yr hen Gyfundeb, ac yr ymunodd gyntaf â'r Cyfundeb Newydd, yr oedd llywodraeth eglwysig heb dynu ryw lawer o'i sylw erioed. Ond wrth lafurio fel gweinidog yn y Cyfundeb olaf, daeth i deimlo yn raddol fod deddfau ac arferion y winllan newydd yn croesi ei feddwl yn fynych iawn. Arweiniodd hyny ef i chwilio i'r mater. Y canlyniad fu, barnu yn gydwybodol fod deddfau a threfn yr hen Gyfundeb yn agosach i'w lle ac yn fwy Ysgrythyrol. Wedi cyrhaeddyd y penderfyniad hwn, amlygodd ei feddwl yn onest a rhwydd i'w gyfeillion; ac felly pan ymadawodd Mr. Watson â hwynt, ychydig, os neb, a gawsant eu siomi, ac ychydig, os dim, o deimlad anhyfryd a gafodd ymgodi. Am gywirdeb neu anghywirdeb golygiadau Mr. Watson ar lywodraeth eglwysig, ni pherthyn i ni yma ddywedyd dim. Dyna'r ffaith. Dyna'r modd y bu. A dyna ein gorchwyl ni gyda golwg ar y mater yma o ganlyniad ar ben.

Wedi cychwyn fel hyn yr ail waith ei yrfa weinidogaethol ymhlith y Wesleyaid, rhedodd Mr. Watson hi yn gyson i'r pen. Symudwyd ef yn 1814 i Hull, yn 1816 i Lundain, ac yna yn 1821 penodwyd ef yn Ysgrifenydd i'r Gymdeithas Genadol. Yn 1826 dyrchafwyd ef i anrhydedd uchaf y Cyfundeb trwy ei ethol yn Llywydd y Gynnadledd. Sefydlwyd ef y flwyddyn ganlynol yn Manchester, ac yn 1829 i Lundain drachefn. Adbenodwyd ef yn Ysgrifenydd i'r Genadaeth yn 1832; ond yn gynnar yn 1833 dywedodd ei Arglwydd wrtho, "Dring i fyny yma," ac ehedodd ei enaid mawr gartref, i orphwys gyda'i Dduw. Gadawodd y byd, ei lafur, a'i boen, brydnawn dydd Mawrth, yr 8fed o Ionawr, 1833, yn y ddeuddegfed flwyddyn a deugain o'i oedran, ac yn yr unfed ar bymtheg ar hugain o'i weinidogaeth. Ychydig cyn marw dywedai wrth ei ferch, "Mary, yr wyf fi yn myned adref! yr wyf fi yn myned adref!" Ac yna chwanegai gan roddi pwys mawr ar yr "*I*,"—

"I shall behold his face,
I shall his power adore,
And sing the wonders of his grace,
For evermore!"

Claddwyd ef, fel y nodwyd eisoes, yn nghladdfa John Wesley ei hun, o'r tu cefn i gapel City Road, Llundain, ac heb fod ymhell iawn oddiwrth feddrod cysegredig yr hen Wesley hefyd. Traddodwyd ei bregeth angladdol ar y 18fed o Ionawr, yn nghapel City Road, gan ei gyfaill ardderchog, y Parch. Jabez Bunting, oddiar y geiriau tra chymhwys hyny, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Os ceidw neb fy ymadrodd i, ni wêl efe farwolaeth yn dragywydd." Ioan viii. 51.

Bras a brysiog fu ein rhedfa hon dros Hanes Mr. Watson. Buasai yn hyfryd genym aros yn hŵy gydag helyntion ei fyw, a phethau ei farw hefyd, ond "anghenrhaid a osodwyd" arnom. Mae terfynau erthyglau fel hyn yn rhwym o fod yn gyfyng. Rhaid i ni gan hyny ymostwng. A dichon yn wir fod y cynllun a ddilynwyd ar y cyfan y cynllun goreu,

canys rhaid i ni eto gyfeirio at rai o bethau penaf ei fywyd, wrth draethu ar bethau eraill. Trown gan hyny yn awr i sylwi ychydig eto ar YSGRIFENIADAU Richard Watson.

Mae prif gynnyrchion Watson yn llenwi tair ar ddeg o gyfrolau pryd-ferth.* Dywedwn ei "brif gynnyrchion," oblegid nad yw yr oll o'i ysgrifeniadau yn gynnwysedig yn y casgliad neillduol yma. Ysgrifenodd Watson gryn lawer o bethau i'r "*New Connexion Magazine*," i'r "*Liverpool Courier*," ac i Mr. Kaye, fel y crybwyllwyd eisoes, y rhai ni chynnwysir yn y casgliad hwn o'i "Weithiau." Ac y mae yn hysbys hefyd ei fod wedi ysgrifenu llawer o bethau eraill, y rhai ni welsant y dydd erioed, ac nas gallant ei weled byth mwy ychwaith, a hyny o herwydd bod yr awdwr talentog ei hunan wedi gofalu am losgi yr oll oddiar y ffordd yn ystod ei gystudd diweddaf. Gan hyny, ynte, at "brif gynnyrchion" Watson yr ydym yn nesu yn awr.

Mae y casgliad dan sylw o "weithiau Watson" yn cynnwys y dosbarthiadau neillduol a ganlyn: 1. Pregethau; tair cyfrol. 2. Amrywion; pedair cyfrol. 3. *Theological Institutes*, neu Gorff o Dduwinyddiaeth; pedair cyfrol. 4. Esboniad ar ranau o'r Testament Newydd, un gyfrol. 5. Geiriadur Ysgrythyrol a Duwinyddol; un gyfrol. I gynnwysiad a charictor y dosbarthiadau hyn yr edrychwn yn awr gyda thipyn o fanylwch a gofal. Credwn y bydd hyny yn fuddiol iawn, fe allai yn gymeradwy hefyd; a hyny yn un peth, o herwydd bod y nifer lïosocaf o'n darllenwyr, fe allai, yn anghynefin â'r "Gweithiau" hyn, a pheth arall, am mai oddiwrthynt hwy yn benaf y mae portrëad meddyliol Watson i gael ei dynu a'i liwio.

Yn y dosbarth cyntaf o'r "Gweithiau" hyn, y mae cant a thair ar hugain o bregethau yn gynnwysedig; ac yn niwedd y gyfrol olaf o'r ail ddosbarth hefyd y mae deuddeg yn ychwaneg i'w cael; yn gwneyd i gyd chwech ugain a phymtheg o bregethau rhagorol iawn. Y mae'n deilwng o sylw beth bynag am yr holl bregethau hyn, nad oes ond un ar ddeg yn unig o honynt, sef yr un ar ddeg blaenaf yn y gyfres, wedi eu parotôi i'r wasg gan yr awdwr ei hunan. Mae'r gweddill i gyd wedi cael naill ai eu casglu o bapyrau anmherffaith yr awdwr, neu ynte wedi cael eu cadw o ddifancoll trwy fedr a diwydrwydd y rhai fu'n ei wrando. Am yr ychydig bregethau hyny a ddarparwyd i'r wasg gan yr awdwr ei hunan, prin y byddai'n bosibl llefaru mewn modd rhy uchel. Ymhlith y rhai yma dylem nodi fe allai ddwy neu dair. Dyna ymlaenaf oll, y gyntaf yn y gyfres hon, sef "Gweledigaeth yr Esgyrn Sychion." Traddodwyd hono yn y flwyddyn 1813, ar yr achlysur o sefydliad cyntaf y Gymdeithas Genadol Wesleyaidd yn Leeds. Pregeth genadol odidog yw hi. Wrth edrych ar gyflwr y byd paganaidd—moddion neillduol ei adferiad—ynghyda'r llwyddiant cysylltiol â chymhwysiad y moddion hyny, y mae ein hawdwr doniol yn hynod o'r effeithiol a hyawdl, ïe yn wir, ac o arddunol hefyd o ran hyny. Mor naturiol ac mor fyw yw ei ddarluniadau cyffrous, nes braidd nad yw'r "dyffryn" erchyll yn ymddangos o'n blaen, yr "anadl" bywhäol yn sïo o'n cylch, a chynhwrf rhyfeddol

* "Watson's Works," Thirteen Volumes. J. Mason, London; a Watson's *Biblical and Theological Dictionary*; 1 *Vol. Royal 8vo.*; yn gwneyd i gyd bedair cyfrol ar ddeg, ond bod y gyntaf o'r "*Works*" yn cynnwys "*Memoirs of Watson*," gan y Parch. Thomas Jackson.

yr adgyfodiad ysbrydol yn cael ei deimlo genym. Dyna gyfansoddiad ardderchog arall—y bregeth ar "Addysg Grefyddol y Caethion yn yr India Orllewinol." Testun hono ydyw, yr archiad apostolaidd, "PERCHWCH BAWB." 1 Pedr ii. 17. Traddodwyd hi yn 1824, yn nghapel City Road, Llundain, o flaen y Gymdeithas Genadol. Yn yr adeg neillduol hono yr oedd y frwydr fawr a phwysig cydrhwng pleidwyr dyngarol y *Negro* a phleidwyr di-ildio caethiwed wedi cyrhaedd ei phoethder mwyaf. Yr oedd Clarkson, a Wilberforce, a Buxton, gyda llu o gynnorthwywyr eraill, yn symud y deyrnas drwyddi yn achos y *Negro* caeth; ac yr oedd eraill drachefn o gariad at elw, neu ynte oddiar anwybodaeth, yn ymladd yn ffyrnig yn eu herbyn. Wedi ei gynhyrfu yn fawr gan neillduolder yr amser, a'i danio drwyddo gan eiddigedd a thosturi, gafaelodd Watson yn hawliau'r *Negro*, ac yn nadleuon ei elynion yn ei erbyn; a thywalltodd ei enaid allan mewn ffrydlif o hyawdledd pur na chlywyd, fe allai, ei fath ond anfynych iawn. Yn y bregeth odidog hon y mae rheswm, a chrebwyll, a theimlad, ac iaith, a phob peth bron, yn cydymddangos mewn eglurder mawr, a'r canlyniad yw nerth, prydferthwch, a thynerwch bron heb ei ail. Bu wrthi am ddwy awr yn pregethu, a thrwy yr holl amser yr oedd pob llygad yn y dorf yn sefydlog arno, a phob meddwl a chalon yn hongian wrtho. "Yr oedd y bregeth yna," meddai aelod o'r Senedd, wrth fyned o'r capel, "yr arddangosiad rhyfeddaf o allu meddyliol ar a glywais erioed mewn siaradwr cyhoeddus." A thystiolaeth gweinidog dall ag oedd yn dygwydd bod yn bresennol oedd,—"Braidd nad oeddwn yn dysgwyl i'r seti eu hunain siglo dan bwys ei bethau mawr ef." Y mae un arall o'r pregethau hyn yn haeddu sylw neillduol, sef yr wythfed yn y gyfres ar eiriau Paul yn Athen, "Oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod." Act. xvii. 28. Pregethwyd hon gerbron y *Conference* yn 1829. Ei phwnc mawr hi ydyw—llywodraeth neillduol ac uniongyrchol Duw dros ddynion a'u hamgylchiadau, mewn gwrthwynebiad penodol i athroniaeth Epicurëaidd anffyddwyr y dydd. O ran hyny y mae'r holl bregethau i gyd yn wir ragorol a godidog. A chymeryd y cwbl i gyd gyda'u gilydd, nis gallwn betruso dyweyd eu bod, ar y cyfan, ymhlith y pregethau mwyaf darllenadwy ac adeiladol a gyhoeddwyd, fe allai, erioed. Goddefer yn awr un enghraifft fechan o'i arddull arferol pan wedi tanio yn iawn gyda'r pwnc mewn llaw. Cymerwn yr esiampl hon allan o bregeth o'i eiddo ar Job vii. 17: "Pa beth yw dyn pan fawrhait ef?" &c. Pwnc y pregethwr yn yr adran neillduol hon yw cariad Duw at ddyn:

"'Yn hyn,' medd Ioan, 'y mae cariad.' I b'le yr awn ni yn awr am amlygiadau o dynerwch, a theimlad, a chariad Duw? Mae philosophydd y byd hwn yn ein harwain at natur, gyda'i dybenion daionus, a'i chynlluniau cymwynasgar er chwyddo y swm o ddedwyddwch anifeilaidd; ac yno y mae'n aros—gyda hanner ei arddangosiad! Ond y mae'r Apostol yn ein harwain ymlaen at rodd fawr y Tad er adfer natur feddyliol a moesol dyn, ac at y groes a ddyoddefodd y Mab gyda'r un amcan uchel. Ewch at y nefoedd uwchben, y rhai a döant dros ddyn gyda gwychder, a lonant ei gamrau â'u goleuni, ac a nodant ei wyliau â'u hamseryddiaeth; ewch at yr awyrgylch yr hon a gyfnertha ei ysbrydoedd, a'r hon hefyd sydd iddo yn anadl einioes; ewch at y meusydd siriol, wedi eu gwisgo â gwyrddlesni i'w lygad, ac wedi eu hulio â ffrwythau er cynnaliaeth iddo; ewch at bob golygfa ag sy'n lledu tegwch o'i flaen, neu'n bêrseiniol i'w glust, ac yn llonlenwi ei ddychymyg gyda'u harddwch a'u mawredd; ni a deithiwn gyda chwi, ni a ryfeddwn gyda chwi, ni a deimlwn ac a fwynhawn gyda chwi, ni a addolwn gyda chwi; ond ni daroswn gyda chwi. Ni a frysiwn ymlaen mewn ymchwil

am arddangosiad mwy eglur fyth, mai 'Duw, cariad yw;' ac ni orphwyswn ychwaith nes ymwasgu i fewn i olygfëydd rhyfeddol, galarus, a gorfoleddus Calfaria, ac yno, yn nghanol lliaws angylion synedig, y dysgyblion wylofus, a'r dyrfa watwarus—yno, dan nenfwd gaddugol y ffurfafen, a chyda daear yn crynu dan ein traed, ni a syllwn ar y Dyoddefydd addfwyn, ymroddedig, a llesmeiriol, ac a lefwn yn wir, 'Yn hyn y mae cariad!' 'Yn hyn'—ac nid yn unman arall—y dangosir yn effeithiol a diammheuol hefyd—'nid i ni garu Duw; ond i Dduw ein caru ni, ac anfon ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau ni.'"—*Pregethau.* Cyf. I., tu dal. 74, 75.

Wedi dechreu fel hyn gyda phethau tra swynol ein hawdwr, braidd na themtir ni i fyned ymlaen; ond rhaid i ni yn awr ymattal. Goddefer, beth bynag, un ffugyr tlws, ac yna dyna ben:

"O wynebpryd twyllodrus babandod! beth ydwyt ond môr yr haf, yn siriol, yn dawel, ac yn ddeniadol, ond mor fuan i roi ffordd i'r dymhestl, i dduo, i wgu, ac i ganfod dy hunan wedi'th amgylchynu gan falurion canddryll diniweidrwydd, tangnefedd, a rhinwedd!"—*Pregethau.* Cyf. I., tu dal. 60.

Mor brydferth! mor bruddaidd! Ac eto mor wir!

Mae y cyfrolau o "Amrywion" yn cynnwys lliaws mawr o bethau gwir werthfawr, ac oll o'r bron wedi eu parotöi i'r wasg gan yr awdwr ei hunan, ac wedi eu cyhoeddi hefyd yn ystod ei fywyd ef. Edrychwn dros y rhai penaf o honynt yn fras a chyflym, a hyny yn ol eu trefn amseryddol: 1. "Llythyr at W. Roscoe, Ysw." Crybwyllwyd am hwn eisoes, ac felly nid rhaid i ni ychwanegu yma. 2. "Amddiffyniad i'r Genadaeth Wesleyaidd yn yr India Orllewinol." Yn y flwyddyn 1816 gwnaed ymosodiad ffyrnig iawn ar y cenadon Wesleyaidd yn yr ynysoedd uchod gan ddau o aelodau y Senedd Ymherodrol, sef Mr. Barham, yr aelod dros Stockbridge, a Mr. Marryatt. Cyhuddid y cenadon gan y blaenaf, yn ei le yn Nhŷ y Cyffredin, o hau hadau terfysg a gwrthryfel yn meddyliau y caethion Negröaidd; a daeth yr olaf allan drwy'r wasg i gefnogi ac amddiffyn Mr. Barham. Yr oedd curo fel hyn ar anturiaethau cenadol yr eglwysi yn beth arferol yn y dyddiau hyny. Cyn y cyfnod neillduol hwn, hyny yw, yn 1807, yr oedd un Mr. Twining, a *Major* Waring, wedi ceisio dyfetha Cenadaeth y Bedyddwyr yn yr India Ddwyreiniol. Da i'r Cenadaethau hyn oedd fod gan y naill ei Fuller a'r llall ei Watson, i sefyll o'u plaid ac i ymladd eu rhyfeloedd! Credwn fod "*Apology*" Andrew Fuller, a "*Defence*" Richard Watson, wedi gwneyd llawer iawn yn wir tuag at sicrhâu i Genadaethau Cristionogol y dydd eu safle uchel bresennol yn nghyfrif y bobl yn gyffredinol. Prin y maidd "ci symud ei dafod" yn awr yn erbyn y sefydliadau hyn! Mor wahanol yn wir i gyflwr pethau ryw hanner canrif yn ol! 3. "Nodiadau ar Dragywyddol Faboliaeth Crist." Tua'r flwyddyn 1813, cyhoeddodd Dr. Adam Clarke adran newydd o'i "Esboniad," yn cynnwys cyfran o'r Efengylau. Yn yr adran neillduol hono, rhoddes y Dr. i'r byd ei olygiadau ei hun ar "Faboliaeth Crist;" ac nid dyna'r cwbl, ond aeth rhagddo hefyd i amddiffyn y golygiadau hyny trwy gadwen o resymau arddansoddol peryglus a niweidiol iawn. Gwelwyd y drwg ar unwaith; ond oddiar barch uchel ei frodyr i'r Dr., a chyda'r dysgwyliad hefyd y buasai syniadau y Dr. yn pasio yn ddiniwed, barnwyd ar y pryd mai gwell oedd gadael iddo. Ond siomwyd y dysgwyliad am i syniadau y Dr. gael syrthio yn ddisylw. Daeth opiniwn y Dr. yn fuan yn destun; dadl a

gwaeth na hyny, daeth ymresymiad y Dr. hefyd—o ran ei egwyddor a'i ysbryd beth bynag—i gael ei gymhwyso gan rai at bynciau duwinyddol eraill; ac felly yr oedd llawer o'r Cyfundeb mewn perygl o syrthio, a hyny yn bur fuan hefyd, i'r geuffos farwol hono—o ddarostwng dysgeidiaeth dadguddiad i benderfyniadau rheswm dyn. Gan weled y drwg yma, ymroddes Mr. Watson i geisio ei attal. Ysgrifenodd gan hyny y "Llythyr" dan sylw yn awr, a hyny "at gyfaill" iddo, sef y Parch. T. Galland, A.M. Nis gwyddom am ddim o eiddo Mr. Watson ag sydd yn ei godi yn uwch yn ein meddwl ni fel duwinydd dwfn a chywirgred na'r "Llythyr" rhagorol hwn. Cynnwysa'r "Llythyr" ddwy ran. Yn y flaenaf o'r ddwy y mae'r profion Ysgrythyrol o "Dragywyddol Faboliaeth Crist" yn cael eu gosod gerbron; ac yn yr olaf y mae swyddogaeth benodol rheswm gyda golwg ar bethau dadguddiad yn cael ei darlunio a'i phenderfynu. Am y rhan olaf o'r cyfansoddiad hwn, nis gallwn betruso dywedyd ei bod yn cynnwys mwy o feddwl gwir athronyddol, syml, a dwfn ar y mater mewn llaw na dim arall a'r a welsom erioed; ac y mae yn ddiammheu fod y mater neillduol hwnw yn un o'r rhai mwyaf pwysig a sylfaenol o fewn holl gylch ëangfawr athroniaeth a chrefydd hefyd. 4. "Sylwadau ar Fywyd Wesley gan Southey." Mae enw Robert Southey, breninfardd Prydain fawr am ugain a deg o flynyddau, a hyny hyd o fewn yr ugain mlynedd yma, yn rhwym o fod yn hysbys iawn i'r darllenwyr i gyd, ac nid llai adnabyddus yn ddïau ei gymeriad llênyddol uchel a mawr. Ymhlith pethau eraill, cyhoeddodd Dr. Southey Hanes Bywyd y Parch. John Wesley. Ac fel y gellid casglu yn naturiol oddiwrth ddyeithrwch hollol y Dr. i grefydd efengylaidd a phrofiadol, methodd yn ddirfawr yn ei amgyffrediad a'i ddirnadaeth o nodweddiad ysbrydol y dyn a ddarluniai. Yn ol Dr. Southey, nid oedd crefydd Mr. Wesley yn ddim ond gwynfydaeth, ei egwyddor ysgogiadol yn ddim gwell nag uchelgais, a'i lwyddiant rhyfeddol mewn achub dynion yn ddim amgen na ffrwythau naturiol ei fedr fel areithiwr! Teimlid wrth gwrs yn ngwyneb hyn fod anghen mawr wedi codi am rhyw ddiffyniad priodol i garictor Mr. Wesley. Disgynodd y gwaith o'i gynnyrchu, trwy lais y *Conference* ei hun, ar ysgwyddau Mr. Watson. Ac felly yn 1820, yn agos i'w diwedd hi, hyny yw, ymhen llai na blwyddyn wedi cyhoeddiad gwaith y Dr. ei hun, ymddangosodd "Sylwadau" cyrhaeddgar Mr. Watson. Beth oedd effaith y "Sylwadau" hyn ar feddwl Dr. Southey, nis gallwn ni ddywedyd. Daeth eraill allan i ddangos i'r Dr. ei gyfeiliornad, megys ei gydfrawd yn nghyfraith Coleridge, a'r dysgedig Alexander Knox. Trwy bob moddion, beth bynag, argyhoeddwyd y Doctor o'i fawr gamgymeriad, ac amlygodd yntau o ganlyniad mewn amryw lythyrau ag ydynt eto ar gael, ei fwriad penderfynol i buro y llyfr oddiwrth y pethau anghywir hyny. Ond bu yr awdwr doniol farw cyn cyhoeddiad argraffiad arall. Dygwyd hwnw, sef y trydydd, allan dan olygiaeth ei fab, y Parch. C. C. Southey, ond heb unrhyw ddiwygiad o'r fath a nodwyd wedi ei wneuthur ynddo o gwbl, eithr gydag awgrymiad yn hytrach oddiwrth y mab parchedig hwnw fod ei dad, wedi y cwbl, yn lled agos i'w le, a hyny hefyd yn nannedd llythyrau eglur o dan law ei dad ei hun, yn addef mewn modd pendant ei fod bellach yn gweled ei fod allan o'i le! Aeth "Sylwadau" Mr. Watson trwy ryw fodd neu gilydd i ddwylaw Sior y Pedwerydd; a'i sylw ef ar ol eu

darllen ydoedd, "Mr. Watson has the advantage over my Poet-Laureate." 5. "Ymddyddanion i'r Ieuenctyd." Cyhoeddwyd y gwaith hwn yn y flwyddyn 1830, a hyny gyda'r amcan clodwiw o gynnorthwyo pobl ieuainc i chwilio y Bibl er mantais iddynt hwy eu hunain. Cynnwysa bedwar ar hugain o "Ymddyddanion" ar y Bibl: ei Ysbrydoliaeth, ei Lyfrau, a phethau cysylltiol â, a chynnwysedig yn, y llyfrau hyny. Mae y gwaith o anghenrhaid yn fyr a chwta, ac ambell dro yn arwynebol hefyd. Ar yr un pryd, y mae wedi bod o'r dechreuad hyd yma yn gryn *favourite* gyda phobl ieuainc y Cyfundeb Wesleyaidd. 6. Hanes Bywyd Wesley. Ysgrifenwyd hwn ar gais y *Conference*, a gwnaeth ei ymddangosiad yn 1831. Mae yn hanes cryno, a chywir, a difyr iawn, cybelled ag y mae yn myned. Credwn fod lle eto i hanes da o fywyd John Wesley. Nis gwyddom am un ag sydd eto wedi ei gyhoeddi yn hollol gyfateb i'r syniad sydd genym am Fywyd John Wesley. Mae "*Wesley and his Times*," gan Dr. Smith, yn agosach i'r nôd na dim a'r a welsom eto. Ar wahân i hwnw y mae gwaith Mr. Watson, fe allai, y mwyaf difai o'r cwbl; y bai mwyaf ynddo ef yw, ei fod yn rhy fyr, er fe ddichon y barna rhái hyny yn rhagoriaeth amlwg ynddo.

Dyna'r prif bethau yn yr ail ddosbarth hwn o "Weithiau Richard Watson." Ond nid dyna'r cwbl sydd ynddo. Cynnwysir yn yr "Amrywion" hyn eto dros hanner cant o bapyrau eraill, o ba rai y mae gryn un a deugain yn *Reviews* ar lyfrau a syniadau y dydd. Yn y *Reviews* yma, fe allai, y gwelir amrywiaeth cyrhaeddiadau Mr. Watson yn egluraf o bob man; oblegid ynddynt hwy y mae yn traethu yn fedrus ac yn gampus iawn ar bron bob math o destunau. A dyma sy'n yn dangos y dyn llawn, cyfan, a chrwn. Edrycher gan hyny i'r *Reviews* hyn, ac ni a gawn Richard Watson nid yn unig yn siarad duwinyddiaeth gyda Chalmers a Burder, a Benson a Lessey; ond ni a'i cawn hefyd yn ymgomio gyda Rose ar grefydd yn Germany, a chyda'r Abbe Dubois ar grefydd yn India; ar Anianyddiaeth Gristionogol gyda Thomas Dick, ac ar Anffyddiaeth y *Ruins* gyda Volney a Hails; ar Ìànau Môr y Canoldir gyda Richardson, ac ar bobl y Sandwich Islands gyda llywydd y llong Blonde; ar Russia a'r Crimea gyda Henderson, ac ar barthau America Ddeheuol gyda Thomson; ar *hieroglyphics* yr Aipht gyda Spineto, ac ar ramantau y *Gnostics* gyda Burton, ar Babyddiaeth gyda Fletcher, ac ar Mahometiaeth gyda Forster! Ac eto i gyd gyda'r holl destunau amrywiol hyn y mae yn berffaith gartrefol a dedwydd o hyd!

Y dosbarth nesaf yn y "Gweithiau" hyn yw gwaith mawr a phenaf Mr. Watson, sef y Corff o Dduwinyddiaeth. Mae'n ymddangos i'r awdwr galluog lunio y penderfyniad o ysgrifenu gwaith fel hwn tua'r flwyddyn 1821; ac "efe yn gyflawn ddeugain mlwydd oed." Cyhoeddwyd y gwaith y tro cyntaf yn rhanau mawrion yn ol fel y gallai yr awdwr llafurus ei ddarparu i'r wasg. Daeth y rhan gyntaf allan yn 1823; a'r chweched sef yr olaf yn 1828. Mae'r gwaith ei hunan yn bedair o brif ranau mawrion;—sef yn *nghyntaf*, y PROFION o ddwyfoldeb Cristionogaeth; yn *ail*, ATHRAWIAETHAU Cristionogaeth; yn *drydedd*, ei MOESOLAETH hi; ac yn *bedwerydd*, ei SEFYDLIADAU. Yn y *rhan gyntaf*, y mae'r anghenrheidrwydd am ddadguddiad Dwyfol—y profion fod Cristionogaeth yn gyfryw ddadguddiad—ac atebion i wrthddadleuon anffyddiaeth, yn cael eu dangos yn eglur, a helaeth, a boddhäol iawn, mewn ugain o wa-

hanol bennodau. Yn yr *ail ran,* y mae bodolaeth a pherffeithderau y Natur Ddwyfol—cyfansoddiad rhyfeddol Person Crist—personoliaeth a Dwyfoldeb yr Ysbryd Glân—Cwymp dyn a'r Pechod Gwreiddiol—Athrawiaeth yr Iawn—a bendithion y Prynedigaeth, yn cael eu trafod a'u hegluro mewn naw ar hugain o bennodau. Yn y *drydedd ran,* y mae'r ddeddf foesol—rhwymedigaeth dyn iddi, a'i ddyledswyddau o ganlyniad i Dduw a dynion, yn cael eu dangos mewn pedair o bennodau. Ac yn y *bedwaredd ran* y mae'r Eglwys Gristionogol a'i Sacramentau yn llenwi pedair eraill. Dyma yn ddïau gofgolofn Richard Watson. Yn y gwaith mawr hwn y mae wedi dangos yn ddigon eglur ei fod yn hollol gynnefin gyda holl gylch ëang gwirionedd dadguddiedig. Mae yr holl ddadleuon mawrion rhwng yr *Atheist* a'r *Theist,* rhwng y *Deist* a'r Cristion, rhwng yr Undodiad a'r Trindodiad, rhwng y Calfin a'r Armin, rhwng yr Esgobaethwr a'r Henaduriad, rhwng y Trochwr a'r Taenellwr—mae yr oll, medd'wn, yn cael eu trafod ganddo gydag esmwythder, eglurder, a medr mawr. Ni elwir arnom ni yn awr i basio barn ar na chywirdeb nac anghywirdeb opiniynau Mr. Watson. Ffurfiant fel y gwyddys gredo athrawiaethol y Cyfundeb Wesleyaidd. Gwir yw nad ydynt felly mewn ystyr gyfreithiol, eto y maent felly mewn pwynt o ffaith. A thrinir hwynt yma mewn modd ysgoleigaidd a chelfydd. Teilyngant gan hyny sylw ac ymchwiliad teg. Dyna yr cwbl a ddywedwn yn awr; oddieithr i ni ychwanegu hyn—fod genym achos mawr i fod yn ddiolchgar wedi'r cwbl fod golygiadau athrawiaethol y gwahanol gangenau o'r Eglwys Gristionogol yn y deyrnas hon ar y cyfan mor agos at eu gilydd ag y maent. Cymered y darllenydd ystyriol a diragfarn *Pearson on the Creed, Chalmers' Institutes of Theology, Wardlaw's Systematic Theology,* a *Watson's Theological Institutes* yn ei law, darllened hwynt yn ofalus drwyddynt, ac yna wedi nodi pob gwahaniaeth o bwys rhyngddynt, edryched drachefn beth yw swm y gwahaniaeth i gyd, a chredwn y câ ei fod yn llawer llai nag y tybiodd ei galon erioed! Clywsom gwyno ambell dro yn erbyn y "*Theological Institutes,*" eu bod yn cynnwys gormod o ddyfyniadau o weithiau awduron eraill. Mae'n wir fod ynddynt weithiau ddyfyniadau helaeth iawn yn cael eu gwneuthur. Ond cyn condemnio hyny, fe ddylid cofio yn sicr fod Mr. Watson weithiau yn myned yn lled bell i mewn i hanes opiniwn crefyddol ar y pynciau neillduol a drinir ganddo, a bod yn anhawdd iawn gosod manylion opiniynau duwinyddol ger bron heb ddyfynu llawer. Daeth y prydwedd yma yn y gwaith o ganlyniad yn anocheladwy. Ac yn awr, tra ar y mater hwn, y mae un peth arall hefyd ag y dylem ei nodi yma, a dyna hwnw: er cymaint o ddyfynu sydd yn y gwaith dan sylw, y mae yr oll o hono wedi yr cwbl yn ymddangos yn un cyfanwaith cyfartal a chyson drwyddo draw i gyd. Byth ni theimlir ynddo yr esgyn a'r disgyn cyfnewidiol, ysgytiog, annaturiol hwnw, ag a deimlir weithiau dan amgylchiadau o'r fath; ond y mae pethau Watson ei hun o'r un rhyw ac o'r un urddas hefyd, a hyny mewn rheswm, dysg, a thôn, â phethau yr awdwyr a ddyfynir ganddo. Ac y mae hyn i ni yn arddangosiad cryfaf a mwyaf eglur yn bod o fawredd meddwl ac o helaethrwydd cyrhaeddiadau yr awdwr ei hun. Pan y mae dynion fel Hooker a Barrow, Pearson a Butler, Baxter ac Owen, Charnock a Howe, Tillotson a Stillingfleet, Leslie a Paley, ac eraill o'r un *class* yn cael eu *quotio* gan awdwyr yn fynych ac yn helaeth, ac yntau drachefn pan dry i lefaru ei hunan,

yn gwneuthur hyny yn yr un dôn uchel, arddunol, a choeth â'r hen gewri hyny eu hunain, dangosir yn eglur i ni fod yr awdwr neillduol hwnw, pwy bynag fyddo, yn aelod ei hunan o'r un urdd ardderchog ac anrhydeddus â hwythau, ac felly ei fod yn sefyll, wrth gwrs, yn y dosbarth blaenaf o athrawon crefyddol y byd. A'r anrhydedd hwn yn ddïau a berthyn i Richard Watson. Er gweithio rhai darnau ysplenydd o hen adeiladau yr oesau gynt i mewn i adeilwaith yr *Institutes*, eto i gyd y mae undod, a chydweddiad, a *symmetry* ei adail ardderchog ei hun yn gyfan ac yn berffaith o hyd. Nid rhyfedd, wedi gorchest fel hyn, fod ein brodyr o'r tu draw i'r Werydd wedi gweled ei werth, a chwennychu ei wasanaeth. Ac felly y bu. Yn 1830, gwahoddwyd ef drosodd i America, gan bwyllgor *University* yno, i gymeryd cadair "*Belles-lettres* ac Athroniaeth Foesol" yn yr athrofa neillduol hono. Ond gwrthododd gydsynio â'r cais, gan roddi fel rheswm yr ystyriaethau hyn: "Gan fy mod beth bynag yn hanner can' mlwydd oed, ac o gyfansoddiad egwan a llesg, nid wyf yn meddwl y byddai yn ddoeth ynwyf, pe buaswn fel arall yn fwy cymhwys, i wynebu ar ludded dyledswyddau anghynnefin, ac ar hinsawdd estronol a thramor."

Mae "Esboniad" Mr. Watson yn waith anorphenedig. Bwriadai yr awdwr esbonio y Testament Newydd i gyd; ond erbyn cyrhaeddyd y ddeuddegfed bennod o Efengyl Luc, teimlodd ei nerth yn pallu yn fawr; ac felly gan deimlo hefyd awydd dirfawr i egluro o leiaf yr Epistolau at y Rhufeiniaid a'r Hebrëaid, gadawodd y gweddill o'r Efengylau, aeth heibio i'r Actau hefyd, a dechreuodd ysgrifenu ar y llythyr at y Rhufeiniaid. Aeth rhagddo mor bell a'r bummed adnod ar hugain yn y drydedd bennod, ac yna safodd olwynion bywyd, ac aeth yr esboniwr i orphwys. Mae hyny sydd genym o'r "Esboniad" hwn yn ein harwain yn aml i ocheneidio, "O! na chawsai fyw i'w orphen!" Pe cawsai hyny, credu yr ydym y buasai ei orchwyl hwn y goreu o'i eiddo oll! Ond dyna lle y mae yn awr, yn *fragment* godidog, a dim ond hyny.

Casglwyd y "Geiriadur" ar ddymuniad y *Conference*, a chyhoeddwyd ef yn 1831—32. Cynnwysa ddetholiad da o weithiau cyfrifol eraill, ynghyda llïaws mawr o erthyglau gwreiddiol ar rai o'r pynciau pwysicaf ynddo. Mae yn awr beth bynag ymhell yn ôl i ofynion llênyddiaeth gysegredig. Mae cynnydd y deng mlynedd ar hugain diweddaf mewn pob gwybodaeth angenrheidiol er beirniadaeth a dehongliad yr Ysgrythyrau sanctaidd yn ddiddadl y fath ag i wneyd pob "Geiriadur Ysgrythyrol" o'r oedran hwnw ac uchod yn anghyflawn, anmherffaith, ac anfoddhäol. Da genym ddeall gan hyny fod "Attodiad" helaeth i'r "Geiriadur" dan sylw i gael ei gyhoeddi yn fuan, a bod hwnw wedi ei barotöi gan ysgolaig mor rhagorol, ac awdwr mor dalentog, â Dr. Etheridge, awdwr bywgraffiadau Dr. Clarke a Dr. Coke, cyfieithydd yr hen Beshito Syriaidd i'r iaith Seisonig, a gweinidog Wesleyaidd yn awr yn Nghernyw.

Wele, yr ydym yn canfod ein bod eisoes wedi cymeryd cryn lawer o ofod, ac eto yn teimlo ein bod heb orphen. Cawn gan hyny ddychwelyd eto i wneuthur rhai sylwadau pellach ar Richard Watson.

## Y NOS.

GAREDIG nos! hi wylia 'r dydd yn marw,
Yna ei gladdfa wna fel brenin—brenin yw.
Hi dŷn ei lleni prudd porphoraidd gylch
Ei wely aur, a theifl ryw ardrem o
Ddifyrwch dros y grëadigaeth oll.
Gorchymyn "Ust!" a chanlyn brudd-der dwfn,
Fel pe tynghedfen anian fyddai ar
Y fantol. Trefna yr orymdaith brudd
I hebrwng i'w oer-wely deyrn y dydd;
A theifl ei mantell alarwisgol dros
Y llawr; waith rhoi gogoniant crëad yn
Ei feddrod. Anian pan yn claddu ei
Hoff gyntafanedigol un o'i meib
Lesmeiriodd; ac i freichiau tawel nos
Fe ymollyngodd hon. O hapus gwymp!
A hithau megys dyddan, ddyddan fam
Yn süo 'i baban, tery 'i bys ar dànt
Yr awel fwyn, a goleu wna ei lamp
Ogleddol, ac ä dydd i huno yn
Iach wely ailanedig cwsg—hoff gwsg!
Bydd anian fel yn gorphwys yma 'i phen
Ar fonwes hael y nos, gan yfed cwsg
Hyd nes anghofio 'i hunan. O pa adeg byth
Mor ddedwydd ar y byd â phan fel hyn—
Heb boen, heb ofal, ac heb deimlo dim?
Ond truan, truan gyflwr yw mwynhâd
Mewn peidio a mwynhâu—cael nefoedd mewn
Diddymdra—nefoedd wag!
Ofnadwy yw lleferydd Dwyfol dy
Ddystawrwydd gorddwfn; caeth warcheidwad yw
I anian pan yn huno yn ei grŷd.
Ond croesaw ofnadwyaeth! hoffa 'r bardd
Aruthredd cysegredig, lle y trig
Ysbrydion digyrff, lle 'r ehedant trwy
Dywyllwch fyth-hanfodol. Llawn o swyn
Yw dy ddwyfolder; egyr hwn o flaen
Yr awen ddorau 'r byd a ddaw,
Lle darllen arluniadau bythol fyw.
Dychymyg feiddia dy aruthredd mawr
A llàm o seren un i arall; ac
Eistedda 'n frenin ar y fellten wyllt;
Yn ngherbyd y taranau merchyg ef.

Y nos yw nefoedd y meddylgar, pan
Yr huna y bydolddyn fel yr ŷch,
Pan gleddir pob marwoldeb daear gan
Undonaeth ysbrydolrwydd Dwyfol ryw
Pan dynir llèni cysgod angeu dros
Y dynol a'r amserol, ac y daw
Y Dwyfol yn deimladwy, dyna 'r pryd
Bydd ef yn nghwmni anfarwolion, ac
Ysbrydion byw, ar ben y clogwyn, neu
Yn mòl y ceunant, neu yn eithaf pell
Caergwydion, neu ar dàl fynyddau 'r lloer,
Yn chwerthin mewn gorphwylledd barddol uwch
Yr aphwys farwol, ac yn hèrio holl
Alluoedd ofnadwyaeth. Teimla fod
Awenau ysbrydoliaeth yn ei law;
Y gall orchymyn hyd warogaeth; llem
Yw ei freniniaeth ar yr oll yn awr;
A'i gref ewyllys, creulawn, creulawn yw!
Y nos y mae ysbrydoliaeth yn nesâu
I hawlio siarad gair yn nghlust y dyn;
Mae 'n sôn am Dduw, am dragwyddoldeb maith,
Am fyd sefydlog o sylweddau pur,
Lle byth ni threigla un o'i dywod mân.
Pob meddwl yno erys fel y graig;
Dystawrwydd Dwyfol fyth deyrnasa ar
Bob tafod; ceir y meidrol yno 'n troi
Yn nghanol anfeidroldeb, heb un llèn
I'r euog ymgysgodi. T'w'llwch fydd
Mor oleu ag yw llygad haul ei hun;
Dystawrwydd sieryd fel pe 'n dafod byw;
Bydd Bywyd yno yn ei awyr iach,
Ac Angeu gleddir yn ei fedd ei hun.
Bydd Anfarwoldeb yno 'n fythol wyrdd,
A'i anadliadau 'n rhydd, mor rhydd â'r gwynt.
Mae angeu 'n obaith i euogrwydd dwfn;
Mae ofn yn claddu mewn difodiant draw;
Gwallgofrwydd neidia i ddiddymdra, ac
Fe gau ei lygaid ar ddyfodol byth:
Ymollwng wna—i anfarwoldeb syrth!
Mae weithiau 'n gwisgo digllonoldeb ar
Ei haeliau trymion; bydd cymylau braw
Yn rhwymo 'u hunain ar adenydd gwynt;
Corwyntoedd yn dadlwytho arswyd blin,
Yn rhwygo gwigoedd mewn gwallgofrwydd llym.
Bydd mellt yn saethu cenadaethau gwae,
Taranau 'n siarad anfeidroldeb byw,
Daeargryn ddeffry 'r cynddiluwiaid hen;
Mae 'r nef yn wylo! hi fedyddia 'r byd
A'i dagrau; eto 'r dyn a chwardd yn nerth
Anfeidrol ryfyg! Ah! gwel, anfad ddyn

Y nos ystormus, anobeithiol gynt
Yn arfaeth Duw, pan ti yr adyn gwan,
Fel rhydd ysglodyn llesg ar wàr y dòn,
Yn safn Niag'ra colledigaeth: gwêl
Jehofa 'i hun yn wylo! ond i ti
Fe wylodd Iachawdwriaeth! Acw gwêl
Nos ddiwawr fyth yr anghredadyn, pan
Bydd holl elfenau 'r byd a ddaw mewn llawn
Arfogaeth yn ei erbyn ef; a bydd
Rhaiadrau angeu yn ei arllwys i
Ddyfnderau gwae, na chwyd i'r wyneb byth!
Ei llygaid diwair, sancteiddiolaf fryd,
Sy 'n gwylio 'r byd yn huno ar y llawr.
O! na cheid dynion ar y ddaear hon
Mor bur, mor ffyddlawn, mor ddiabsen, ag
Yw yr angelion oll-ddiniwed hyn!
O dystion nefol! peidiwch byth a d'weyd
Yr oll a welsoch ar ein daear ni.
Manteller eich wynebau dysglaer, gan
Dewleni y cymylau hyny gynt
Guddiasant ein Gwaredwr ar y pren,
Pan redai gwaed yn dònau cariad pur
Dros ddyn—tra dyn yn porthi fflamiau llid
Y Duwdod—ond y nef a wenai 'n llon
Dan odrau 'r cwmwl tywyll—gwêned byth!
Hyhi â'i hunllef anorfodol rwym
Y ddaear fel nad all anadlu, ond
Trwy ffroenau tynion angeu caeth ei hun.
Hi ddaw yn ddystaw ar ladradaidd droed,
Ymollwng megys barcud ar y dydd;
Ei hedyn marwol fyga anadl hwn,
A holl aneirif luoedd anian gref,
Yn gaethion pruddaidd, diymadferth wna;
Ni syflant—nid anadlant mwyach, heb
Ei chaniatâd! A! oruchafiaeth lwyr!
Hi dŷn y cwmwl tywyll oddifry,
Am ben y mynydd, ac hi daen y niwl
Yn orchudd ar ei droed; ac yntau gwsg
Fel cristion gyda 'i draed ar lawr y byd,
A'i ben fry, fry yn mro angelion byw;
Ymhlith marwolion huna ef yn fud,
Ond mae 'n breuddwydio yn y nefoedd fry.
Y tarth wregysa 'r bryniau tawel fryd,
A'u gwregys llwydwyn, esmwyth, o law Ior.
Eu penau welir yn anadlu fry,
Fel bydoedd ffurfafenol, wedi rhoi
Eu llon ffarweliad i'w hen artref hwn,
A myn'd am wibdaith tua gwlad y sêr,
Fel anturiaethwr awyrenawl yn
Amneidio 'i ymadawiad â'r hen fyd,

Tra ef yn grëwr ac yn arglwydd byd
O'i eiddo ei hun.
   Y gwas, yn mreichiau 'r nos ei anadl gâ,
Ac mae yn hoff fwynhâu ei hunell bur
Gogystal, neu yn well, na'i feistr yn
Ei fânblu; ac at hwn yn wir mae hi
Yn estyn ei hiach gwpan lawnaf; ac
Yf yntau nes anghofio 'i hun yn lân,
A chwardd dan goron brenin gwych yn myd
Rhamantus cwsg, yn fil dedwyddach nag
Un pencoronog ar ein daear ni!
   Y mynydd cribog, dyrcha hwn ei ben,
Gan gyfeillachu gyda 'r bydoedd fry,
Ar awr hamddenol gwedi noswyl byd;
Mae fel yn darllen rhyfeddodau 'r nef;
Fel duwiolfrydig fam, 'n ol rhoddi 'r plant
I gysgu, a chael orig iddi 'i hun,
Yn esgyn i'r ysbrydol—cyll y byd,
Mewn nefoedd ar ol nefoedd; newydd yw
Hen Fibl Duw o hyd!
Mae wrth ei droed, yn gorwedd ar y llawr,
Y dyffryn llonydd megys marwol ddyn;
A chwrlid tew o nifwl arno sydd.
Draw mae y ceunant dwfn, cartrefle braw,
Ei ddüwch ddiystyra wên y lloer;
Try 'r aber fach—hon draw sibrydai gerdd—
Yn rhuad angeu yn ei erchyll wddf:
Mae bygythiadau dinystr iddo 'n iaith,
Ac arllwys ei ddigofaint ar y graig;
Hon ettyl ei wrhydri balch, a sỳn
Nes huno yn nyfnderau diddig siom!
   Y lloer eistedda ar y drumen fry,
Gan luchio ei phelydrau ar y ddôl,
Fel hardd frenines ar ei gorsedd aur,
A'i gair yn gyfraith i'r holl fyd islaw.
Pan wêna fe ddylifa afon hedd
I fyrddiwn, ond mae uffern yn ei gwg.
Mae 'n chwerthin gwynfyd ar y ddaear lawr,
Ond pan y cuchia—cuchia berffaith wae.
Mae 'n llwybro 'r wybren gyda 'i gosgordd gain;
Ac weithiau 'n morio trwy gymylau mawr,
Ond eilchwyl dyrch i'r làn fel gwyddfa o
Ogoniant byw, a chwardd nes chwarddo nef.
O dan ei mantell ddystaw, wele y
Wybrenau 'n disgyn mewn serchogrwydd pur,
A'r bryniau atynt yn ymestyn yn
Lladradaidd, fel rhyw fenyw wylaidd, yn
Ymlithro at ei hoff gariadlanc mwyn
Oedd yn ei dysgwyl—gyda byd o dân
Yn fflamio yn ei fonwes—draw dan wrych

Yr ardd—mae 'n teimlo awr yn wythnos hir,
Ond mynyd o fwynhâd a deifl bob siom
I eigion tragwyddoldeb. Hapus awr!
Ac felly bydd ar hwyrol bryd, y nef
A'r ddaear hwythau ymgusanant, yn
Hoff gartref unigolrwydd, lle na rydd
Cenfigen na bradwriaeth droed i lawr.
Prudd, prudd yw 'r ddaear; hoff delynau 'r wig
Ddystawant, gan roi lle i hwyrol gerdd
Yr awel sydd yn chware cynghan fwyn,
Bruddglwyfus, gyda llaw angelaidd ar
Y dail a'r cangau a'r boncyffion oll.
Y dderwen hunodd o dan ddwrn y mellt;
Y ceubren crinllyd, bolwag, noethgefn, sydd
Yn nefoedd dyllhuanod; y maent oll
Yn dànnau aur gogleisiol, byw, o dan
Ei bysedd ysgeifn hi—yr awel ddôf.
Hi chwery nes yr huna bryn a dôl;
A chwery, chwery, nes anghofio 'i hun;
A chwsg â'i llaw ar delyn anian!
I'w chlust mae 'n hysbys gyfrinachau fil,
A rhian-chwedlau fu rhwng aml i ddau.
Ochenaid llawer merch wrth roi ffarwel
I'w hanwyl Edwin, mygodd glust y nos,
Yn ail i'r galon a'i gollyngodd hi.
Ond os yw 'r nos yn glust—yn glust i gyd—
I wrando cyfrinachau, byth nid yw
Yn dafod i'w hailadrodd wrth y gwynt!
Yr oen oedd gynneu 'n blaenu 'r awel iach,
Gan hedeg megys gwalch dros gefn ei fam,
Sy 'n awr mor llonydd ag yw cwsg ei hun.
Y march a lyncai bob anhawsdra gyd
A'i "Ha! ha!" hyf—fesurai bellder trwy
Ei fawr wallgofrwydd dyrchafedig, gwyllt,
Yn ddim; mae hwn mor llonydd ag yw 'r ddôl
Lle 'r huna arni megys darn o bren.
Ac yntau yr aderyn bronfraith pur,
Oedd gynt â dylif cân yn boddi 'r byd,
Ei delyn weithian sydd mor ddystaw âg
Yw 'r seren fud sy 'n gwênu ar ei gwsg.
A hithau 'r fuwch o dan y fron gerllaw,
Ymestyn wna yn mreichiau 'r nos, un fel
A mebyn mwyn ar lîn ei fam yn ei
Freuddwydion nefol; fe anadla hon
Dangnefedd hirllaes, iach, mor iach â thwrf
Y pistyll gwallgof ferchyg gefn y gwynt.
Caredig yw! hi deifl ei haden dros
Y caethwas pan yn dianc—dianc rhag
Y gosb ddiachos—rhag y fflangell drom,
A rwygodd ddoe ei wythïenau byw.

Tra dianc ef, y nos a ddeil ei llaw
Anorfod rhwng y gelyn llym â'i hoff
Ysglyfaeth; pan y mae ei syched tost
Yn rhostio 'i galon mewn gorawydd am
Ei waed! ond dianc ef y truan, tlawd,
A hithau wêna arno ef yn rhoi
Ei droed ar derfyn ei gaethiwed blin,
Gan roddi llam i ganol gwynfyd pur!
Ac yna hi a egyr lygaid dwfn
Y gwaed-ddyn—pan y cilia 'n ôl, i'r wawr
Gellweiriol dd'od i ddangos iddo ef
Ei ofid fel yn chwerthin am ei ben!
A'r caethwas draw o gyrhaedd yr hen sarph—
Y chwip gylymog—sydd yn awr yn *ddyn;*
Tra ef yn ddieflyn gwaglaw! Teifl yr haul
Lifeiriant o waradwydd tanllyd ar
Ei ben, a llusg ei enaid gan ei erch
Gynddaredd; hithau chwardd ei hunan i
Ddiddymdra.
  Y byd peiriannol prysur syrthiodd i
Ddiymadferthedd, cyll ei nerth, ac fe
Ei delir gan gref law y nos mor sŷn
A meudwy unig ger bron unig ferch!
I dòri y dystawrwydd dechry 'r môr
Anadlu galar gerdd y crëad mawr.
Mae hon yn gyflawn o farddoniaeth ddofn,
Orphwyllog, duw yr eigion mawr ei hun.
Ei darllen mae yn nghlust dwyfolion pur.
Ardderchog gerdd! daw sêr y nef bob un
I gyngherdd ysbrydoliaeth; wele 'r lloer
A'i nawdd goruchel baentia 'r oll mewn hardd,
Ysbrydol, arlun o ogoniant mawr.
  Mae'r nos yn chwyddo cerdd y rhaiadr draw,
Mae megys llais o eigion y tragwyddol fyd;
Rhydd wers i'r dyn ar anfeidroldeb maith,
Cydwybod i'r llythyren ateb wna.
Ac anadl hwyrnos sydd fel sibrwd byw
Adenydd angel pur, yn deffro cân
Y goedwig dawel, pan yn brysio at
Oer fwthyn rhyw hen gristion tlawd
I ddal ei ddeigryn—tyst y galon friw
O wasgfa enaid dros yr annuw, er
Fod hwnw 'i hun yn nofio tawel gwsg,
Mor iach, a iach ei hun.
  Ei nef o fwyniant, o ddedwyddwch hael,
Dry llawer anfad ddyn yn annwn ddofn.
Dan gysgod ei hadenydd gweithia ei
Gynlluniau dieflig allan. Yntau wna
Ei nef o honi—o'i thywyllwch du!
Ond Ah! pa beth a wnei, y gwylliad du,

Pan ddyry 'r nos—pob nos—ei chyfrif llawn
I fyny i'r Tragwyddol Ddydd? Pan dry
Y t'w'llwch hwnw yn oleuni claer;
Pan gwyd y nos ei haden byth oddiar
Dy ysgelerwaith, ac heb adael mwy
Un bluen i'th orchuddio yn oes oesoedd!
Prydnawn y grëadigaeth ëang, bydd
Cymylau pruddion tragwyddoldeb yn
Ymgodi o'i gorweddfa farwol, lle 'r
Hunasant yn nghartrefle arswyd du;
Lle cauwyd arnynt gan law gallu Iôr,
Pan eu dychrynwyd gan awdurdod gref
Anorfod "Bydded" cyntaf Dwyfol ddawn;
Pan neidiodd o'r diddymdra marwol, y
"Goleuni." Ond yn awr ailelwir hwy
I arwyl ofnadwyaeth; lle y bydd
Ailymladd drosodd frwydr Dydd a Nos
Tragywyddol! Yno gwae a gwynfyd ddaw
I gyfarfyddiad hollol, ac yn sŵn
Y frwydr ofnadwyol hon, fe fydd
I anian megys menyw hardd a phur
Lewygu—nid i adfer eto byth!
Llawn ymarfoga holl elfenau byw
Y grëadigaeth i'r ymdrechfa hon;
Lle penderfynir tynghed tragwyddoldeb!
Bydd meibion cryfder mewn codymol gamp;
Byw wreichion llygad anian syrth i'r môr;
Holl obaith bydol ryw a dawdd ynghyd
Yn ngwres yr aerfa; bydd magnelau erch
Galluoedd dinystr yn ffroenochi gwae!
A'r mwg dywylla lygad tad y dydd;
A'r ddaear wneir yn wasarn dinystr du;
Diflanai 'i mawredd mewn terfynol fflam!
Ac yna troir tywyllwch marwol i
Gartrefle nos ddiderfyn, yno bydd
Yn rhwym yn ei gadwyni 'i hunan byth!
Ond teifl yr Haul Tragwyddol wênau llon
Ar gartref hedd, lle chwardd prydferthion byw
Yn Mharadwysaidd haf y bythol Ddydd;
Lle diddig nofia cerdd ei hawyr iach,
Gan siglo mewn gogoniant—fel y llong
Yn mreichiau yr awelon teg a byw,
Heb syrthio byth ar draethell annedwyddwch!



# TREM AR YR AMSERAU.

Y MAE "llais y wlad," fel yr oedd yn naturiol dysgwyl, wedi ac yn galw am ryw arwydd cyhoeddus a pharhâus o barch gwladol i goffadwriaeth y diweddar ragorol Dywysog Cydweddog; ac y mae tanysgrifiadau haelionus wedi eu gwneuthur tuag at gaffael hyny. Gadäwyd ar farn y Frenines ynghylch y ffurf a fyddai ar y coffâd hwnw; ac y mae ei Mawrhydi wedi penderfynu mai y cyfryw golofn ag a elwir yn *obelisk*—"math o gofgolofn pedaironglog a brigfain," medd ein Geirlyfr—a fydd gymhwysaf i'r perwyl amcanedig, gydag amryw gerfluniau priodol tua'i gwaelod. Bwriedir gwneyd y golofn o un darn aruthr o gareg, wedi ei chaboli yn gymhwys; a hyderir y cyfrifir yr adail pan ei gorphenir yn deilwng o'r trancedig anrhydeddus ac o Brydain Fawr.

Mae Tywysog Cymru wedi myned ar daith i wledydd y Dwyrain, i gael golwg ar yr Aipht a Phalestina, a gwledydd eraill yr Ysgrythyr, gyda gwŷr deallgar a phrofedig yn gymdeithion iddo. Ni a dybygem fod teithiau, yn gystal âg efrydiau, etifedd coron Prydain, yn rhagbaratöad da i'w deyrnasiad ar orseddfainc bwysicaf y ddaear. Ei chwaer, y Dywysoges Alice, sydd wedi ei dyweddïo i'r Tywysog Frederick William o Hesse, mab ac etifedd Etholwr Hesse, yr hwn sydd yn dal yr wythfed radd ymysg tywysogion Germany, a chanddo dair pleidlais yn nghymanfa fawr y *Diet*. Yn y cyttundeb priodasol, sicrhëir i'r Dywysoges, gan ei mam, gynnysgaeth o £30,000, gyda £6,000 yn flynyddol, i'w defnyddio ganddi hi ei hun.

Cynhyrfwyd yr holl deyrnas yn mis Ionawr diweddaf gan yr adroddiad am y ddamwain echrydus a ddygwyddodd yn ngwaith glo Hartley, yn ngogledd Lloegr, pryd y darfu i syrthiad trawst haiarn mawr gau i fyny yr unig agorfa i'r pwll, trwy yr hyn yr achlysurwyd marwolaeth dros ddau cant o weithwyr ar unwaith. Cyn i'r effaith frawychus ar deimlad y wlad farweiddio, yn fuan yn mis Chwefror, dyma newydd arall am ymfoddiad gwaith plwm yn Mryngwïog, gerllaw yr Wyddgrug, pan y cymerwyd ymaith un ar bymtheg o fŵnwyr i fyd arall. Ac yn fuan drachefn, wele drychineb aethus yn dygwydd yn ngwaith glô y Gethin, Merthyr Tydfil, trwy ffrwydriad, yr hyn a fu yn angeu i tua hanner cant o bersonau. Diau fod Duw einioes ac angeu yn llefaru yn uchel ar Gymru, Lloegr, a Phrydain oll, yn y damweiniau rhyfedd ac olynol hyn, "Gwelwch bellach mai myfi, myfi yw Efe, ac nad oes Duw ond myfi; myfi sydd yn lladd ac yn bywhâu; myfi a archollaf, ac mi a feddyginiaethaf." Pa bethau bynag a allasai fod yn achlysuro y cyfryw ddygwyddiadau gofidus, rhaid myned heibio ac uwchlaw yr holl ail-achosion, at yr Hwn y mae ei freniniaeth yn llywodraethu ar bob peth fel yr Achos Mawr Cyntaf. "Rhuodd y llew, pwy nid ofna? yr Arglwydd Iôr a lefarodd, pwy ni phrophwyda? A fydd niwed yn y ddinas heb i'r Arglwydd ei wneuthur?" Dangoswyd cydymdeimlad cyffredinol ac ymarferol â'r lliaws a wnaed yn weddwon ac amddifaid trwy y troion chwerw-

on hyn. Cyfranwyd yn helaeth at eu cynnaliaeth rhagllaw, yn enwedig tuag atynt hwy yn Hartley a'r gymydogaeth. Coron o'r fath werthfawrocaf am ben ein gwlad hyd yn hyn yw ei theimlad tosturiol tuag at y tlawd a'r rheidus. Hyderir y bydd y fath ddamweiniau galarus yn foddion i roddi ar waith bob gofal ac egni sydd bosibl o du dyn i ragflaenu y cyfryw goll-bywydau, ac i estyn pob cysur a diogelwch dichonadwy i'r dosbarth llafurus trwy chwys wyneb y rhai y cynhesir ein haelwydydd, ac yr ysgogir trafnidiaeth yn gartrefol ac ar lêd.

Nid oes dim yn hynod bwysig na chyffrous eto wedi cymeryd lle yn eisteddiad presennol y Senedd. Nis ynganwyd dim am y pwnc o Ddiwygiad Seneddol; ac y mae'r symiau anferth a bleidleisir mor rhwydd tuag at ddal i fyny ein byddinoedd a'n llyngesau mawrion "yn eu holl ogoniant," yn peri nad oes obaith ynom i ddysgwyl am ddim gostyngiad trethi ynglŷn â *budget* nesaf Mr. Gladstone.—Y mae Syr Robert Peel, yr ysgrifenydd gwladol gyda golwg ar yr Iwerddon, wedi tynu yn ei ben yr esgobion a'r offeiriaid Pabaidd; ac y mae yr aelodau Pabaidd yn y Senedd yn adchwythu eu bygythion a'u celanedd yn ei erbyn. Yr oedd Syr Robert, cyn dyfod i'r ysgrifenyddiaeth, wedi bod mewn cyfarfodydd cyhoeddus yn dynoethi yr erlidigaeth ar y Protestaniaid gan yr awdurdodau Pabaidd yn Spain, o'r hyn y buasai efe, mewn rhan, yn llygaddyst; ac felly yr oedd efe yn anocheladwy wedi rhoddi rhai dyrnodiau trymion i'r grefydd Babaidd; ac nid oedd wiw iddo gan hyny ddysgwyl ffafr na hynawsedd oddiar law penaethiaid eithafol y Babaeth yn y deyrnas hon. Ond y mae pawb sydd yn caru iawn drefn ac uniondeb yn cymeradwyo dewisiad Arglwydd Palmerston o Syr R. Peel i'r swyddogaeth ddywededig; canys y mae efe yn ymddangos yn benderfynol i wneuthur yr hyn a farna yn gyfiawn ac yn anghenrheidiol tuag at bob dosbarth o'r Gwyddelod, gan nad pa un a foddia efe y penboethiaid Pabyddol ai peidio.—Y mae gwrthwynebiad mawr wedi ei ddangos i'r *Revised Code of Education* gan Gynghor Addysg, a thebyg yw y bydd raid llarieiddio llawer arno cyn y gellir ei osod mewn gweithrediad. Dywedai Mr. Lowe, rhaglywydd ac yn wir-enaid y Cynghor, fod y drefn bresennol o gynnorthwyo Addysg Gwladol yn rhy ddrud ac yn aneffeithiol, ac y gwna y gyfundrefn newydd a gynnygir y drefn yn rhatach os nad yn well. Ond y mae athrawon a chyfeisteddfodau yr Ysgolion Cenedlaethol a Brytanaidd yn gyffredinol yn edrych ar ei gyfnewidiadau ef yn annheg tuag atynt hwy ac yn niweidiol i achos addysg.

Gan y bydd y 24ain o fis Awst nesaf yn gwneuthur i fyny ddau can' mlynedd er pan yr ymadawodd y ddwy fil Anghydffurfwyr â'u bywioliaethau yn Eglwys Loegr er mwyn cydwybod, gwneir parotöadau mawrion gan yr Annibynwyr, y Bedyddwyr, ac enwadau Ymneillduol eraill, i gadw y ddaucanmlwyddiaeth mewn modd anrhydeddus i'w coffadwriaeth hwy a manteisiol i'w hachosion enwadol eu hunain. Y mae symiau helaeth iawn wedi eu tanysgrifio eisoes; a gwneir egnïon trwy ddarlithoedd a chyhoeddiadau arbenig i alw sylw adnewyddedig a chyffredinol at yr hen wroniaid teilwng a ddangosasant mai rhaid oedd iddynt ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion.

Wedi i ni groesi y môr, a myned drosodd i Ffrainc, nid allwn weled yno ar hyn o bryd ddim o bwys neillduol na chyffredinol. Y mae Senedd Ffrainc yn awr yn eistedd, lle y caniatëir rhyddid i siarad yn hyf ac

i'r ddadleu yn wresog. Ond dyna y cwbl a ddyry yr Ymherawdwr. Wedi i'w seneddwyr gael siarad a fynont, y mae awdurdod Louis Napoleon yn dywedyd wrth y Senedd, "Hyd yma yr äi, ac nid ymhellach." Efe ei hun mewn gwirionedd yw unig ddeddfwr y Ffrancod. M. Jules Favre, y dadleuwr cyfreithiol, a ddywedai yn groew mai annoeth ac anniogel oedd cadw y bobl i lawr gan y Llywodraeth. Nid oedd yn awr yn Ffrainc, medd efe, ond un newyddiadurwr—yr Ymherawdwr; nid oedd y cyhoeddwyr eraill ond ei gaethweision, y rhai y byddai raid iddynt blygu yn ngwyneb rhybudd oddiwrth y penadur. Ac nid oedd yr etholiadau fel eu dygid ymlaen yn bresennol, meddai, ond dirmyg a diystyrwch ar yr etholwyr; canys rhaid oedd i faer tref arfer ei awdurdod i gael pleidleisiau wrth fodd y llywiawdwyr. Traddododd y Tywysog Napoleon, cefnder yr Ymherawdwr, a mab yn nghyfraith Brenin Italy, areithiau hyawdl ac effeithiol eleni drachefn yn erbyn llywodraeth y Pab ac o blaid rhyddid ac iawnderau yr Italiaid. Rywfodd nid oes neb eto yn deall Ymherawdwr y Ffrancod; ei galon yn wir nid ellir ei chwilio. Ai gormesdeyrn o anian ydyw, neu ai aros y mae am amser cyfaddas i ryddfreinio ei ddeiliaid ansafadwy, ynte ai anturiaethwr yw sydd yn ymddibynu ar "bennod damweiniau,"—pwy sydd yn gwybod?

Yn Italy, y mae Ricasoli, olynydd teilwng a gonest Cavour, wedi ymadael â'r swydd o Brifweinidog, a Ratazzi wedi ei benodi yn ei le. Y mae efe, meddir, yn fwy o gyfaill personol i Victor Emmanuel, ac yn fwy cyfeillgar hefyd â llys Ffrainc, na Ricasoli. Ofnid, pan y cymerodd Ratazzi awenau y Weinyddiaeth, nad oedd hyny yn llefaru daioni i Italy; ond dywedir yn bresennol fod Garibaldi wedi cael ei foddloni yn ei wladgarwch, a'i fod mor benderfynol â'i ragflaenoriaid swyddol i beidio gorphwys nes cael Rhufain yn brifddinas teyrnas newydd Italy. Ychydig amser yn ol, dywedai y Cardinal Antonelli, prifweinidog y Pab, mewn llythyr at Thouvenel, ysgrifenydd tramor Ffrainc, fod teimlad o oerfelgarwch yn ffynu yn wir rhwng y Pab a llywodraeth Turin, ond am y Pab a phobl Italy nad oedd rhyngddynt hwy ond pob cydwelediad a chydymfoddloniad. Gydag i'r ohebiaeth hono ddyfod yn hysbys, daeth yr Italiaid allan, ymhob tref a phentref agos, i arddangos yn y modd mwyaf cyhoeddus eu gwrthwynebiad i lywodraeth y Pab, a'u cymeradwyaeth i'r eiddo Victor Emmanuel. Ni bydd, nis gall Italy fod yn dawel nes y byddo llywodraeth dymmorol y Babaeth wedi ei chwbl ddymchwelyd. Yn y cyfamser, hysbysir fod yr hen Dad sanctaidd ei hun yn wan a nychlyd, ac yn annhebyg o fyw blynyddoedd eto. Anhawdd yn ddïau fydd ethol Pab ar ei ol yn llywydd gwladol.

Y mae Brenin Prwssia yn ymddangos heb ddeall natur ffurflywodraeth ei wlad, ac fel pe byddai am ei throi yn ôl o fod fel y mae yn gyfansoddiadol i fesur mawr fel ein gwlad ni, i fod yn hollol unbenaethol fel mewn hen amserau. Mae wedi dattod y Senedd am ei bod yn rhy ryddfrydig ganddo. Ond er fod y Prwssiaid yn ddiarebol am eu hamynedd, dysgwylir y rhoddant yn yr etholiad dyfodol wers a gofir gan William I., ac y dangosant iddo na chymerant ormesdeyrn i'w llywodraethu yn y dyddiau hyn. Da genym ddeall fod ei fab, etifedd y goron, a mab yn nghyfraith ein Brenines ni, yn un o syniadau rhyddfrydig, ac yn perchen llawer mwy o synwyr na'i dad.

Yn "Nhrem" ein rhifyn diweddaf, yr oeddem mewn pryder ynghylch

yr anghydweledIad rhwng Prydain ac America o achos attafaeliad Mason a Slidell, cenadon y Deheuwyr, a'u dygiad ymaith o long Brydeinig. Ond aeth y cwmwl hwnw heibio, a haulwen heddwch a chydfod sydd yn tywynu rhwng y wlad hon â'r llywodraeth Americaidd. Cydnabu y llywodraeth hono yn rhwydd fod yr attafaeliad hwnw gan y Cadben Wilkes yn un anghyfreithlawn ac anawdurdodedig; a gollyngasant y Deheudiriaid (bu agos i ni ddyweyd, y pechaduriaid) yn rhydd, y rhai a ddaethant drosodd i Loegr. Buan y dangosodd y wlad hon mai teimlo dros anrhydedd ac iawnderau Prydain, ac nid mewn un modd dros wrthryfelwyr y Dehau na'u cenadon, yr ydoedd yn yr anfoddlonrwydd cyffredinol a ddangosid i'r gweithrediad attafaelol, a'r gwaeddi am iawn o'r herwydd; canys wedi i Mason a Slidell ddyfod yma, dedfrydwyd hwy yn union i anenwogrwydd disylw. Ond nid ychydig a gostiodd yr helynt o'u herwydd i'r deyrnas hon. Aeth ein llywodraeth i draul a gyrhaeddodd dros filfil o bunnoedd mewn darpariadau gyferbyn â'r gwaethaf a allai ein cyfarfod o'r ochr draw i'r Atlantic: parotöad llongau rhyfel, anfoniad milwyr i Canada, a phethau eraill o'r fath. Yr oedd arweinwyr y gwrthryfel Deheuol yn llawenychu yn fawr o herwydd y tebygrwydd yr elai yn rhyfel rhwng ein gwlad ni âg Undebwyr America, gan y buasai hyny yn gwanhâu eu gwrthwynebwyr, ac yn rhoddi mantais iddynt hwy i ennill eu hannibyniaeth. Ond yr heddwch rhwng y Prydeinwyr â'r Undebwyr â'u siomodd yn aruthr. Ac erbyn hyn, y mae eu hachos wedi myned yn bruddaidd ac yn anobeithiol. Mae y Gogleddwyr wrthi yn ennill y buddugoliaethau pwysicaf y naill ar ol y llall, ac yn ymgau o amgylch y milwyr Deheuol. Mae taleithiau Tenessee a Kentucky wedi eu sicrhâu yn gwbl i lywodraeth yr Undeb; ac y mae cenadwriaethau diweddaf Jefferson Davies yn arddangos digalondid mawr. Eto, nid yw yn debyg y bydd i'r gwrthryfelwyr ymostwng ar frys; eithr daliant allan, fel yr ymddengys yn bresennol, yn ffyrnig hyd y diwedd. Ein cysur yw fod "yr Hwn sydd uwch na'r uchaf yn gwylied," a bod calonau plant dynion yn ei law Ef, i'w troi fel y myno. Y newydd diweddaf pwysicaf o'r America yw fod y Llywydd Lincoln wedi gwneyd math o gynnygiad i'r Deheuwyr i roddi pen ar gaethwasanaeth yno, trwy brynedigaeth y caethion â chyllidau y Llywodraeth mewn modd graddol, gan adael, pa fodd bynag, i bob talaeth hawl i barhâu neu i ymwrthod â'r sefydliad caethwasol yn ol ei dewisiad. Pa le y ceir arian y rhyddhâd, ni ddywedir i ni. Beth bynag a ddaw o'r cynnygiad newydd hwn, y mae yn dangos fod llywodraeth Abraham Lincoln yn dechre gwrthdystio yn gyhoeddus yn erbyn cyfundrefn felldigedig caethwasanaeth, a'i bod wedi myned yn ddiofryd-beth y bydd raid ar fyrder ei dinystrio.

# NODIADAU LLENYDDOL.

PAN yn cyfeirio yn ein rhifyn diweddaf at y llyfrau a gyhoeddasid y flwyddyn a aethai heibio, ni a anghofiasom rywfodd yn gwbl y prif lyfr mewn dysgeidiaeth Ysgrythyrol a ddaethai allan yn ystod y flwyddyn, ac un yn ddiammheu o'r rhai galluocaf, ar ei destyn, a gyhoeddwyd erioed:—*Introduction to the Pentateuch: An Inquiry, Critical and Doctrinal, into the Genuineness, Authority, and Design of the Mosaic Writings. By the Rev.* Donald Macdonald, M.A., *Author of "Creation and the Fall." In Two Volumes.* Edinburgh: T. & T. Clark, 38 George Street. London: Hamilton, Adams *and* Co. Dublin: John Robertson. 1861. Un o weinidogion yr Eglwys Rydd ydyw Mr. Macdonald, yn mhlwyf Edinkillie yn Swydd Elgin, yn Scotland. Ychydig flynyddoedd yn ol, ni a alwasom sylw at yr unig lyfr adnabyddus i ni a gyhoeddwyd ganddo o'r blaen, a'r un y cyfeirir ato ar wyneb-ddalen y cyfrolau hyn; *Creation and the Fall.* Am y gwaith hwnw ni a ddywedasom, "Anaml iawn y cyfarfyddir â llyfr yn arddangos y fath allu, y fath ymchwil, y fath bwyll, y fath onestrwydd, a'r fath benderfyniad, a'r gyfrol hon. Y mae yr awdwr yn perthyn i'r dosbarth goreu o esbonwyr; ac yr ydym yn hyderu nad yw y llyfr hwn ond ernes o'r hyn a ellir ddysgwyl oddiwrtho mewn cysylltiad â llênyddiaeth Ysgrythyrol." Y mae y cyfrolau golygus a gwerthfawr sydd yn awr ger ein bron yn brawf mai nid ofer y dysgwyliad a goleddid genym; ac nid ydym yn ammheu dim, os caniateir einioes ac iechyd i'r awdwr llafurus a dysgedig, na cheir oddiwrtho eto lawer o'r fath bethau. Y mae ymosodiadau arbenig wedi cael ac yn parhâu i gael eu gwneuthur gan anffyddiaeth yn erbyn Pum' Llyfr Moses,—yn erbyn eu dilysedd llênyddol, eu cywirdeb hanesyddol, ac, yn enwedig, yn erbyn eu hawdurdod Ddwyfol. Yn ganlynol, y mae amryw lyfrau gwerthfawr o bryd i bryd wedi eu cyhoeddi yn amddiffynol iddynt; ond hyd yn hyn ni chyhoeddasid yr un gwaith gwreiddiol, yn y deyrnas hon, yn cyfarfod y ffurfiau diweddaraf ar y gwrthddadleuon yn erbyn eu hawduriaeth a'u hawdurdod, ac yn amcanu gosod y darllenydd yn ngoleuni pob darganfyddiad mewn iaith, gwyddoreg, a hanesyddiaeth, ar dir cwbl ddiogel a sicr o ran ei feddwl yn nghadernid y ffydd Gristionogol gyffredin o berthynas iddynt. Y mae cyfieithiadau da i'r Saesoneg o ysgrifeniadau Hengstenberg, Havernick, a Kurtz, ar y llyfrau hyn, yn neillduol gyda golwg ar y cwestiynau y cyfeiriasom atynt; ond nid yw y naill na'r llall, na'r tri yn wir gyda'u gilydd, ymhob modd yn ateb i anghenrheidiau yr efrydydd; ac nid oes dim yn wir a ddengys ragoriaeth y cyfrolau yn awr dan ein sylw yn fwy na chymhariaeth rhyngddo â'r goreu o honynt. Mae Mr. Macdonald yn dosbarthu ei waith i "Dri Llyfr." Yn y Llyfr Cyntaf y mae yn gosod ger ein bron y testyn dan sylw, a'r dull neillduol

a gymerir ganddo i ymdrin âg ef. Yma y mae yn sylwi ar y lle neillduol a berthyn i'r Pum' Llyfr mewn cysylltiad âg Iuddewiaeth a Christionogaeth; yn adolygu yr ymosodiadau a wnaed ar eu Dilysedd a'u Hawdurdod; yn rhoddi golygiad cryno, ond manwl a chyflawn, ar eu cynnwysiad a'u perthynas â'u gilydd; gan derfynu gyda rhestr o'r prif ysgrifeniadau arnynt yn ngwahanol oesoedd yr Eglwys Gristionogol, o amser Origen hyd y dyddiau presennol. Yn yr Ail Lyfr y mae yn ymdrin, gyda gofal a manylder a helaethrwydd mawr, ar Ddilysedd awdurol, Cywirdeb hanesyddol, ac Awdurdod y Pum' Llyfr. Y mae gallu a gonestrwydd yr awdwr yn arbenig i'w canfod yn y dosbarth yma, ac y mae gwerth neillduol yn null yr ymdriniaeth, yn gymaint a'i fod yn cael ei ddwyn ymlaen yn y fath fodd ag i alluogi y darllenydd yn wastad i ffurfio barn deg drosto ei hunan, ynghylch cywirdeb neu anghywirdeb y casgliadau yr amcana yr awdwr ei dynu iddynt. Yn y Trydydd Llyfr y mae yn olrhain Amcan y Pum' Llyfr fel Dadguddiad Dwyfol, ac fel Sylfaen y Cyfansoddiad a'r Ffurf-lywiaeth Hebrëaidd. Mae yr awdwr yma, mewn gwirionedd, yn myned i mewn i ysbryd yr hen ysgrifeniadau parchedig, ac felly, yn anghenrheidiol, i galon rhai o'r pynciau pwysicaf a berthyn i'n crefydd; ac y mae yr holl ymdriniaeth yn arddangos "ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd." Mae y rhan yma o'r gwaith yn cymeryd i mewn y cwbl o'r ail gyfrol. Mae yr awdwr yn ein cyfeirio uwch ben pob adran at y gwahanol lyfrau yn y rhai yr ymdrinir a'r un testynau—ac y mae y rhai hyny yn cynnwys yr ysgrifenwyr goreu ymhlith gwahanol ranau yr Eglwys Gristionogol trwy yr holl oesoedd. Llyfr ydyw hwn, yn holl ystyr y gair, i'r sawl a fyno dreiddio i ddirgelwch y Dadguddiad Dwyfol, ac ymdeimlo yn ddiogel yn nghysgod y gwirionedd ei hunan, yn nghanol holl ruthriadau ammheuon y byd. Pris y llyfr ydyw un swllt ar hugain.

Tua diwedd y flwyddyn ddiweddaf, fe gyhoeddwyd cyfrol arall dra dyddorol, gan un y mae ei enw a'i ysgrifeniadau yn gwbl adnabyddus i lïaws o'n darllenwyr,—*The Spirit of the Hebrew Poetry. By* Isaac Taylor. London: Bell *and* Dalby. 1861. Y mae y gyfrol hon yn dwyn yr un enw a chyfres o Ddarlithiau a draddodwyd gan yr awdwr yn Edinburgh, ac ar ol hyny yn Glasgow, yn y flwyddyn 1852. Ceisiasid ganddo gyhoeddi y Darlithiau y pryd hwnw, ond nid oedd yn teimlo ei fod wedi cael y fath hamdden i'w parotoi ag y dymunasai eu gweled yn argraffedig yn y wedd oedd arnynt pan y cawsant eu traddodi. Yn ganlynol nid oes ond ychydig iawn o'r llyfr heb ei ail-ysgrifenu yn gwbl gan ei gyfaddasu i agwedd bresennol beirniadaeth ar yr amrywiol destynau sydd yn dyfod ynddo dan ei sylw. Nid rhaid dywedyd wrth y rhai cydnabyddus âg ysgrifeniadau yr awdwr y fath arlwy hyfryd sydd yma i'r meddwl a allo fwynhâu y syniadau cywiraf, y cymhariaethau tlysaf, y chwaeth buraf, a'r iaith goethaf, mewn cysylltiad â thestyn nas gall byth syrthio yn ddibwys gan, nac yn annyddorol i, unrhyw feddwl Cristionogol. Y mae y gyfrol wedi ei hargraffu yn hardd anarferol, er y rhaid i'r prynwr dalu yn lled ddrud am hyny. Ei phris ydyw deg a chwech.

Llyfr arall gwerthfawr iawn a gyhoeddwyd y flwyddyn ddiweddaf

ydyw, *The Divine Covenants; their Nature and Design; or the Covenants considered as Successive Stages in the Development of the Divine Purposes of Mercy. By* John Kelly. London: Jackson & Walford. 1861. Y mae y gyfrol yn cynnwys y Darlithiau a draddodwyd mewn cysylltiad â'r *Congregational Library* am y flwyddyn 1860, gydag ychydig Nodiadau wedi eu hychwanegu ar y diwedd, pan yn parotoi y darlithiau i'r wasg. Mae Mr. Kelly yn dra adnabyddus yn y Cyfundeb y perthyna iddo fel un o'r gweinidogion parchedicaf o'i fewn, fel gŵr o alluoedd cryfion er heb ddoniau dysglaer, fel myfyriwr manwl a gonest ar y Dadguddiad Dwyfol, ac fel un penderfynol i sefyll yn erbyn pob dysgeidiaeth anghydweddol â'r ymddarostyngiad llwyraf i'r Ysgrythyrau sanctaidd fel unig reol ffydd mewn pethau crefyddol. Mae y gyfrol hon yn dwyn profion amlwg o'r un peth. Mae yr awdwr ynddi yn cymeryd golwg ar yr amrywiol gyfammodau y sonir am danynt yn yr Ysgrythyrau, gan edrych arnynt yn eu cysylltiad â'u gilydd, a'u cyd-berthynas â'r un amcan mawr, sef amlygu bwriadau grasol Duw tuag at y byd. Y mae yn gwadu fod y trefniad rhwng yr Anfeidrol a'n tad cyntaf Adda mewn un modd yn gyfammod, tra ar yr un pryd y mae yn benderfynol fod Adda yn cynnrychioli ei holl hâd, ac mai oblegid ei gamwedd ef y mae dynion yn cael, yn y lle cyntaf, eu cyfrif yn euog ac ymddwyn tuag atynt megys pechaduriaid, yn gystal ag yn cyfranogi o natur lygredig. Ond y mae yn werth i'r Efrydydd fynu cael y gyfrol iddo ei hunan. Y mae yn un o'r rhai goreu a ddaeth allan yn y gyfres y perthyna iddi. Ei phris ydyw saith a chwech.

Mae y gyfres a elwir *Clark's Foreign Theological Library* wedi gwellâu llawer yn y blynyddoedd diweddaf. Mae ymddangosiad allanol y cyfrolau yn brydferthach, yr argraffwyr yn gwneyd eu gwaith yn lanach ac yn gywirach; a'r hyn sydd fwy pwysig, y mae mwy o lawer o ofal yn cael ei gymeryd i sicrhâu cyfieithiadau cywir nag a gymerid yn fynych mewn blynyddau a aethant heibio. Mae yn resyn meddwl am y cam a gafodd Olshausen, Hagenbach, Müller, ac hyd yn nôd Lieseler, yn y golygiad hwn; a byddai yn drueni dirfawr i ddim o'r fath ddygwydd rhagllaw. Ni a allwn obeithio yn wir, oddiwrth yr argoelion presennol, nad rhaid i ni ofni dim gyda golwg ar hyny. Y cyfrolau am y flwyddyn ddiweddaf oeddent, *Theological and Homiletical Commentary on the Gospel of St. Matthew. Specially Designed and Adapted for the Use of Ministers and Students. From the German of* J. P. Lange, D.D., *Professor of Divinity in the University of Bonn. By the Rev.* Alfred Edersheim, Ph.D., *Vols* 1, 2. Ac hefyd, *History of the Development of the Doctrine of the Person of Christ. By* Dr. J. A. Dorner, *Professor of Theology in the University of Göttingen. Division First, First four centuries. Vol.* 1. *Division* 2. *Vol.* 1. *Translated by* William Lindsay Alexander, D.D., *and Rev.* D. W. Simon, Manchester. Y mae y gwaith uchod o eiddo Lange yn un ar gynllun gwahanol i'r un y cyfarfuasom ni âg ef erioed o'r blaen. Yn gyntaf yr ydym yn cael Nodiadau Beirniadol helaeth, lle yr ydym yn cyfarfod âg amrywiol olygiadau Esbonwyr hen a diweddar, ond gyda chryn fesur o annibyniaeth meddwl gan yr awdwr ei hunan yn eu canol, heb ar yr un pryd arddangos unrhyw duedd at fod yn wreiddiol er mwyn bod yn hynod; yr hyn, ysywaeth, sydd ry gyffredin

ymhlith ei gydwladwyr. Wedi myned trwy unrhyw adran yn y dull hwn, y mae yn tynu allan y Casgliadau neu yr Ystyriaethau Athrawiaethol a gyflwynir ynddi. Ar ol hyny y mae yn cyflwyno awgrymiadau at wasanaeth y pulpud, yn gyntaf o'i eiddo ei hunan, ac yna o eiddo amryw awdwyr eraill. Mae rhai o'r awgrymiadau hyn mewn gwirionedd yn gyfryw ag nas gallant lai na bod yn fuddiol iawn i'r rhai a deimlont anghen am y fath gymhorth; ac nid oes neb o bosibl heb gael ei hunan, yn ei dro, mewn amgylchiad felly. Bydd y gwaith hwn, pan ei gorphener, yn ychwanegiad gwerthfawr iawn at ein llênyddiaeth Ysgrythyrol. Mae gwaith Dorner yn perthyn i ddosbarth gwahanol ac o nodwedd llawer uwch, ac yn ddiddadl yn un o brif gyfansoddiadau yr oes hon, ac yn sicr y penaf oll o fewn cylch Hanes Athrawiaethau Crefydd. Mae yn gofyn nid darlleniad ond *astudiaeth caled, maith, a manwl.*

Mae dwy o'r cyfrolau a addewsid, ac yr hir ddysgwyliasid am danynt, fel atebiad i'r *Essays and Reviews* wedi ymddangos. Un o honynt ydyw *Replies to "Essays and Reviews." By the Rev.* E. M. Goulburn, D.D.; *Rev.* H. J. Rose, B.D.; *Rev.* C. A. Hearley, D.D.; *Rev.* W. J. Irons, D.D.; *Rev.* G. Rorison, M.A.; *Rev.* A. W. Haddan, B.D.; *Rev.* Christopher Wordsworth, D.D. *With a Preface by the Lord Bishop of Oxford; and Letters from the Radcliffe Observer and the Reader in Geology in the University of Oxford.* Oxford & London: John Henry *and* James Parker. 1862. Mae y gyfrol hon, fel y gwelir, yn dyfod oddiwrth y rhai a adnabyddir yn perthyn i'r blaid Uchel-eglwysig. Ond y mae rhai o'r atebion, dybygem ni, yn alluog anghyffredin. Un nodédig felly ydyw atebiad Mr. Rose i Dr. Williams. Mae ein cydwladwr, druan! yn ymddangos yn grëadur bychan iawn dan ei ddwylaw. Erthygl ragorol iawn, yn yr ysbryd a'r iaith fwyaf boneddigaidd, ydyw atebiad Dr. Goulburn i Dr. Temple. Nid ydyw yr eiddo Dr. Heartley, yn atebiad i Mr. Baden Powell, ar Wyrthiau, yn hollo lyr hyn a ddymunasem; ac y mae atebiad Dr. Wordsworth i Mr. Jowett yn llai felly fyth, er ei fod yn rhoddi rhai dyrnodiau trymion iawn i'r *Professor.* Mae atebiad Mr. Haddan i Mr. Pattison yn alluog iawn, ond yn hynod o dyner, gan ei amddiffyn braidd yn erbyn y cyhuddiad o gyfeiliornad athrawiaethol, a'i olygu yn unig oddiar safle lênyddol a hanesyddol. Ni chawsom hamdden eto i edrych i mewn i'r gweddill o'r traethodau yn y gyfrol hon, ond yr ydym yn dra hyderus, cyn ei ddarllen, oddiwrth yr hyn a welsom eisoes o ysgrifeniadau yr awdwr, fod traethawd Mr. Rorison ar Wythnos y Crëu yn un y gellir dysgwyl llawer oddiwrtho. Gallwn yn galonog gymhell y gyfrol i sylw ein darllenwyr. Ei phris ydyw deuddeg swllt.

Y gyfrol arall y bu hir ddysgwyliad am dani ydyw *Aids to Faith; A Series of Theological Essays. By Several Writers. Edited by* William Thomson, D.D., *Lord Bishop of Gloucester and Bristol.* London: John Murray. 1862. Mae y gyfrol hon eisoes wedi cyrhaedd y trydydd argraffiad, ac y mae yn ddiammheu y bydd yn fuan iawn wedi rhedeg trwy amryw eto. Yr ysgrifenwyr ydynt,—Mr. Mansel, "*On Miracles as Evidences of Christianity;*" Dr. Fitzgerald, "*On the Study of the Evidences of Christianity;* Dr. Mc Caul, "*Prophecy;*" Mr. Cook, "*Ideology and*

*Subscription;*" Dr. Mc Caul (eto), "*The Mosaic Record of Creation;*" Mr. Rawlinson, "*On the Genuineness and Authenticity of the Pentateuch;*" Mr. Harold Browne, "*Inspiration;*" Dr. Thomson (y Golygydd), "*The Death of Christ;*" a Mr. Ellicott, "*Scripture, and its Interpretation.*" Yr oedd dewisiad yr ysgrifenwyr a threfniad y testynau yn disgyn ar y Golygydd, ac yr oedd y nifer fwyaf o'r awdwyr yn rhoddi eu henwau heb wybod pwy fyddai eu cyd-ysgrifenwyr; ac y mae yr holl draethodau wedi eu hysgrifenu yn gwbl annibynol ar eu gilydd, ac heb un ymyriad ar du y Golygydd, yn ddim pellach nag ychydig awgrymiadau er attal i'r naill esgeuluso rhyw fater y gallasai dybied fyddai yn cael ei gymeryd i fyny gan un arall, neu i'r naill gymeryd yr un llwybr ag a gymerasid gan un o'r lleill. Tynodd un a addawsai yn ôl, ac felly galwyd, ar rybudd byr, ar Dr. Mc Caul i barotöi traethawd ychwanegol at yr un a benodasid iddo. Mae yr awdwyr oll yn adnabyddus fel ysgrifenwyr o'r radd flaenaf ar yr amrywiol gangenau a ymddiriedasid iddynt, ac y mae yn hawdd gweled nad oes un o honynt wedi ymgymeryd â'r gorchwyl presennol heb fesur o ymdeimlad â phwys yr ymddiried, ac â'r cyfrifoldeb cysylltiedig â'r dysgwyliadau sydd yn y wlad. Mae y gyfrol yn ddiammheu, a'i chymeryd gyda'i gilydd, yn annhraethol werthfawr i'r amcan oedd mewn golwg gan ei hysgrifenwyr, ac yn cyfansoddi amddiffyniad ardderchog i'r gwirionedd, yn wyneb y ffurfiau diweddaraf ar y gwrthddadleuon anffyddol yn ei erbyn. Mae y traethodau—ond ofer i ni geisio dethol lle mae y cwbl mor ragorol—a'r peth goreu i ni yn ddïau, ydyw cymhell ein darllenwyr i feddiannu y llyfr a barnu drostynt eu hunain. Ei bris yw naw swllt.

Mae llyfr arall ardderchog dros ben wedi dechreu cael ei gyhoeddi gyda golwg ar yr un amcan a'r cyfrolau blaenorol, er nad yn atebiad uniongyrchol, mwy na'r "*Aids to Faith*" i'r "*Essays and Reviews;*"—*A Defence of the Faith. Part First, Forms of Unbelief. By* Sanderson Robins, M.A., *vicar of St. Peter's in the Isle of Thanet, and Rural Dean.* London: Longman, &c. 1862. Mae yr awdwr yn parotöi dwy ran eto —"*On Christian Evidences, and on Holy Scripture.*" Hwn, o'r cwbl a gyhoeddwyd eto ar y ddadl hon, dybygem ni yn awr, fydd y llyfr, pan y gorphener ef, a geidw ei le fel gwaith arosol o werth ac awdurdod, wedi i'r cynhwrf presennol fyned heibio. Mae yn dechreu o'r dechreu, ac nid yw yn gadael dim hanfodol, càn belled ag yr aeth eto, o'r neilldu. Ni a edrychwn rhagom yn bryderus iawn am gyhoeddiad y rhanau eraill. Pris yr hyn a gyhoeddwyd ydyw saith a chwech.

Llyfr arall a achlysurwyd gan yr un amgylchiad ydyw, *Seven Answers to the Seven Essays and Reviews. By* John Nash Griffin, M.A., *of Trinity College, Dublin; formerly Senior Moderator and University Gold Medallist in Mathematics and Physics; and Moderator and Medallist in Ethics and Logic; Incumbent of St. Mary's, Spring Grove. With an Introduction, by the Right Honourable* Joseph Napier, *late Lord Chancellor of Ireland.* London: Longman, &c. 1862. Adargraffiad ydyw y gyfrol hon, heb ond ychydig gyfnewidiadau, o'r atebion a gyhoeddwyd fel *Supplements* i'r *London Review.* Mae yn ddiammheu fod llawer o'n darllenwyr wedi eu gweled a'u darllen y pryd hyny. Mae yr awdwr wedi nodi

allan yn rhagorol brif ddiffygion yr *Essays*, ac wedi cyfarfod yn fedrus iawn bob peth o bwys a ddygir ymlaen ynddynt yn erbyn ffydd yr efengyl, a hawliau y Dadguddiad Dwyfol. Mae yn dda genym weled yr atebion wedi eu casglu ynghyd yn un gyfrol ddestlus. Ei phris ydyw wyth a chwech.

Mae y gyfrol gyntaf wedi ei chyhoeddi er ys rhai misoedd bellach o *Sermons by* Jabez Bunting, D.D. London; John Mason, 27, City Road. 1861. Yr oedd Dr. Bunting yn ei fywyd yn dra adnabyddus fel un o brif bregethwyr ei oes. Unwaith y cawsom ni y fraint o wrandaw arno, ac y mae yn llawen iawn genym i ni gael y cyfleusdra hwnw. Yr oedd y bregeth hono yn ddiddadl, yn ein bryd ni, yn un o'r pregethau goreu a glywsom, neu fel y tybiem ar y pryd, a ddarllenasid genym erioed. Yr oedd y pryd hyny yn heneiddio ac wedi llesgâu cryn lawer. Darllenai y rhan gyntaf o honi,—yr oll, dybygid, a barotoisid yn fanwl—mewn dull naturiol, tyner, tra effeithiol; ac am yr ugain mynyd diweddaf elai rhagddo gyda'i bwnc, nid yn ddifyfyr, ond gan ddibynu, dybygid, ar gynhyrfiad yr adeg am y geiriau neillduol a arferid ganddo i gyflwyno y syniadau yr oedd o'r blaen wedi meddwl llawer am danynt, ac y teimlai yn amlwg yn ddwys iawn oddiwrth eu pwys iddo ei hunan ac i'r rhai a annerchid ganddo. Yr oedd weithiau yn y rhan ddiweddaf yma yn anghyffredin o effeithiol. Buasai yn dda iawn genym weled y bregeth hono yn argraffedig yn y gyfrol hon, pe na buasai ond er mwyn cymharu yr effaith a gawsai y darlleniad o honi genym ni â'r hyn a gynnyrchid gan y traddodiad o honi gan y pregethwr ei hunan. Mae y pregethau yn y gyfrol hon yn arddangos y myfyriwr manwl a gofalus ar yr Ysgrythyrau sanctaidd, gyda medrusrwydd anghyffredin i ymresymu allan o honynt ar yr amrywiol faterion sydd yn dyfod dan ei sylw, ac i wneyd eu hystyr yn eglur i ddirnadaeth ei wrandäwyr, heb anghofio gwasgu eu cynnwysiad at eu cydwybod a'u calon. Mae yr ail gyfrol yn y wasg, a dysgwylir hi allan yn fuan bellach. Nid ydym yn gwybod pris y gyfrol hon, ond ni a dybygem mai saith a chwech.

Cyhoeddwyd ychydig amser yn ol, *Llythyraeth yr Iaith Gymraeg. Gan* D. Silvan Evans. Caerfyrddin: W. Spurrell. 1861. Traethawd rhagorol iawn, dybygem ni, ar destun sydd wedi bod er ys oesoedd bellach â golygiadau gwahanol iawn arno, a mwy o ddadleu yn ei gylch nag o amcan teg tuag at gael unffurfiad. Yr ydym yn *bersonol* yn ddiolchgar i'r awdwr am y llyfr hwn, yr hwn sydd yn cynnwys llawer mwy nag a ellid gasglu oddiwrth ei ditl; ac y mae y trefniant a gyflwynir i ni ynddo yn ymddangos i ni, ar y cwbl, yn fwy cydweddol â theithi ein hen iaith na dim a welsom ni o'r blaen. Ei bris yw dau swllt.

Llyfr anghyffredin o werthfawr, teilwng o ymddangosiad llawer mwy destlus, ydyw *Daearyddiaeth Ysgrythyrol; yn cynnwys desgrifiad o holl Wledydd y Bibl, yn neillduol Gwlad Canaan. Gan* John Mills (G. Alarch), Ysgrifenydd Mygedawg yr "*Anglo-Biblical Institute;*" Aelod Mygedawg "*Jerusalem Literary Society;*" ac Awdwr "*Palestina,*" Y "*Grammadeg Cerddoriaeth,*" "*Hyfforddwr yn Efrydydd,*" &c. Llanidloes: Richard Mills. Nid ydym yn gwybod fod yn ein hiaith ni, cyn cyhoeddiad y gwaith hwn,

yr un llyfr o unrhyw fath, yn uniongyrchol, ar y testun dyddorol sydd iddo; ac er cynifer o lyfrau sydd gan y Saeson arno, nid ydym yn gwybod am gymaint ag un mor gyfaddas i anghenrheidiau y darllenydd cyffredin, yn gystal a'r efrydydd, a'r "llyfryn" bychan, fel y geilw yr awdwr ef, yn awr ger ein bron. Mae yn rhoddi mwy na chipolwg ar yr holl wledydd Ysgrythyrol, ond, yn ol ei wyneb-ddalen, ac fel y gallesid dysgwyl mewn unrhyw gyfansoddiad ar ei destyn, y mae yn manylu yn llawer helaethach ar Wlad Canaan. Y mae yn rhoddi mewn amryw bennodau i ni ddesgrifiad o agwedd naturiol y wlad, yn gystal ag ychydig grybwyllion at ei chynnyrchion, gan edrych ar y cwbl yn ngoleu y cyfeiriadau a wneir atynt yn yr Ysgrythyrau sanctaidd. Yna yr ydym yn cael mewn amryw bennodau drachefn olygiad ar yr amrywiol gyfnewidiadau gwladwriaethol yr aeth y wlad tanynt o'r oesoedd boreuaf, cyn ei goresgyniad gan yr Israeliaid, trwy yr Hen Destament a'r Newydd hyd y dyddiau presennol. O anghenrheidrwydd, mewn cyfrol o'r fath, nis gall yr olwg a gymerir fod ond yn dra chryno, eithr nid ydyw mewn un modd yn unochrog a siomedig, ond ymhob modd yn gyfryw ag i roddi i'r efrydydd syniad cywir ac eglur am yr hyn sydd dan sylw. Mae yn hyfrydwch mawr genym ei argymhell yn y modd mwyaf calonog i'n darllenwyr—ac yr ydym yn gobeithio y bydd yr alwad am dano y fath ag i beri i'r awdwr ddwyn allan argraffiad newydd o hono i'r llyfrgell, wedi ei helaethu mewn rhai manau, ei argraffu â llythyren frasach, a'i gyflenwi â Mynegai da i'r holl lyfr ac i'r Ysgrythyrau y ceir eglurhâd arnynt ynddo. Ei bris ydyw tri swllt.

Daeth i'n llaw dair Rhan o *Hanes Prydain Fawr: ei Chodiad, ei Chynnydd, a'i Mawredd. Gan* Thomas Lefi, Ystradgynlais. Abertawy: Joseph Rosser. 1861. Mae rhifedi yr awdwyr ar *Hanes Prydain* yn yr iaith Seisonig, ac yn ieithoedd Ffrainc a Germany, yn ddirfawr, ond nid ydym yn gallu cofio ar hyn o bryd fod genym ni yn ein hiaith yr un ond yr eiddo Titus Lewis, cyn ymddangosiad y gwaith hwn. Nid oes un hanes yn bod mwy cyflawn o'r addysgiadau goreu, nac odid un, od oes un, oddigerth yr hanes sanctaidd, yn cyflwyno ger ein bron gynifer o gymeriadau mor anrhydeddus yn holl ystyr y gair, ac ar yr un pryd mor efelychadwy yn eu rhagoriaethau, â hanes ein gwlad ein hunain. Mae rhywbeth nodedig o swynol i'r meddwl mewn dilyn gwlad fel yr eiddom ni yn yr amrywiol gyfnewidiadau yr aeth trwyddynt, yn ei hymddyrchafiad o'r cyflwr distadlaf i'r sefyllfa uchaf a mwyaf dylanwadol yn holl hanes holl wledydd y byd. Mae Mr. Lefi, càn belled ag y mae wedi myned, yn adrodd yr ystori hon yn rhagorol; ac er nad ydyw wedi dyfod eto i'r manau mwyaf cyffröus yn yr hanes, a'r lleoedd y gofynir, tuag at wneyd tegwch, fesur helaeth o ysbryd barn, yr ydym yn dra gobeithiol oddiwrth a wyddom am dano, ac oddiwrth yr ernes a roddes i ni yn y rhanau hyn, na siomir mo honom pan y daw at y rhanau hyny.

Yr ydym yn hyderu nad oes anghenrheidrwydd am i ni gymhell *Trysorfa y Plant,* cyhoeddedig gan Gymdeithasfäoedd y Methodistiaid Calfinaidd yn Ngogledd a Deheudir Cymru, i sylw neb a berthyn i'r Cyfundeb. Mae "Portha fy ŵyn," yn rhan mor arbenig o'r archiad Apostolaidd â "Bugeilia fy nefaid." Mae o bwys mawr magu ysbryd

darllen yn y meddwl ieuainc, a thuag at hyny rhaid ei gyfarfod i fesur mawr ar ei dir ei hunan—o ran dull, iaith, maint,—pob peth yn wir, ond y *pethau;* ac hyd yn nôd o ran y rhai hyny rhaid i'r addysg iddo ef, cyn y bydd yn effeithiol, esgyn at bethau crefydd, pethau Duw, pethau enaid a byd arall, trwy y pethau y mae ganddo eisoes ryw gymaint o ddirnadaeth am danynt, ac yr ymhyfryda fwyaf ynddynt. Mae yn ymddangos i ni fod *Trysorfa y Plant* yn cyfarfod yn hollol yr anghenrheidiau hyn—oddieithr fod yr iaith weithiau yn rhy leol i fod yn ddealladwy i holl blant y Dywysogaeth. Mae anhawsder fe allai i ochel hyny bob amser; a'r peth goreu ellir wneyd, hwyrach, ydyw cadw at iaith y cyfieithiad cyffredin o'r Ysgrythyrau. Mae Mr. Levi, dybygem ni, yn ei le, fel Golygydd y cyhoeddiad bychan gwerthfawr hwn. Yr ydym o'n calon yn dymuno rhwydd hynt iddo.

Mae yr argraffiad newydd y cyfeiriasom ato ychydig yn ol o holl waith y diweddar Dr. Edward Williams yn y wasg, ac i'w gyhoeddi gan Nisbet *and* Co. Mae yn ddrwg iawn genym ddeall fod amryw o'r Cymry, a roisant eu henwau at y gwaith, heb ateb y cylchlythyr a anfonwyd gan Mr. Davies, yn dymuno arnynt anfon eu henwau i Mr. Nisbet. Ni a ddymunem annog y rhai sydd wedi esgeuluso hyd yma, i wneyd yn ddioedi, gan nad argreffir ond yn unig y nifer anghenrheidiol i gyfarfod y rhai a wnelont. Os na wnant, byddant yn edifarhâu pan y byddo yn rhy ddiweddar; ac amddifedir Mr. Davies hefyd o ddim gwobr am y drafferth a'r draul fawr y mae wedi myned iddi i barotoi y cyfrolau yn gymhwys i'r wasg. Da chwi, Gymry, na adewch i gydwladwr ffyddlawn i chwi gael y fath golled oddiar eich llaw.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

## Y GENADAETH GRISTIONOGOL.

DYBEN y Grëadigaeth ydyw dadgan gogoniant Duw; oblegid nis gallasai meddwl a bwriad anfeidrol derfynu mewn dim ond gwrthddrych anfeidrol. Mae y Prynedigaeth yn dadgan y gogoniant hwnw gyda llawer mwy o effaith, ac mewn llawer mwy o gyflawnder, ac yn dadguddio priodoleddau Dwyfol mewn gweithrediad, pa rai nas gellid eu gwybod drwy Grëadigaeth a'i deddfau.

Y mae Crëadigaeth yn dadgan y gogoniant hwnw drwy ei gwrthddrychau, gweithrediadau, a deddfau. Pa fodd y dadgenir ef drwy Brynedigaeth? A pha fodd yr amlygir y ffaith o Brynedigaeth i'r hîl, i ba un y perthyn? Mae y pum' synwyr yn gwasanaethu yn rhywfodd er crëu syniad yn y meddwl o wrthddrychau Crëad; eithr pa fodd y gellir cyrhaedd gwybodaeth o natur ac ammodau Prynedigaeth?

Dyben yr ychydig sylwadau canlynol ydyw ceisio chwilio yn fyr i'r holiad cyntaf.

Y mae prif grefyddau y byd, gwir a gau, yn meddu eu cenadau a'u cenadaethau. Y mae cyhoeddusrwydd yn un o elfenau poblogrwydd, a rhyw ffurfreolau er cyhoeddi yn anghenrheidiol er cyrhaedd cyhoeddusrwydd. Os ydyw Cristionogaeth i ddyfod yn boblogaidd, rhaid iddi gael ei chyhoeddi. A ddadguddiwyd rhyw gynllun Dwyfol er ei chyhoeddi i'r hîl? Os felly, pa gynllun?

Duw ydyw Awdwr, Dyben, a Ffynnonell dedwyddwch dyn. Efe ydyw Awdwr galluoedd a deddfau ei enaid a'i gorff. Dyn sydd o hono Ef, a thrwyddo Ef, a dylai fod erddo Ef. Er nas gall dyn, hwyrach, ddirnad yn drwyadl natur, deddfau, na therfyngylch ei berthynas â gwrthddrychau crëadigol, nac â'u Crëawdwr, eto gall ddirnad a theimlo *fod* perthynas. Nid ydyw hyny ond dirnadaeth a theimlad o ffaith. Er nas gall ddirnad paham a pha fodd y ffaith hono, eto teimla a gŵyr ei bod yn ffynnonell dyledswyddau. Ac y mae hyny yn ddigon i'w wneyd yn grëadur cyfrifol a chrefyddol.

Pan wrthryfelodd dyn yn erbyn ei Grëwr, a phan gyfododd gelyniaeth rhyngddynt, diflanodd eu cymundeb, a newidiodd natur y berthynas rhyngddynt. Collodd dyn ei wybodaeth pa fodd i wasanaethu ei Grëwr odditan y berthynas newydd, eithr parhäodd y teimlad cynnwynol fod ei wasanaethu yn ddyledswydd. Mewn crefydd, teimlad heb wybodaeth, sydd ddall, a gwybodaeth heb deimlad sydd ddieffaith a diysgogiad. Rhaid i'r cynneddfau dirnadol yn gystal â'r rhai ysgogiadol—y galluoedd

dibynol ar y deall yn gystal ag ar yr ewyllys—gael eu hadnewyddu er adsefydlu perthynas a chymundeb dyn â'i Grëwr. Ffydd yr efengyl ydyw y moddion er cynnyrchu yr adnewyddiad hwnw, ac er adsefydlu y berthynas hono. "Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw."

Gan fod dadguddiad newydd o ewyllys Duw i ddyn fel gwrthryfelwr i'w gyhoeddi, tybia un y buasai yn ddoeth i'r dadguddiad hwnw gael ei wneyd yn meddwl a chydwybod pob person yn unigol, trwy ryw weithrediadau dirgelaidd a goruwchnaturiol ar ddeddfau y meddwl a'r ewyllys—tybia un arall mai y dull mwyaf priodol a manteisiol a fyddai trwy wneyd dadguddiadau Dwyfol ac anghyffredinol i brif ddoethwyr pob cenedl, pa rai a allent drosglwyddo y wybodaeth Ddwyfol hono i'r gwerinoedd yn eu priodwledydd eu hun—tybia eraill y dylai profion gweledig a theimladwy o bresennoldeb Duwdod, ymhob gwlad, cenedl, ac oes, gydfyned â'r fath ddadguddiad, os gwneir ef—tybiai un arall, a hwyrach dim ond un, Mahommed, y dylid gwneyd y fath ddadguddiad trwy offerynoldeb cyfrinachol angel, pa un, yn anweledig i bawb ond y dyn etholedig, a rydd iddo addysg pa fodd i ddarostwng pawb i roddi ufudd-dod i'r dadguddiad angelaidd, drwy rym arfau ac ofn angeu.

Ni therfyna tybiau dynion eu hamrywiaeth yma; ac nid ydyw yn debyg y cyduna dynion yn fuan pa ddull a fyddai y mwyaf teilwng a phriodol i roddi dadguddiad newydd, os rhoddir un. Eithr gan mai Duw a rydd y dadguddiad, y mae ganddo Ef hawl ac awdurdod, hyd yn nôd yn marn dyn, i ddewis ei Amser a'i Fodd. Dewisodd ef, heb ofyn i ddyn.

"Duw gwedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt wrth y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd wrthym ni yn ei Fab." Yn ystod hir gyfnod olynol-ddilyniad y dadguddiadau, "yn yr oesoedd gynt, goddefodd i'r holl genedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain." Gwedi gwneuthur o "un gwaed bob cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb y ddaear, Efe a benodd yr amseroedd rhagosodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt, fel y ceisient yr Arglwydd, os gallent ymbalfalu am dano Ef, a'i gael."

Methasant ei gael. "Eithr gan dybied eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid; ac a newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwarcarnol, ac ymlusgiaid."

Yn y cyfamser, meddwl dyn nis gorphwysasai yn ei ymchwiliadau. Cynnyddai y gwrthryfelwyr mewn nifer, mewn cyfeiliornad, mewn gelyniaeth, ac mewn trueni. Cynnyddai hefyd, yn raddol, belydron y drugaredd a brysurai i'w hachub. Crwydriadau y meddwl dynol a ddechreuent beri i ddoethwyr edrych yn ôl dros y cyfandir diffaeth a diffrwyth pa un a deithiasent, rhag eu bod allan o'r iawn lwybr er cyrhaedd y nôd a ddymunent. Deallai rhai o honynt eu bod yn y niwl, a dyheuent am oleuach dyfodol. "Anghenrhaid yw," medd Socrates wrth Alcibiades, "iddo Ef (sef y Cenad Dwyfol), gymeryd ymaith y nifwl oddiar dy ysbryd, pa un a ddygwydd fod arno yn bresennol, ac yna dadguddio y pethau hyny a'th alluogant i wahaniaethu rhwng da a drwg; oblegid ni thybiaf y gelli yn bresennol." "Cymered ymaith y nifwl, neu pa beth bynag arall a ewyllysio," ydoedd ateb Alcibiades; "yr wyf yn barod i ymadael â pha beth bynag a ewyllysio Efe, pwy bynag ydyw,

os gallaf ddyfod yn well dyn trwy hyny." Ymbalfalai y doethion am belydryn neu ddau er eu cyfarwyddo yn ôl at ffynnonell eu dedwyddwch. Amser, dygwyddiadau, a meddwl, a ymdreiglent ymlaen heb aros wrth neb. Y doethwyr a deimlent yr ysgogiad, a chan nad allent ei reoli, ei ddirnad, na'i egluro, galwent ef yn dynghed, pa un nid ydyw ond enw arall ar anwybodaeth dynion o'r Anweledig a'r Dwyfol.

"Yet I doubt not through the ages, one increasing purpose runs,
And the thoughts of men are widened, with the process of the suns."

Tra yr ydoedd yr holl genedloedd yn myned trwy eu prawf, ac yn methu yn druenus ynddo, a thra yr ydoedd "Duw yn esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth" hono, ysgogai trugaredd yn gyfochrog âg amynedd Dwyfol. "Y gwlaw, y tymmorau ffrwythlawn," yr ymborth, ac "ystyried y pethau a wnaed," a dystient yn ddigonol i "Dduwdod," "tragywyddol allu," doethineb, a daioni Crëwr y byd.

Yr oedd Prynedigaeth yn meddu hefyd ei hawyrgylch, ei huan, a'i phelydron goleuni. "Bendigedig a fyddo Arglwydd Dduw Sem," meddai trugaredd ar drannoeth y dylif. Pan gwympodd Sem, cyfododd tyst arall. "Mi a gymerais eich tad Abraham ymaith o'r tu hwnt i'r dyfroedd—ac a amlhëais ei hâd." Yr "hâd" hyny a ddewisodd Duw i fod yn bobl briodol iddo ei hun o'r holl bobloedd ar wyneb y ddaear. Nid am eu bod yn lliosocach, oblegid yr oeddynt yr "anamlaf o'r holl bobloedd;" nid am eu "cyfiawnder a'u huniondeb," oblegid "tŷ gwrthryfelgar" oeddynt. Yr ydoedd gan Ddûw amser a modd apwyntiedig i'w genadaeth. Gwnaeth o'r "hâd" hyn "freniniaeth o offeiriaid, a chenedl sanctaidd." Dewisiad un genedl ydoedd rîs newydd yn ei genadaeth Ef. Daeth y genedl hono yn goleg o offeiriaid. Parhäodd y coleg hyd oni ddaeth "cyflawnder yr amser;" yna newidiwyd y "bobl briodol" am "yr holl genedloedd," a "gwlad yr addewid" am "holl fyd" cyfammod y Messïah.

Deuddeg dyn o fysg y "gweddill a achubwyd," yn nhoriad i fyny yr hen goleg offeiriadol, a lafuriasant yn galed er lledu y wybodaeth o'r Prynedigaeth i'r "holl fyd." Yn ddiweddarach, cyflogwyd trydydd ar ddeg, fel un annhymig, i'w cynnorthwyo. Llafuriodd hwn yn "helaethaeth na hwynt oll." Trosglwyddodd y rhai hyn y gorchwyl i genadon yr oesoedd canol, tywyll, ammheugar hyn. Rhaid i'r rhai hyn lafurio hyd oni "ddêl cyflawnder y cenedloedd i mewn; ac felly holl Israel a fydd cadwedig." Ac os bu gwrthodiad y "bobl briodol" yn gymmod i'r byd, beth fydd eu derbyniad ond bywyd o feirw?

Tybiodd rhai fod Rhagluniaeth Ddwyfol yn rhoddi addysg i'r hil ddynol am dair mil o flynyddoedd, yn gystal trwy gyfundraethau eilunaddolgar y gwahanol wledydd a chenedloedd, â thrwy gyfundraeth ddadguddiedig hâd Abraham. "Duwiau barddonol Groeg, duwiau traddodiadol Rhufain, addoliad bwystfilaidd yr Aipht, ac addoliad heulaidd y Dwyreinfyd—oll gwedi eu cysylltu gyda deddfau a ffurfiau gwladweiniol, yn tarddu o'r un ffynnonell a hwy eu hunain, sef cymeriadau a phriodoleddau y gwahanol genedloedd—oeddynt foddion yn nhrefniant Rhagluniaeth Ddwyfol er addysgu y Cenedloedd, i'r un dybenion a'r trefniant Iuddewig." Drachefn, "Felly yr Hebrëaid a ddysgent y gyd-

wybod, Rhufain yr ewyllys, Groeg y rheswm a'r chwaeth, a'r Dwyreinfyd y dychymyg ysbrydol."*

Haeriadau pwysig ydyw y rhai hyn. Ofnwn fod yr "Eglwys Lydan" *(Broad Church)* gwedi myned gryn lawer yn lletach na'r Bibl yma. Y fath olygiadau a gydgordient yn dda gyda eu cyfeillion yn nhu dalenau Lessing neu Strauss, eithr ni chydgordiant mor dda gyda'r "namyn un deugain erthygl." Yn ol Dr. Temple, ni "lygrodd dynion eu ffordd ar y ddaear;" ni "newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybiaeth llun dyn llygredig," &c. Holl eilunaddoliaeth y byd nid ydoedd amgen na "moddion yn nhrefniant Rhagluniaeth Ddwyfol" er addysgu y Cenedloedd. Y mae yn wir yr awchlymid cynneddfau y meddwl trwy ei fythymgais a'i fethiant i ffurfio crefydd gyfaddas i farn resymol a chydwybod foesol yr enaid. Dygodd Duw ddaioni i'r hil allan o lygredigaeth dyn. Eithr ni phrawf hyny fod addoliad Zeus a Jupiter, Hera a Juno, Osiris ac Isis, Siva a Kali, a'r cyffelyb, yn drefniant Dwyfol i'r un dyben âg addoliad Jehofah yn y "trefniant Iuddewig."

Y mae anhawsderau ynglŷn â'r cynllun o wneuthur teleran Prynedigaeth yn hysbys i'r hil trwy Genadon a Chenadaethau. Nid ewyllysir celu na gwadu bodolaeth anhawsderau. Eithr dyweder a fyner gan Reswm, Philosophi, ac Anffyddiaeth, eto llywodraetha Duw y byd, a'r hil ddynol ynddo, yn unol â'i fwriad, ei ewyllys, a'i ddull ei hun. Ni fwriadodd Efe i reswm dyn wasanaethu fel llinyn mesur i'w weithrediadau, ac fel safon ei farn. Mil o flynyddoedd sydd gryn dalm i ddyn; iddo Ef nid ydyw ond fel "doe wedi yr êl heibio." Tarddiad a bodolaeth anghyfiawnder a drwg, oddifewn llywodraeth Duw cyfiawn, doeth, a da, a ymddengys fel effaith rhyw achos aneglur yn y niwldir ar derfyngylch gweithrediadau rheswm i ddyn; ond gyda Duw nid ydyw ond tröell fechan yn nghadwen ddiderfyn ei ddirnadaeth ei hun. Trosglwyddiad euogrwydd a'i gosb oddiar yr euog i'r Dieuog, a chosbi y Cyfiawn am droseddau y pechadur, a ymddengys yn fwy na bod yn annirnadwy—ymddengys yn anghyson, os nid yn anghyfiawn—i allu canfyddol cyfyngedig rheswm dyn, tra yr ymhyfryda y Deall Anfeidrol yn nyfnder doethineb, prydferthwch, sancteiddrwydd, a dysgleirdeb gogoniant y fath gynllun. Safon a chanolbwynt gweithredoedd Duw ydyw ei ddoethineb a'i ogoniant ei hun, ac nid rheswm a gogoniant dyn.

Cynllun Duw ydyw efengyleiddio y byd drwy Genadaethau. Iesu Grist ydoedd Sylfaenwr y Cenadaethau Cristionogol. Yr oedd Efe ei hun yn Genadwr. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur," ydoedd *Magna Charta* cenadaeth y Deuddeg. A drosglwyddwyd y gynddeddf hon yn ei chyflawn awdurdod ac ëangder i'r gweinidogion a'r eglwysi Cenedlig? Pa beth a drosglwyddodd yr Apostolion Iuddewig i'w holynwyr o'r Cenedloedd? Ai sefydlu a chadarnhâu y dysgyblion drwy fugeiliaeth, neu ynte ledu y wybodaeth o deleran y cyfammod newydd ymhellach bellach ymysg yr hil wrthryfelgar, ydoedd *prif* briodoledd y gofal eglwysig, a'r oruchwyliaeth swyddogol a drosglwyddwyd ganddynt? Y mae y rhai hyn yn ofyniadau pwysig. Ynddynt amblygir sylfaen y Genadaeth Gristionogol. Hyderir y caniatëir hyn fel esgusawd am helaethu ychydig wrth geisio eu chwilio.

* *Essays and Reviews,—"The Education of the World," by* Dr. F. Temple.

Coleg o genadon, yn hytrach nag o fugeiliaid, ydoedd y Coleg Apostolaidd. Myned, ac nid sefydlu, ydoedd cynllun a gorchymyn Crist. Cenadaeth ydoedd sylwedd ffurf ddaearol Cristionogaeth hyd yr esgyniad oddiar glogwyn yr Olewydd. Ni soniwyd gair am sefydlu bugail i'r "mwy na phum' can' brodyr." Anadliadau diweddaf Iachawdwr y byd oeddent lwythog o genadaeth. "Ewch, dysgwch yr holl genedloedd," meddai Matthew; "Pregethwch yr efengyl i bob crëadur," meddai Marc; "Pregethwch edifeirwch a maddeuant pechodau, yn ei enw Ef, ymhlith yr holl genedloedd," meddai Luc. Ymhen deng niwrnod gwedi hyn, cyflawnwyd addewid y Tad arnynt, gwisgwyd hwy â nerth o'r uchelder, ac aethant.

Dwy waith yn unig y sonia Iesu Grist am eglwys; unwaith mewn cyfeiriad at yr holl gredinwyr, ac unwaith at gynnulleidfa lëol (Matth. xvi. 18, ac xviii. 17). Digon tebyg mai cynnulleidfa y synagog ydoedd yn bresennol o flaen ei feddwl; eto y mae yn eglur y meddai y gynnulleidfa gorfforedig hono swyddogion, trefn, awdurdod, deddfau, a dyledswyddau arbenig, oblegid yr ydoedd y priodoleddau hyn yn anghenrheidiol i'r gorchwyl y sonia y Gwaredwr am dano.

Dwy brif ddyledswydd a orchymynodd Iesu Grist i'r eglwys neu y gynnulleidfa gorfforedig hono: Cenadaeth a Bugeiliaeth. Dyma ffurf ei orchymynion:—"Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio, &c." "Gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi" (Matth. xxviii. 19, 20). Dyma ddwy ddyledswydd wahaniaethol. A ydynt yn gyfartal yn eu pwysigrwydd? Os nad ydynt, pa un ydyw y fwyaf pwysig? Os ydynt gyfartal, a ystyrir ac a gyflawnir hwy gan eglwysi Cristionogol fel dyledswyddau cyfartal yn eu pwysigrwydd? Tybier y rhoddid y gofyniad fel hyn,—Yn unol â gorchymynion, cyfarwyddiadau, ac esiamplau Iesu Grist, pa un ai Bugeiliaeth er cadarnhâu a dysgu cynnulleidfäoedd y credinwyr ar ol eu sefydliad, neu ynte Genadaeth, er sefydlu cynnulleidfäoedd newyddion, hyd oni wybyddo "yr holl genedloedd" fod Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, a ddylai gael fwyaf o sylw, gofal, doniau, a chyfoeth gweinidogion ac eglwysi Cristionogol? Neu a ddylai y pethau hyn gael eu rhanu yn gyfartal er cyflawniad priodol o'r ddwy ddyledswydd? A ddylid rhanu goreuon doniau y prif weinidogion yn gyfartal? A ddylid rhoddi hanner y cyfoeth a dreulir er cynnal bugeiliaid, er harddu addoldai, ac er addurno eisteddleoedd, tuag at gynnal cenadon, a lledu y wybodaeth o Waredwr ymysg "yr holl genedloedd?" Pe gelwid ynghyd gynnadledd o brif weinidogion, esgobion, ac athrawon Cristionogol holl wledydd Cred, i roddi eu penderfyniad ar y pwnc hwn,—a phe y danfonid cenadwr hefyd i glogwyn canol yr Olewydd ar foreu dydd Iau y Derchafael, er derbyn atebiad Iachawdwr y byd i'r un holiad, a oes rhyw sail i feddwl y cydgordiai yr atebion?

Ni byddai fawr o anghysondeb mewn dychymygu y methai y fath gynnadledd ddyfod i unrhyw benderfyniad, nid ar ba un o'r ddwy ddyledswydd arbenig o ledu yr efengyl, a bugeilio a phorthi y credinwyr, pa rai a ymddiriedwyd i'r eglwys, ydyw y bwysicaf; ond ar y cwestiynau, "Pa beth ydyw eglwys? Pwy ydyw ei Phen? Ymha le y cyfannedda awdurdod y Gwaredwr?" Try y gynnadledd yn fethiant.

Yr ateb a roddwyd oddiar lechweddi yr Olewydd ni rydd unrhyw

"sain anhynod." Pob anadliad a dderbyniai awyrgylch y ddaear dros wefusau Crist y boreu tawel hwnw ydoedd gyflawn o Genadaeth. Anadlodd orchymyn cenadol, bendith genadol ac ysbryd cenadol; ac esgynodd at ei Dad er danfon ei Ysbryd i wneyd y Genadaeth yn effeithiol. Darparodd ac eglurodd *charter* ei deyrnas ddyfodol; ac, wedi ei selio â'i waed, rhoddodd ofal ei gyhoeddiad a'i gadwraeth i'w ddysgyblion, ac a aeth ymaith. Gadawodd eglwys i fod yn "golofn," yn gystal ag yn "sylfaen" y gwirionedd. Yr anadliadau cenadol hyny, ychydig ddyddiau yn ddiweddarach, a achosent gynhyrfiad "megys gwynt nerthol yn rhuthro" yn heolydd Jerusalem. Anadliadau Iesu Grist, hyd heddyw, ydynt orlawn o Genadaeth.

Dyddiad yr oes apostolaidd ydoedd dydd y Pentecost. O ran y Cristionogion, ysbryd cenadol ydoedd cynhyrfydd, gogoniant, a bywyd yr oes hono. Ar ddydd agoriad yr oes, odditan ddylanwad y "tafodau gwahanedig megys o dân," tebygol nad ydoedd yr un o'r apostolion yn absennol ond Paul. Dechreuasant eu "hoes" yno. Pa le y buont feirw? Pe gallem gael hyd i feddau y deuddeg, ni byddai eisieu llawer o brofion eraill ynghylch cyflawnder a nerth ysbryd cenadol yr oes hono. O'r Pentecost i'r bedd, cenadol ydoedd yr awyr ymha un yr anadlent. Cyn iddynt ymwahanu i "fyned i'r holl fyd," ffurfiasant eglwys. Prif gynneddfau gweinidogion ac aelodau yr eglwys hono oeddynt ffydd, cariad, a chenadaeth. Offrymai y cyngristionogion eu cyfoeth daearol ar allor eu ffydd. Offrymau gwirfoddol ydoedd yr oll; nid ydoedd yr un ddeddf Ddwyfol na dynol yn gofyn hyny ganddynt. Cymhelliadau mewnol ffydd a chariad oeddynt ddigon effeithiol fel deddf. Syrthiodd un teulu i'r bedd odditan farn; nid am beidio rhoddi yr oll a feddent, ond am beidio rhoddi yr hyn a roddent yn onest. Dedwydd ydyw yr eglwys a'r gynnulleidfa hono, a all ateb na lochesodd yr un Ananias na Sapphira, "yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ol yr efengyl, trwy Iesu Grist."

Lleol a thymmorol ydoedd yr arferiad o roddi holl feddiannau bydol credinwyr mewn un drysorfa gyffredinol yn yr oes hono. Byrbarhäol ydoedd yr arferiad, oblegid byrbarhäol oedd yr achlysur a alwai am dano. Rheol yr efengyl ynghylch iawnddefnyddiad ac iawngyfraniad cyfoeth gan gredinwyr sydd mor eglur a hawdd fel y gall y neb a redo ei darllen a'i deall. "Pwy bynag a garo dad, neu fam, gwraig a phlant, &c., yn fwy na Myfi a'r efengyl, nid yw deilwng o honof fi."

Pan fu farw Ioan, ynghylch O.C. 100, anhawdd a fyddai enwi cymaint ag un cenadwr. Yr oedd agos bob eglwys yn orlawn o genadaeth, ac eto nid ymddengys enw un cenadwr yn eglur a blaenllaw ar wyneb cymdeithas. Yr ydoedd yr eglwysi apostolaidd wedi eu lefeinio â chenadaeth. Uwchafradd ffydd, cariad, a zêl ydyw yr ysbryd cenadol; a pha le bynag y ceir y grasau hyn i radd uchel, i'r un gradd y cyfarfyddir â'r ysbryd cenadol. I'r fath raddau yr ydoedd yr "ysbryd" hwn wedi treiddio i feddyliau y gwerinoedd yn Asia Leiaf, fel ag i gyfiawnhâu Pliny i ddywedyd, pan ysgrifenai at Trajan i ofyn rheolau mwy pendant ac eglur er barnu a chosbi y Cristionogion,—"Nifer y cyhuddedig sydd mor fawr fel ag i alw am yr ymchwiliad dyfalaf. Cyhuddir niferi mawr o bob rhyw ac oedran, a niferi mwy ydynt yn debyg o ddyfod i'r un sefyllfa. Y mae haint y goelgrefydd gwedi ymledu, nid yn unig

trwy y trefydd, ond hefyd trwy y pentrefydd a'r wlad. Nid oblegid y tybiwyf ei fod yn anmhosibl ei ddiwygio a'i rwystro; gwrthdystia llwyddiant fy ymdrechiadau blaenorol y fath ddigalondid. Canys dechreuir mynychu y temlau, pa rai oeddent unwaith agos yn weigion; yr uchelwyliau, gwedi hir attalfa, a adgynnyddant; a milod yr aberthau, pa rai unwaith ni chaent braidd bwrcaswr, yn awr a werthir ymhob man. Oddiwrth hyn casglaf y gellid dychwelyd llawer, pe sicrhëid iddynt y gobaith o berffaith ryddid a diogelwch ar eu hedifeirwch." Ysgrifenid hyn, dybygid, mewn llai nag ugain mlynedd wedi marwolaeth Ioan—yr olaf o'r deuddeg. Arwydda y fath eiriau, oddiwrth ddyn mor synwyrol â Pliny, gynnydd a llwyddiant anghyffredin ar grefydd newydd, ac yn enwedig crefydd mor seml, ddirodres, a phur, ag ydoedd Cristionogaeth Apostolaidd.

Achosid y llwyddiant hwn, medd Mr. Gibbon, nid gan ysbryd cenadol yn cenedlu llafur dynol, nac ychwaith gan unrhyw ddylanwadau Dwyfol gydag "eglurhâd yr Ysbryd a nerth," ond gan "zêl anmhlygadwy ac anghyd-ddygol y credinwyr, gan newydd-deb yr athrawiaeth ynghylch sefyllfa ddyfodol, gan y galluoedd gwyrthiol a briodolid i'r ffyddloniaid, gan foesau pur a llymdost y cyngristionogion, a chan ddysgyblaeth ac undeb y werinlywodraeth Gristionogol." Eiddgarwch, dysgeidiaeth, a llafur digyffelyb Paul—melusder doniau llafar Apòlos—yni a symledd Timothëus—cariad a mwyneidd-dra llafurus y dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu—effeithiau diwydrwydd teithiol Pedr—cyflawniad addewid y Tad—a dylanwadau argyhoeddiadol a dyddanol Ysbryd yr Iesu,—oeddynt elfenau a chynneddfau na pherthynent i Gristionogaeth Mr. Gibbon. Dynol—os nid gwaeth—heb iota o Ddwyfoliaeth, ydoedd ei Gristionogaeth ef. Nid yr un ydyw hon â'r Gristionogaeth a ddylifa o'r Testament Newydd. Perthyn y Genadaeth y soniwn ni am dani yma i'r olaf.

I'n dyben presennol, gellid rhanu Cenadaethau Cristionogol i dri chyfnod. Y cyntaf—y Genadaeth Apostolaidd—yn ymestyn o'r Pentecost hyd esgyniad Cystenyn Fawr i'r gadair ymherodrol. Nodweddir y cyfnod hwn gan symlrwydd, zêl, a dyoddefgarwch. Yn yr yspaid hwn, yr ewyllys, y serchiadau, a'r cynneddfau teimladol ac ysgogol, a ragflaenent y rheswm, y deall, a'r cynneddfau beirniadol, yn ngwasanaeth Cristionogaeth. Yr iselradd a'r canolradd oeddynt amddiffynwyr mwyaf llïosog ac effeithiol yr "ymadrodd am y groes" yn y tymmor hwnw. Yr ail a nodweddid gan ddylanwadau teyrngadeiriau a chysegrlywodraethau. Cyrhaedda y cyfnod hwn o esgyniad Cystenyn hyd gyfodiad Luther. Ymherawdwyr y Dwyrain a'r Gorllewin a ddefnyddient eu harfau a'u dylanwadau er sefydlu a lledu Cristionogaeth. Esgobion a ddanfonent eu cenadon gyda rhwysg, awdurdod, a bygythion, at y gwahanol fân dywysogion, pa rai a amgylchynent ymherodraethau mawrion Byzantium a Rhufain. Y trydydd cyfnod—y presennol—a nodweddir gan egwyddorion gwerinlywodraethol Protestaniaeth. Y werin ydyw ffynnonell deddfau, trefn, awdurdod, a gweithgarwch. Egwyddorion Cristionogaeth y cyfnod blaenaf oeddynt werinol. Y pryd hyny yr ydoedd gweriniaeth a gorsedd yn wrthdarawiadol, os nid yn elynol, i'w gilydd. Erbyn hyn y mae gweriniaeth wedi dyfod yn boblogaidd. Sylfaenir gorseddau ar fudd, cariad, ac ewyllys da y werin. Yn y tri chyfnod hyn, sefydliadau

trefedigol, masnach, a rhyfeloedd, a ddylanwadent lawer o blaid lledia Cristionogaeth. Ysgydwadau cymdeithasol ydynt bob amser yn fanteisiol i sefydliad unrhyw grefydd newydd. Nid yw hanesyddiaeth yn cofnodi nemawr o esiamplau o sefydliad Cristionogaeth ymysg unrhyw bobl, tra y byddent yn eistedd yn dawel a digyffro yn nefodau ac anneddau eu cyndadau. Rhagflaenir yn gyffredin ddyfodiad "Dymuniant yr holl genedloedd" gan ysgydwadau cymdeithasol.

Yn y cyfnod cyntaf, gellid meddwl fod agos bob cristion yn genadwr. Bydded ef was neu feistr, llafurwr neu fasnachwr, carai a chyffesai ei grefydd a'i Geidwad yn ddifloesgni a diofn. Iddo ef yr oedd dyoddef yn anrhydedd, llefaru yn bleser, a chelu yn waradwydd. Ysgogai yn wastadol fel un yn gweled yr Anweledig. Gorthrymid, gwerthid, carcherid, lleddid ef, eto daliai ei lygad yn ddiysgog ar Grist a'i ddyoddefiadau, a chwarddai yn wyneb yr ystorm. Iddo ef, "ffydd, yn wir, ydoedd sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled." Wrth syllu ar a llefaru am Iesu Grist, teimlai fod ei "fyr ysgafn gystudd yn odidog ragorol." Ac yn ol ei ffydd y bu ei lwyddiant. Gallasai Antiochia ymffrostio o gan' mil o ganlynwyr Crist yn nyddiau Theodosius, medd Chrysostom; llenwid Pontus âg Epicurëaid a Christionogion, medd Lucian; eglwysi Cristionogol oeddent dra lliosog yn Groeg ac Asia Leiaf yn nyddiau Ignatius a Dionysius, fel y dysgwn oddiwrth eu llythyrau yn Eusebius; trefedigaethau Iuddewig yr Aipht oeddynt wedi eu lefeinio â Christionogaeth; Cristionogion Rhufain oeddynt dyrfa fawr *(ingens multitudo)*, medd Tacitus, pan erlidiai Nero hwynt; dywed Justyn Martyr, yn ei ddadl gyda Trypho, fod yr efengyl wedi ymledu i fysg "yr holl genedloedd;" a Tertullian yn y diffyniad a ddanfonai at ynadon Severus, a'u hysbysai fod efengyl Crist wedi treiddio i Spain, a thiriogaethau Prydeinig, "y tu hwnt i fuddugoliaethau arfau Rhufain." Doniau, dylanwadau, ac ymdrechion y fath ddynion â Tertullian, Cyprian, a Lactantius, a osodent eglwysi Affrica ar binacl uchel o'u dechreuad. Yr ydoedd hyn yn llwyddiant mawr mewn tri chanrif o erlidigaethau. Rhaid addef, hwyrach, fod athrawiaethau y "na chyffwrdd, na archwaetha, na theimla, yr hyn bethau sydd ganddynt rith doethineb mewn ewyllysgrefydd a gostyngeiddrwydd," yn rhy uchel yn yr oesau hyny. Eto cyflym redodd yr "ymadrodd am y groes," oblegid fod Duw ynddo.

Ymddengys y lledai yr efengyl heb un Gymdeithas Genadol y pryd hyny. Pwy oeddent y cenadon pa rai a ledent yr "ymadrodd?" Nis gallwn enwi nemawr o honynt. Eu ffydd, eu zêl, a'u llwyddiant, eithr nid eu henwau, a drosglwyddwyd i lawr gan hanesyddiaeth. Yn llechres enwau awdwyr y canrifoedd cyntaf, cyfarfyddir hwy yn gyffredin naill ai gydag enw esgob, presbyter, neu ddiacon. Teithient oll yn achlysurol, eithr nid yn unol â'r golygiad cenadol yn y tri chanrif diweddaf hyn. Ymddengys fel pe buasai pob eglwys yn Gymdeithas Genadol, a phob cristion yn Genadwr. Eithr ni wasanaethai y cynllun hwn at efengyleiddio gwledydd pellenig, a llwythau barbaraidd. "Y dysgawdwyr anenwog hyn ydynt mor ddystaw yn gyhoedd ag y maent yn ddywedgar a meistrolgar yn ddirgel. Tra y gochelant yn ofalus berygl y cyfarfod âg athronwyr, ymgymysgant gyda'r annysgedig a'r anllythyrenog, a gweithiant eu ffordd i feddyliau y rhai hyny—oedran, rhyw, neu wybod-

aeth pa rai a'u cymhwysant i dderbyn argraffiadau oddiwrth ddychryniadau ofergoelus." Y fath, yn ol desgrifiadau Celsus, Julian, Minucius Felix, a'n cyfaill Mr. Gibbon, ydoedd cymeriad y cenadon, pa rai a droisant y byd â'i wyneb i waered yn yr oesau Apostolaidd. Yr ymchwiliad ynghylch parhâd a therfyniad galluoedd gwyrthiol yn yr eglwysi Apostolaidd sydd dra anhawdd a dyrys, ac sydd allan o gylch yr ymchwiliad presennol.

Yn yr ail gyfnod, esgobion a phenaduriaid yn gyffredin a ddanfonent y cenadon Cristionogol, ac a ddarparent, yn gystal trwy eu cyfoeth a'u dylanwadau, tuag at eu cynnaliaeth a'u sefydliad. Cynnaliaeth cenadon nid ydoedd yn un anhawsdra i'r fath ddynion a Chystenyn a Theodosius Fawr, pa rai a ddefnyddient eu holl ddylanwad, awdurdod, a buddugoliaethau, er dymchwelyd Paganiaeth a sefydlu Cristionogaeth. "Y mae yn ddiddadl," medd Dr. Mosheim, "mai buddugoliaethau Cystenyn Fawr, ofn cosb, a dymuniadau i foddhâu y gorchfygwr mawr hwn, a'i ganlynwyr ymherodrol, oeddynt y prif resymau, pa rai a gynhyrfent wledydd cyfain, yn gystal a phersonau neillduol, i gofleidio Cristionogaeth." Egwyddor a chynllun yr ail gyfnod a barhânt yn Eglwys Rhufain hyd heddyw. Cynhyrfiadau ac effeithiau y Diwygiad Protestanaidd a wthiasant y Babaeth i fabwysiadu rhai o egwyddorion a sefydliadau gwerinol Protestaniaeth, fel y ceisiwn ddangos yn fuan. Eithr estronol ydyw y rhai hyny i'r Babaeth yn ei gwir natur. Y maent fel undeb y prês a'r pridd yn nelw y brophwydoliaeth. Drwg genym orfod addef y defnyddir cynllun yr ail gyfnod yn achlysurol gan y llywodraeth Brydeinig yn rhai o'r trefedigaethau, eithr gyda gofal a chynnildeb mawr.

Y weriniaeth Brotestanaidd a nodwedda y trydydd cyfnod. Ni chaniatâ hon gysylltu gwladweiniaeth â chrefydd. Protestaniaeth berffaith a ofyn eu hollol ddadgysylltiad, a'u holloll annibyniaeth. I'r graddau y mabwysiedir yr egwyddor Brotestanaidd, i'r un graddau y dadgysylltir crefydd a gwladlywodraeth *(politics)*; ac i'r graddau y dadgysylltir hwy, i'r un graddau y dylai y weriniaeth Gristionogol ddyfeisio moddion cyfaddas eraill er efengyleiddio y byd. Amddiffyn y blaenaf, ac esgeuluso yr olaf, a fyddai yn annoethineb, yn wall, ac yn bechod. Byddai yn amddiffyn egwyddor ar draul dyledswydd, yn derchafu gwirionedd mewn gair a'i aberthu mewn gweithred. Y mae y ddyledswydd a ddynodir yn y gorchymyn, "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd," yn llawn mor eglur ac Ysgrythyrol ag ydyw yr egwyddor a ddynodir yn yr hysbysiad, "Nid yw fy nheyrnas o'r byd hwn." Anrhydeddu y naill, ac esgeuluso y llall, a rwystrai ryddrediad bendithion y cyfammod i ba un y perthynant, yn gystal a phe diystyrid y ddau.

Eithr y mae gwyneb cenedlaethol ar genadaethau Cristionogol mewn arferiad. Llyfr i "bawb o bobl y byd" ydyw y Testament Newydd; eithr y mae rhai cenedloedd wedi llafurio llawer mwy nag eraill er lledu a sefydlu ei ddysgeidiaeth.

Groegiaid a Rhufeinwyr oeddynt y mwyaf parod i dderbyn ac ymdrechgar i ledu Cristionogaeth yn y canrifoedd cyntaf. Cenedloedd Celtaidd Gaul a Brydain oeddent, fe allai, y mwyaf hwyrfrydig o holl genedloedd Ewrop, oddieithr Sacsoniaid Germany, i ymadael â'r hen draddodiadau crefyddol a chofleidio Cristionogaeth. Yn Gaul nid ydoedd ond dwy eglwys eiddil mor ddiweddar â dyddiau Marcus Aurelius,

er fod gwybodaeth o'r efengyl yn y wlad hono er dyddiau yr Apostolion. Ac mor ddiweddar âg amser Decius, nid ydoedd dysgeidiaeth a dylanwad y doctoriaid cenadol o Asia Leiaf, gyda holl ddylanwadau yr ymherawdwyr, yn alluog i ychwanegu uwchlaw chwech neu saith atynt. Derwyddiaeth y cenedloedd Celtaidd ydoedd yn gyfundraeth agos mor gyflawn ac athronaidd, ac wedi gwreiddio bron mor ddwfn, â Hindŵaeth Hindwsthan. Creulonderau Maximus yr ymherawdwr, a diwydrwydd Martin o Tours, a wnaethant Dderwyddiaeth i raddau yn anmhoblogaidd, eithr ni lwyddasant mewn gwneyd Cristionogaeth yn boblogaidd. Araf a graddol iawn y lledai Cristionogaeth ymysg Celtiaid y gorllewin.

Ymddengys mai Celtiaid yr Iwerddon oeddynt yr unig lwyth Celtaidd pa un a dderbyniodd Gristionogaeth drwy genadon esgob Rhufain. Groegiaid Asia Leiaf a'i dygent gyntaf i Gaul. Cristionogion Brydain oeddent annibynol o'r dechreuad. Pa fodd bynag y cawsant yr efengyl, y mae agos yn sicr na ddanfonodd nac esgob nac ymherawdwr yr un cenadwr Cristionogol atynt. Mor ofalus ac eiddigus oeddynt dros gadw eu hannibyniaeth, a ffurf seml, Apostolaidd, a gwerinol eu Cristionogaeth, fel pan yr ewyllysiai yr ymherawdwr Constantius, yn Nghynghor Arminum, wneyd deddf i dalu traul a chynnal yr esgobion o'r drysorfa ymherodrol, na chafwyd ond tri esgob ymysg Celtiaid Gaul a Brydain yn foddlawn i dderbyn y fath gynnorthwy; a'r rhai hyny a'i derbynient oddiar wir dlodi, yn groes i'w hegwyddor broffesedig.

Pa beth bynag a ennillodd cyndrigolion Celtaidd Brydain trwy oresgyniadau y gwahanol lwythau oddiar y Cyfandir, y mae uwchlaw ammheuaeth i'w Cristionogaeth golli ei helfenau cysefin o symylrwydd, purdeb, a gweriniaeth Apostolaidd. Anurddwyd a dinystriwyd hanesyddiaeth eglwysig Prydain-Rufeinaidd y pum' canrif cyntaf gan Bede a haneswyr mynachaidd y canrifoedd canlynol. Pe yr arferesid y ganfed ran o'r callineb rhagddarbodol a arferir yn bresennol er bytholi gweddillion India henafol tuag at weddillion y Cymry Cristionogol pa rai a gydoesent â Helen merch Coel, a amgylchynent ei gorweddle ar enedigaeth Cystenyn Fawr, ac a wrandawent bregethau St. Alban, y mae sail gadarn i gredu na buasai y Cymry erioed yn Babyddion, ac y buasai eu Cristionogaeth hyd heddyw yn annibynol, gwerinol, Apostolaidd, a phur. Eithr trais Vandalaidd a dorodd y llinynau traddodiadol pa rai a gysylltent yr oesoedd dilynol â'r rhai blaenorol, a chollodd y plant eu gafael yn nhraddodiadau a symlrwydd eu tadau. Y canlyniad naturiol a ddilynodd, a hudwyd a llithiwyd hwynt i'r llygredigaeth cyffredin.

Eto gwyddom y safai zêl ac ymdrechion cenadol y Celtiaid o'r chweched hyd y nawfed canrif yn llawn mor uchel a'r eiddo y goreu o genedloedd Ewrop mewn unrhyw oes, wrth ystyried eu gwahanol amgylchiadau. Tystia y traddodiadau cysylltiedig â mynachdai ac eglwysi gogledd-dir Gaul a Germany yn ddigonol i yni a llafur Celtiaid Cristionogol Brydain, Erin, a Scotland. Yn y cyfnod cyntaf, nis gwyddom am un cristion Celtaidd yn flaenllaw mewn unrhyw ystyr gyda Christionogaeth. Yn yr ail, cyfarfyddir â nifer fawr yn sefyll yn uchel. Yn nhymmor tywyllwch dygnaf yr oesoedd canol, Celtiaid Brydain, Scotland, a'r Iwerddon, oeddynt brif oleuadau Ewrop. Yn y cyfnod gwerinol Protestanaidd, Celtiaid Gaul, Erin, ac Armorica, a lynant wrth y gadair Babaidd ac esgobol; yr eiddo Scotland a safant ar binacl uchaf yr ymdrechion gwerinol a

gwirfoddol gyda chenadaethau; a'r gweddillion o'r hen Frytaniaid yn Nghymru, a ymdrechant i wneyd eu cyfran mewn ufudd-dod i'r gorchymyn, "Ewch i'r holl fyd,"—"Dysgwch yr holl genedloedd." Dylent wneyd, o leiaf, hanner cymaint a'r Scotiaid, yn ol yr hyn ydyw eu nifer, a'r hyn a ddylai eu dylanwad fod. Afreidiol chwilio yn bresennol pa un a gyrhaeddant y mesur hwn o lafur ai peidio. Os ydynt yn ddiffygiol, cyfyd y diffyg, nid oddiar ddiffyg cariad at Grist a Christionogaeth, eithr oddiar ddiffyg cynllun, gwybodaeth, ac undeb. Os collasant eu gwlad a'u rhyddid oddiar ddiffyg o'r tri hyn, y mae lle i hyderu na chollant eu coron genedlaethol yn "nyfodiad a theyrnas yr Arglwydd Iesu" oddiar yr un diffyg.

Bu raid i'r Babaeth fabwysiadu rhai o egwyddorion a sefydliadau gwerinol Protestaniaeth. Ar agoriad yr unfed ganrif ar bymtheg, yr ydoedd Ewrop yn Gristionogol mewn enw. Rhufain ydoedd canolbwynt Cristionogaeth y pryd hyny, yn gystal mewn awdurdod, mwyniant, a llygredigaeth. Yn y flwyddyn 1500, gallesid clywed cynhwrf ac aflonyddwch yn nyfnderoedd cymdeithas drwy Ewrop, achos a therfynau pa un nis gellid yn iawn eu desgrifio na'u dirnad. Llygad y *volcano*, pa un a ddadymchwelodd Rufain ymherodrol, ydoedd coedwigoedd Germany. Yno hefyd yr ydoedd canolbwynt y cynhwrf Cristionogol. Cyfododd y cwestiwn,—"A gynnrychiolid Cyfryngwr Dwyfol Nazareth, a'i ddeuddeg tyst a'u tystiolaethau, gan y *conclave* Rhufeinig ai peidio?" Allan o'r cwestiwn hwn, cyfododd un arall,—"Ai unbenaethol neu werinol ydyw ffurf gymdeithasol a daearol Cristionogaeth?" A thrydydd, —"Ai Dwyfol neu ddynol ydyw y cadwynau hyny, pa rai a rwymant Gristionogion wrth gadair y Pab?" Nid cynted y gwnaed yr ammheuon a arwyddid gan y fath gwestiynau yn gyhoeddus nag y dechreuodd y gymysgfa. Penaduriaid a mawrion a glustfeinient er sicrhâu rhan o'r yspail os dryllid y rhwymau. Y gwerinoedd a ddymunent gael mwy o ryddid. Yr ychydig dduwiolion a sychedent am fwy o gymundeb ysbrydol â gair Duw. A'r duwinyddion a ystyrient yn ddyfal iawn dros ben, rhag iddynt gael eu camarwain a'u twyllo gan ryw hudwy annesgrifiadwy, i dderbyn hûd yn lle aur. Myfyrient yn ddyfal ar ystormydd y Waldensiaid a'r Wickliffiaid, pa rai a chwythasent drosodd o'r blaen. Yn y cythrwfl, aeth y Babaeth yn ddrylliau.

Eithr hen sefydliad wedi ei attegu gan draddodiadau mil o flynyddoedd, nis gellid ei ddymchwelyd mewn un dydd, Ymysgydwodd Rhufain o gwsg oesoedd. Yr oedd penaduriaid yn rhwym wrth y gadair Babaidd, a thybid nad oedd yn bosibl iddynt beidio rhoddi eu nerth o blaid y gadair mewn awr o gyfyngder mor fawr. Cymaint ydoedd grym yr ystorm nes y drylliodd y cadwynau a'u dalient yn gaeth. Gorfodid Rhufain i ymchwilio am ymwared o ryw le arall. Cyfeillion y Pab a ddwysfyfyrient elfenau y perygl, a chanfyddid mai gweriniaeth a gwirfoddoliaeth oeddynt brif elfenau llwyddiant eu gwrthwynebwyr. Paham nad allai Rhufain fabwysiadu yr elfenau hyny? Cyfododd *idea* newydd: "Os metha y Babaeth sicrhâu gwarogaeth Ewrop, rhaid iddi roddi allan ei holl nerth er ennill deiliaid newyddion yn America, yn Asia, yn Affrica. Rhaid cael cenadon a chenadaethau."

Urdd ar ol urdd, a chenadaeth ar ol cenadaeth, a gyfododd. Eithr tlodid Rhufain gan *sism* Luther, gan anffyddlondeb breninoedd y gogledd, gan raib cardinaliaid ac esgobion, a chan anffyddiaeth y werin.

Ofer ydyw gorchymyn penaduriaid i gynnal y cenadon; y maent wedi dysgu anufudd-dod. Ofer dwrdio y werin am "*Peter's pence;*" y mae eu clustiau wedi merwino. Rhaid cael cenadon er adennill Ewrop ac er ennill America ac Asia. O ba le y ceir y cyfoeth i'w hanfon a'u cynnal? Y mae Rhufain yn dlawd. Rhaid gwneyd tlodi, gan hyny, yn foddion ymwared. Felly y gwnaethpwyd. Ffurfiwyd yr urddau cardotaidd *(mendicant orders)*. Buan y clywid myrdd o seiniau y cenadon cardotaidd yn cyfodi ar edyn y gwynt, ac yn sibrwd achubiaeth i'r Babaeth. Dyma beth newydd: Y Pab yn ben, a'r egwyddorion gwerinol a gwirfoddol yn attegu ei orsedd. Mewn llai na chanrif a hanner, yr ydoedd Deheudir America agos oll yn Babaidd. Mynachdai a frithent Pampas y La Plata, Leanos yr Orinoco, a bwrdd-dir Mexico. Rhedai y mynachod cardotaidd yn gyflymach, os ydoedd yn bosibl, na milwyr rhamantaidd yr Yspaeniaid. Mewn byr dymmor, cyfododd cysegrlywodraeth Rhufain yn holl berffeithrwydd ei hurddraddau ar y Cyfandir newydd. Uwchlaw 400 o fynachdai, a phlwyfau ac offeiriaid heb rifedi, a dystient i lwyddiant y cynllun newydd a'i genadon. Dacw yr offeiriaid mynachaidd ar y maes yn cydrodio gyda yr amaethwr Indiaidd symlfeddwl, ac yn ei gyfarwyddo pa fodd i lunio a dal yr aradr, yn gystal ag i gôrganu *Ave Maria;* un arall yn ymyl y saer anghelfydd yn ei ddysgu pa fodd i adeiladu ei fwthyn, tra yr adroddai ei *Pater noster*. Ffurf Babaidd Cristionogaeth a gwareiddiad a ymledent ynghyd. Trwy lafur diflino y cenadon cardotaidd hyny, ganwyd cyfandir newydd i'r ffydd Babaidd megys mewn un dydd.

Yr ydoedd y Babaeth wedi deffro i bwrpas. Ni foddlonid Rhufain gyda threfedigaethau y byd newydd. Ei hurddau cardotaidd a gynnyrchent lengoedd ar lengoedd o genadon. Sefydlent eu golwg ar fyrddiynau Asia. Talentau y ddau Xavier a Nobilius a gyflawnent ryfeddodau yn Hindwsthan. Francis Xavier a'i gwnelai ei hun yn gardotyn, ac a fedyddiai gannoedd o bysgotwyr a *Purias* mewn un dydd. Geronimo Xavier a ennillodd yr Ymherawdwr Akbar i fod yn hanner Pabydd, ac a fedyddiodd ddau neu dri o dywysogion ei deulu, pa rai a farchogent ar elephantiaid gwynion, gyda sain udgyrn a thwrf tabyrddau i wasanaeth y *mass;* ac efe a anrhegodd Akbar âg arlun mor brydferth o'r Forwyn, fel ag i gynhyrfu eiddigedd ei bum' mil o wragedd yn nghuddgelloedd ei Zenana. Nobilius a'i gwnaeth ei hun yn Frahman er ennill y Brahmin. Gwisgai y *Poita,* dysgai y Sanscrit, adroddai y *Mantra,* amddiffynai y *Caste,* cyfaddasai Gristionogaeth er cyfateb golygiadau Brahminaidd, bedyddiai luoedd i'r ffydd Babaidd, a dychwelai i Ewrop mewn anobaith am ddychweliad yr Hindŵaid wedi iddo ef anurddo Cristionogaeth wrth geisio gwneyd Pabyddion o honynt. Mewn hanner canrif wedi eu hymadawiad, prin y gellid olrhain olion yr un o honynt ar wyneb cymdeithas yn Hindwsthan. Gwibdeithient trwy awyrgylch feddyliol India yn gyffelyb i'r cometau, pa rai a ymwelant â'n cyfundraeth heulaidd; nid cynt yr ymadawant nag y diflana eu holion a'u heffeithiau gan mwyaf.

Valignano a Ricci nid oeddynt yn llai llafurus a llwyddiannus yn Japan a China. Yn y wlad flaenaf, ymunai y cenadon â'r naill neu y llall o'r terfysgbleidiau rhyfelgar, fel y gwelent fantais. Pregethent, bedyddient, ymladdent. Ymffrostient iddynt lwyddo mewn ychwanegu

uwchlaw tri chan' mil o ddysgyblion i'r Pab yn ynysoedd Japan. Ricci a'i gwnelai ei hun yn Chinëad er ennill y Chinëaid. Ymwisgai fel Mandarin, adroddai fyrwersi poblogaidd Confucius, llanwai gỳrau ei fapiau gydag arluniau o'r Forwyn a'r seintiau, yn gymysgedig gyda dywediadau Thomas Aquinas, a byrwersi meistr y *sentences*. Ymysg mil-fyrdd China, yr ydoedd llwyddiant y cenadon yn gyfatebol i'w llafur a'u dyfeisiau.

Y cenadon hyn oll oeddent yr eiddo Loyola a'r Pab, nid yr eiddo Crist. Nid oeddynt "yn iawn droedio at wirionedd yr efengyl." Hwy a "ymroisant trwy ddarostyngiad," do, dros eu hoes, i arferion a defodau y cenedloedd Paganaidd. Profwyd eu gwaith trwy dân, a dinystriwyd ef; oblegid mai "coed, gwair, sofl," ydoedd defnyddiau yr adeilad.

Pa fodd y cynnelid y cenadon? Hyd yn hyn y cynlluniau a ddefnyddid er lledu yr efengyl oeddynt naill ai y dull Apostolaidd trwy i bob aelod ymhob eglwys wneyd yr hyn a allai er ennill ei gymydogion i ffydd yr efengyl, gan ddilyn naill ai gwasgariad yr Iuddewon, neu deithiau masnachol a milwraidd, er dwyn gwybodaeth efengylaidd i wledydd pellenig, neu ynte y cynllun esgobyddol a phenadurol pan anfonid ac y cynnelid cenadon trwy ragddarbodaeth awdurdodol eu danfonwyr. Yn Neheudir America, gwasanaethai yr olaf i'r Babaeth trwy y trefedigaethau Pabyddol. Eithr ni wasanaethai y naill na'r llall o'r cynlluniau uchod yn mhellfanau India, Affrica, a Japan neu China. Rhaid cyfarfod yr achlysur a dyfeisio cynllun newydd.

Yr oedd gan y Babaeth y dynion a'r defnyddiau anghenrheidiol at law. Cafwyd hyd i hen *Edict* o eiddo Gregory XIII. Syrthiodd i ddwylaw Cardinal Ludovico Ludoviso, a'r *Capuchin* talentog Girolamo da Narni, pa rai a'i cyfaddasent i fod yn sylfaen Cymdeithas Genadol. Dyma ddechreuad y *Propaganda Fidei*. Y Pab Gregory XV., feddyliem, a gyfranodd y swllt cyntaf i'r drysorfa, pa un yn 1844 a dderbyniai mewn un flwyddyn 3,562,088 *francs*, ac a dreuliai yn Asia yn unig 997,125 *francs*, ac er cynnal cenadaethau trwy yr holl fyd y swm o 3,668,762 *francs*; swm bychan wrth ei gymharu gyda thrysorfëydd Protestanaidd yr holl gymdeithasau Biblaidd a Chenadol, eithr swm mawr pan y cynnorthwyid ef gan holl ddylanwadau y Babaeth, gan holl ddyfeisiau y cynghorfâu Jesuitaidd, a chan hud a thwyll y mynachod a'r llu o genadon cardotaidd. Mae gan y peiriant Pabaidd bob peth anghenrheidiol er sicrhâu llwyddiant ond bywyd ysbrydol a symlrwydd efengylaidd. Gweithiwyd a gweithir y peiriant hwn i'r eithaf; eithr o anghenrheidrwydd methu a wna yn y diwedd, oblegid nid yw Ysbryd Duw ynddo.

Cyfundraeth Genadol y *Propaganda* a sylfaenir ar ddwy egwyddor werinol—yr egwyddor henaduriaethol, a'r un wirfoddol. Benthyg ydyw y ddwy. Ni pherthyn y naill na'r llall i wir natur yr *hierarchy* Babaidd. Cristionogaeth, yn ei gwir natur, fel crefydd cymdeithas, sydd werinol; oblegid cyfeiria bob dyn i'r Bibl i farnu a phenderfynu drosto ei hun. Gweriniaeth sydd o anghenrheidrwydd yn henaduriaethol; oblegid gan nas gall pawb gyfarfod i wneyd deddfau a rheolau, rhaid iddynt gael eu ffurfio gan henuriaid etholedig drwy y bleidlais werinol. Y fath Gristionogaeth, a'r fath weriniaeth, nis gallant fyw yn mynwes y Babaeth, pa un sydd, oddiar anghenrheidion ei bodolaeth, yn unbenaeth annibynol. Gweriniaeth a Christionogaeth ydynt ddau dyst anfarwol, pa rai,

o'r diwedd, a laddant y Babaeth. Eto dyma y *Propaganda* yn gyfundraeth werinol, wirfoddol, a henaduriaethol. Ni feiddiai y Pab ymadael â'r gallu etholiadol, heb wrthdystio yn erbyn a dinystrio ei hawliau ei hun. Egwyddor ei fabwysiad o'r egwyddorion gwerinol a fradychir gan yr anallu hwn.

Dyma hefyd egwyddorion yr holl Genadaethau Protestanaidd, â pha rai ni fwriedir ymdrin yn yr ysgrif bresennol. Y maent yn wirfoddol a henaduriaethol o anghenrheidrwydd, a dylent fod yn werinol ymhob ystyr.

Ni ddymunem er dim fod yn angharuaidd, llawer llai yn anghyfiawn, tuag at genadon y Pab. Eithr os gellir barnu natur eu dysgeidiaeth wrth effeithiau eu llafur, gwirionedd a'n gorfoda i ddywedyd mai nid cenadon Cristionogaeth y Testament Newydd ydynt. Y Gristionogaeth hono a etyb i anghenion ein hil ni. Adnabod yr unig wir Dduw, ac Iesu Grist, yr hwn a ddanfonodd, ydyw y bywyd tragywyddol. Heb gyrhaedd y "bywyd" hwn, nis gall dyn fod yn dda nac yn ddedwydd. Nid oes gymaint ag un dyn yn Mhrydain yn anwybodus mai Crist ydyw Gwaredwr dyn ond oddiar ei esgeulusdod a'i fai ei hun. Os trenga yn ei drueni, y mae yr eglwys yn rhydd. Eithr y mae eto fyrddiynau mewn rhanau eraill o'r byd pa rai nid allant wybod. Rhwyma gorchymyn Iesu Grist yr eglwysi i ddefnyddio eu cyfoeth a'u doniau hyd oni phregether y newydd hwn i'r holl genedloedd.

---

# ANSELM AR Y BOD O DDUW.*

## TRAETHAWD AMDDIFFYNOL YN ERBYN GAUNILON YN EI ATEBIAD O BLAID YR YNFYD.

### RHAGLITH.

Gan mai nid yr ynfyd y dadleuwn yn ei erbyn yn fy llyfr bychan, sydd yn gwrthwynebu fy ymresymiad, eithr rhywun nad ynfyd mo hono—"Eglwyswr"—o blaid yr ynfyd, digon i mi yn awr yw ateb yr Eglwyswr.

* Gwel Rhifyn I., tu dal. 19—26. Gan ein bod yn awr yn terfynu gydag Anselm, heb wybod a gawn droi ato byth mwy, a bod llawer, mae yn ddïau, erbyn hyn yn barod i ofyn, Pwy oedd efe, pa bryd yr oedd yn byw, ac ymha le? yn gystal â pha beth a wnaeth? hwyrach y dylem ddyweyd gair yn fyr am dano. Ganwyd ef yn Aosta yn Piedmont, yn 1033. Derbyniodd argraffiadau crefyddol dyfnion yn foreu oddiwrth ei fam. Pan yn bur ieuanc, gadawodd aelwyd ei rïeni, o herwydd angharedigrwydd ei dad tuag ato, a bu yn teithio ar hyd a lled Ffrainc am tua thair blynedd, pryd y penderfynodd roddi ei hunan yn fynach ac ymneillduo i Fynachlog Bec, yr hon oedd ar y pryd dan lywyddiaeth Lanfranc. Bu hyn yn 1060. Yn 1063, gwnaethpwyd ef yn Brior y Fynachlog ar ol Lanfranc, ac yn 1078 yn Abad ar farwolaeth Herluin. Dywedir iddo gyflawni y swyddau hyn yn ardderchog, a'i fod yn ddiwygiwr mawr yn ei ffordd. Yn 1093 galwyd ef i Loegr yn Archesgob Caergaint. Gwrthododd yr Archesgobaeth, pa fodd bynag, ar y cyntaf, ac nid rhyfedd pan gofiom pa fath oedd sefyllfa crefydd yn Lloegr yn nheyrnasiad y Breninoedd

PENNOD I.

Yr ydych yn dywedyd (pwy bynag ydych yn hòni y gall yr ynfyd ddywedyd felly), nad oes dim yn bodoli yn y deall ag nas gellir synied am ei fwy, oddieithr yn y fath fodd ag y mae yn anmhosibl ei gynnrychioli hyd yn nôd mewn meddwl yn ffurf dim sydd yn meddu bodolaeth wirioneddol; ac nad yw yn canlyn fod y bôd hwn yr wyf yn cyfeirio ato, y mwyaf y gellir synied am dano—yn meddu unrhyw fodolaeth wirioneddol o herwydd ei fod yn y deall, mwy na bod yr "ynys golledig" yn bodoli o herwydd nad yw y neb a glywo ei desgrifio yn ammheu ei bod yn ei ddeall. Yr wyf finnau yn ateb, os nad ellir meddu deall na syniad am yr hyn nas gellir synied am ei fwy, os nad ydyw yn y deall nac yn y syniad, yna eglur yw nad Duw yw y mwyaf y gellir synied am dano, neu ynte nas gellir ei ddeall na ffurfio syniad am dano, ac nid yw yn bodoli nac yn y syniad nac yn y deall. Ond, i brofi geudeb yr ymresymiad, ni raid i mi ond apelio at eich ffydd a'ch cydwybod eich hun am wrthddadl o'r fath gadarnaf. Gan hyny, yr ydym mewn gwirionedd yn meddwl ac yn deall am yr hwn nas gellir synied am ei fwy, ac y mae yn y deall ac yn y syniad. O ganlyniad, nid cywir y seiliau y ceisiech brofi y gwrthwyneb oddiwrthynt, neu ynte y mae y casgliad yr honech ei dynu yn rheolaidd oddiwrthynt yn dwyllodrus. Yr ydych yn tybied nad yw yn canlyn, o herwydd y gellir deall am rywbeth ag nas gellir synied am ei fwy, ei fod yn y deall; nac er iddo fod yn y deall, ei fod yn meddu bodolaeth wirioneddol: yr wyf yn ddibetrus yn ateb, os gellir synied am dano, y mae yn bod o anghenrheidrwydd. Oblegid nis gellir meddwl am y bôd mwyaf y mae yn bosibl synied am dano ond fel un na bu dechreuad i'w fodolaeth. Gan hyny, nis gellir meddwl am y bôd mwyaf y gellir synied am dano, yn bod ac eto heb fod. Gan hyny, os gellir synied am dano yn bod, y mae o anghenrheidrwydd yn hanfodi. Ymhellach, os ydyw yn bosibl ffurfio syniad am y bôd hwn o gwbl, y mae yn rhaid ei fod.* Oblegid nid oes neb er gwadu neu ammheu fod

Normanaidd. Diangodd Anselm am nodded at y Pab Urban yr Ail; a bu yn crwydro ar hyd y Cyfandir am fwy na thair blynedd. Wedi hyny dychwelodd i Loegr, a gwnaed yr ymrafael i fyny ychydig cyn ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn y flwyddyn 1109.

Prif weithiau ein hawdwr ydynt,—y "Monologion"—(gwel Traethodydd, Ion., 1862)—"Ar y Bôd o Dduw"—"Ar Athrawiaeth y Drindod, ac ymgnawdoliad y Gair"—"Ar ddeilliad yr Ysbryd Glân"—"Sefyllfa'r Diafol"—"Pam Duw yn ddyn?" (gwel *Athrawiaeth yr Iawn*, tu dal. 128)—"Ar yr ewyllys"—"Cysondeb Rhagwybodaeth ac Arfaeth"—"Ar y Sacramentau"—"Ar briodasau anghyfreithlawn"—"Myfyrdodau" (mewn rhyddiaeth a mydriaeth)—"Homiliau," "Pregethau," ynghyd a lliaws mawr o "Epistolau." Y mae yr argraffiad o'i weithiau, ynghyd â chofiant yr awdwr gan ei gyfaill Eadmerus, sydd ger ein bron, mewn dwy gyfrol wythplyg mawr, wedi ei argraffu yn fân yn arddull y Cyfandir.

* Os credir "athrawiaeth meddylddrychau cynhenid," a "gwirioneddau Rheswm pur"—yr hyn, a dyweyd y lleiaf, a ddaliwyd gan brif feddylwyr y byd o Plato hyd yn bresennol—y mae yn anhawdd gweled pa fodd y gellir ysgoi ymresymiad Anselm. Y pwnc pwysicaf mewn dadl ar hyn o bryd, gyda golwg ar y profion arddansoddol o fôd a phriodoliaethau Duw, ydyw, pa un a ydyw yn bosibl ffurfio syniad am yr anammodol *(absolute)* a'r annherfynol, neu am Fôd Perffaith. Llafuriodd Syr William Hamilton yn galed i brofi nas gellir; a llwyddodd i roddi cryn foddlonrwydd i feddylwyr o'i ysgol ei hun, ond yr effaith a gafodd ei holl ymresymiadau cawraidd ar feddyliau y meddylwyr mwyaf a'r dynion goreu o'r ysgol wrthwynebol, yw, eu cadarnhâu yn fwy nag erioed fod dyn yn rhywbeth mwy na pheiriant deallol—"bod ysbryd mewn dyn," ac mai "ysbrydoliaeth yr Hollalluog sydd yn peri iddo ddeall"—ac felly fod pob cyfundraeth beiriannol o athroniaeth yn rhwym o syrthio yn fyr o allu cyfrif am egwyddorion a gweithrediadau y meddwl dynol. Addefa Mansel *(Limits, Lect. III.)*, mai drwy ymwybyddiaeth *(consciousness)* yn unig yr

dim ag nas gellir synied am ei fwy, a wadai neu a ammheuai pe bae y cyfryw fôd yn hanfodi, ei bod yn anmhosibl iddo, nac mewn gweithred nac mewn meddwl, beidio hanfodi. Oblegid pe amgen, ni byddai y mwyaf y gellid synied am dano. Eithr pa beth bynag y gellir synied am dano ac nid yw, pe dygwyddai iddo ddyfod i fod, gallai mewn ffaith yn gystal ag yn y deall beidio bod. O ganlyniad, os gellir ond ffurfio syniad am yr hyn nas gellir synied am ei fwy, y mae yn annichonadwy iddo beidio bod. Ond tybier nad yw yn bod er y gellid ffurfio syniad am dano; yna pa beth bynag y gellir synied am dano ac nid yw, pe deuai rywbryd i fod, ni byddai y mwyaf y gellid synied am dano. Gan hyny, pe deuai y mwyaf y gellir synied am dano rywbryd i fod, ni byddai y mwyaf y gellid synied am dano; yr hyn sydd dra gwrthun. Nid gwir, gan hyny, yw, nad oes yn hanfodi rywbeth ag nas gellir synied am ei fwy, os yw bosibl hyd yn nôd ffurfio syniad am dano; llawer llai felly os yw bosibl meddu dealltwriaeth am dano, neu os yw bosibl iddo hanfodi yn y deall. Gallwn ychwanegu y gellid yn ddiammheu ffurfio syniad am yr hyn nid yw yn bodoli mewn rhyw le, ac ar ryw adeg—er iddo fodoli mewn rhyw le ac ar ryw adeg arall—yn peidio bodoli mewn unrhyw le nac ar unrhyw adeg, yr un modd ag y mae yn peidio bodoli mewn rhyw le neu ar ryw adeg neillduol arall. Oblegid y peth nid oedd ddoe, ond sydd heddyw, megys y gwybyddir nad oedd yn bodoli ddoe, gellir meddwl am dano yn peidio bodoli un amser; a'r peth nid yw yma, eithr sydd acw, gellir meddwl nad yw yn unlle, megys nad yw yma. Yr un modd gellir synied am yr hyn nad yw pob rhan o hono yn bodoli yn yr un man, ac ar yr un pryd a'i ranau eraill, heb fodoli yn ei holl ranau, ac felly fel cyfanbeth *(totum)*, yn unman nac un amser. Oblegid er y dywedir fod amser yn bod bob pryd, a'r cyfanfyd *(mundus)* ymhobman, eto nid yw yr oll o'r naill bob pryd na'r oll o'r llall ymhob man; ac megys nad yw pob rhan o amser yn bodoli ar yr un pryd a'r rhanau eraill, gellir synied am danynt heb fodoli byth; ac megys nad yw pob rhan o'r cyfanfyd yn bodoli yn yr un lle â phob rhan arall, felly gellir cynnwys y meddwl o iddynt beidio bodoli yn unman; a pha beth bynag sydd yn gyfansoddedig o ranau, gellir mewn syniad ei ddadgyfansoddi, fel y gall beidio bod. Felly pa beth bynag nad yw yr oll o hono yn bodoli mewn unrhyw le arbenig, neu ar unrhyw amser neillduol, er iddo fodoli, gellir synied am dano yn peidio bodoli; eithr y bôd nas gellir synied am ei fwy, os yw yn bodoli, nis gellir meddwl am dano yn peidio bodoli. Os amgen, nid y mwyaf y gellir synied am dano ydyw, yr hyn sydd wrthddywediad. Nid oes gan hyny nac amser na lle nad yw hwn yn yr *oll o hono* ynddo. Y mae yr oll o hono yn hanfodi ymhob man a phob amser. Ai nid ydych i ryw fesur yn tybied ei bod yn bosibl synied neu ddeall

ydys yn gwybod fod Duw yn bod, ac y gallwn gyflwyno unrhyw wasanaeth iddo, er y llafuria i ddangos fod siarad am syniad neu ddrychfeddwl am yr annherfynol yn wrthddywediad ac yn wrthuni. Tybiem yn ostyngedig fod Hamilton a'i-ddysgybl wedi gwneyd peth camgymeriad drwy ddwyn gwirioneddau *rheswm* i gael eu trafod a'u penderfynu ar faes y *deall*. Nid ydym yn barod i ymgymeryd â'r gorchwyl dirfawr o geisio penderfynu y ddadl bwysig hon; ac nid ein hamcan, wrth fyned i'r drafferth o gyfieithu Anselm, oedd gwneyd iddo yntau ei phenderfynu, er mai un o'n hamcanion yn hyn oedd cynnysgaethu y darllenydd ymchwilgar â rhywbeth y gellid ei alw yn "gymhorth i feddwl" ar y pwnc. Mewn trefn i ffurfio barn arno, darllener "*Hamilton's Discussions*," a'i "*Lectures;*" "*Mansel's Bampton Lectures;*" "*Maurice, What is Revelation?*" "*Young's Province of Reason;*" "*Calderwood's Philosophy of the Infinite;*" "*M'Cosh's Intuitions of the Mind.*"

am y cyfryw fôd, a'i fod yn bodoli yn y meddwl neu yn y deall. Oblegid os nad yw hyn yn bosibl, nis gellir priodoli y cyfryw bethau iddo. Ond os dywedwch na ddeallir ef, ac nad yw yn y deall am nas gellir ei ddeall yn berffaith, dywedwch hefyd nad yw yr hwn sydd yn methu craffu ar oleuni trylachar yr haul yn gweled goleuni y dydd, gan maï goleuni yr haul yw goleuni y dydd. Diammheu fod ý bôd ag nas gellir synied am ei fwy yn ddealledig ac *yn y deall,* i'r fath raddau o'r hyn lleiaf ag y gellir priodoli y pethau uchod iddo a'u deall am dano.

## PENNOD II.

Felly yr oeddwn yn dywedyd yn yr ymresymiad a wrthwynebir genych, fod yr ynfyd pan glywo grybwyll am y bôd nas gellir synied am ei fwy, yn deall yr hyn y mae yn ei glywed. Rhaid fod yr hwn na ddeall hyn, pan ei llefarir mewn iaith adnabyddus iddo, yn amddifad o ddeall o gwbl. Yna yr oeddwn yn ychwanegu, os yw yn bosibl ei ddeall, yna ei fod o anghenrheidrwydd yn y dealltwriaeth. Ai nid yw yr hyn y profwyd ei fod yn meddu bodolaeth wirioneddol mewn unrhyw ddealltwriaeth? Ond hwyrach y dywedwch, a chaniatâu ei fod yn y deall, nad yw hyny yn canlyn y ffaith o'i fod yn ddealledig. Ond, sylwch, y mae yn canlyn oddiwrth y ffaith noeth o'i fod yn ddealledig y rhaid ei fod *yn y deall.* Oblegid beth bynag y ffurfir syniad am dano, gwneir hyny gan y meddwl (*cogitatione*); a pha beth bynag y ffurfir syniad am dano gan y meddwl, y mae yn y meddwl fel y ffurfiwyd y syniad am dano; yr un modd yr hyn a ddeallir a ddeallir gan y deall, a pha beth bynag a ddeallir gan y deall y mae yn y deall fel y deallwyd ef. Beth sydd eglurach? Drachefn yr oeddwn yn dywedyd, os yn y deall yn unig y mae, y gellir synied am dano yn meddu bodolaeth wirioneddol: yr hyn sydd fwy. Gan hyny, os yn y deall yn unig yr hanfoda, yna yn wir y mae y mwyaf y gellir synied am dano yn gyfryw ag y gellir synied am ei fwy! Beth, meddaf, a all fod yn fwy eglur? Oblegid os yn y deall yn unig y mae, onid ellir synied am dano yn meddu bodolaeth wirioneddol hefyd? Ac os gellir, onid yw yr hwn sydd yn synied felly yn synied am rywbeth mwy nag ef os yn y deall yn unig y mae? Beth ynte a all fod yn fwy penderfynol na bod yr un un yn gyfryw ag nas gellir synied am ei fwy, ac hefyd yn gyfryw ag y gellir synied am ei fwy, os yn y deall yn unig y mae? Ond o ran hyny, nid yw yr hyn y gellir a'r hyn nis gellir synied am ei fwy mewn unrhyw ddeall yr un. Onid ydyw yn canlyn gan hyny, os yw yr hyn nas gellir synied am ei fwy yn hanfodi mewn unrhyw ddeall o gwbl, mai nid yn y deall yn unig y mae? Oblegid os yn y deall yn unig y mae yn hanfodi, yna gellir meddwl am ei fwy: yr hyn sydd wrthddywediad.

## PENNOD III.

Ond chwi a ddywedwch fod hyn fel pe dywedai rhywun am ynys yn y môr yn tra rhagori mewn ffrwythlondeb ar bob ynys arall, yr hon a gyfenwir "yr ynys golledig," am ei bod yn anhawdd os nad yn anmhosibl dyfod o hyd iddi; ac yna haeru na ddylid ammheu fod yr ynys yn bod mewn gwirionedd, o herwydd y dichon unrhyw ddyn ddeall y geiriau a ddefnyddir i'w desgrifio. Yr wyf yn ateb yn hyderus, os daw neb o hyd i rywbeth yn bodoli, un ai mewn gwirionedd ai ynte yn y meddwl yn

unig ag y gellir cymhwyso fy ymresymiad ato, heblaw yr hwn nas gellir synied am ei fwy, y mynaf finnau gael gafael ar yr ynys a gollwyd, a rhoddaf hi yn feddiant iddo ef fel na choller hi byth ond hyny. Eithr yr ydys wedi gweled yn barod, a hyny yn eglur, nas gellir meddwl am y bôd mwyaf y gellir synied am dano yn peidio bod, gan ei fod yn bodoli ar y fath seiliau cedyrn o anghenrheidrwydd *(veritatis)*, oblegid pe amgen nis gallai fodoli o gwbl. Yn olaf, os haera neb y medr synied am hwn yn peidio bod, yr wyf yn ateb ei fod pan yn meddwl felly yn meddwl am rywbeth ag nas gellir synied am ei fwy, neu ynte nid yw. Os nad yw, yna nid yw yn meddwl am yr hyn nad yw yn synied am dano o gwbl, yn peidio bod. Ond os ydyw, dïau ei fod yn meddwl am rywbeth ag nas gellir synied am dano yn peidio bod. Oblegid os gellir synied am dano yn peidio bod, yna gellid meddwl am dano yn meddu dechreu a diwedd; ond nis gall hwn feddu y naill na'r llall. Pwy bynag gan hyny a ffurfia syniad am hwn sydd yn synied am rywbeth ag nas gellir meddwl am dano yn peidio bod; ac nid yw yr hwn sydd yn meddu syniad am hwn, yn gallu meddwl am iddo beidio bod; pe amgen byddai yn synied yr hyn nis gellir ei synied. Y canlyniad yw, nas gellir meddwl am y bôd mwyaf y gellir synied am dano yn peidio bod.

## PENNOD IV.

Ond gan eich bod yn awgrymu y buasai yn fwy priodol dywedyd nas gellir *gwybod (intelligi) nad* yw y bôd goruchel hwn yn hanfodi, neu ei bod yn bosibl iddo beidio hanfodi, na dyweyd nas gellir synied neu feddwl *(cogitari)* am dano yn peidio bod, yr wyf finnau yn dal mai *nas gellir synied am dano yn peidio bod* oedd yr ymadrodd mwyaf priodol.* Oblegid pe dywedaswn nas gellir gwybod nad yw y gwrthddrych hwn yn bod, hwyrach y buasech chwi yn codi gwrthddadl, ac yn dyweyd nas gellir gwybod am ddim yn peidio bod sydd yn bod, gan eich bod yn dywedyd nas gellir, yn ol ystyr briodol y gair, feddu gwybodaeth *(intelligi)* o bethau twyllodrus; oblegid y mae yn anghywir dywedyd nad yw yr hyn sydd. O ganlyniad, nid am Dduw yn unig y buasai yn briodol dyweyd nas gellir *gwybod* nad yw yn bod. Ond os gellir gwybod am rywbeth sydd yn bod yn peidio bod, yna gellir yr un modd wybod am bethau adnabyddus eraill yn peidio bod. Eithr y mae yn amlwg na thâl yr wrthddadl wrth ei chymhwyso at y gair syniad, a'i ystyried yn briodol. Oblegid er nas gellir gwybod am ddim sydd yn bod yn peidio bod, eto gellir synied am danynt oll yn peidio bod oddieithr yr hwn sydd oruchaf. Gellir synied am yr holl bethau hyny, a dim ond y rhai hyny, yn peidio bod, sef y pethau sydd yn meddu dechreu neu ddiwedd, neu yn gyfansoddedig o ranau; neu fel y dywedais o'r blaen, pa beth bynag nad yw yn bodoli yn yr oll o hono ar bob adeg ac ymhob man. Ond yr unig un nas gellir meddwl am dano yn peidio bod yw yr hwn sydd heb na rhanau, na dechreu, na diwedd, a'r hwn nas gall y meddwl gynnwys y syniad am dano ond fel un yn hanfodi yn yr oll o hono ymhob man ac ar bob moment. Mi a wn gan hyny y gallwch feddwl am danoch eich hun yn peidio bod, tra y gwydd

* Cofier mai am briodoldeb y geiriau yn y Lladin y mae y ddadl. Fe wêl y cyfarwydd ein bod yn y pennodau hyn yn defnyddio *synied* a *meddwl* fel yn gyfystyr am *cogitari*; a *deall* a *gwybod* am *intelligi*.

och yn sicr eich bod yn bod; ac yr oedd yn syn genyf eich clywed yn dywedyd na wyddech hyny. Canys yr ydym yn synied am lawer o bethau yn peidio bod er y gwyddom eu bod, a llawer o bethau yn bod pryd y gwyddom nad ydynt: nid barnu yr ydym, ond dychymygu, eu bod fel yr ydys yn synied am danynt. Yr ydym, yn wir, yn alluog i synied am rywbeth yn peidio bod hyd yn nôd pan y gwyddom ei fod yn bod, a hyny o herwydd ein bod yn alluog i synied y naill a gwybod y llall ar yr un pryd; ac yr ydym yn analluog i synied am beth yn peidio bod pan y gwyddom ei fod yn bod, a hyny o herwydd ein bod yn analluog i synied am dano yn bod ac yn peidio bod ar yr un pryd. Pwy bynag gan hyny a fedr wahaniaethu y ddwy frawddeg uchod yn y cysylltiad presennol, a ddeall nas gellir meddwl am ddim yn peidio bod tra y gwyddys ei fod yn bod; a pha beth bynag sydd heblaw yr hyn nis gellir synied am ei fwy, gellir meddwl am dano yn peidio bod, hyd yn nôd pan y gwyddys ei fod yn bodoli. Felly y mae yn perthyn yn arbenig i Dduw nas gellir synied am dano yn peidio bod; ac eto y mae llawer o bethau nas gellir meddwl am danynt yn peidio bod tra y maent yn bod. O barth i'r ystyr ymha un y gellir meddwl am Dduw yn peidio bod, yr wyf yn meddwl fod digon wedi ei ddyweyd yn fy llyfr bychan. (*Proslogion*, pen. 3).

PENNOD V.

Ond y mae pethau eraill yn cael eu dwyn ymlaen genych o blaid yr ynfyd, ac yn erbyn fy ymresymiad i—pethau ag yr oeddwn wedi meddwl eu gadael yn ddisylw, gan fod yn hawdd i rywun heb fod yn ddoeth iawn ganfod eu geudeb. Ond gan fy mod yn clywed eu bod yn cael edrych arnynt gan rai o'm darllenwyr fel gwrthddadleuon pwysig yn fy erbyn, mi a sylwaf yn fyr arnynt. Yn y lle cyntaf, yr ydych eilwaith a thrachefn yn dyweyd fy mod yn hòni fod yr hyn sydd fwy na phobpeth yn bodoli yn y deall, ac os yw yn bodoli yn y deall, ei fod yn bodoli hefyd mewn gwirionedd; pe amgen na byddai yr hyn sydd fwy na phobpeth yn fwy na phobpeth. Eithr ni cheir y fath brawf mewn dim a ysgrifenwyd genyf fi. Oblegid y mae yn gwneyd dirfawr wahaniaeth mewn trefn i brofi hanfodiad y bôd mewn dadl, pa un ai bôd "mwy na phobpeth" ai ynte bôd ag "nas gellir synied am ei fwy" y byddom yn siarad yn ei gylch. Oblegid os dywed neb nad yw yr hyn nas gellir synied am ei fwy yn ddim mewn gwirionedd, neu y gall beidio bod, neu y gellir, hyd yn nôd feddwl am dano yn peidio bod, y mae yn hawdd ei ateb. Oblegid gall yr hyn nid yw beidio bod; a'r hyn a all beidio bod gellir meddwl am dano yn peidio bod. Eithr pa beth bynag y gellir meddwl am dano yn peidio bod, os yw yn bod, nid yw y mwyaf y gellir synied am dano; ac os nad yw yn bod, hyd yn nôd pe byddai iddo ddyfod i fod, ni byddai y mwyaf y gellid synied am dano. Ond nis gellir dyweyd am yr hwn nas gellir synied am ei fwy—os yw yn bod—nad y mwyaf y gellir synied am dano ydyw; neu pe byddai yn bod nad y mwyaf y gellid synied am dano fyddai. Y mae yn eglur gan hyny nad yw yn peidio, nad yw yn bosibl iddo beidio, ac nas gellir meddwl am iddo beidio bod. Pe amgen, os yw yn bod, nid y gwrthddrych mewn dadl ydyw, neu a fyddai, pe byddai yn bod. Hyn nis gellir mor hawdd ei brofi mewn perthynas i'r bôd y dywedir ei fod yn fwy na phobpeth. Oblegid nid yw mor hawdd profi nad yw yr hyn y gellir meddwl am dano yn peidio

bod yn fwy na phobpeth, ag ydyw profi nad ydyw y mwyaf y gellir synied am dano. Nid yw chwaith mor ddiammheuol, os oes rhywbeth mwy na phobpeth yn bod, nad rhywbeth hollol wahanol i'r bod mwyaf y gellir synied am dano ydyw; neu a fyddai pe byddai yn bod; fel y mae yn sicr gyda golwg ar y bôd mewn dadl, yr hwn nis gellir synied am ei fwy. Beth pe dywedai rhywun wrthyf fod rhywbeth mwy na phobpeth sydd, ac eto y gellid synied am dano yn peidio bod; ac y gellid synied am rywbeth mwy na hwn, er na byddai hwnw yn bod: a allesid tynu y casgliad nad yw hwn gan hyny yn fwy na phobpeth arall sydd, mor eglur ag y gwneir yn fy ymresymiad i nad yw y mwyaf y gellir synied am dano? Yn y naill amgylchiad y mae yn rhaid wrth ryw brawf o fodolaeth y gwrthddrych heblaw dyweyd ei fod yn *fwy na phobpeth*. Yn y llall, ni raid wrth unrhyw brawf ond sydd yn gynnwysedig yn yr ymadrodd,—*yr hwn nis gellir synied am ei fwy*. Gan hyny, os nad ellir profi yn gyffelyb am y bôd y dywedir ei fod yn fwy na phobpeth, yr hyn sydd hunaneglur mewn perthynas i'r hwn nis gellir synied am ei fwy, yr ydych yn gwneyd cam â mi pan yn fy nghondemnio am ddyweyd yr hyn ni ddywedais, pan y mae y ddau beth yn gwahaniaethu cymaint. Ond os gellir cymhwyso yr un ymresymiad at y naill a'r llall, ni ddylasech fy meio am ddyweyd yr hyn y mae yn bosibl ei brofi. Y mae yn hawdd i'r neb a ystyrio mai y drychfeddwl anghenrheidiol tuag at brofi hyn yw "yr hyn nis gellir synied am ei fwy," ddyfod i benderfyniad pa un a ydyw yn bosibl ai peidio: oblegid y mae yn anmhosibl gwybod am unrhyw fôd ag nas gellir synied am ei fwy, oddieithr hwnw yn unig ag sydd yn fwy na phobpeth. Felly gan hyny, megys yr ydys yn deall am y bôd mwyaf y gellir synied am dano, ac y mae yn y deall, drwy yr hyn y profir ei fod hefyd yn hanfodi mewn gwirionedd,—yr un modd y deallir am y bôd y dywedir ei fod yn fwy na phobpeth, ac y mae yn y deall, drwy yr hyn y profir ei fod yn meddu bodolaeth wirioneddol ac anghenrheidiol. Chwi a welwch, ynte, gyda pha faint o briodoldeb y cymharech fi i'r ynfytyn hwnw a geisiai brofi bodolaeth yr ynys golledig, yn unig o herwydd ei fod yn deall geiriau y desgrifiad.

PENNOD VI.

Mewn perthynas i'r wrthddadl, y gellir deall pethau twyllodrus ac ammheus, ac y gallant fod yn y deall yn gystal a'r bôd yr oeddwn yn son am dano, yr wyf yn rhyfeddu eich bod yn tybied fod hyny yn milwrio yn fy erbyn, gan mai amcanu profi yr hyn a dybid oedd ammheus yr oeddwn; a digon i mi ar y cyntaf oedd dangos fod y gwrthddrych mewn rhywfodd yn ddealledig ac yn y deall, modd y gallesid ystyried ymhellach pa un ai yn y deall yn unig, fel pethau twyllodrus, ai ynte mewn gwirionedd hefyd, yr oedd yn bodoli. Oblegid os yw pethau twyllodrus ac ammheus yn ddealledig ac yn y deall yn y fath fodd ag i alluogi y neb a glywo eu crybwyll i ddeall yr hyn a ddywedir, nid oes dim yn rhwystro i'r hyn yr oeddwn innau yn son am dano gael ei ddeall a bod yn y deall. Ond pa fodd y dichon i'r fath bethau fod yn gyson, gan eich bod yn dywedyd pe siaradai rhywun wrthych am bethau twyllodrus, y gallech ddeall ei eiriau beth bynag a ddywedai; tra na ddywedir eich bod, pan glywoch grybwyll yr hyn sydd yn hanfodi, yn synied am dano yn yr un modd ag yr ydych yn synied am bethau twyllodrus, na'i

fod yn eich meddwl fel y mae y pethau hyny yn eich meddwl? o herwydd rhaid i chwi ffurfio y syniad am y peth hwn drwy ddealltwriaeth *(intelligendo)*, h. y., drwy gynnwys yn eich gwybodaeth *(sciencia comprehendendo)* ei fod yn hanfodi mewn gwirionedd. Pa fodd, meddaf, y cysonir y pethau hyn, sef y gellir deall pethau twyllodrus, ac mai deall unrhyw beth yw cynnwys yn ein gwybodaeth ei fod yn wir yn hanfodi? Ond nid ydyw ddim i mi, edrychwch chwi. Eithr os mewn rhyw ystyr neillduol y golygwch y mae yn bosibl deall pethau twyllodrus, ac os nad yw eich darnodiad o'r deall yn cynnwys *pob deall*, ond *rhyw fath* o ddeall, yna ni ddylasid fy meio i am ddyweyd fod yr hyn nas gellir synied am ei fwy yn ddealledig ac *yn y deall* hyd yn nôd cyn ein bod yn ymwybodol o'i fodolaeth wirioneddol.

PENNOD VII.

Eich gwrthddadl nesaf yw, ei bod braidd yn anghredadwy, pan glywom grybwyll y bôd hwn, nad yw yn bosibl synied am dano yn peidio bod yr un modd ag y mae yr ynfyd yn medru meddwl am Dduw yn peidio bod. Caiff y rhai hyny sydd wedi cyrhaedd ond y gradd lleiaf o fedrusrwydd mewn ymresymu a dadleu, ateb yn fy lle. A ydyw yn rhesymol i rywun wadu yr hyn y mae yn ddeall am y dywedir wrtho mai yr un ydyw a'r hyn a wedir ganddo, a hyny yn unig am nad yw yn ei ddeall? Neu pe gwadid rhywbeth rywbryd ag sydd i fesur yn ddealledig, a bod y peth hwnw yr un â rhywbeth arall nad yw mewn un modd yn ddealledig, ai nid hawddach fyddai profi rhywbeth ammheus mewn perthynas i'r hyn sydd mewn rhyw ddeall nag mewn perthynas i'r hyn nad yw mewn unrhyw ddeall? Felly y mae yn anhygoel fod neb yn gwadu bodolaeth y bôd mwyaf y gellir synied am dano, yr hwn y mae i ryw fesur yn ddeall pan glywo ei grybwyll, yn unig oblegid ei fod yn gwadu bodolaeth Duw am yr hwn nid yw wedi ffurfio un math o syniad. Ond os gwadir y cyntaf o herwydd nas gellir ei ddeall yn berffaith, onid ydyw er hyny yn hawddach profi bodolaeth yr hyn y gellir i ryw raddau ei ddeall na bodolaeth yr hyn nis gellir ei ddeall o gwbl? Nid heb reswm, gan hyny, y dygwyd y drychfeddwl o *fôd nas gellir meddwl am ei fwy* ymlaen yn erbyn yr ynfyd i brofi bodolaeth Duw; gan nad oes gan yr ynfyd unrhyw ddealltwriaeth am Dduw, tra y mae ganddo ryw gymaint o ddealltwriaeth am y llall.

PENNOD VIII.

Ond pa raid oedd i chwi lafurio cymaint i brofi nad yw y bôd mwyaf y gellir synied am dano yn debyg i'r darlun yn meddwl yr arlunydd cyn ei weithio allan? Oblegid nid oeddwn yn dwyn y darlun rhagfeddyliedig *(præcogitata)* ymlaen mewn trefn i brofi fod y bôd mewn dadl yn debyg iddo; ond fy amcan oedd dangos y gallai rhywbeth fod yn y deall ag y gwyddys nad yw yn bodoli. Drachefn, chwi a ddadleuwch eich bod yn analluog, pan glywoch grybwyll am yr hwn nis gellir meddwl am ei fwy, i'w gynnwys yn y deall nac i synied am dano fel yn cyfateb i ddim sydd adnabyddus i chwi mewn na rhyw na math, gan nad ydych nac yn adnabod y gwrthddrych ei hun nac yn medru ei wahaniaethu oddiwrth bethau eraill cyffelyb: eithr eglur yw nas gall hyn fod felly. Oblegid gan fod pob daioni llai, mor bell ag y mae yn ddaioni i gyffelyb i ddaioni

mwy, y mae yn amlwg i bob meddwl rhesymol y gallwn wrth esgyn o ddaioni llai at ddaioni mwy, drwy feddwl am yr hyn y gellir synied am ei fwy, wneyd llawer tuag at gyrhaedd gwybodaeth am y daioni hwnw nas gellir meddwl am ei fwy. Oblegid pwy, er enghraifft, nad all synied (a chaniatâu nad yw yn credu yn ngwrthddrych ei syniad), os oes rhyw ddaioni ag y mae iddo ddechreu a diwedd, fod y daioni hwnw, yr hwn er bod iddo ddechreu, nad oes iddo ddiwedd, yn llawer mwy? ac fel y mae y naill o'r rhai hyn yn fwy na'r llall, felly mwy daioni fyth yw yr hwn nad oes iddo na dechreu na diwedd, eithr sydd yn dylifo yn gyson o'r gorphenol trwy y presennol i'r dyfodol; ac mai daioni mwy fyth—pa un bynag a ydyw yn bod ai peidio—yw hwnw y gellir meddwl am dano yn rhydd oddiwrth, ac uwchlaw pob ysgogiad a chyfnewidiad. Ac ai nid ellir ffurfio syniad am ddaioni felly? A pha beth yw hyn ond ymresymu oddiwrth yr hyn y gellir synied am ei fwy, at yr hyn nas gellir synied am ei fwy? Oddiwrth y pethau hyn gan hyny yr ydys yn gallu casglu rhywbeth am y bôd mwyaf y gellir meddwl am dano. Yn y modd hwn hefyd y mae yn hawdd gorchfygu yr ynfyd, yr hwn nid yw yn derbyn yr awdurdod sanctaidd, os yw yn gwadu y gallwn drwy y pethau hyn gyrhaedd mesur o wybodaeth am y bôd nas gellir synied am ei fwy. Ond os oes unrhyw gristion yn gwadu hyn, cofied fod *ei anweledig bethau Ef er crëadigaeth y byd i'w gweled yn amlwg wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod.* (Rhuf. i. 20.)

PENNOD IX.

Ond pe byddai yn wirionedd nad ellid na synied na deall am y bôd nas gellir meddwl am ei fwy, byddai yn wirionedd er hyny y gellid synied a deall am dano. Megys nad oes dim yn rhwystro i ni siarad am yr annhraethadwy *(ineffabile)*, er nad ellir gosod allan mewn geiriau yr hyn y dywedir ei fod yn annhraethadwy, felly gallwn ffurfio syniad am yr anamgyffredadwy *(non cogitabile)*, er nad ellir ffurfio syniad am yr hyn a elwir yn briodol yn anamgyffredadwy; felly hefyd pan grybwyllir rhywbeth "nas gellir meddwl am ei fwy," diammheu y gellir synied am dano, a'i ddeall i ryw fesur, er y dichon ei bod yn anmhosibl ffurfio syniad neu gyrhaedd dealltwriaeth am y gwrthddrych ei hun; ac er i rywun fod mor ffol a haeru nad oes dim ag nas gellir synied am ei fwy, nid yw yn myned mor haerllug a gwadu ei fod yn medru synied am a deall yr hyn y mae yn ddywedyd; a phe cyfarfyddid â'r cyfryw, nid yn unig byddai ei honiadau i'w gwrthod, ond efe ei hun hefyd i'w ddirmygu. Pwy bynag, ynte, a wadai fod rhywbeth ag nas gellir synied am ei fwy, diammheu fod ganddo syniad a deall am y gwadiad hwn o'i eiddo, ac nis gall amgyffred hwn heb ei ranau, ac un o'i ranau yw y drychfeddwl o'r *mwyaf y gellir synied am dano.* Y mae yr hwn sydd yn gwadu hyn, gan hyny, yn synied ac yn deall am yr hwn nas gellir synied am ei fwy. Y mae yn amlwg hefyd y gellir yn yr un modd synied a deall am yr hyn nas gall beidio bod; ond y mae y neb sydd yn synied am hwn yn synied am rywbeth mwy nag y mae y llall yn synied am dano, sef yr hyn a all beidio bod. Gan hyny, pan yr ydys yn meddwl am y bôd mwyaf y gellir synied am dano, os tybir y gall beidio bod, yna nid ydys yn synied am dano fel bôd nas gellir meddwl am ei fwy; ond y mae yn anmhosibl synied a pheidio synied am yr un peth ar yr un pryd.

Felly y mae yr hwn sydd yn meddwl am y bôd nas gellir synied am ei fwy, yn meddwl am yr hyn nid all ac nid am yr hyn a all beidio bod. Gan hyny y mae yr hyn y mae yn synied am dano yn bod o anghenrheidrwydd, oblegid nid yr hyn a all beidio bod yw yr hyn y mae yn synied am dano.

PENNOD X.

Yr wyf yn awr yn hyderu fy mod wedi dangos yn egluro drwy ymresymiad mor gadarn fel na ddichon unrhyw wrthddadl ei ddadymchwel, fy mod wedi profi yn fy llyfr blaenorol fodolaeth rhywbeth ag nas gellir synied am ei fwy. Y mae nerth mawr y prawf hwn yn gynnwysedig yn natur yr ymresymiad ei hun, gan y profir bodolaeth wirioneddol ac anghenrheidiol y bôd mewn dadl oddiwrth y ffaith noeth o'n bod yn synied ac yn deall am dano, ac hefyd fod y bôd hwn yn bobpeth ag sydd bosibl i ni ei gredu am y natur Ddwyfol. Oblegid yr ydym yn credu am y natur Ddwyfol ei bod yn bobpeth ag y mae yn well bod na pheidio. Er enghraifft, y mae yn well bod yn dragywyddol na pheidio bod felly, bod yn dda na pheidio bod yn dda; ïe, bod yn ddaioni ei hun na pheidio bod felly. Ond nis gall dim o'r fath fod, oddigerth yr hwn ag y mae yn anmhosibl ffurfio syniad am ei fwy. Y mae hwn gan hyny yn bobpeth sydd briodol i ni ei gredu am yr hanfod Ddwyfol.*

Dymunwn ddychwelyd fy niolchgarwch i chwi am eich boneddigeiddrwydd, yn gystal wrth gondemnio ag wrth ganmawl fy llyfr bychan. Oblegid y mae y gymeradwyaeth uchel a roddasoch i'r pethau a ymddangosent i chwi yn deilwng o dderbyniad, yn ddigon o brawf mai gyda'r dybenion goreu y gwrthwynebech y rhanau hyny a ymddangosent i chwi yn anghywir.

---

# CHRISTOPHER COLUMBUS, A DARGANFYDDIAD YR AMERICA.

Mae yn achos o syndod nid bychan, pan y meddyliom am y peth, bod Cyfandir ëang yr America yn hollol anadnabyddus i drigolion Ewrop bedwar can' mlynedd yn ol, a bod un arddrych *(hemisphere)* o'r belen ddaearol yn aros megys llyfr seliedig i'r arddrych arall o honi. Nid oedd enwogion y cynfyd yn gwybod ond ychydig am ddull ac agwedd y ddaear, ac nid oedd morwriaeth y cynoesoedd wedi cyrhaedd mor bell

* "Ffydd yn ceisio deall," oedd yr enw a roddasai yr awdwr ar y traethawd ar y cyntaf; a dylid cofio mai o safle ffydd y mae yn edrych ar, ac yn darlunio Duw. Dyfod at Dduw y mae "*gan gredu ei fod Ef,*" yna tröa i mewn i edrych pa peth a ddywed rheswm. Y mae hwnw yn ateb,—Y mae genyf fi ddrychfeddwl am fôd nas gellir meddwl am ei fwy mewn dim; h. y., bôd perffaith, ac felly y mae'r drychfeddwl yn cyfateb yn hollol i'r gwrthddrych a ddengys ffydd; gan hyny y mae ffydd yn dyweyd y gwir.

fel ag i alluogi masnachwyr enwog Tyrus a Sidon i fyned allan o olwg y tir yn eu hymchwiliadau pellenig, oddigerth i dymhestl gyfodi, a'u gyru hwynt allan i'r môr mawr. Edrychid ar y môr, yn yr hen amseroedd, yn ddiderfyn; a barn yr henafiaid am dano oedd ei fod yn amgylchu y ddaear megys gwregys, ac nad oedd dim tir y tu draw iddo. Pan oedd Alexander Fawr yn ocheneidio am fyd arall i'w orchfygu, nid oedd yn gwybod dim am y gwledydd ëang a chyfoethog a orweddent tua gwlad machlud haul, nad oedd y rhanau eraill o'r ddaear, adnabyddus iddo ef, ond prin yn gyfartal iddynt mewn cyfoeth a maintioli.

Yr anrhydedd o agoryd y ffordd i'r Cyfandir mawr gorllewinol, ac o ddangos i drigolion Ewrop y fath diriogaethau ëang a chyfoethog a orweddent yn yr eigion pell tua'r gorllewin, sydd yn perthyn i Christopher Columbus, yr hwn a anwyd yn nhalaeth Genoa tua'r flwyddyn 1445. Yr un modd â llawer o ddynion enwog eraill, ychydig a wyddys am hanes ei ddyddiau boreuol, ac nid ydyw amser na man ei enedigaeth yn adnabyddus i berffeithrwydd. Er bod sicrwydd mai genedigol o dalaeth Genoa ydoedd, eto ni wyddys yn iawn o ba fan ynddi. Pan yn bedair ar ddeg oed, gadawodd ei gartref genedigol ac aeth yn forwr. Yr oedd wedi cael rhyw gymaint o fanteision dysgeidiaeth cyn gadael ei gartref, yr hyn a fu yn fantais fawr iddo yn amgylchiadau pwysig ei fywyd ar ol hyny. Ychydig a feddyliai ei gydnabod a'i gyfeillion, yn ddiammheu, wrth weled y bachgenyn hwn yn troi allan o'i gartref genedigol i fyned yn forwr; ei fod wedi cael ei nodi allan gan Ragluniaeth i greu cyfnod newydd yn hanes y ddaear, a bod agoriadau y byd gorllewinol megys yn nghrôg wrth ei wregys, ac y byddai yn offeryn i ddwyn dan lywodraeth Yspaen wledydd mwy ëang a chyfoethog na'r oll o Ewrop. Ac ychydig a feddyliai trigolion Ewrop yn y cyfnod hwn, y gwelid teyrnas gadarn, yn cynnwys dros ddeng miliwn ar hugain o drigolion, wedi ei sefydlu trwy offerynoliaeth yr ynysoedd Prydeinig, ymhen llai na phedwar can' mlynedd, yn y gwledydd hyny ag yr oedd y bachgenyn hwn yn myned i ddangos y ffordd i gyrhaedd iddynt. Ond er mor anghredadwy y gallasai y peth ymddangos y pryd hwnw, y mae y cyfan wedi troi allan yn ffaith wirioneddol erbyn heddyw. Canys mewn canlyniad i hynt lwyddiannus Columbus, a'i waith yn darganfod y byd gorllewinol, y daeth gwledydd mawrion a chyfoethog Deheudir America, ac ynysoedd yr India Orllewinol, yn eiddo i lywodraeth Yspaen y pryd hwnw. Ac ymhen tua dwy flynedd ar ol dychweliad Columbus adref, y derbyniodd Sebastian Cabot gomisiwn gan Frenin Lloegr i hwylio tua'r gorllewin dan y faner Brydeinig, i'r dyben o ddarganfod gwledydd heb gael eu meddiannu gan yr un deyrnas Gristionogol, a chymeryd meddiant o honynt yn enw Brenin Lloegr. A'r canlyniad o'r anturiaeth bwysig hon ydoedd darganfod tiriogaethau ëang Gogledd America, lle yn bresennol y mae yr Unol Daleithiau wedi eu sefydlu, gan anturiaethwyr llwyddiannus o'r ynysoedd Prydeinig. Y rhai hyn a ddechreuasant ffurfio trefedigaethau yn Virginia a Newfoundland yn amser y Frenines Elizabeth a Iago I.

Mordeithiau cyntaf Columbus oeddynt i borthladdoedd cyffiniol Môr y Canoldir; ond yn fuan cafodd gyfleusdra i hwylio i foroedd y gogledd, pryd yr ymwelodd âg Iceland, gan fyned rhagddo amryw raddau tu fewn i'r cylch gogleddol, a hyny yn fwy er mwyn ychwanegu ei wybodaeth a'i ymofyngarwch, nag i'r dyben o gasglu cyfoeth. Wedi iddo ddy-

chwelyd o'r fordaith hon, aeth i wasanaeth Portugal, gwlad ag oedd yn talu mwy o sylw i forwriaeth yn yr amseroedd hyny nag yr un o'r gwledydd amgylchynol, ac yn anfon ei llongau ymhellach oddicartref nag yr un deyrnas arall. Yr oedd sôn am gyfoeth yr India Ddwyreiniol yn llanw meddyliau a dychymygion trigolion y rhan fwyaf o wledydd deheuol Ewrop tua y cyfnod presennol, ac yr oedd teithwyr anturiaethus wedi cyrhaedd dros y tir mor bell â'r gwledydd hyny ar brydiau, ac wedi cyhoeddi hanesion mawreddog am eu cyfoeth dihefelydd. Wrth glywed y pethau hyn, daeth Columbus i'r penderfyniad y gellid cyrhaedd rhyw barthau o'r India Ddwyreiniol trwy hwylio yn uniongyrchol dros y Môr Werydd tua'r gorllewin. Canys yr oedd efe yn barnu fod cyfandir mawr yn gorphwys yn rhywle yn y cyfeiriad hwnw, a hyny oddiwrth y ffaith bod yr haul yn ymweled âg ef ar ol iddo ymadael â'r parthau hyn o'r ddaear, ac hefyd bod anghenrheidrwydd o hyny i'r dyben o gyfartalu pwysau y ddaear yr ochr hono gyda'i phwysau yr ochr hon. Yr oedd ganddo ryw ddrychfeddwl lled gywir am ffurf ac agwedd y ddaear, ac felly penderfynai nad oedd yn ddichonadwy mai môr oedd y cyfan o honi tua'r gorllewin. Ac megys i gadarnhâu y dyb hon o'i eiddo, sef bod cyfandir mawr yn gorphwys yn rhywle yn y cyfeiriad hwnw, yr oedd amryw dystiolaethau gan y rhai oeddynt wedi mordwyo bellaf tua y gorllewin yn myned ymhell i brofi yr un peth. Un o forwyr Portugal, yr hwn a ddygwyddodd fyned allan i'r môr ymhellach nag arferol yn y dyddiau hyny, a gafodd ddarn o bren wedi ei gerfio mewn dull cywrain yn nofio ar wyneb y dwfr, tra yr oedd yn cael ei yru ymlaen tuag ato gan wynt o'r gorllewin. Canfyddid darnau o goed hefyd wedi eu cerfio mewn dull cyffelyb yn cael eu cludo gan y gwyntoedd at lànau gorllewinol ynysoedd Madeira, a gwelid corsenau o faintioli mawr yn cael eu dwyn yn fynych at yr ynysoedd hyn; a phan y byddai y gwynt wedi bod yn chwythu am hir amser o'r gorllewin, byddai llawer o goed wedi eu dadwreiddio yn cael eu taflu ar hyd glànau gorllewinol ynysoedd yr Azores. Ac unwaith yr oeddid wedi cael yno gyrff dau o ddynion, ymhob dull ac ymddangosiad yn hollol annhebyg i'r un o drigolion Ewrop.

Wedi i Columbus ystyried y mater yn drwyadl, daeth i'r penderfyniad o ymdrechu cael cynnorthwy i ffurfio llynges i droi allan i fôr y gorllewin, i'r dyben o ddarganfod y gwledydd ag y tybiai yn sicr oeddynt yn gorphwys yn y cyfeiriad hwnw. Gwnaeth gais am y cyfryw gynnorthwy gan ei wlad enedigol, sef Genoa, a gosododd ei gynlluniau ger bron y Senedd. Ond cafodd ei gais ei wrthod yma gyda dirmyg, megys breuddwyd ffol rhyw ynfyd-ddyn uchelgeisiol. Ond heb ddigaloni mymryn yn ngwyneb y fath dderbyniad gartref, aeth rhagddo i Portugal, i osod y mater ger bron y brenin yno, sef John II. A thrwy fod hwn yn ddyn o dalentau uchel, ac yn hynod o awyddus i gefnogi pob ymgais i chwilio allan a darganfod gwledydd pellenig, tybiai Columbus bod ganddo bob gobaith am well derbyniad ganddo ef na'r hyn a gawsai yn ei wlad enedigol. Yr oedd teyrnas Portugal, yn yr amser dan sylw, megys yr awgrymwyd eisoes, y wlad fwyaf enwog yn Ewrop am ei hanturiaethau ar y môr. Y brenin a roddes y mater o flaen rhai o'i gynghorwyr ag y byddai yn arfer cael eu barn ar bethau o'r fath; a hwy a ddechreuasant holi Columbus ynghylch ei fwriadau; ac wedi cael ganddo osod o'u blaenau y cwbl

o'i gynllun, bu iddynt ei gadw mewn pryder, heb roddi iddo yr un ateb penderfynol. Ond ar yr un pryd cynghorasant y brenin i anfon llong allan i'r gorllewin heb yn wybod i Columbus, i'r dyben o gario allan ei gynllun ef, a'i amddifadu o'r anrhydedd ei hunan. Bu y brenin mor ddiegwyddor a chydsynio â'u cais. Ond ni ddaeth dim llwyddiant o'r fath anturiaeth dwyllodrus, canys y llywydd oedd ar y llong a yrwyd allan a gyfarfu â thymhestl arswydus ar ol iddo hwylio ryw gryn bellder oddiwrth y tir; ac felly dychwelodd yn ôl, gan ddadgan y mawr berygl oedd yn sicr o ddilyn y fath anturiaeth.

Pan ddeallodd Columbus y modd yr ymddygwyd tuag ato gan awdurdodau Portugal, gadawodd y wlad hono gyda theimladau o ddirmyg a siomedigaeth, haws eu hamgyffred na'u darlunio. Oddiyno aeth i Yspaen, gyda'r bwriad o osod y mater ger bron Ferdinand ac Isabella, y brenin a'r frenines oedd yn teyrnasu yno ar y pryd. Anfonodd hefyd ei frawd Bartholomew at Harri VII., brenin Lloegr, yr hwn a ystyrid yn un o'r penaduriaid mwyaf cyfoethog a chall yn Ewrop yn yr oes hono. Gan fod rhyfel yn cael ei gario ymlaen rhwng teyrnas Yspaen a thalaeth Granada ar y pryd, ofnai Columbus, ac nid heb achos, nad oedd fawr o obaith iddo am lwyddiant ar ei gais gyda'r llywodraeth hono. Ond pa fodd bynag, cafodd wrandawiad parod gan Ferdinand ac Isabella, a gosodasant ei gynlluniau ger bron rhai o'r gwŷr mwyaf galluog i farnu ar y mater. Ond yma dechreuodd y rhai hyn ddwyn gwrthwynebiadau ymlaen i'r cynlluniau, trwy ymdrechu profi eu bod yn afresymol, ac nad oedd yn ddichonadwy eu cario hwynt allan mewn modd yn y byd. Ymysg pethau eraill, dywedent nad oedd yn bosibl cyrhaedd i bellder y gorllewin, fel ag i ddyfod o hyd i dir yno, mewn llai na thair blynedd o amser! Cymaint a wyddai y doethion hyn am ffurf a maint y ddaear! Eraill o honynt a haerent bod y môr yn ddiderfyn, ac os elid dros ryw derfyn penodol, nad oedd modd dychwelyd yn ôl, o herwydd bod ffurf y ddaear yn gyfryw nad ellid myned o'r naill arddrych i'r llall o honi. A llawer o bethau eraill llawn mor afresymol a phlentynaidd a ddygid ymlaen gan ddysgedigion a mawrion Yspaen yn erbyn cynlluniau Columbus. Profai hyn yn siomedigaeth chwerw iddo; ac i ychwanegu at ei ofid, yr oedd mewn pryder nid bychan am nad oedd wedi clywed dim ynghylch ei frawd ar ol ei fynediad i Loegr. Ond yr achos ydoedd, fel y canfyddwyd ar ol hyny, i'w frawd fod mor anffortunus a syrthio i ddwylaw môrladron, pan ar ei fordaith i Loegr; a'r rhai hyn, ar ol ei yspeilio o'r cyfan oedd yn ei feddiant, a'i cadwasant yn garcharor am flynyddoedd. Ond gallodd o'r diwedd ddianc o'u gafaelion, a chyrhaeddodd Lundain mewn cyflwr mor dlawd fel y bu gorfod iddo dreulio cryn amser wrth y gwaith o wneyd a gwerthu mapiau, cyn y medrai gael dillad cyfaddas am dano i ymddangos yn y llŷs gyda'i neges bwysig.

Columbus, heb wybod dim am hyn, ac wrth ganfod argoel fechan o lwyddiant ar ei gais yn Yspaen, a ddaeth i'r penderfyniad o'r diwedd o fyned i Loegr ei hunan. Ond wedi iddo wneyd pob peth yn barod ar gyfer ei daith, daeth cenadwri ato oddiwrth y frenines Isabella, yr hon oedd yn mawr ddymuno cael trafod y mater gydag ef unwaith yn rhagor. Trwy fod y rhyfel yn erbyn Granada yn awr wedi ei derfynu, llwyddodd Columbus o'r diwedd i gael gan y brenin a'r frenines gydsynio â'i gais ef, a chaniatâu llynges iddo dan nawdd y llywodraeth i fyned rhagddo

yn ei anturiaeth bwysig. Tynwyd allan deleran y cyttundeb rhyngddynt, a pharotöwyd tair o longau ar gyfer yr anturiaeth. Enwyd un o'r llongau, yn yr hon yr hwyliai Columbus ei hunan, yn *Santa Maria*. Nid oedd y ddwy long arall yn fawr well na dau gwch o gryn faintioli. Darparwyd ymborth ar gyfer y llongau am flwyddyn, ac yr oedd o gylch deg a phedwar ugain o ddwylaw yn perthyn i'r anturiaeth o gwbl. Yr holl gost yr aed iddi i'w gwneyd yn barod oedd o gylch pedair mil o bunnau. Yn ein dyddiau ni, gallesid ffurfio cwmpeini yn Llundain mewn ychydig ddyddiau ar gyfer y fath anturiaeth, a chael yr arian i mewn ar unwaith; ond bu Columbus am dros ddeunaw mlynedd o amser yn ymdrechu cael cynnorthwy angheurheidiol tuag at gario allan ei gynlluniau.

Ar ddydd Gwener, y trydydd o Awst, 1492, hwyliodd Columbus o borthladd Palos yn Andalusia, ychydig cyn cyfodiad haul, i'w fordaith nodedig a bythgofiadwy, yn mhresennoldeb llïaws mawr o edrychwyr, y rhai oll a weddïent yn daer am lwyddiant ar ei anturiaeth, er nad oedd llawer o honynt yn meddu ar fawr o ffydd yn y peth. Yn ol cychwyn, hwyliodd rhagddo yn uniongyrchol tuag at ynysoedd Canary, a chyrhaeddodd yno heb ddim mwy o anffawd nag i lyw un o'r llongau ddyfod yn rhydd y diwrnod ar ol iddynt gychwyn, yr hyn a barodd i'r morwyr ddarogan na ddeuai dim ond aflwydd o'r holl anturiaeth. Yn ynysoedd Canary, bu raid iddynt aros am beth amser, i'r dyben o adgyweirio y llongau, y rhai oeddynt yn dra phell o fod mewn cyflwr o ddiogelwch a chadernid cymhwys ar gyfer y fath fordaith bellenig ag oedd yn awr o'u blaenau. Ar ol cymeryd ychwaneg o anghenrheidiau i mewn, troisant allan o Gomera, y fwyaf gorllewinol o'r ynysoedd hyn, ar y chweched dydd o Fedi. Yma yr oedd y fordaith o ddarganfyddiad megys yn dechreu, canys gadawsant y llwybr cyffredin, gan hwylio rhagddynt yn uniongyrchol tua'r gorllewin, a threiddio ar unwaith i fôr hollol anadnabyddus cyn hyn. Y diwrnod cyntaf, am nad oedd ond ychydig o wynt, nid aethant fawr o bellder; ond yr ail ddiwrnod collasant eu golwg ar y tir; ac yr oedd llawer o'r morwyr yn barod mewn pryder nid bychan wrth weled eu bod yn myned rhagddynt y fath bellder, ac na welent, fe allai, dir byth mwyach. Ond Columbus a'u calonogai, trwy ddangos iddynt y fath ragolygon mawrion o gyfoeth ac anrhydedd oedd o'u blaenau, a'r gwledydd ëang, a'r tiriogaethau cyfoethog oeddynt i gael eu darganfod. Yr oedd pob peth er pan yr oeddynt wedi cychwyn yn hollol dan ei awdurdod ef; ac yr oedd yn arolygu pob gorchwyl a symudiad, wrth iddynt fyned rhagddynt, ac felly yr oedd dan orfod sefyll ar y bwrdd agos yn barhâus, oddigerth ychydig oriau a gymerai i gysgu er adfywio ei natur. Sylwai yn fanwl ar y trai a'r llanw, ehediad adar, ymddangosiad pysgod, a phob math o lysiau a chwŷn a ganfyddid yn nofio ar wyneb y môr; a chadwai gyfrif manwl o bob peth yn ei ddyddlyfr. Ond aeth y fordaith yn fuan mor faith, fel nad allai lai na dychrynu y morwyr, y rhai yn flaenorol nad oeddynt wedi bod yn ymarfer â myned allan o olwg y tir yn eu mordeithiau hwyaf; ond Columbus a ymdrechai gadw oddiwrthynt y gwir bellder a hwylid ganddynt, gan ddywedyd ei fod yn llai na'r cyfrif gwirioneddol. Erbyn y pedwerydd dydd ar ddeg o Fedi, yr oeddynt wedi cyrhaedd dros chwe' chant o filldiroedd i'r gorllewin oddiwrth ynysoedd Canary, ac felly ymhellach nag yr oedd yr un

o'r Yspaeniaid wedi cyrhaedd erioed o'r blaen. Ac yma taräwyd hwynt gyda syndod nid bychan wrth weled nad oedd nodwydd y compawd yn cyfeirio yn uniongyrchol at y gogledd fel yr arferai wneyd; ac wrth eu myned rhagddynt, gwelent fod y gwahaniaeth yn cynnyddu. Yr ymddangosiad nodedig yma, yr hwn sydd yn awr yn ddigon adnabyddus, er bod yr achos o hono yn aros eto yn ddirgelwch, a darawodd gymdeithion Columbus gyda'r braw a'r syndod mwyaf. Yr oeddynt yn gweled eu hunain yn awr yn nghanol yr eigion diderfyn, heb ond yr wybren uwchben, a'r môr yn eu hamgylchu, ac ymddangosai fel pe buasai cwrs natur yn myned dan gyfnewidiad, a'r compawd, eu hunig arweinydd, fel pe buasai am droi yn dwyllodrus iddynt. Ond llwyddodd Columbus i dawelu eu hofnau, trwy wneyd rhyw esgusawd dros yr ymddangosiad a wnaeth y tro i'w boddloni hwynt, er ei fod ef ei hun ar y pryd mewn petrusder mawr ynghylch y peth.

Wrth hwylio rhagddynt, daethant i gyrhaedd y gwynt trafnidiol, yr hwn sydd yn chwythu rhwng y trofegau yn barhâus o'r dwyrain i'r gorllewin. Aethant ymlaen yn awr yn gyflym, heb fod anghenrheidrwydd symud cymaint â hwyl am hir amser. Pan gyrhaeddasant o gylch deuddeg cant o filldiroedd o ynysoedd Canary, canfyddent y môr wedi ei orchuddio yn y fath fodd gan lysiau, fel yr ymddangosai yn debyg i weirglodd anferth; ac mewn rhai manau yr oedd y llysiau hyn mor dewion, nes eu bod yn arafu y llongau wrth fyned drwyddynt. Parodd hyn ddychryn ac anesmwythder mawr i'r dwylaw. Canys yr oeddynt yn ofni eu bod yn awr wedi cyrhaedd at derfyn eithaf y môr nofiadwy, a'u bod yn nesâu at beryglon dirfawr, a chreigiau cuddiedig dan y dwfr. Ond mae y parth hwn o'r Môr Werydd yn awr yn eithaf adnabyddus i'r rhai ydynt yn arfer ei groesi, a dywed Humboldt bod y llysiau hyn yn gorchuddio rhan o'r môr gymaint chwech neu saith gwaith â'r oll o Germany. Ymdrechai Columbus berswadio'r morwyr mai arwyddion eu bod yn nesâu at dir oeddynt, a gwelid amryw fath o adar yn ehedfan o amgylch gan gyfeirio tua'r gorllewin, yr hyn a ystyrid megys yn arwyddo yr un peth.

Erbyn y dydd cyntaf o Hydref, yr oeddynt, yn ol cyfrif Columbus, ddwy fil a thri chant a deg o filldiroedd i'r gorllewin o ynysoedd Canary; ond rhag dychrynu y dwylaw, rhoddes ef ar ddeall iddynt mai o gylch deunaw cant o filldiroedd oeddynt, ac nid oedd neb oddigerth ef ei hun yn gwybod nad oedd y cyfrif hwn yn gywir. Yr oeddynt yn awr wedi bod ar y môr am dros dair wythnos, ac wedi treiddio yn llawer iawn pellach na neb o'u blaenau; ond nid oeddynt yn gweled dim mwy o debygolrwydd am derfyn llwyddiannus i'w mordaith y pryd hwn nag yn y dechreu; ac o herwydd hyny dechreuasant rwgnach ac anfoddloni, ac ymdrechu cael gan Columbus droi yn ôl a dychwelyd adref. Ond gwnai yntau bob ymdrech i'w tawelu, ac i attal yr anfoddlonrwydd rhag cyrhaedd mor bell nes iddo gyfodi yn derfysg; ac o'r diwedd, addawodd wrthynt y byddai iddo gydsynio â'u cais, a dychwelyd yn ôl, ymhen yr yspaid o dri diwrnod, oni fyddai iddynt ddarganfod tir ymhen hyny o amser. Bu hyn yn foddion i'w tawelu, canys nid oeddynt yn gweled y cynnyg mewn modd yn y byd yn afresymol, ac nid oedd yr ammheuaeth leiaf yn meddwl Columbus na byddai iddynt ddyfod i olwg tir ymhen hyny o amser, canys gwelid arwyddion mor gedyrn o'u bod yn nesâu at

dir nas gellid yn hŵy eu hammheu. Yr oeddynt yn gallu cyrhaedd gwaelod y môr wrth ei blymio, ac yr oedd y llaid a ddygid i fyny o'r gwaelod yn dangos nad oedd tir ymhell. Cynnyddai yr adar o'u hamgylch, a gwelid yn eu mysg adar y tir yn gystal a rhai y môr. Y morwyr a gymerasant i fyny gorsen, yr hon oedd yn nofio ar wyneb y dwfr, ac ymddangosai fel newydd ei thori, ac hefyd ddarn o bren wedi ei gerfio yn gelfyddydgar, a changen o goeden a grawn cochion arni heb wywo. Y cymylau o amgylch yr haul, pan yn machludo, a ymddangosent yn wahanol i'r hyn oeddynt o'r blaen; a'r awyr a deimlid yn dynerach ac yn fwy cynhes, a daeth y gwynt i fod yn fwy anghyfartal. Oddiwrth yr arwyddion hyn a'r cyffelyb, teimlai Columbus y fath sicrwydd eu bod yn nesâu at y tir, fel, ar brydnawn yr unfed dydd ar ddeg o Hydref, ar ol cynnal gweddïau cyhoeddus i ddiolch am eu llwyddiant, y rhoddes orchymyn iddynt i ostwng yr hwyliau, a chadw gwyliadwriaeth ofalus rhag cael eu gyru i'r làn yn ddiarwybod yn y nos. Nid oedd neb yn teimlo awydd i roddi hûn i'w amrantau trwy ystod y nos hono; ond edrychai pawb o'r dwylaw yn bryderus am dir, yn y cyfeiriad y dysgwylient iddo ymddangos. Ac o gylch deg o'r gloch, tra yr oedd Columbus yn sefyll ar ben blaen y llong, gwelai oleuni yn y pellder, a dangosodd ef i un o'i gymdeithion oedd yn dygwydd bod yn ei ymyl ef, ac yntau drachefn i gyfaill arall; ac ymddangosai y goleuni fel pe buasài yn ymsymud trwy gael ei gario o'r naill fan i'r llall. O gylch hanner y nos clywid y dwylaw ar fwrdd y llong flaenaf yn gwaeddi allan—TIR, TIR! Ond trwy eu bod wedi cael eu siomi mor fynych o'r blaen, yr oeddynt yn gyndyn i gredu'r peth cyn gwawriad y dydd boreu drannoeth; ond pan ddaeth yn ddydd, yr oedd y ffaith yn rhy amlwg iddynt allu ei hammheu am fynyd, canys gwelent ynys yn gorwedd o gylch chwe' milldir oddiwrthynt tua'r gogledd; ac yr oedd yn ymddangos yn ffrwythlawn ac yn orlawn o bob peth dymunol, ei thir yn gynnyrchiol, a'i hafonydd yn aml, a'i ffrydiau yn lliosog. Dechreuasant yn awr gyduno â'u gilydd mewn *Te Deum* o fawl i Dduw am y fath lwyddiant ar eu hanturiaeth, tra yr oedd dagrau llawenydd yn rhedeg dros eu gruddiau. Llawer o'r dwylaw oeddynt yn awr yn barod i daflu eu hunain i lawr wrth draed Columbus o barch tuag ato, ac mewn hunangondemniad o'u hymddygiadau trahâus yn ystod y fordaith.

Mor fuan ag y cyfododd yr haul, gwnaed y cychod yn barod i dirio yn yr ynys, a dechreuodd rhañ o'r morwyr rwyfo tuag at y làn, gan chwyfio eu banerau a chwareu offerynau cerddoriaeth mewn dull milwraidd—peth dyeithr iawn a rhyfeddol yn ddiammheu yn y parth hwnw o'r ddaear. Wrth iddynt nesâu at y làn, gwelwyd y lle yn llawn o bobl wedi ymgasglu ynghyd i weled y golygfëydd rhyfedd ac anghyffredin oeddynt yn awr o'u blaenau, ac yr oeddynt yn cael effaith fawr arnynt, fel y gellid yn hawdd canfod wrth eu hagwedd a'u hymddygiadau. Columbus ei hunan oedd y blaenaf i roddi ei droed ar y tir yn y byd newydd. Glàniodd mewn gwisg ysplenydd, a chleddyf noeth yn ei law, a'r dwylaw yn ei ddilyn, gan gusanu y tir ag y buont am gymaint o amser yn hiraethu am gael ei weled. Yna cymerwyd meddiant o'r ynys yn enw teyrnas a llywodraeth Yspaen, yn unol â dull a seremonïau yr amseroedd hyny ar y fath achlysuron. Y brodorion, yn y syndod a'r dychryn mwyaf, yn debyg i blant wrth ganfod rhyw olygfëydd newydd a rhyfeddol,

a safent oddiamgylch gan syllu mewn mudandod ar y cyfan. Ymddangosai gwisgoedd yr Yspaeniaid, lliw eu crwyn, eu barfau hirion, a'u harfau rhyfel, yn bethau na welsent erioed eu cyffelyb o'r blaen, ac felly yn destynau o syndod nid bychan iddynt. Meddylient mai crëaduriaid byw oedd y llongau, yn ymsymud ar hyd wyneb y dyfnder trwy gynnorthwy adenydd, ac yn anfon allan sŵn dychrynllyd yn cael ei ddilyn gan fellt a tharanau; ac edrychent ar yr ymwelwyr newyddion hyn megys bodau goruwchnaturiol, a dychymygent mai plant yr haul oeddynt, wedi dyfod i lawr i ymweled â'r ddaear. Ar y llaw arall, nid oedd syndod yr Yspaeniaid yn fymryn llai wrth ganfod y golygfëydd rhyfeddol oedd o'u hamgylch hwynt. Pob llysieuyn a choeden a ymddangosent yn wahanol i'r hyn ag yr oeddynt hwy o'r blaen yn gydnabyddus gyda hwynt. Y tir a edrychai yn ffrwythlawn, ond heb erioed gael ei ddiwyllio a'i drin; ac yr oedd yr hinsawdd yn cael ei theimlo yn gynhes hyd yn nôd gan drigolion Yspaen. Y brodorion a ganfyddid yn holl ddiniweidrwydd natur, yn gwbl noethion, a'u gwallt du hirllaes yn crogi i lawr dros eu hysgwyddau, neu wedi ei blethu yn gudynau o gwmpas eu penau. Nid oedd ganddynt farfau, ac yr oedd pob rhan o'u cyrff yn llyfndeg, ac o liw copr tywyll, a'r olwg a geid arnynt yn ddyeithr a rhyfedd, a'u hymddygiadau yn ofnus a hynaws. Dyma yr ymgyfarfyddiad cyntaf rhwng trigolion yr hen fyd â rhai y byd newydd, ac yr oedd pob peth yn gyfeillgar a thawel yn eu mysg ar yr achlysur. Derbynient ryw ychydig o roddion bychain gan yr Yspaeniaid, megys boglynau gwydr, a theganau o amryw fath, gyda y rhai yr oeddynt yn ymddangos yn cael eu boddio tu hwnt i fesur. Ac yr oeddynt yn rhoddi yn ôl, yn gyfnewid am y rhai hyn, ymborth a rhyw anghenrheidiau eraill.

Galwyd yr ynys ar yr hon y glàniodd Columbus yn *San Salvador*, ac adnabyddir hi wrth yr enw hwn hyd y dydd heddyw. Un o'r ynysoedd a elwir Bahama ydyw, yn yr India Orllewinol, ac mae yn gorwedd o gylch tair mil o filldiroedd i'r gorllewin o Gomera, y tir olaf a adawyd gan Columbns yn ei anturiaeth lwyddiannus. Yn unol â'r dyb a goleddai cyn cychwyn oddicartref, sef bod yr India Ddwyreiniol yn ymestyn i'r parthau hyny o'r ddaear, meddyliai mai un o'r ynysoedd ag y soniai teithwyr blaenorol am danynt, yn gorwedd yn y môr mawr yn agos i'r India, ydoedd *San Salvador.* O'r ynys hon, hwyliodd Columbus ymhen ychydig ddyddiau, i chwilio am y cyfandir ag yr oedd yn lled sicr yn ei feddwl oedd yn gorwedd yn rhywle ymhellach ymlaen; ac yr oedd trigolion *San Salvador* wedi ei gadarnhâu yn y meddwl hwnw, trwy ddywedyd mai ymhellach ymlaen tua'r dehau y ceid yr aur a ganfyddid yn eu meddiant. Yr oedd Columbus yn awr yn fwy penderfynol nag o'r blaen mai yma yr oedd y wlad fawr gyfoethog ag y sonid cymaint am dani dan yr enw India. Wrth hwylio rhagddo yn yr hynt hon, darganfyddodd ynys Cuba; a phan làniodd mewn cŵr o honi, ffoes y trigolion, yn y dychryn a'r arswyd mwyaf, i'r mynyddoedd cyfagos. Oddiyma hwyliodd drachefn i ynys fawr a ffrwythlawn arall, yn yr hon y dywedid bod cyflawnder o aur i'w gael, a rhoddes iddi yr enw Hispaniola, ond adnabyddir hi yn awr yn well wrth yr enw St. Domingo. Yn yr ynys hon y ffurfiodd teyrnas Yspaen y drefedigaeth gyntaf yn y byd gorllewinol, ac yma yr adeiladwyd y ddinas gyntaf ganddi, a galwyd hi yn St. Domingo, oddiwrth Dominic, enw tad Columbus, a'r ddinas a roddes ei

henw dyfodol i'r ynys, yr hon a adnabyddir, ymysg y fwyaf pwysig o ynysoedd yr India Orllewinol, wrth yr enw St. Domingo.

Wedi i Columbus dreulio peth amser yn yr ynys hon, ac adeiladu amddiffynfa ynddi, penderfynodd ddychwelyd ei hunan yn ôl i Ewrop, a gadael y rhan fwyaf o'r gwŷr oedd gydag ef i wylio y lle, nes iddo ddyfod yno yn ôl gydag ychwaneg o bobl. Felly hwyliodd oddiyma tua dechreu mis Ionawr i ddychwelyd yn ôl i Yspaen, ar ol trefnu pethau ymysg y drefedigaeth fechan oedd yn adael ar ol, cyn ei ymadawiad, hyd oni fyddai iddo ddychwelyd atynt gydag ychwaneg o'u cydwladwyr. Ond wrth ddychwelyd adref, cyfarfu â thymhestl arswydus, pan wedi dyfod i ganol y Môr Werydd, yr hon a fu yn debyg o'i yru ef, a'r oll oedd gydag ef, i ddinystr yn nghanol yr eigion, ac fe allai daflu ei ddarganfyddiadau gogoneddus i ebargofiant am oesoedd i ddyfod. Ofnai y trychineb hwn gymaint, fel, tra yn hollol ddidaro ynghylch ei ddiogelwch personol ei hun, ac yn dysgwyl ei ddiwedd yn barhâus, y bu iddo gymeryd darn o femrwn, ac ysgrifenu hanes byr am ei fordaith a'i ddarganfyddiadau, a'i rwymo i fyny mewn darn o *oil cloth*, gan ei selio mewn casg, a'i daflu i'r môr, gan hyderu y deuai i gyrhaedd rhyw un yn ddiogel, os collid ef a'i gymdeithion. Ond tawelodd yr ystorm, a hwythau a gawsant noddfa a diogelwch yn ynysoedd Azores, o'r lle yr hwyliasant i Lisbon, ac oddiyno i Yspaen.

Tarawyd yr oll o Ewrop gyda y syndod mwyaf pan wnaeth Columbus ei ddarganfyddiadau rhyfeddol yn adnabyddus, a chafodd ei ddilyn yn Yspaen gyda y rhwysgfawredd ag oedd yn gweddu i'r fath amgylchiad, pan aeth i ymweled â'r brenin a'r frenines, i roddi iddynt hanes ei anturiaeth lwyddiannus. Cymerodd gydag ef rai o frodorion y tir pell oedd wedi ei ddarganfod, ac addurniadau aur, y rhai a gawsai gan y trigolion, a llwch aur a gawsai ymysg gro yr afonydd, yn gystal â pheth o gynnyrch y tir, er mwyn profi nad ffug oedd yr hanesion rhyfedd a draethai, pan yn myned ar ei ymweliad at y brenin a'r frenines. Dechreuwyd ffurfio gwahanol farnau am y gwledydd oeddynt newydd gael eu dwyn i oleuni, gan ddysgedigion ac enwogion Ewrop, a dyfalent, gyda llawer o wahaniaeth barn, i ba ran o'r ddaear yr oeddynt yn perthyn. Columbus ei hunan oedd yn parhâu o'r un meddwl ag ar y dechreu, mai perthyn yr oeddynt i'r parthau hyny o Asia a elwid dan yr enw cyffredinol o *India*, ac felly bu i'r ynysoedd sydd gerllaw canolbarth America gael yr enw India Orllewinol o hyny allan; ac wrth yr enw hwn yr adnabyddir hwynt hyd y dydd heddyw, er iddo gael ei roddi arnynt ar y cyntaf mewn camgymeriad, fel mae yn amlwg, canys maent yn sefyll filoedd o filldiroedd oddiwrth y wlad a adnabyddid dan yr enw India yr amser hwnw.

Pan gynhyrfwyd pob rhan o'r byd gwareiddiedig gyda'r darganfyddiadau nodedig hyn, dechreuodd amryw genedloedd eraill ddyfod ymlaen i gleimio hawl yn yr anrhydedd o fod wedi cyrhaedd yr America cyn hyny, a dywedent bod anturiaethwyr o'u mysg hwynt wedi ei darganfod o flaen Columbus.

Ymysg eraill, ein cenedl ni, sef y Cymry, a ddaethant ymlaen, gan hòni mai iddynt hwy yr oedd yr anrhydedd hwn yn perthyn gyntaf. Canys dywedir i Madog, mab y Tywysog Owen Gwynedd, hwylio rhagddo tua'r gorllewin yn y flwyddyn 1170, nes iddo o'r diwedd gyrhaedd

i wlad fawr a ffrwythlawn dros ben, ymhell dros y môr tua machlud haul. A dychwelodd yn ôl i Gymru, meddent, gan adrodd wrth ei gydwladwyr y fath wlad hyfryd oedd wedi ddarganfod, a'u perswadio i ymfudo yno gydag ef, a gadael eu gwlad gynhenid, lle yr oeddynt yn rhyfela â'u gilydd, ac yn lladd a dinystrio y naill y llall yn y fath fodd ysgeler. A dywedir iddo yn y flwyddyn 1172 hwylio drachefn gyda deg llong, a thri chant o ymfudwyr, ac ni chlybuwyd mwyach byth air o sôn am dano. Buasai yn dda genym ganfod seiliau digonol i gredu bod y traddodiad hwn yn wirioneddol, ond rhaid i ni addef nad ydym wrth chwilio i mewn i'r peth yn cael y boddlonrwydd a ddymunem ynddo. Guttyn Owain, yr hwn a ysgrifenodd, meddir, rhwng 1460 a 1490, ac felly cyn mordaith Columbus, ydyw yr awdurdod hynaf a geir ar y mater. Ond gwelir ei fod ef yn ysgrifenu ymhen cyfnod o ddim llai na thri chan' mlynedd ar ol yr amser ag y dywedir i'r dygwyddiad gymeryd lle, ac nid oes sicrwydd i neb gofnodi y peth cyn ei amser ef. Sonia y bardd Dafydd ab Meredydd ab Rhys, yr hwn hefyd a flodeuodd o gylch yr un amser â Guttyn Owain, am Madog, a'i hyfrydwch yn y môr a bywyd morwrol; ond ni ddywed efe ddim am ei fynediad i'r America. Mae awdurdod arall, sef y Trioedd, fe allai mwy teilwng o sylw na'r un o'r ddau a nodwyd, er y dichon nad ydyw yn hynach na'r unfed ganrif ar bymtheg. Ond yr holl hysbysrwydd a geir yma ar y mater ydyw, ddarfod i Madog ab Owen Gwynedd fyned i'r môr a thri channyn gydag ef, mewn deg llong, ac na wyddys i ba le yr aethant. Yr ydym yn meddwl bod crybwylliadau yn ngwaith Cynddelw, a Llywarch ab Llywelyn, y rhai oeddynt yn gydoeswyr â Madog, yn rhoddi ar ddeall iddo gyfarfod â'i ddiwedd wrth ymladd yn ei wlad ei hun. Sylwed y darllenydd ar yr hyn a ddywed y blaenaf am dano yn "Marwnad teulu Owen Gwynedd," a'r olaf yn "Awdl yr haiarn twymn," ac yr ydym meddwl y daw i'r un casgliad â ninnau ar y mater. Am y chwedlau lliosog a gawsant eu taenu ar lêd lawer gwaith ynghylch darganfyddiad hiliogaeth Madog, nid oedd y sail leiaf i'r un o honynt; ac yr oedd rhai o honynt yn anhygoel i'r eithaf, ac wedi eu llunio mewn dull pur anghelfydd, megys enw yr aderyn a elwir *Penguin;* yr enw, fel yr haerid, oedd o darddiad Cymreig, sef *pen gwŷn*, ac wedi cael ei roddi arno gan hiliogaeth Madog. Ond *pen du*, fel mai gwaethaf yr anffawd, sydd gan yr aderyn hwnw. Os dygwyddodd y fath beth ag i dri chant o Gymry hwylio i'r America yn y dull a nodwyd—yr hyn, er ei fod yn beth pur ammhëus, nid all fod yn anmhosibl—ein barn ni ydyw, os buont mor lwyddiannus a chyrhaedd y tir o gwbl, ddarfod iddynt yn fuan gael eu dinystrio gan yr anwariaid o'u hamgylch. Yr ydys yn bresennol wedi dyfod yn gydnabyddus â phob rhan o gyfandir yr America, lle buasai y fath drefedigaeth yn debyg o ymsefydlu, ond heb ganfod dim o'u gweddillion; a'r tebygolrwydd yw nad ellir bellach ddyfod o hyd i'r mymryn lleiaf o'u hanes yn y byd mawr gorllewinol; ac felly erys mordaith Madog yn ddirgelwch a gredir gan rai, ond a ammheuir gan y nifer amlaf, hyd ddiwedd amser.

Cawn ddychwelyd eto at Columbus, a'i helyntion, a darganfyddiad yr America.

# RICHARD WATSON.

WEDI edrych yn fyr yn ein hysgrif flaenorol* ar hanes ac ysgrifeniadau Watson, ymwasgwn bellach at y DYN ei hunan; ac edrychwn ychydig i mewn i nodwedd ei feddwl, neillduolion ei dymher, ei ymddangosiad personol, a'i ddawn fel pregethwr, a phethau o'r natur hyny. Gorchwyl mawr yn wir. I amgyffred dyn mawr yn llawn, ac i baentio dyn mawr yn gywir, mae yn ofynol cael un "o gyffelyb feddwl" ag ef ei hunan at y gwaith, os nad un o feddwl cyfartal hefyd. A gwyddom yn dda fod ymffrostio yn y pethau hyny, tra gyda yr achos hwn, yn hollol o'n cyrhaedd ni. Ac eto i gyd, credwn yn ddïau fod ynom ni un cymhwysder da i draethu rhyw gymaint ar y mater neillduol hwn; a dyma hwnw, ein cynnefindra mawr â'r enwog Richard Watson. Na chamddealler ni yma; nis gwelsom y dyn erioed yma yn y cnawd. Ein meddwl ni yw fod hanes ei fywyd mor hysbys i ni, a bod ei weithiau wedi cael cymaint o'n sylw, nes braidd na theimlwn ein hunain yn gartrefol a chyfeillgar iawn gydag ef. Addefwn hefyd ein bod yn ei garu yn fawr iawn. Ond dichon y dywedir am hyny ein bod yn bur anghymhwys ynte i geisio ei bortreiadu, gan fod cariad bob amser yn ddall. Ein hateb i hyny yw fod cyfiawnder felly hefyd! Ac heblaw yr ystyriaeth yna, credwn hefyd, gan nas buom o gwbl o fewn cylch swyn ei gyfeillach bersonol, fod ein cariad ato, wedi'r cyfan, o'r carictor cymhesur hwnw ag a'n gedy wedi pob peth yn gwbl alluog i ymddwyn yn onest beth bynag yn ein cysylltiad âg ef.

Mae ymchwiliad manwl, a diduedd hefyd, coeliwn, i "weithiau" Richard Watson yn ein harwain ni ar unwaith i osod iddo safle uchel ac anrhydeddus ymhlith meddyliau blaenaf y teulu dynol. Na chamddealler ni yma ychwaith. Nid am gyrhaeddiadau mewn gwybodaeth a dysg y llefarwn ni yn awr, ond am y meddwl hwnw ei hun ag sydd i ymdrafod â'r wybodaeth hono; nid am lafur a llwyddiant y meddwl yn ei ymchwil am ddysg yn gymaint ag am allu cynhenid y meddwl, a'i gyfaddasrwydd o ganlyniad i lafurio felly. Mae yn bosibl i un fod yn gymaint dyn, ïe yn wir yn llawer mwy dyn hefyd, na'i gymydog, er gwybod llawer iawn llai nag ef; canys y mae llawer iawn o bethau ynglŷn â chasglu gwybodaeth heblaw mawredd meddwl; megys amledd manteision, penderfyniad grymus yr ewyllys, ynghyd a'r diwydrwydd diflino cysylltiol â hyny. Gyda y pethau hyn, gall dyn o gynneddfau meddyliol llawer îs ragori ymhell mewn cyrhaeddiadau ar un o gynneddfau llawer uwch. Ein pwnc ni gan hyny yw carictor meddwl Richard Watson ynddo ei hun, ac ar wahân i'w gyrhaeddiadau.

Mae gwir fawredd meddyliol, hyny yw, yn y gradd uchaf o hono, yn dibynu, yn ol ein barn ni, ar fod galluoedd mawrion y meddwl yn meddu graddau penodol o gryfder, a hyny hefyd mewn cyfartaledd priodol a manwl i'w gilydd. Cybelled ag y mae a fyno y meddwl â gwybodaeth, y mae dau allu mawr ac arbenig yn perthynu iddo, sef y rheswm a'r darfelydd; ac

* Tu dal. 225—241.

y mae yn ymddangos i ni fod y radd flaenaf o fawredd meddyliol yn gwbl allan o'r cwestiwn, oddieithr fod y galluoedd penigol hyn yn lled gyfartal o ran cryfder a nerth. Mae yn wir fod meddu un o'r galluoedd hyn i raddau uchel iawn yn sicr o wneyd ei berchenog yn ddyn mawr, ond i godi dyn i'r dosbarth blaenaf ymhlith dynion mawr, rhaid cael y naill yn gystal a'r llall i'r graddau helaeth hyny. Yr oedd y rheswm yn gryf, yn hynod o gryf, yn Hooker a Butler, yn Baxter a Howe, ac am hyny yr oeddynt hwy oll yn ddynion mawr. Yr oedd y darfelydd drachefn yn gryf iawn yn Homer, a Dante, a Shakspeare, a Bunyan, ac am hyny yr oeddynt hwythau hefyd yn ddynion gwir fawr. Ond yn Milton, a Chalmers, a Coleridge, ac eraill o'r dosbarth hwnw, yr oedd y rheswm a'r darfelydd yn nodedig o gryf, ac yn bur agos i gyfartal hefyd, ac felly safent hwy mewn dosbarth arbenig ar wahân i bawb, yn fwyaf oll ymhlith meibion dynion. Byddai enwi pob un a feddai hawl i le yn y dosbarthiadau gwahanol hyn, yn ormod gwaith i ni. Credwn beth bynag fod y rhai a enwyd yn esiamplau lled gywir o'r gwahanol ddosbeirth hyny. Gan gymeryd y safon hon ynte i farnu Richard Watson wrthi, credu yr ydym ei fod yntau hefyd yn perthyn i'r dosbarth blaenaf oll. Addefwn yn rhwydd y gall fod yn y dosbarth hwnw lawer o rai eraill gryn dipyn o'i flaen ef; ond y mae yntau yno, ac yno yn aelod rheolaidd o'r côr. Gyda'i reswm cryf yn gweled, yn barnu, ac yn trefnu, a chyda'i ddarfelydd byw yn gwisgo, yn addurno, ac yn tânio, rhaid cydnabod ei hawliau teg i eistedd yn eu plith. Wrth edrych ar Mr. Watson yn ymyl rhai eraill, daw y pethau dan sylw i amlygrwydd mwy. Yn gyfoeswyr âg ef, ac o fewn ei Gyfundeb ei hunan hefyd, yr oedd dau ddyn nodedig o gyhoeddus a chymeradwy, ac eto i gyd yn ddau ddyn gwahanol iawn y naill i'r llall, ac yn llawn mor wahanol ill dau i Watson drachefn, sef Jabez Bunting a Joseph Beaumont. Yr oedd y blaenaf yn un o'r rhai hynotaf a welwyd erioed am nerth a gallu rhesymiadol. Gwelai i waelod unrhyw fater dyrys bron ar unwaith, a dodai ef ger bron mewn trefn ac eglurder gyda'r hawsder a'r symledd mwyaf. Ond ychydig iawn o'r gallu dychymygol oedd ganddo; ac o herwydd hyny, yr oedd ei bregeth, ei araeth, a'i gwbl yn hynod o syml, diaddurn, a chlir. Ond am Dr. Beaumont drachefn, yr oedd ef o'r ochr arall yn llawn darfelydd i gyd, ac felly lluchiai allan yn gyffredin lifeiriant dibaid o ffugyrau hyfion, ac o addurniadau ieithyddol, chwyddedig weithiau, ond grymus bron bob amser; a dyna ei ddull arferol. Ond ychydig yn ddïau a wyddai am ymresymu dwfn. Yn awr, ein barn ni yw fod y ddau ddyn mawr yna yn ddiffygiol ac anghyflawn yn eu mawredd i gyd. Mae yn wir y byddai yn well genym ni ddiffyg Dr. Bunting, a hyny fil o weithiau, na diffyg y Doctor arall. Gwyddom fod chwaeth y lliaws yn rhedeg yn gryf y ffordd arall; ond nis gallwn oddiwrth hyny. Mae y rheswm, er bod yn unig ac ar ei ben ei hunan, eto yn gwneyd gwaith da yn gyffredin trwy gasglu ynghyd ranau gwasgaredig y gwirionedd at eu gilydd, a'u harddangos yn eu trefn ac yn eu cydweddiad priodol. Ond am y darfelydd, os bydd ef yn unig, neu yn wir yn rhywle yn agos i hyny, ni cheir ganddo ef yn fynych ond —— rhyw gastiau digon gwrthun. Wedi y cwbl, y ddau ynghyd yw cynllun perffeithrwydd. Yr agerbeiriant a'r hwyl ynghyd. Y rheswm i gasglu gwirionedd ynghyd yn gorff prydferth trefnus, a'r darfelydd drachefn i'w wisgo a'i addurno, ac i anadlu ynddo "anadl einioes," a'i wneyd "yn enaid byw." Ac o'r

gymharu â'r ddau Ddoctor a enwyd, yr oedd *plain* Richard Watson yn amlwg o hynod am hyn.

Ymhlith pregethwyr eraill cyfoesol âg ef, nis gallwn gofio yn awr am neb cytunrhyw ond Thomas Chalmers a Robert Hall; ill dau yn perthyn yn ddïau i'r dosbarth blaenaf ymhlith dynion meddylgar y byd. Ac eto i gyd yr oedd gwahaniaeth dirfawr yn bod cydrhwng y ddau hyny â'u gilydd, a rhyngddynt â Watson hefyd. Yr oedd Chalmers yn fwy tanbaid, angerddol, ac anorchfygol, na Watson; ac yr oedd Hall yn fwy athronyddol, a chywir mewn cyfansoddiad, nag ef; ond yr oedd Watson yn rhagori ar Chalmers mewn ëangder meddwl, ac ymresymu pwyllus, ac ar Hall yn ddïau mewn arddunedd, ac archwaeth efengylaidd. Ond yr oedd y tri yn fawr, yn wir fawr, mor fawr, fe allai, nes sefyll ymlaenaf ymhlith pobl eu hoes. Gwahaniaethent, mae yn wir, yn ddirfawr oddiwrth eu gilydd; ond y mae yn eglur er hyny fod "y tri wŷr hyn"—y naill, y llall, a'r trydydd o honynt, yn gyfurddorion ardderchog yn nheml ysplenydd doethineb ac athrylith, ac heb fod yn ail i neb a safai o'i mewn. A dyma yn ddïau oedd barn ei frodyr am dano, ac yr oedd llawer o honynt hwy yn eithaf cyfaddas i ffurfio barn am dano, ac yn ddigon tebyg hefyd o'i farnu yn onest a theg. Dyna'r hen William Atherton, gweinidog Wesleyaidd adnabyddus o Mr. Watson, a thad Syr William Atherton, yr *Attorney General* presennol. Hen gyfaill rhyfedd oedd William Atherton. Dyn o feddwl treiddgar, ysbryd annibynol, ac o araeth ffraethlem, finiog, chwerw. Dyn, ar y cyfan, gyda'r mwyaf annhebyg a'r a welsom erioed o ddywedyd yn well am arall nag y barnai am dano. Adroddir hanesyn ysmala iawn am yr hen frawd hwn yn ei berthynas â Mr. Watson. Dygwyddai rywdro fod Watson ac yntau yn yr un cyfarfod cyhoeddus yn Newcastle-on-Tyne. Yr oedd Theophilus Lessey a Robert Newton yno hefyd; oll yn enwog yn eu dydd. Cartrefai Mr. Atherton tra yno gydag un Mr. Dagglish, pregethwr cynnorthwyol parchus yn y lle. Ar ol cyrhaeddyd gartref o'r cwrdd, dywedai Mr. Dagglish, "Mr. Atherton, yr oeddwn i wedi clywed llawer am enwogrwydd Mr. Watson, ac aethum i'w wrando heno gyda dysgwyliadau uchel iawn; ond mae yn rhaid i mi addef na ddaeth i fyny â'r dysgwyliadau hyny. Yr oeddwn wedi tybied fod gan Mr. Watson feddwl mwy nag a amlygwyd ganddo heno; yn wir, yr oedd yn well gan i eich araeth chwi na'r eiddo ef." "Syr," ebe Atherton, yn ei ffordd neillduol ei hun, "cymerai feddwl Lessey, a Newton, ac Atherton, a phedwar Dagglish ar hugain hefyd, i wneyd i fyny un Richard Watson." Rhy ddrwg, fe allai, yn ngwyneb dyn yn ei dŷ ei hun, a hwnw hefyd wedi talu'r fath *gompliment* iddo y mynyd cyn hyny; ond mae yn ddigon sicr fod Atherton yn ei feddwl cyn byth y buasai yn ei ddyweyd. Cododd Mr. Watson i'r safle uchaf ymhlith ei frodyr, heb neb yn eiddigeddu nac yn cenfigenu wrtho, ond â phawb yn edrych i fyny ato yn siriol, yn serchog, ac yn barchus iawn. Ac nid oedd dim ond mawredd cynhenid ei feddwl ei hun a allasai beri hyny.

Ond gyda'r mawredd meddwl hwn, perthynai i Mr. Watson hefyd deithi meddyliol eraill, y rhai a gyfranent fe allai yn gymaint a dim tuag at ei godi i'w safle uchel, a'r rhai o ganlyniad y dylem eu henwi yma, er mwyn llwyredd a gwiredd ein portrëad o hono. Dyna un o'r cyfryw,—yr hyn a elwir yn gyffredin yn *chwaeth dda, gywir*, a *choeth*. Wrth "chwaeth" yn y cysylltiad yma, yr ydym yn deall y rhywbeth neillduol

hwnw yn natur ysbrydol dyn ag sydd yn cyfateb mewn rhyw ffordd neu gilydd i'r archwaeth naturiol fel un o synwyrau corff dyn; y naws, y synwyr, y gallu, y peth ysbrydol hwnw—galwer ef fel y myner—trwy ba un y mae dyn yn profi ac yn barnu am wrthddrychau meddwl yn yr un modd ag y mae yr archwaeth naturiol yn barnu am flas y gwahanol sylweddau a gyffyrddant âg ef. Yn awr nid oes dim eglurach na bod yn bosibl iawn i feddwl mawr a chryf fod mewn cysylltiad â chwaeth lygredig, hyny yw chwaeth at yr isel, y garw, neu'r gwag; ïe yn wir yn gymaint felly nes peri i ni ddigio a thosturio wrtho, tra yn gorfod ei ryfeddu, ac i fesur ei fawrhâu. Achosir hyn weithiau gan wyrni naturiol yn y meddwl ei hun, ac weithiau fe allai gan feithriniad boreuol a dylanwad cyfeillach. Ond pa fodd bynag am yr achos o'r peth, y mae'r peth ynddo ei hun y tu hwnt i ddadl. Yn wir, byddai enwi personau yn esiamplau o hono yn orchwyl rhy hawdd ysywaeth. Yn meddwl Richard Watson, beth bynag, yr oedd nerth a chyfartaledd i'w cael mewn cysylltiad â'r tegwch graen ac â'r purdeb natur hwnw ag sydd yn cyfansoddi yn wastad chwaeth gywirgoeth dda. Yr oedd ei natur feddyliol ef mewn cyweithas fyw o hyd gyda'r prydferth, y mawreddog, a'r da. Lle bynag y gwelai y pethau hyny, neu ryw un o honynt, addefai eu gwerth ar unwaith; ac felly wrth ddarllen ei hanes, neu chwilio ei waith ef, yr ydym yn cwrdd â thystiolaeth ar ol tystioliaeth o'r ffaith neillduol hon fod yr hawddgar, yr arddunol, a'r da bob amser yn gafael ynddo; fod odlau cynhyrfiol yr awen, fod seiniau pereiddfwyn cerddoriaeth, fod lluniau ardderchog celfyddyd, fod golygfeydd amrywiog natur, o ffurfafen ysplenydd y nos gyda'i milfil o fydoedd mawr yn gwenu yn ddystaw arno, i lawr hyd at y blodyn gwyllt yn tremio yn wylaidd, eto yn siriol, allan o gysgod y berth; ac uwchlaw y cwbl, fod rhyfeddodau, cydweddiadau, a thirionderau gras yn nhrefn cadw dyn, yn dyweyd yn rymus arno, ac yn cael yn wastad atebiad ynddo! Mor hawdd fyddai cynnull o'i bregethau yn unig brofion aneirif bron o hyn. Ond rhaid i ni yn awr ymattal.

Gweddnod arbenig arall yn meddwl Mr. Watson oedd *ymostyngiad hollol a gwastadol i awdurdod dysgeidiaeth y Bibl.* Mae dynion i'w cael yn fynych, ïe dynion o dalent ac o ddysg, ac yn weinidogion yr efengyl hefyd, sydd eto yn ymddwyn yn hynod o ëofn gyda golwg ar yr Ysgrythyrau. Addefant ysbrydoliaeth y llyfr mewn modd cyffredinol yn ddibetrus, ac apeliant ato hefyd fel awdurdod o bwys mewn pethau crefyddol; ac eto trwy goleddu opiniynau llac iawn ar natur ysbrydoliaeth y llyfr, neu ynte uchel iawn am awdurdod a gallu eu rheswm eu hunain, ceisiant yn fynych ystumio meddwl naturiol "ymadroddion Duw" i ryw gysondeb gweddol gyda'u hopiniynau eu hunain; ac yna os methant eu plygu yn lân, gwrthodant yn hollol eu barn ar y mater, a glynant o hyd wrth eu damcaniaethau eu hunain, a hyny er gwaethaf tystiolaeth y llyfr i gyd. Yn awr, mae yn rhaid i ni addef nas gwyddom o gwbl pa fodd y mae deall y dynion hyn. Dyna anffyddiwr proffesedig yn dywedyd wrthym nas gall efe gydnabod awdurdod yr Ysgrythyrau: yr ydym yn deall hwnw, yn weddol beth bynag, os nad yn drwyadl; tra yn gorfod ei gondemnio yr ydym yn ei ddeall. Ond pan gwrddwn â dynion yn cydnabod ysbrydoliaeth y Bibl, ac yn ei arddelwi hefyd fel awdurdod mewn pethau crefyddol, ac wedi y cwbl yn cadw y

Bibl hwnw wrth ystôldroed eu rheswm eu hunain, ac felly mewn darostyngiad hefyd i'w barnau a'u hopiniynau eu hunain, rhaid i ni addef, pan gyfarfyddwn â hyn, nas gallwn ei ddeall. Mae yn ddirgelwch perffaith i ni. Os yw y Bibl yn rhywbeth, y mae yn ddadguddiad awdurdodol, penderfynol, ac anffaeledig o feddwl Duw i ddyn. Os nad yw ysbrydoliaeth y Bibl yn cyrhaedd i hyny, nis gall y llyfr fod o werth i ni fel amlygiad o'r Meddwl mawr. Ac os nad yw hyn yn cael ei addef pan addefir ei ysbrydoliaeth ef, nid oes dim yn ddïau yn cael ei addef wedi y cwbl. Ond os addefir hyn, yna nid wrth ystôldroed rheswm dyn y mae'r Llyfr mawr i fod: nage, ond yn nghadair yr athraw, ïe yn wir yn ngorsedd oruchel y brenin hefyd; ac y mae rheswm cryfaf, balchaf dyn, i blygu wrth ei ystôldroed ef i wrando ei oraclau, ac i'w derbyn gydag addfwynder, gostyngeiddrwydd, a pharch! Beth gan hyny yw swydd briodol rheswm yn ei gysylltiad â phethau dadguddiad? Perthyna iddo ryw swydd yn sicr. Nis gall ein bod i ganu yn iach i reswm pan ddechreuom ymwneyd â dadguddiad! Byddai meddwl hyny yn afresymol. Digon gwir. Y mae i reswm ei waith, ei waith mawr a phwysig hefyd, gyda golwg ar ddysgeidiaeth dadguddiad. Yn y lle blaenaf, mae y dadguddiad dan sylw yn proffesu dyfod oddiwrth Dduw, ac y mae, ar y tir hwnw, yn galw ein sylw at brofion neillduol o gywirdeb y broffes hono. Yn yr achos penodol yma, gwaith priodol rheswm yn ddïau yw chwilio yn bwyllus i mewn i natur, gwirionedd, a chryfder y profion neillduol hyny, ac edrych yn fanwl a ydynt yn cyfiawnhâu y broffes a seilir felly arnynt. Yn y lle nesaf, mae y dadguddiad proffesedig hwn wedi disgyn i waered i ni trwy ddwylaw ffaeledig cenedlaethau rhagflaenol i ni, ac wedi bod felly yn hir yn agored i lygriadau a newidiadau lawer; gwaith rheswm eto yn yr achos hwn yw edrych i mewn a boddloni ei hunan o barthed i burdeb a dilysrwydd testun y dadguddiad hwnw. Ac yn y lle olaf, mae y dadguddiad neillduol hwn wedi cael ei wneyd i ni mewn iaith ddynol gyffredin ac adnabyddus; gwaith rheswm o ganlyniad yw darostwng yr iaith hono i weithrediad naturiol holl ddeddfau priodol dehongliad, er mwyn tynu allan ei gwir feddwl a'i gwir ystyr. Dyma swyddogaeth rheswm gyda golwg ar y Bibl; chwilio yn fanwl i'r profion o'i ysbrydoliaeth—cymhwyso beirniadaeth onest, ïe, a diarbed hefyd, at y testun a geir o hono—ac ymofyn am bob cymhorth cyrhaeddadwy er dehongli ei ymadroddion. Ond dyma y cwbl. Dyma derfyn eithaf awdurdod rheswm. Wedi boddloni ei hunan yn yr ymchwiliadau hyn, lle priodol dyn yw ymostwng i ddysgeidiaeth y Bibl heb betruso, ac heb ymddadleu dim, gan gofio bob amser fod y ddysgeidiaeth hono yn dystiolaeth Duw—yr anfeidrol eirwir a'r hollwybodol Dduw. Dyma oedd ysbryd Mr. Watson yn wastad. Mae y rhan olaf o'i "Lythyr" rhagorol a'r "Faboliaeth Crist," yn amddiffyniad gorchestol iddo, ac y mae yr oll o'i "waith" yn esiampl o hono. Ar ol dilyn un duwinydd enwog trwy gwrs o ymresymu cywrain o barthed i natur Duw, a phethau dyfnion o'r fath, mae yn tori allan i ddywedyd, "Ond yn iach i'r rhesymiadau hyn; rhoddaf hwynt i fyny yn rhwydd am un gair o dystiolaeth Duw. Nid ydwyf yn eu caru; ymddangosant megys yn fy nwyn yn rhy anmharchus agos at Dduw; ni fynwn ymruthro 'drwodd i hylldremu;' a thra yn ysgrifenu yr wyf yn teimlo pa mor gyfiawn, ac eto pa mor geryddol, yw geiriau bardd Paradwys:

'Gan erfawr wawl ei odrau tywyll ynt,
Ac eto ffloewant nef; fel nas gall Sereiph pur
I'w wyddfod dd'od, heb â'u hadenydd guddio 'n llwyr
Eu llygaid glân——.'"

Dyma oedd ysbryd Watson. "Pob cnawd, taw yn ngŵydd yr Arglwydd." Ac mae yn rhaid i ni addef ein bod yn ei hoffi am hyn lawn cymaint ag am ddim arall. Dywedir wrthym, fe allai, ein bod fel hyn yn iselu rheswm. Dichon ein bod; ond nis gallwn weled hyny. Y cwbl a welwn ni yw rheswm dyn yn ymostwng i reswm Duw; hyny yw mewn geiriau eraill, y ffaeledig a'r meidrol yn talu y warogaeth fwyaf rhesymol i'r anffaeledig a'r anfeidrol Fôd!

Un peth arall nodedig yn Richard Watson oedd *diwydrwydd di-ildio a dyfalbarhâus*. Mae ei gyrhaeddiadau mewn dysgeidiaeth a gwybodaeth gyffredinol, ei adnabyddiaeth helaeth o weithiau awduron hen a diweddar, ac yn neillduol felly mewn athroniaeth a duwinyddiaeth, ynghyda phwysigrwydd ac amrywiaeth ei ysgrifeniadau, i gyd yn dangos hyn, ac yn ei ddangos hefyd yn nodedig o'r amlwg pan gofir fod y cwbl oll wedi ei wneyd heb fanteision addysg athrofäol, yn nghanol afiechyd a llesgedd, a chyn i'r llafurwr galluog gyrhaeddyd o fewn ugain mlynedd agos i derfyn cyntaf bywyd dyn! "Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng mlynedd a thriugain!" Ond galwyd Watson adref cyn gweled nemor dros ddeg a deugain! Ac eto i gyd gymaint a gyflawnwyd ganddo! Yn ngwyneb rhyw ffeithiau fel hyn, pwy a all beidio gresynu na buasai yn y fath un â Coleridge—S. T. Coleridge wrth gwrs—ryw dipyn o'r anian ymroddol hon? Trwy rym ei dylanwad hi, y fath ffrwyth toreithiog a adawsai ar ei ol! Ond yn lle ymroi i weithio, treuliai yr enaid rhyfeddol hwnw gryn dipyn o'i amser i gynllunio, ac yna eisteddai i lawr i'w—anghofio; o'r hyn lleiaf, i'w esgeuluso. Anhwylder ei feddwl, neu yn wir, absennoldeb un o'r elfenau pwysicaf ynddo, a barai hyn i gyd. Wrth edrych ar y pethau a ddaethant oddiwrtho yn naturiol felly, heb nemawr o ymdrech na llafur megys, nis gallwn lai na meddwl, Beth, tybed, a fuasai ei waith pe rhoisai ei enaid arno? Ond dyna—dysged ein darllenwyr ieuainc, beth bynag, y pwys o feithrin diwydrwydd, ac o arferyd eu hunain i ddyfalwch ac ymroddiad meddwl.

O ran ei dymher naturiol, yr oedd Richard Watson o duedd pur siriol a charedig; ond cyn cyrhaedd o hono i oedran mawr, yr oedd afiechyd parhâus a chyson wedi peri i ryw haen o ddwysder, ïe, o brudd-der hefyd, dyfu megys dros ei dymher naturiol hon. Fel canlyniad naturiol hyny, ac fel effaith hefyd i'w duedd fyfyrgar gref, yr oedd yn anhawdd braidd dyfod yn agos iawn ato. Ond pan gyflawnid hyny, teimlid yn ddiatreg bron fod yn ei fynwes fawr gyflawnder o deimlad, o dynerwch, ac o serch. Perthynai iddo yntau, fel i lawer o fawrion eraill, rai *oddities* bychain pur ddigrif ac ysmala. Er enghraifft, yr oedd yn hynod o chwannog i gymeryd cyffyriau meddygol. Llyncai *physic* o bob math gydag awyddfryd oedd agos yn anorchfygol. Byddwn weithiau yn meddwl mewn gwirionedd fod y gwendid rhyfeddol hwnw yn llawer mwy cyffredin ymhlith pregethwyr nag y gellid meddwl ar y cyntaf ei fod; a themtir ni ambell waith i dybio fod yn resyn garw na fuasai meddygon fel dosbarth mor awyddus i wrando ar bregethwyr ag y mae pregethwyr fel dosbarth i wrando arnynt hwy. Pe gwelid pethau felly, gwyddom yn

bur dda pa ochr a dderbyniai y fantais fwyaf. Mae yn ymddangos hefyd fod Mr. Watson yn coledd syniadau pur wreiddiol drachefn ar y pwnc pwysig o awyriad, o *ventilation*, priodol pethau. Gofalai yn hynod o bryderus, nid am awyriad ei annedd, a'i gapel, a phethau felly yn unig, ond am awyriad dyladwy rhyw ranau neillduol o'i berson ei hunan hefyd! Un o'i arferion cyffredin ef oedd gwneyd tyllau bychain crynion yn nghoryn ei het, ac yn nghefnau ei esgidiau, gyda yr amcan mawr a phwysig o sicrhâu i'r awyr allanol fynedfa rwydd a hwylus at ei ben a'i draed fel rhanau nodedig o bwysig o'i ddyn allanol hynod! Y fath drugaredd yw fod pethau bach fel hyn i'w cael mewn dynion mawr i helpu y bychain bach i chwerthin rhyw dipyn am eu penau tra yn gorfod eu rhyfeddu a'u mawrhâu o hyd.

Yr oedd "dyn oddiallan" Watson mor hynod hefyd yn ei ffordd â dim oedd yn perthyn iddo. Dyn tàl a theneu oedd ef; yn gryn ddwy lath a dwy neu dair modfedd o hyd, a chàn feined bron â chorsen, ac yn edrych felly yn llawer talach fyth. Pan welid ef allan ar yr heol gyda'i wyneb salw, sàd, a'i goesau hirion meinion, yr oedd yn anmhosibl bron peidio troi yn ôl i edrych arno eilwaith, gan ofyn yn ddystaw wrth wneyd hyny, "Pwy allai hwna fod, tybed?" Wrth son am ei goesau hirion, nis gallwn ymattal yma heb adrodd hanesyn difyr a glywsom yn eu cylch. Teithiai perchenog y coesau ryw dro gyda'r cerbyd, a hyny o'r tu mewn iddo. Mae pawb yn gwybod bellach mai lle go fach a geir oddifewn i gerbydau cyhoeddus yn lled gyffredin. Ar y siwrnau neillduol hon, eisteddai boneddiges lawen gyferbyn â Mr. Watson. Gwybu hono yn fuan fod y lle yn gyfyng iawn, a bod coesau ei chyd-drafaeliwr yn hirion iawn hefyd. Ond dyoddefodd yr anghyfleusdra i gyd gyda thawelwch a sirioldeb mawr. O'r diwedd, safodd y cerbyd i "newid ceffylau," a chododd Mr. Watson i gychwyn allan, gan ddywedyd wrth wneuthur hyny, "'Rwy' yn meddwl yr âf i lawr am fynyd i estyn fy nghoesau dipyn." Edrychodd y foneddiges arno yn syn, a dywedodd, "Er mwyn pob peth, syr, peidiwch a meddwl am hyny!" "Ma'am!" ebe yntau yn betrusol. "Ië, syr," oedd yr ateb; "er mwyn pob peth peidiwch meddwl am estyn eich coesau, oblegid dyn a'i gŵyr y mae y rhei'ny yn ddigon hirion eisoes!" Chwarddodd Mr. "Coesau Hirion" yn iachus am ei phen, ac aeth allan i estyn ei goesau er gwaethaf ei dychryn hi, ac adroddodd yr hanes ganwaith wedi hyny yn hwyliog a blasus iawn. Ond beth bynag a ddywedir am *gorff* ein gwron, yr oedd ei *ben* yn haeddu sylw. Gyda'i wyneb hirgul gwelw, ei wefusau teneuon hyawdl, ei lygaid llwyd-ddu dyfnion treiddgar, ac uwchlaw'r cwbl ei dalcen uchel, llydan, llyfn, teimlid yn y presennoldeb hwnw fod yno fawredd anarferol yn dangos ei hunan. Eisteddai mawrhydi meddwl yn amlwg ar ei ael.

Mae ein gorchwyl hyfryd hwn yn agos yn awr i'r pen. Awn gyda'r pregethwr i "gysegr Duw," ac edrychwn arno yn y pulpud, ac yno y gadawn ef. Gellid casglu yn naturiol oddiwrth a ddywedwyd eisoes fod Watson yn bregethwr o'r dosbarth cyntaf. Gyda ei feddwl mawr, ei chwaeth farddonol, ei gyrhaeddiadau uchel, ei deimlad crefyddol, a'i lais deniadol a da, yr oedd yn anmhosibl iddo beidio bod felly. Yn ei amseran goreu a mwyaf hapus, dywedir ei fod yn ddigymhar bron. "Gall Mr. Watson, mae yn wir," meddai y Parch. William Jones, golygydd y

'*New Evangelical Magazine*' y pryd hwnw—"Gall Mr. Watson, y mae yn wir, fod yn eglur ac yn agos iawn pan fo eglurder ac agosrwydd yn briodol, ond gall hefyd ehedeg i uchelderau arddunedd." A thrachefn y mae yr un awdwr yn dywedyd, "Nid prydferthwch ei ystumiau, nid tônau pereiddfwyn ei lais, ac nid llyfnedd cydseiniol ei frawddegau ychwaith, yn unig, sydd yn tynu sylw ei wrandäwyr ato, ac yn gwneyd iddynt ei wrando gydag hyfrydwch a boddhâd. Nid yw Mr. Watson yn ddiffygiol mewn un o'r pethau hyn; ond y mae heblaw hyny yn meddu rhagoriaethau pregethwrol o radd ac o urddas llawer uwch; rhagoriaethau yn gosod i lawr sylfaen i boblogrwydd sylweddol a safadwy, ac ar yr un pryd yn rhoddi i'r pethau a enwyd flaenaf ryw fath o goroniad gorphenol hefyd. Y pethau neillduol hyn ydynt ei farn gywir, ei ddeall diwylliedig, ei adnabyddiaeth fanwl o'r Ysgrythyrau, ei olygiadau ëang a rhyddfrydig ar bethau yn gyffredin, a'i fedrusrwydd hapus yn nghyflëad ei feddyliau i'r rhai a wrandawant arno." Dyna farn Mr. Jones, Bedyddiwr diduedd a galluog, a hyny ar ol bod yn gwrando arno yn agos i ugain mlynedd cyn gorphen ei yrfa fer. Ar ol marwolaeth Mr. Watson, talodd James Montgomery, y Morafiad awenyddol o Sheffield, deyrnged gynhes i goffadwriaeth ei enw. Ymhlith pethau eraill, dywedai am dano, "Perthynai i'w feddwl mawr ef y gallu nodedig hwnw o gyfranu ei allu a'i gyflymdra amgyffrediadol ei hun i bob meddwl bron a ddygid o dan ei ddylanwad mawr. Meddiannai ni mor llwyr â'i ysbryd ei hun nes yn ystod ei deithiau rhyfedd trwy ororau o feddwl, a dyryslwybrau o ymresymiad, y byddem yn ddifeddwl hollol o'r cyflymdra gyda pha un ein cludid, ac o'r uchelder mawr y tu hwnt i ni ein hunain y codasid ni iddo, hyd nes y deuai rhyw feddwl nerthol dan ruthro heibio, megys twrf taran goris cerbyd yr awyronydd, yn adgofio iddo ei fod bellach ymhell uwchlaw bro y cymylau." Dyna eto dystiolaeth y bardd.

Ond yn nghanol y tystiolaethau amrywiol i gyd, nis gwyddom am ddim sydd yn sefydlu cymeriad Watson fel pregethwr, yn fwy na chymeradwyaeth ddigymysg Robert Hall o hono yn y carictor neillduol hwnw. Mae cymhwysder perffaith Robert Hall i farnu teilyngdod pregeth yn ddïau y tu hwnt i ddadl. Gyda ei feddwl craff a threiddgar,—ei chwaeth goethedig,—uchel, a'i ysbryd annibynol, gerwin,—gwyddai ef beth oedd pregeth, a dywedai ei feddwl hefyd heb ofni gwyneb neb, na cheisio ffafr chwaith. Lle bynag y canmolai Hall, gellid edrych am ragoriaeth, am wir ragoriaeth, yno. Wel, am wron ein hysgrifell yn awr, coleddai Robert Hall y meddwl uchaf ag oedd yn bosibl. Mewn ymddyddan unwaith gyda'r enwog Theophilus Lessey, dywedai Hall am Watson,—"Mae yn ehedeg, syr, i ororau o feddwl nad oes unrhyw athrylith ond ei eiddo ei hun yn alluog i dreiddio iddynt." Ar ryw achlysur neillduol, clybu Mr. Hall ef yn pregethu yn Leicester. Pwnc y bregeth hono oedd athrawiaeth yr Iawn. Wedi gwrandaw y bregeth hono, tystiai Robert Hall nas gallai am amser maith feddwl am ddim arall ond pregeth Mr. Watson. Pregethodd ei sylwedd hi y Sabbath canlynol i'w gynnulleidfa ei hun; ac am lawer o Sabbothau ar ol hyny, cyfeiriai yn ei bregethau mewn rhyw ffordd neu gilydd ati, a gwasgai yn daer ar ei gynnulleidfa i fynu os gallent wrandaw "y dyn mawr hwnw." Ar un amgylchiad arall, pregethai Watson ar agoriad capel yn rhywle lle yr oedd Hall yn dy-

gwydd bod. Cyrchodd y Bedyddiwr poblogaidd yno i wrando arno. Yr oedd y capel yn llawn, a'r gwasanaeth wedi dechreu pan gyrhaeddodd Hall yno. Eisteddodd gan hyny ar fainc yn ymyl y drws. Testun Mr. Watson oedd y geiriau hyny, "Ac uwch ei phen gerubiaid y gogoniant yn cysgodi y drugareddfa." Dygwyddodd y tro hwnw ei fod yn hynod o hapus. Codai meddwl ar ol meddwl allan o'r testun, nes tânio enaid Watson. Tâniai enaid Hall i'w ganlyn ef. Goblygai ei freichiau ar ei fynwes lydan. Syllai ei lygaid teryll yn myw llygaid y pregethwr. Symudai ei gorff yn ôl ac ymlaen gan gynhwrf angerddol ei ysbryd mawr. Ac felly edrychai fel wedi ymgolli i bob peth o'i gylch ond y bregeth a'r pregethwr, nes o'r diwedd i Watson orphen un o'i *glimaxes* mawreddog, gyda rhuthr gorlethol o hyawdledd pur. Y moment hwnw neidiodd Hall ar ei draed, a dywedodd yn ddigon uchel i'r bobl o amgylch y drws ei glywed, "O fy Nuw! ai dyn ai angel ydyw?" Mae ammheu grym, arddunedd, ac effeithioldeb pregethwr o'r fath yna, i ni beth bynag, yn anmhosibl.

Ond gyda'i holl ragoriaeth mawr, tewi a wnaeth Watson! Yn ngeiriau awenyddol James Montgomery, "Yn nghanol ei fywyd, ymdreuliodd ymaith fel pêraroglau ar yr allor yn llosgi yn ddysglaer, ac yn gwasgaru pêrarogledd, nes na byddo mymryn o'u gweddillion i'w cael." Mae ugain a deg o flynyddau wedi llithro yn araf heibio er pan y gorphenodd ei daith, ac eto ni chodod yn y Cyfundeb Wesleyaidd "brophwyd megys efe." Teimlad llawer o fewn y Cyfundeb ei hunan ydyw:—

"Take him for all in all,
We ne'er may look on his like again."

---

# ORIAU GYDA DIAREBION CYMREIG.

Cawsom dro unwaith o'r blaen, rai blynyddoedd yn ol, gyda yr hen Ddiarebion Cymreig, a gwnaed y pryd hwnw rai sylwadau ar darddiad amryw o honynt, ynghyd a gwahanol gasgliadau a wnaed o honynt gan Catwg Ddoeth, Cyrys o Ial, ac amryw eraill.* Cawsom wedi hyny sylwi ar gryn nifer, os nad y cyfan, o'r rhai a alwem yn "Ddiarebion y Tymmorau,"† yn y rhai y cyflwynid i ni olwg lled helaeth ar feddyliau ein hen dadau Cymreig mewn perthynas i'r gwrthddrych cyffredinol hwnw o ymddyddan gan bob Sais a Chymro hyd heddyw—y tywydd. Ni ddarfu i ni, pa fodd bynag, ddyhyspyddu y ffynnon, ond y mae yn aros ddigon o ddefnyddiau i ni allu treulio eto oriau lawer yn ddifyr a buddiol gyda y Diarebion Cymreig.

Nid oes, ni a feddyliem, nemawr ammheuaeth yn bod mewn perthyn-

* TRAETHODYDD, Gorphenaf, 1847. † TRAETHODYDD, Hydref, 1847.

as i werth y diarebion hyn. Y maent yn werthfawr pe na bae ond am y dangosant ddoethineb ein cyndadau, ynghyd a'u ffordd o gyfranu addysg. Y maent hefyd fel mynegbyst yn rhoi i ni gipolwg ar nodwedd yr amserau eu cyfansoddwyd. Nid pob amser a wna y tro i gyfansoddi diarebion. Yr ydym yn cofio i ni weled Arglwydd Macaulay, yn sylwi mai y cyfnod mwyaf manteisiol i farddoniaeth yw un pan y byddo cenedl yn hanner gwareiddiedig. Felly y tybiwn ninnau gyda'r diarebion. Cyfnod mwy manteisiol i'w cynnyrch a fyddai un yn yr hwn y byddo dynion yn byw yn y dychymygol, ac yn ymgartrefu fwy yn myd y meddwl, na'r un fyddo yn ymestyn at y sylweddol—y *real*, ys dywed ein cymydogion, a dychymygion wedi eu hymlid ymaith gan ffeithiau. Mewn adeg pan y byddo dyn heb ond ychydig i'w wneyd, ac yn gallu troi ei feddwl i sylwi, myfyrio, moesddysgu, a moesgymhwyso, ac oes o ddeng mlynedd a thriugain yn ymddangos yn faith, faith, byddai gwell gobaith am gael cyflawnder o ddiarebion, nag mewn oes debyg i'r eiddom ni, pan y mae diwydrwydd a phrysurdeb yn nodweddu pob man—ein bryd yn cael ei lyncu yn gyfangwbl gyda ein hagerlongau a'n hagergerbydau, ein gwefrhysbysai trosdirol a thanforol, a'n masnach ddiderfyn, fel y mae yr hen ŵr deg a thriugain yn marw fel pe bae bron heb ddechreu byw, a byd y meddwl yn cael ei anghofio gan helynt a thrafferth byd bychan y corff. Nid rhyw lawer o ddiarebu a geir mewn oes o'r nodwedd hona. Yr ydym ymhellach yn gweled priodoldeb cymhwysiad y sylw a nodasom at ein diarebion wrth i ni gofio fod perthynas agos rhyngddynt hwy a'n barddoniaeth. Yn wir, y mae yn hawdd gweled wrth eu ffurf mai llinellau barddonol yw y rhan fwyaf o honynt, o ddarnau barddonol sydd naill ai yn aros mewn rhan, neu ynte wedi llwyr fyned ar goll. Mae yn hawdd casglu llinellau o'r fath o waith pob bardd Cymraeg bron, o'r oesoedd boreuaf hyd yn awr. Rhoddwn ychydig enghreifftiau er dangos hyn:

"Er heddwch nac er rhyfel,
Gwenynen farw ni chasgl fêl."

O'r ddwy linell uchod, gellir galw yr olaf yn ddiareb cystal ag un. Mae awdwr "Drych y Prif Oesoedd" yn gwneyd defnydd o honynt mewn cysylltiad âg amgylchiad sydd yn rhoddi i'r llinell olaf gymhwysder a phriodoldeb anghyffredin. Rhonwen—neu Rowenna—merch Hengist, a roes ei bryd ar wenwyno Gwrthefyr Fendigaid, brenin y Cymry; ac er cyrhaedd ei hamcan, hi a lwgrwobrwyodd lanc i ymwisgo fel garddwr gwledig, ac anrhegu y brenin â thusw o flodau briallu, gydag aroglion gwenwynig wedi eu bwrw drosto. Llwyddodd y ddyfais felldigedig, a phrofodd y brenin iddo gael ei wenwyno. Am hyny efe a ranodd ei eiddo rhwng ei dywysogion yn ddioed, gan orchymyn iddynt losgi ei gorff ar ol ei farw, a rhoddi ei ludw mewn delw o efydd ar lun gŵr, yn y porthladd lle y byddai estron-genedl yn ceisio dyfod i dir, gan ddywedyd mai "Dïau na thirient byth tra y gwelent ei lun ef yno."* Ni ddarfu i'r tywysogion gydsynio â dymuniad y brenin, eithr claddasant ef yn Nghaerludd. Ond pe gwnaethent hyny, rhy brin yr ydym yn credu y buasai Gwrthefyr *farw* yn dychrynu y Saeson cyfrwys a chynllwyngar, mwy nag y gwna gwenynen farw gasglu mêl.

* "Drych y Prif Oesoedd," tu dal. 65. Caerfyrddin, 1854.

Ond rhown enghraifft neu ddwy yn ychwaneg cyn gadael hyn. Dyma un mor hen yn ddiau ag amser y Derwyddon, os nad yn un o'u hodlau.

"Eiry mynydd pysg yn rhyd,
Cyrchai carw Cilgrwm Cwmelyd;
Hiraeth am farw ni weryd."

Maddeuer i ni am nad allwn yma eglurhâu mewn byr eiriau ystyr y ddwy linell gyntaf; ond am y drydedd, gall pob darllenydd ei gwerthfawrogi am y gwirionedd diarebol a gynnwysir ynddi. Wele eto Englynion y Misoedd yn ffrwythlawn o honynt. Ni a ddyfynwn y llinellau a ymddangosant i ni felly wrthynt eu hunain, heb fyned i roi yr holl englynion yn llawn:—

"Gwael gŵr anwiw i ofyn."
"Gnawd gwarth o fynych gyswyn."*
"Gwae heb raid a wnel achwyn!"
"Hŵy pery llid na galar."
"Pob edn a edwyn ei gymhar."
"Aml bai lle nis cerir."
"Gnawd difrod ar blant anwir."
"Clyd clawdd i bob digariad."
"Hawdd cymmod lle bo cariad."
"Pawb a chwennych anrhydedd."
"Pob cadarn gwan ei ddiwedd."
"Ni châr gwilliaid hir gynghrair."
"Ni lwydd hil corff anniwair."
"Duw a farn, dyn a lefair."
"Gwell gwaith cryman na bwa."
"Nid llai cyrchir drwg na da."
"Dyn a dâ'r byd a dderfydd."
"Adail ddedwydd yw diddos."
"Adwyth diriaid heb achos."

* Cyfaddefiad.

Dyma ni fel hyn yn cael o lai na chant o linellau, fwy na'r bummed ran yn gyfryw ag y gellid eu hystyried yn ddiarebol. Yn "Englynion y Clywed" hefyd, ceir y llinell ddiweddaf o bob un yn ddiareb ragorol. Nid anhawdd fyddai i ni ddethol ymhellach ugeiniau o weithiau beirdd diweddarach, hyd ein beirdd presennol; ond ni a ymattaliwn.

Ein hamcan ar hyn o bryd yw pigo rhai diarebion yma ac acw, heb amcanu at un math o ddosbarthiad, a gwneyd cais at eu hegluro lle y byddo yn anghenrheidiol, trwy eu haralleirio yn ein Cymraeg arferedig y dyddiau hyn, a gwneyd sylw byr neu faith ar bob un yn ol ein mympwy.

"Adwyog cae drygamaeth;" sef, mae cae—clawdd neu wrych—yr amaethwr gwael yn adwyog. Mae amaethu tyddyn yn briodol yn gofyn llawer o ddiwydrwydd a gofal. Nid oes dim yn dwyn mwy o anfri ar amaethwr, boed ef fawr neu fach, na rhyw olwg annhaclus ar bob peth,

yn ei dŷ, ei fuarth, ei adeiladau, a'i faesydd. Heb i amaethwr fod yn ddiwyd, ac â llygaid yn ei ben, hawdd yw gollwng tyddyn i fyned i'r sefyllfa fwyaf anghysurus ac anolygus.

"Colles ei glydwr a gyrches tŷ at ei adwr:" yr hwn a drosglwyddodd ei dŷ i'w gaethwas a gollodd ei glydwch. Nid aml y ceir gweision wedi eu dyrchafu i sefyllfa yr hwn y buont yn ei wasanaethu gynt yn feddiannol ar lawer o drugarogrwydd a thiriondeb; fel, os bydd i'w hen feistr fyned i sefyllfa gwas, na bydd ganddo ryw ormod i'w ddysgwyl oddiar eu llaw, pa mor dda ac anrhydeddus bynag y bu efe fel meistr, tra yn feistr. Aml y bydd dyrchafiad go fawr yn difodi pob tynerwch a rhinwedd yn nghalon dyn, ac yn ei wneyd yn galed a gormesol i raddau. Nid ydym mor rhyfygus a dywedyd fod y ddiareb hon yn wirionedd diammheuol ymhob amgylchiad; canys gwelsom lawer a fuont yn ddigon cryfion i ddal dyrchafiad, ac yn arddangos yn dra dysglaer fel meistriaid yr un rhinweddau ag oedd ynddynt fel gweision. Eto nid dyma yr effaith cyffredin, ac nid dyma dueddfryd naturiol dyn; eithr rhaid i ni briodoli pob rhinwedd o'r fath i ddylanwad a llywodraeth egwyddorion mwy goruchel Cristionogaeth.

"Cystal ar draed a marchogaeth ffon." Byddai raid i'r dyn gerdded yn y ddau amgylchiad; ac o'r ddau, gallai gerdded yn fwy rhwydd heb y ffon. Addysg y ddiareb yw, peidio gwneyd dim dianghenrhaid. Mae pethau anghenrheidiol mor lïosog yn perthyn i bob dyn, fel mai ynfydrwydd, yn gystal ag oferedd, yw i ddyn fyned i wastraffu dim amser o gwbl gyda phethau dianghenrhaid.

"Gadu gwraig âg un fefl, a'i chymeryd â dwy:" gadael gwraig am un gwarthrudd neu waradwydd (*disgrace*)—felly y cyfieitha Dr. W. O. Pughe —ond ei chymeryd gydag ychwaneg yn perthyn iddi. Fe ddichon y byddai ystyr y ddiareb yn llawn cryfach pe byddai i ni symud y geiriau cryfion gwarthrudd a gwaradwydd, a rhoi y gair mwy tyner *bai* i gyfateb i *mefl*. Rhyw fath o wawdiaith ydyw y ddiareb. Fel pe meddylid am ddyn yn cymeryd achlysur oddiwrth ryw fai, bydded càn lleied ag y byddo, i adael ei wraig a rhoi heibio gydfyw, pan y rhaid ei fod wedi ei chymeryd gyda'r ymwybyddiaeth fod ganddi lawer mwy nag un bai yn perthyn iddi; canys pwy sydd heb fod felly? Mae priodas yn dwyn y pleidiau i sefyllfa mor bwysig, fel y dylid meddwl am aberthu llawer o hunandeimlad, a dyoddef llawer o'r hyn a allo ymddangos yn gam a thrais, yn hytrach na cheisio ymryddhâu o'r ammod a wnaed "hyd oni wahano angeu." Mae gwneuthur yn ysgafn o'r ammod hwnw, a gadael i bob peth lleiaf wasanaethu fel rheswm dros fyned o'i afael, yn esgor ar y canlyniadau mwyaf gofidus yn wastad i deuluoedd; ac nid anfynych y gwelsom y cyfryw ymddygiad ynfyd ac iselwael a llwfr, yn cyflwyno i ni esboniad ymarferol ar eiriau yr Arglwydd Iesu, fod "pwy bynag a ollyngo ymaith ei wraig, ond o achos godineb, yn peri iddi wneuthur godineb."

"Nid gair gair alltud ar Gymro:" nid yw gair neu orchymyn estron yn meddu awdurdod ar Gymro. Rhydd y ddiareb hon i ni olwg ar gymeriad a syniadau cenedlaethol ein hen dadau Cymreig; ac y mae ein hanesion yn profi mai cenedl ddewr a fuom, a hoff o'n hannibyniaeth. Rhyfeloedd y Cymry ydynt oll bron yn rhyfeloedd dros eu rhyddid, ac yn erbyn pob gorthrwm, a thrais, a thra-arglwyddiaeth, pa un bynag ai oddiwrth un o honynt hwy eu hunain, neu oddiwrth genedl estronol,

Gwelodd y genedl, mae yn wir, ddyddiau gwaeth ar ol cwympo Llywelyn, ei llyw olaf, yr hwn amgylchiad a ddarlunia Gruffydd ap yr Ynad Coch yn gyffröus:—

"Pob cantref, pob tref yn treiddiaw,
Pob tylwyth, pob llwyth y sy 'n llithraw:
Pob mab yn ei grud y sy 'n udaw;
Bychan lles oedd im' am fy nhwyllaw,
Gadael pen arnaf, heb ben arnaw;
Pen pan lâs oedd lesach peidiaw;
Pen milwr, pen moliant rhagllaw;
Pen dragon, pen draig oedd arnaw;
Pen Llywelyn deg, dygna praw
I'r byd fod pawl haiarn trwyddaw."*

Ond er i'n cenedl gael ei darostwng yn ei hysbryd am oesoedd, ac yn wir dori ei chalon, a llethu ei hysbryd, eto y mae yr un cariad at ryddid, a'r un cenedlgarwch, yn perthyn iddi eto; ac ni synem ronyn pe gwelem ryw wron o fysg ei meibion mewn amserau i ddyfod yn adennill ei rhyddid iddi; nid trwy ei hadferu eto yn genedl annibynol, canys yr ydym erbyn hyn wedi suddo yn rhy ddwfn i gariad â'n cymydogion Seisonig i beri fod hyn yn beth i'w ddymuno, ond trwy ennill iddi hi, a chyda hi i'r holl Deyrnas Gyfunol, y rhyddid hwnw i'r bobl lywodraethu eu hunain—rhyddid y rhaid addef fod ffurf ein cynnrychiolaeth bresennol yn ein hamddifadu o hono i raddau gormodol.

"Byd yn ddiarchen, a chysgu ar domen, a ladd y cryfaf;" neu, bod heb esgidiau—yn droednoeth, &c. Mae y ddiareb hon yn darlunio y cyflwr isaf a mwyaf truenus y gall dyn syrthio iddo o ran ei gorff. Mewn gwlad o dymheredd isel, lle mae oerni a gwres i'w cyfarfod bob yn ail, y mae bod "yn ddiarchen" yn dra anghysurus; ond pan yr ychwaneger at hyny yr anghysur ansyber o orfod "cysgu ar domen," y mae darlun y trueni yn gyflawn.

"Canymdaith ci ei losgwrn:" cydymaith ci yw ei gynffon. Er y gellir dywedyd am y ci ei fod yn grëadur tra serchus gyda ei berchenog, ac yn barod i'w ddilyn i bob man, eto ceir rhai o'r rhywogaeth ag ydynt mor ffyrnig a milain, fel mai prin y gellir gwneyd cydymaith gwresog o honynt. Ond bydded mor ddigydymaith ag y byddo, bydd yn sicr o gael un cydymaith parhâus ac anysgaradwy yn ei gynffon. Prin y gellir dyweyd cymaint a hyny am y dyn digariad.

"Gwell gwraig o'i chanmawl." Nis gwyddom yn sicr a yw y ddiareb hon yn taflu rhyw sarhâd ar ein cyfeillesau teg, trwy awgrymu nad oes nemawr dda yn perthyn iddynt heb eu canmawl. Os felly, yr ydym ni yn llawn barod i gymeryd eu hamddiffyniad mewn llaw; canys barnu yr ydym, oddiar fynych a maith brofiad, fod llawer o ddaioni cynenid yn perthyn iddynt, yn annibynol ar ganmoliaeth na dim tebyg, a'u bod yn llawer parotach i'w amlygu na'r rhyw arall. Pwy a geir mor barod i ganfod rheidiau dyn, ac i weini arno cyn mynegi o hono a'r benywod? pwy mor ffyddlawn i gyflawni ei dyledswydd yn ngwyneb llawer o drahâ, enllib, a difrïaeth, ïe a hyd yn nôd dyrnodion chwerw, a llawer gwraig? Ond pe byddai y ddiareb yn wir ddïeithriad am wragedd, gallwn ofyn

* Dywedir i ben Llywelyn gael ei dori ymaith, a'i osod ar flaen pawl haiarn ar Dŵr Llundain.

ymhellach, Onid oes gwrywaid hefyd ag sydd yn well o'u canmawl? Y gwir yw, nad oes gan y ddiareb un cymhwysiad priodol at y naill ryw mwy na'r llall.

"Goreu pedestyr yw gau;" neu, y teithiwr goreu yw celwydd. Mae yn hynod mor fuan y ceir ystori gelwyddog yn llenwi cymydogaethau, ïe a gwlad gyfan, heb i'r person a fyddo â dawr ynddi wybod dim o gwbl yn ei chylch, ac fel y niweidir cymeriad person yn fynych trwy y fath ystoriau disail. Dywed un o'r diarebion dan ein sylw, "Y maen a dreigla ni fysogla;" ond yr ydym yn meddwl ei bod yn anghywir am unwaith, neu o leiaf yn rhy anammodol i gyfateb i bob amgylchiad, canys dir yw mai po fwyaf y treigla celwydd mwyaf yn y byd a gasgl. Eled trwy gynifer o ddwylaw ag y myner, bydd yn sicr o fod ar ei ennill, ac o dderbyn rhyw ychwanegiad bob tro. Dylem ofalu am "ddywedyd y gwir bob un wrth ei gymydog;" ac os gwelir anghen rai prydiau i ailadrodd ystori a dderbyniwyd gan arall, gofaler ar bob cyfrif am ei dyweyd yn hollol fel ei derbyniwyd, fel os bydd unrhyw gamystumiad yn cael ei wneyd arni gan rywun, y byddo ein dwylaw ni yn lân oddiwrth bob budrwaith o'r fath.

"Cynt y cyhwrdd dau ddyn na dau fynydd;" "Cynt y cwrdd dau ddyn na dwy lân." Dyma ddwy ddiareb o'r un ystyr, neu yn hytrach, fe allai, un ddiareb mewn dwy ffurf. Y ffurf gyntaf yw y fwyaf arferedig, hyd yr ydym yn cofio; ac arferir hi yn fynych er diolch am gymwynas pan nas byddo gan y derbynydd ar y pryd hwnw, er ewyllysio, y moddion i'w dychwelyd mewn gwerth nac mewn cymwynas arall. Er iddo fod mor ddiallu ar y pryd, eto ymgysura ei hun, a chais gysuro ei gymwynaswr, y dichon i ryw gyfleusdra ymgynnyg i ddychwelyd y gymwynas eilwaith, gan mai "cynt y cyhwrdd—neu y cyferfydd—dau ddyn na dau fynydd." Mae y naill yn bosibl, ond y mae y llall, i bob ymddangosiad, yn hollol anmhosibl. Er y gall y dyffryn neu iseldir rhwng dau fynydd gael ei lenwi i uchder y mynyddoedd, neu er i wely yr afon neu y llŷn neu y môr gael ei lanw i fyny â daear nes uno y ddwy lân, eto byddai y ddau fynydd neu y ddwy lân mor bell o gydgyfarfod mewn ystyr fanwl a phan y gwahenid y naill gan iseldir neu y llall gan ddwfr. Ond nid mor ansymudol nac ansymudadwy yw dau ddyn, canys y mae y posiblrwydd i'r rhai hyny gyfarfod â'u gilydd yn dra mawr. Y neb a allo, gan hyny, cynnorthwyed ei gyd-ddyn mewn cyfyngder, gan nas gŵyr pa mor fuan y derbyn ei dâl, neu y bydd yn dda ganddo gael cyfaill i ddibynu arno mewn cyfyngder neu anghenoctyd. O'r ochr arall, gochelwn rhag ennyn digofaint ein cyd-ddynion trwy unrhyw drais na sarhâd, gan nas gwyddom pa mor fuan y gallwn gyfarfod eilwaith â'n gilydd, ac y dïelir y cam arnom mewn adeg y byddwn ni leiaf parod i'w oddef.

"Ni bydd brawd heb ei hadfrawd;" neu, ni bydd dedfryd, neu amlygiad o farn ag nas dywedir yn ei herbyn. Mewn achosion dyrys, gwneler barn neu benderfyniad mor bwyllog a diragfarn ag y byddo modd, ni bydd iddo foddloni pawb; a mynych y ceir, ys dywed diarebion eraill, "ceintach (neu ymryson) wedi brawd;" "cynghawsedd (ymresymu neu ail brawf) wedi brawd;" hyd nes apelio at lys uchaf y gyfraith, lle y rhaid derbyn y farn gan nad beth a feddylir yn ei chylch. Ansicr yw pob cyfraith, fel mai y peth goreu i bawb, fel na chaffer beïo ar ei phenderfyniadau na dim arall, yw ymdrechu terfynu pob ymryson neu

anghydweledìad, ac unioni pob camwri, rhyngddynt a hwy eu hunain, fel y ffordd sicraf i feithrin cyfeillgarwch ac i derfynu pob anghytundeb i foddlonrwydd.

"Bechan teyrnas i chwannog;" neu, nid yw teyrnas ond bechan i'r uchelfrydig. Lle bynag y byddo chwant o unrhyw natur yn trigo, nis digonir ef; ond po mwyaf a gaffo, mwyaf oll y bydd, fel dwy ferch y gele yn llefain, "Moes, moes." Y cybydd ni foddlonir âg arian, ond bydd ei gri yn barhâus am ychwaneg; y pleserddyn ni foddlonir â phleserau, ond bydd yn wastadol yn gwaeddi am fwy, nes myned, ysgatfydd, i deimlo fod pob pleser yn annigonol a diflas, ac i fod yn gyffelyb i'r brenin hwnw gynt a gynnygiai deyrnas i'r neb a ddarganfyddai bleser newydd; a'r dyn uchelfryd ni ddigonir ychwaith âg anrhydedd bydol—er gweithio o radd isel nes ennill teyrnas, ni bydd yn foddlawn heb deyrnas arall, ac arall, ac arall yn ddiddiwedd. Y byd, yn ei gyfoeth, ei bleserau, a'i anrhydedd, sydd wagedd, yn rhedeg trwy ddwylaw y rhai oll a hyderant ynddo, ac ynddo yn unig. Dedwydd yw y gŵr a all ymwadu â'i gyfoeth, mewn golwg o berchenogi anchwiliadwy olud gras; a all fwrw ymaith ei holl etifeddiaethau fel pethau diwerth yn y dysgwyliad am etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, sydd yn nghadw yn y nefoedd; a all gyfrif fel teganau deyrnasoedd y byd, yn eu holl ogoniant, a'u mawredd, a'u hysplenydd-dra, yn ymyl y deyrnas ddisigl—tragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist; ac a all wrthod holl anrhydedd y byd yn y rhagolwg o fod yn frenin ac offeiriad i Dduw a'i Dad ef, a theyrnasu yn oes oesoedd!

"Ni chymmydd dedwydd â dadleu;" neu, y dyn pwyllog, synwyrol, ni chymmodir â dadleu. Nid oes ammheuaeth am ddefnyddioldeb dadleuon, ond y mae rhyw derfyn gyda dadleu nad gweddus myned drosto. Mae y dyn cecrus-ddadleuol yn creu casineb dynion ato yn gyffredin, fel y bydd yn well gan bobl beidio cymdeithasu âg ef, er mwyn eu teimladau eu hunain yn gystal a'r eiddo ef. Adroddir am un o'r enw John Lilburne, yn amser Oliver Cromwell, ei fod mor hynod bell yn y ffordd hon, fel yr aethpwyd i ddywedyd am dano, pe na buasai neb ond efe ei hun yn y byd y buasai John yn cweryla â Lilburne a Lilburne â John. Wedi ei farw, rhyw un o'i gydnabod a gyfansoddodd y beddargraff canlynol iddo,—

"Is John departed, and is Lilburne gone?
Farewell to both—to Lilburne and to John:
Yet being dead, take this advice from me,
Let them not both in one grave buried be;—
Here lay ye John, lay Lilburne thereabout,
For if they both should meet, they would fall out."

Mae yn eithaf peryglus myned i'r un ysbryd â Lilburne druan. Gocheler gan hyny rhag dadleu ond i'r graddau y byddo hyny yn ofynol. Mae yr ysbryd yn dda mor bell ag y gwasanaetha i ymchwilio am wirionedd, ac i gadarnhâu y meddwl yn y gwirionedd; ond os unwaith yr ä y ddadl i gecraeth, ac i ymddadleu er mwyn dadleu, yna mae y buddioldeb yn colli, a niweidir meddwl y dyn ei hun yn ddirfawr. Gellir bod yn dra sicr na welir un dyn doeth yn llithro i'r cyfryw eithafion annymunol a diles.

"Gair gŵr o gastell;" neu o'i gastell neu ei dŷ ei hun. Yno y mae

dyn yn meddu yn ei ymyl bob peth i roddi grym ac awdurdod i'w air, ac i wrthwynebu pob ymosodiad gwrthwynebol, pan y byddai raid iddo sefyll ei dir neu syrthio ar y maes agored. I'r un pwrpas y sonia diareb arall am "Ymryson â'r gof yn ei efail." Yn y maes neu ar y ffordd gellid cael y gof yn ddigon gwaglaw a diamddiffyn, ac anghymhwys i ddal unrhyw daro; ac odid nad ellid gwneyd ymosodiad arno yn ddiberygl; ond ffolineb i'r eithaf fyddai ymryson ac ymosod arno yn ei efail, canys yno y mae ganddo wrth ei law gynifer ag a fyno o arfau amddiffynol, a'r rhai hyny yn ddigon i beri marwolaeth yn ddioed. Tebyg mai cyfeiriad y ddwy ddiareb hyn yw dangos allan unrhyw beth ffol neu ofer. Meddylier fod un yn gwneyd ymgais i gyhuddo dyn geirwir o ddyweyd anwiredd; byddai hyny mor ffol ag "ymryson â'r gof yn ei efail," canys y mae ei gymeriad ef gyda golwg ar ei eirwiredd yn amddiffyniad mor effeithiol iddo ef ag yw ei arfau i'r gof, tra y gallesid, ond odid, wneyd cryn niwed iddo trwy ryw gyhuddiad a fuasai yn taro ar le gwahanol. Peth pur isel yw ymosod ar gymeriad dyn mewn unrhyw ffordd; ond llai peryglus o lawer yw y cyfryw gyhuddiad ag y gallo dyn wneyd ymgais i'w wrthbrofi, na'r hwn a fyddo wedi ei ffurfio yn y fath ffordd Jesuitaidd ag y byddo yn dra anhawdd i neb—hyd yn nôd y person ei hun—farnu pa un ai euog ai dïeuog a fyddo. Ysywaeth, gellir cyfarfod â chyhuddiadau o'r fath yn cael eu gwneyd yn awr ac yn y man.

"Eang yw y byd i bawb." Yr Hwn a benodd yr amseroedd rhagosodedig, a therfynau preswylfod plant dynion, a ofalodd am ddarpar gogyfer â chynnaliaeth a chysur pob un y gwelodd efe yn dda roddi iddo fodolaeth, fel nas gellir dyweyd am un person ei fod heb ei gynnysgaethu â digonedd ar ei gyfer. Yn hytrach na bod y byd wedi ei orlenwi, y mae yn wirionedd fod llawer o randiroedd helaeth ymhob chwarter o hono yn goedwigoedd tewfrig a dyrys, neu ynte yn anialdir diffaeth, o herwydd nad yw llaw dyn wedi cyrhaedd hyd atynt er medi eu brasder, a'u dwyn yn diroedd cynnyrchiol a da. Ac nis gwyddom ni pa gynifer o rai cyffelyb sydd heb eu darganfod gan lygad dynol erioed, y rhai y mae bwystfilod ac ymlusgiaid adgasaf yn unig feddiannwyr. Y mae pob taith i wledydd na chawsant eu harchwilio yn dwyn i'r golwg rai o'r cyfryw yn barhâus, fel er fod lle i gasglu fod poblogaeth y byd ar gynnydd, eto y mae Awdwr Natur a Duw Rhagluniaeth yn gofalu am agor llygaid ei blant, a'u cyfeirio at ddigon o le i ymdroi ynddo yn gysurus.—Arferir y ddiareb hon hefyd gyda llawer o briodoldeb i annog rhag cenfigen mewn masnach. Rhesymol yw i bob dyn wneuthur ymgais teg i beidio colli y tir a ennillodd gyda ei fasnach, ond eithaf gwael a dirmygus yw i'r naill fasnachydd fyned i genfigenu wrth a drygliwio masnachydd arall, a thrwy hyny attal a dyfetha ei fasnach. Ymddyged pob un yn deg ac onest, a chaiff brofi yn y pen draw na bydd efe nemawr gwaeth, a bod Rhoddwr pob daioni a Threfnwr pob amgylchiad wedi gwneyd y byd yn ddigon ëang i bawb.

"Gwell un ceidwad na dau ymlyniad:" gwell un ceidwad na dau erlynydd neu ymlidydd *(pursuer)*. Mae yr hyn y rhedir yn awyddus am dano gan y ddau erlynydd eisoes yn llaw y ceidwad. Gall y ceidwad fod yn sicr ei feddwl ynghylch yr hyn a fyddo yn ei gadwraeth, ond nid yw ar y goreu ond dygwyddiad ansicr pa un a gyrhaedd y ddau erlynydd yr

hyn a geisiant. Diareb arall a ddywed yn gyffelyb, mai "Gwell un aderyn mewn llaw na dau (*chwech*, medd y geiriad Saesoneg) yn y llwyn." Mae yr *un* sydd mewn llaw yn feddiant sicr, ond damwain yw y gellid cael un o'r ddau (neu y chwech) sydd yn y llwyn. Arferir y diarebion hyn yn fynych i feio ar y duedd sydd mewn ambell un i anturio mewn masnach, gan ewyllysio ymgyfoethogi gyda brys annirnadwy. Gwelwyd llawer yn anturio eu holl fywioliaeth gysurus ar reilffyrdd, gweithoedd mŵn plwm a glo, a chant o bethau eraill, nes myned yn dlodion am eu hoes; fel yr ymddengys llawer o reswm yn yr hyn a ddywedai yr hen amaethwr wrth gynghori ei fab, sef am iddo gloddio am aur, ond gofalu peidio myned ddim dyfnach na dyfnder yr aradr am dano. O'r ochr arall, ys dywed un o'n diarebion, "Odid elw heb antur." Y gwirionedd yw, mae yn debyg, fod yn ddigon posibl myned yn rhy bell i bob ochr —y dyn rhy ofalus trwy gadw ei arian yn rhy gyndyn, pan y gallai fasnachu â hwynt yn ennillgar, a'r dyn rhy barod, ar y llaw arall, trwy wastraffu ei arian gyda gormod o rwyddineb, a hyny fe ddichon ar anturiaethau rhy ddiolwg, ag y byddai yn nesaf peth i anmhosiblrwydd iddynt beidio troi allan yn golledus iddo.

"Drwg yw'r ffordd ni cherddir ond unwaith." Cyn cael y gyfryw ffordd rhaid fydd i ddyn ymadael â'r ffordd gyffredin, yr hon y byddo pawb yn teithio ar hyd-ddi, gan wneyd ffordd iddo ei hun, yr hyn fydd yn anmhosibl heb gyflawni rhyw gymaint o niwed. Ni wna yr esgus o geisio tori yn agosach trwy beidio myned ar hyd y ffordd arferedig ddim cyfiawnhâu y fath ymddygiad. Y diweddar Barch. Evan Harries, o Ferthyr, a ddywedai ar hyn:—"Cedwch ar y ffordd, waith chwi bïau hono. Pan oeddwn i yn cadw ceffyl, byddai'r bobl yn dyweyd wrthyf weithiau, 'Gellwch fyned dros *dramroad* y cwmpeini.' Diolch i chwi, meddwn innau; mae yn well genyf gadw ar y ffordd. Yr wyf yn teimlo yn fwy ëofn a rhydd ar y ffordd fawr nag unman ond ar yr aelwyd gartref. Nid oes genyf un man ond cartref y mae genyf fwy o *right* ynddo." Purion addysg, mewn ystyr naturiol; canys yr hwn a wnelo felly a fydd yn dra sicr o beidio gwneyd dim troseddiad ar eiddo ei gymydogion. Mewn ystyr foesol hefyd, y mae cadw y ffordd yn dra dymunol ac anghenrheidiol. Y lleidr a ymedy â'r ffordd, ac a deithia ffordd ddrwg na "cherddir ond unwaith," er mwyn gallu tori yn fyr i fywioliaeth ag y byddai yn fwy cwmpasog ei hennill trwy y ffordd gyffredin o weithio. Y puteiniwr hefyd a geisia wneyd ffordd ferach tuag at borthi ei chwantau nag a allai gael trwy y ffordd gyffredin o briodi. Ac y mae lle i ofni nad yw y cristion yn wastad yn rhydd o chwilio, fel Cristion John Bunyan, am ffordd ferach i'r nef, nag a geir trwy ostyngeiddrwydd, hunanymwadiad, maddeugarwch, &c. Ond bydded ddilys i bawb, mai "drwg yw'r ffordd ni cherddir ond unwaith."

"Ceugant yw angeu;" "Angeu ys dir." Mae y ddwy ddiareb hyn o'r un ystyr, ac yn arwyddo, Angeu neu farwolaeth sydd sicr. Ni raid i ni wneyd un sylw pellach er cadarnhâu y gwirionedd a gyflwynir ynddynt —gwirionedd ag sydd wedi gwthio ei brawf i fynwes pob dyn, ac argraffu ei hun yn annilëadwy ar bob cydwybod. Yr addysg a gymer y doeth yw gosod y peth at ei galon, ac ymbarotoi, trwy gredu yr efengyl fendigedig, i fywyd tu draw i angeu, a'r hwn y bydd yn annichonadwy i farwolaeth byth ei anmharu yn y radd leiaf.

"Ni ddiffyg arf ar was gwych:" sef, ni bydd gwas gwych, neu ddyn dewr, mewn diffyg o arf i amddiffyn ei hun. Mae ein hanesyddiaeth Gymreig yn cyflwyno i ni un enghraifft bur darawiadol o hyn, a'r hwn amgylchiad a gofnodir yn "*Nrych y Prif Oesoedd.*" Ymddengys fod Gwrtheyrn wedi ei benodi yn frenin y Cymry. Yr oedd y Gwrtheyrn hwn yn lled bleidiol i, a chyfeillgar gyda, Hengist a'i blaid, y rhai oeddynt, trwy dwyll a dichell, yn ceisio darostwng gwlad y Cymry. Llwyddodd Hengist, ar gyfrif eu cyfeillgarwch, i wahodd y brenin a'i bendefigion i wledd er mwyn cadw eu cyfeillgarwch yn well. Cydsyniodd y Cymry yn llawen. O'r ochr arall, darfu i Hengist annog ei wŷr ef i gymeryd gyda hwynt bob un ei gyllell yn ddirgelaidd, ac i eistedd yn y fath fodd ag y gallai pob un o honynt, ar arwydd penodol, gymeryd allan ei gyllell a lladd y nesaf ato—trychineb a adwaenir genym hyd heddyw fel "brad y cyllyll hirion." Lladdwyd y pryd hwnw ychwaneg na thri chant o bendefigion a goreuon y deyrnas trwy y weithred fileinig. Eithr ni chafodd y Saesoniaid ychwaith ddianc yn hollol ddigolled; canys mynegir i Eidiol, Iarll Caerloew, gaffael hyd i drosol o dan y lle yr oedd yn eistedd, a thrwy hwnw diangodd yn ddidaro, a lladdodd ddeng ŵr a thriugain yn y fan. Dyna yn fyr yr hanes. Ond gallem ni wneyd defnydd pellach o'r ddiareb, ac er mwyn hyny, byddai yn llawn cystal i ni ei chyplysu âg un arall, "Ni ddiffyg modd os bydd myn;" neu fel y bydd y Saeson yn arfer dyweyd, "*Where there is a will there is a way.*" Y mae hanes llaweroedd o ddynion enwog y byd yn cyflwyno i ni brofion "na ddiffyg arf ar was gwych" wrth chwilio am wybodaeth, neu ynte wrth weithio eu ffordd trwy y byd. Mae awduron, gwladweinwyr, masnachwyr, ac yn wir rhai o bob dosbarth, wedi llwyddo trwy eu hymdrechion, a hyny yn erbyn llawer o rwystrau, i godi o'r sefyllfäoedd isaf a thlotaf i'r fath enwogrwydd na wna amser byth ei ddileu. Byddai yn rhy faith i ni fyned i nodi engreifftiau, ond dywedwn wrth ein holl gyfeillion ieuainc, yn wrywaidd a benywaidd, na raid iddynt ddigaloni mewn un modd gydag unrhyw beth cyfreithlawn a gymerant mewn llaw, eithr gallant, trwy ddiwydrwydd ac ymroddiad, gyrhaedd eu hamcan yn ddidog.

"Oed y dyn ni chanlyn y da;" neu, y mwyniant. Mae pob dyn, rywbryd neu gilydd, wedi profi amser yn fyr iawn—mor fyr, yn wir, ag y gyna mor ychydig yr ymddengys ugain neu ddeugain mlynedd wrth eu hadolygu. Mae yn wir y darostyngir dyn weithiau i amgylchiadau gofidus a thristlawn, yn y rhai y gwaedda efe y bore, "O na ddeuai yr hwyr! ac yn yr hwyr, O na ddeuai y bore!" gan deimlo bywyd yn faich a gorthrwm, gweled oes yn llawer rhy faith, a dyheu am orphwysdra, corfforol o leiaf, yn nghwsg hirfaith marwolaeth; a rhy aml, ysywaeth, y gwelwyd ambell druan yn rhyfygu tori y ddadl, a threngu trwy ei law ei hun! Ond nid hyn yw y rheol gyffredin, eithr yn hytrach eithriadau i'r rheol yw pob amgylchiad o'r fath. Mae Duw rhagluniaeth wedi taflu gwrthddrychau o fwyniant ar ffordd dyn yn y byd hwn; ac y mae pechod hefyd wedi troi rhai pethau yn fwyniant, o ran yr ymddangosiad presennol. Ond pa fwyniant bynag a fwynhäo dyn, nid yw yn un parhâus. Y mae rhyw derfyn ar bob mwyniant, pa mor ddymunol bynag. Nid all y llanc deunaw neu ugain oed dderbyn un mwyniant oddiwrth y pethau a'i difyrai pan yn fachgenyn bychan; pan yn ddeugain, mae yn myned at

wrthddrychau eraill drachefn; ugain mlynedd pellach a'i dwg i oedran yr henwr, ac wele y mae pethau canol oed mor ddiwerth ganddo a swynion ieuenctyd a theganau mebyd. Pa beth a achosa hyn? Ai y pleserau sydd yn myned yn ddiflas? Nage. Mae y difyrwch a'r pleser yn ymddangos fel yn parhâu yr un o ran eu natur, ac heb newid eu nodwedd; canys difyrion a chwareuon ei dymmor bachgenaidd a ddifyrant fechgyn eto; pleserau ei ieuenctyd ydynt yr un mor chwaethus gan rai o'r oedran hwnw; a dedwyddion ei ganol oedran a weinyddant gymaint o ddyddanwch a hoen i bobl ganol oed ag y gwnaent iddo yntau. Ond efe sydd yn newid, ac yn gorfod newid ei fwyniannau i gydweddu â'i oedran. Yn y modd hwn y gwelwyd dynion wedi ymwerthu i chwantau, megys meddwdod, &c., yn methu eu gadael, ond eto wedi colli pob gwir ddifyrwch ynddynt er ys amser maith. A'r un modd y mae y dyn moesol a rhinweddol, ïe, a'r dyn crefyddol hefyd yn ei gysylltiad â'r byd hwn. Pa mor ddifyrus bynag, a pha mor gyfreithlawn bynag, y byddo rhyw fwyniant, ni wna y tro gogyfer â phob amgylchiad a phob oedran; ond rhaid newid y gwrthddrychau er mwyn cyfranu mwyniant priodol i'r dyn. Priodol y cynghora y Pregethwr ysbrydoledig, "Pe byddai dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll, eto cofied ddyddiau tywyllwch; canys llawer fyddant." Dichon y gellir galw hyn yn anmherffeithrwydd, ac felly yr ymddengys yn y golwg a feddwn ar sefyllfa bresennol pethau; ond perthyn i fyd amser y mae yn unig. Mae gan y cristion ragolwg am fod mewn sefyllfa lle y bydd ei bleserau a'i fwyniannau yn dal yn eu blas a'u naws, heb anghen am eu newid yn oes oesoedd; o herwydd parhâ ei ieuengrwydd tragywyddol ef heb ei anmharu. Yno, mewn gwirionedd, bydd yr oed yn canlyn y da, a'r da yn canlyn yr oed.

"Odid difro diwyd:" anaml y bydd y diwyd yn alltud neu ddigartref. Mae diwydrwydd yn anhebgorol anghenrheidiol i lwyddiant dyn ymhob ystyr. Nis gall diogi byth gymaint ag ennill ei fara beunyddiol, chwaithach cyrhaedd llwyddiant. Er fod daioni a chymwynasau Rhagluniaeth, mewn un golygiad, wedi eu gwasgaru ar hyd Natur, fel i wahodd ei theulu mawr i gymeryd gafael ynddynt a'u digoni, eto, mewn golwg arall, y maent mor bell o'r gafael fel y rhaid i ddyn ymdrechu am eu cael, a'r byd a ymddengys fel maes yr ymdrech mawr. Rhaid, yn y golygiad hwna, wrth ddiwydrwydd mawr a pharhâus, onidê fod yn ôl. Ond y mae diwydrwydd yn dwyn ei wobr gydag ef. Tra y byddo y seguryn yn dwyn ei fyd yn galed, ac yn suddo yn îs îs i sefyllfa druenus a gwarthus y cardotyn, mae y diwyd, o'r ochr arall, yn ymdroi mewn digonedd, ac yn meddu cartref clyd a chysurus, ïe ac mewn llawer amgylchiad yn cyrhaedd llwyddiant a fyddo yn llawer mwy na dim y breuddwydiasai am ei gyrhaedd ar ei gychwyniad. Ac y mae yr un fath gyda phethau mawrion y byd anweledig. Mae gan ddiwydrwydd lawer o le mewn crefydd, a'r hwn a fyddo diwyd gyda hi ni bydd "ddifro" byth.

"Drud i ddala, ond doeth i estwng;" sef, un dewr neu hyf sydd gymhwys i ddal, ond un doeth sydd gymhwys i ddarostwng i ufudd-dod. Mae ysbryd annibynol ymhob dyn ag sydd yn peri rhyw wrthdarawiad yn erbyn cymeryd ei gaethiwo, ac yn enwedig heb achos cyfreithlawn. Nis gellir cyflawni hyny ond trwy ragoriaeth nerth anianyddol yn y

gorthrymydd. Llawer brenin ac ymherawdwr a welwyd yn darostwng gwlad, ond peth arall hollol yw ennill serch y deiliaid. Fel rheol gyffredin nid yw hyny yn cael ei gyrhaedd; ond yn hytrach grym y cleddyf a'r fagnel sydd yn cadw y deiliaid truain mewn heddwch o dan eu gwarogaeth. Yr ydym yn tybied mai dyma yr esboniad a ellir roddi ar agwedd derfysglyd Ewrop yn y dyddiau presennol. Venice a ddelir dan warogaeth trwy gleddyf yr Awstriad. Felly Hungary. Llywodraeth y Pab a ddelir i fyny hefyd trwy ei gleddyf ef ac eiddo Ymherawdwr Ffrainc. Poland hefyd sydd yn rhoddi llawn waith i'r Rwssiad. Felly Schamyl o bryd i bryd yn mynyddoedd Caucasus. Ac i draethu ein barn yn groew, tybied yr ydym fod y "drud" yn fwy na'r "doeth" o dan sylfaen ymherodraeth ein "cynghreirydd ffyddlawn" yr ochr arall i'r dwfr. Cyferbynier â'r rhai hyn ymddygiad William Penn a'i gyfeillion ar ol glanio yn y cyfandir mawr gorllewinol. Yr oedd ganddynt i fyw ymhlith anwariaid Indiaidd, a phrin y rhaid i ni hysbysu mai nid y crëaduriaid hawsaf eu trin o bawb oedd yr Indiaid barbaraidd a geid yn America y pryd hwnw; ond aeth Penn atynt, ac ymddygodd tuag atynt fel dynion a chydradd; prynodd dir ganddynt, a thalodd iddynt yn anrhydeddus am dano, ac ennillodd ef a'i gyfeillion eu hymddiried llawn; a'r canlyniad oedd iddynt nid yn unig beidio cael eu molestu, ond buant fyw ar delerau cyfeillgar y naill â'r llall am amser maith. Doethineb a sicrhäodd iddynt gyfeillgarwch yr anwarddyn anhywaith. Er hyny mor bell y mae hyn yn cael ei anghofio. Tra yr ydym yn dân gwyllt yn fynych yn moli rhyw "arwr cant o frwydrau" neu gilydd, ac yn codi cofgolofnau iddynt ymhen pob heol, a'n newyddiaduron a'n cylchgronau yn eu hedmygu a'u clodfori, y mae buddugoliaethau mwy ardderchog dyn doeth yn cael eu bwrw ymaith yn ddisylw, yn debyg i'r "gŵr tlawd doeth" a grybwylla y Pregethwr breninol,—"Yr oedd dinas fechan, ac ynddi ychydig wŷr; a brenin mawr a ddaeth yn ei herbyn hi, ac a'i hamgylchynodd, ac a gododd glawdd uchel yn ei herbyn; a chafwyd ynddi ŵr tlawd doeth, ac efe a waredodd y ddinas hono â'i ddoethineb; eto ni chofiodd neb y gŵr tlawd hwnw."

"Ni ludd anmraint ffawd:" sef, ni wna amddifadrwydd o freiniolaeth *(privilege)* attal dyn rhag bod yn ffodus. Gwir fod meddu braint yn llawer o hwylusdod, ac yn agor y ffordd i ddyn yn bur aml, pan y gorfyddasai iddo fyned i beth trafferth oni buasai hyny: fel y dywed un ddiareb, "Gwell câr yn llys nag aur ar fys." Pan y byddo câr neu gyfaill mewn cysylltiad â llys neu y llywodraeth, gellir dysgwyl ei nawdd a'i ffafr i ddringo yno ar ei ol. Ond nid yw yn hollol anghenrheidiol cael un o'r fath, canys y mae yn ddichonadwy i ddyn, os myn efe ei hun, ddringo i'r enwogrwydd mwyaf heb un freiniolaeth na noddaeth o gwbl, fel na raid i amddifadrwydd o'r naill a'r llall mo'i gyflawn rwystro. Mae y cwbl yn gorphwys ar ei law ef ei hun. Os myn efe, ac os gweithreda, gall gyrhaedd enwogrwydd a chyfoeth; neu ynte, os felly y myn, gall gwympo yn îs na'i safle cychwynol.

"Chweg mêdd pan yfer, chwerw pan daler:" mae mêdd (math o ddiod feddwol gynt, o enw yr hon y tardd y geiriau meddw, meddwol, &c.,) yn felus pan ei hyfer, ond yn chwerw pan y taler am dano. Un o'r pethau mwyaf hoffus mewn masnach, i'r gwerthwr a'r prynwr, yw arian parod; ac un o'r pethau mwyaf annymunol, o'r ochr arall, yw

prynu ar goel, gan y bydd yn aml yn gyru y prynwr a'r gwerthwr i benbleth, ac yn achosi llawer o ymgecru ac ymgyfreithio. Ni wna dyn yr arian parod byth fyned tros ddyfnder ei logell; oni bydd ganddo ef arian wrth law, efe a oeda geisio peth hyd nes y bydd ganddo. Bydd dyn y coel, ar y llaw arall, yn prynu peth hyd at ryfyg, heb fod ganddo un golwg am dalu, ond gan wenieithio iddo ei hun, fod tri mis, chwe' mis, mwy neu lai, o amser, ac y bydd ganddo ddigon wedi troi allan erbyn hyny; ond aml y daw yr amser penodedig i ben, ac yntau, druan, heb gael hamdden i feddwl dim am dano. Tebyg yw y cyfryw amgylchiad i ddyn yn ymddigoni ar y mêdd, ac yn yfed cornaid ar ol cornaid o hono, gan edrych am ryw ddyfodol yn yr hwn y tâl am y cyfan; ond pan y daw pwnc y talu ger bron, buan y cenfydd mai nid mor hawdd fydd gwneyd hyny ag yfed.

"Gwell cynnwys got nag un lleidr:" neu gwell cynnwys, neu oddef, y godinebwr na'r lleidr. Ceir diareb arall hefyd yn gofyn, "Neud gwell ot na'r lleidr?" neu, onid yw y godinebwr yn well na'r lleidr? Prin yr ydym yn hoffi tôn y ddwy ddiareb hyn, ac y maent, i'n bryd ni, yn gryn sarhâd ar gymeriad ein cyndadau, os gellir hefyd farnu am eu moesau oddiwrthynt. O'n rhan ein hunain, gwell genym syniadau yr enwog Dr. Guthrie ar hyn, y rhai a draethwyd ganddo mewn cyfarfod o foneddigesau yn ddiweddar yn Glasgow. "Yr ydym wedi clywed llawer," meddai, "ynghylch y modd y dylid trin dynion a elont i dai drwg, eithr nid wyf fi ond yn dywedyd pa fodd y dylai dyn gael ei drin a dyno flodeuyn, a phan yr ymadawo ei bêrarogl a'i taflo allan i gael ei fathru yn yr heol. Yr wyf yn haeru na bydd cymdeithas byth mewn cyflwr iachus ger bron Duw a dyn hyd nes y trinir y twyllhudwr *(seducer)* fel y byddwch yn trin y lleidr, bydded ef a fyddo. Alltudiwch ef o gymdeithas. Na fydded i un wraig barchus ymddyddan âg ef; na roddwch iddo wahoddiad i dai parchus, i wleddoedd na chiniawau. Lleidr! Yr wyf yn dywedyd nad oes un lleidr yn Glasgow na wnawn ysgwyd llaw âg ef yn gynt nag â'r fath ddyn. Lleidr! Y dyn a ladratäo fy mhwrs, beth yw hyny wrth ddiweirdeb menyw? Yspeiliodd y dyn hwna fy merch o'r hyn a feddai: beth yw hyny wrth yspeilio fy merch o'i diweirdeb, ei diniweidrwydd, a'i choron? Yr wyf yn ystyried fod y dyn hwna, beth bynag fyddo ei sefyllfa yn y byd, yn warth a gwaradwydd i ddynoliaeth, a dylai dynoliaeth ei drin fel y cyfryw, a'i warthnodi â'r gwarthnod duaf." Mae yn dda genym, yn awr ac yn y man, gael yr hyfrydwch o weled adroddiadau am gyfarfodydd canol-nosol a gynnelir yn mhrif drefi ein teyrnas, gan foneddigesau ag ydynt yn teimlo y fath ddyddordeb yn adferiad rhai anffodus o'r un ystlen a hwy eu hunain, nes aberthu eu cysuron eu hunain i raddau tra helaeth er mwyn gwneyd ymgais teg i'w hennill i'r iawn ffordd, o'r hon y cyfeiliornasant. Nis gellir canmawl y fath lafur cariad a'r fath hunanymwadiad yn ormodol; ac y mae yn hyfryd genym weled eu bod yn cyfarfod rai prydiau â chryn lawer o lwyddiant, ac wedi ennill llawer o ferched truain naill ai i ddychwelyd i'w cartrefi, neu ynte ymroi i wasanaeth, neu ynte i briodi yn anrhydeddus, pryd y buasent, ond odid, yn sicr o gyfarfod â thynghed eu chwiorydd o'r un gradd—angeu anamserol, neu "yr afon." Ai nid oes anghen am rai cyfarfodydd o'r fath yn achlysurol mewn ambell dref boblog yn Nghymru? Anrhydedd penaf ein gwlad ydyw ei bod wedi ei nawseiddio i raddau helaethach nag

un wlad bron âg ysbryd crefyddol. Braidd nad ydym yn tybied bellach fod Cymro a chrefydd mewn rhyw ffurf neu gilydd yn anysgaradwy. Ai nid yw yn bosibl i ni, ynte, fod yn rhy ddiofal gyda rhai pethau fel hyn, a hyny er gwaradwydd mawr i ni ein hunain? Nid ydym heb feddwl y byddai yn hawdd, gydag ychydig o ymdrech yn y cychwyn, llwyr lanhâu Cymru o'r anwiredd hwn; ac os bydd i ni wrthod gwneyd yr ychydig ymdrech gofynol, pa fodd y gallwn gyfrif ein hunain yn esgusodol? Llawer a ysgrifenwyd o dro i dro ar anniweirdeb Cymru, a bu ein calon yn cynhesu lawer gwaith wrth weled ein gwlad yn dal ei phrawf cystal yn y golygiad hwn; ond nid digon yw i ni brofi ein bod yn gystal, nac hyd yn nôd yn well, na chenedloedd eraill, eithr dylem yn hytrach gymeryd mantais ar y ffaith i wneuthur ein gwlad mor bur ag y gellir, ac yn gyfryw na byddo gan y gelyn un achlysur o gwbl i estyn bys atom.

Wele, y mae yn bryd i ni feddwl am gyrhaedd pen ein herthygl. Fe welir, oddiwrth amrywiaeth ein sylwadau, fod ein Diarebion Cymreig yn werth rhoddi tro i'w plith yn awr ac yn y man, ar gyfrif eu moesddysg rhagorol, ar y cyfan. Er hyny nis gallwn lai na gofidio fod llawer o'r geiriau a ddefnyddir ynddynt wedi colli oddiar lafar, ac hyd yn nôd o'n hysgrifeniadau, fel y mae cannoedd, os nad miloedd, o'n diarebion wedi myned yn dywyll; ac o ganlyniad troir ymaith oddiwrthynt yn ddiflas, fel pethau heb fod yn werth sylw. Oni fyddai yn orchwyl daionus i'n llênorion ieuainc ymdrechu rhoi adgyfodiad i'r fath eiriau, tra y byddai yn llawn cystal, fe ddichon, i ni gladdu llawer o eiriau hanner-Seisonig a arferir genym yn rhy fynych. Pe gwneid rhywbeth o'r fath, yr ydym yn tybied yn ostyngedig y byddai yn llawer iawn o gynnorthwy i ddeall barddoniaeth gaeth a rhydd ein beirdd goreu, a chwanegid at ein difyrwch trwy fod yn alluog i dreulio, gyda dyddordeb, rhai ORIAU GYDA'R DIAREBION CYMREIG.

---

# HENAFIAETHAU YN MON.

Cofus ond odid gan lawer o'n darllenwyr iddynt ein dilyn ar ein taith trwy barthau deheuol a gorllewinol Môn yn 1860, a'n gadael yn Niwbwrch wedi gwlychu yn enbyd wrth groesi y tywyn o Landdwyn.* Wedi bod yno ychydig oriau, ac i'r tywydd glirio i raddau, ni a aethom ymlaen a chawsom letty cysurus yn yr Allt, Llangaffo.

Nid oes nemawr ddyddordeb i'r henafiaethydd yn y lle hwnw. Mae eglwys y plwyf yn adeilad newydd. Dywedir i'r hen eglwys gael ei chysegru i Caffo mab Caw o Frydain. Yn agos y mae Ffynnon Caffo, i'r hon yn yr oesoedd tywyll yr arferid offrymu ceiliogod ieuainc, er cadw plant yn ddiddig. Yr ydoedd yr offrymau hyn yn cael derbyniad

* TRAETHODYDD, 1860, tu dal. 483—499.

serchog gan yr offeiriaid Pabaidd, a dywedir y canmolid yr offrymwyr yn fawr am eu duwioldeb; a gellid meddwl eu bod yn gymeradwy gan y cŵn gwancus hyn, oblegid ni ddeilliai un fendith i'r teulu trwy yr offrwm, oni byddai i'r offeiriad fwyta yr aberth. Pan yn agor ffos yn agos i'r eglwys yn y flwyddyn 1829, cafwyd dau fathodyn aur o amseriad Cystenyn Fawr, ynghyd ag amryw eraill o arian ac efydd.

Ar dyddyn o'r enw Frondeg, ar ochr y ffordd, y mae careg neu lêch â hen lythyrenau wedi eu cerfio arni. Y diweddar Lewis Morris (Llewelyn Ddu o Fôn) oedd y cyntaf a'i dygodd i sylw. Mae y rhan fwyaf o'r ysgrifen yn hollol annarllenadwy, a rhai o'r llythyrenau o ffurf annealladwy i ni; ond gellir gwneyd allan rai geiriau yn lled rwydd. Fe allai eu bod yn fwy perffaith yn amser Lewis Morris. Y mae efe yn rhoddi i'r rhan gyntaf yr ystyr yma: "Tvisnius filius gwriscini erexit hunc lapidum." Y mae y pedwar gair diweddaf yn hawdd eu gwneyd allan yn awr; ond pwy oedd y mab hwn i Gwriscini, na phaham y cyfodwyd y gareg goffadwriaethol hon am dano, nis gwyddom. Mae yn debyg nad ellir dehongli y rhan ddiweddaf o'r ysgrifen byth, ac felly nas gellir gwybod. Tybia rhai mai yr un ydyw Gwriscini a Gwrgeneu, yr hwn ydoedd etifedd Maesoglan yn y seithfed canrif, ac i'r hwn y cysegrwyd capel yn Ynys Cybi. Nid oes yn awr ddim o'r adeilad hwnw ar gael, am a wyddom, ac ond traddodiad yn unig am y fan y safai.

Y bore canlynol, cychwynasom ar ein taith tua Morfa Malltraeth, ac nid hir y buom cyn cyrhaedd y morglawdd a orphenwyd trwy ddirfawr draul yn 1818, pryd y meddiannwyd tua dwy fil o gyferi o dir a orchuddid cyn hyny gan y môr ar y llanw. Mae y ffordd o Dywyn Niwbwrch i Drefdraeth ychydig tu fewn i'r morglawdd; ond yn lle cymeryd y ffordd gyffredin ni a aethom ar hyd ei ben. Ar y pryd yr oedd yn llanw uchel, a gwynt y gorllewin yn chwythu yn lled gryf. Yr ydoedd yr olygfa yn fawreddog dros ben. Ar un llaw yr ydoedd y Môr Werydd yn lluchio ei dònau brigwyn at ein traed, ac ar y llaw arall yr oedd gwastadedd maith yn colli yn y pellder rhyngddom a Llangefni, a bron yn ein hymyl yr oedd defaid a gwartheg yn pori yn hamddenol amryw droedfeddi yn îs na gwyneb y môr. Yn lled agos i Drefdraeth y mae pont dros yr Afon Cefni, yr hon sydd wedi ei chau i wely cyfyng ar hyd y morfa; ac yr ydoedd y draul o gau yr afon yn fwy o waith na gwneyd y morglawdd. Mae dau arglawdd uchel un o bob tu, a dwy o ffosydd dyfnion tu allan iddynt, ac argloddiau îs rhyngddynt a'r tir cylchynol. Mae yr afon yn cael ei chroesi gan amryw bontydd, a bron yn ein hymyl gan *aqueduct* cledrffordd Caer a Chaergybi. Er mor annarluniadol ydoedd yr olygfa oddiar y morglawdd, yr ydoedd yr afon yn llawer mwy felly; yr oedd y dyfroedd yn llenwi gwely yr afon at yr ymylon, ac yn ymddangos yn rhych uchel megys uwchben y tir, ac ambell gwch yma ac acw fel yn nofio yn yr awyr uwch ei ben. Yr oeddym agos yn arswydo wrth yr olygfa, a braidd yn ofni gweled yr afon yn tori tros ei therfynau; ond gwyddai cynllunwyr y gwaith yn well na ni pa le yr oedd terfyn "hyd yma yr äi, a dim ymhellach." Arosasom enyd yn y lle dyddorol hwn, gwelem y dwfr yn dechreu treio, a rhyfedd cynted yr ydoedd yr afon yn gostwng, gan ymruthro tua'r môr gyda thrwst a chyflymder mawr.

Mae y morfa ëang hwn yn cynnwys amryw welyau o lô; a pheth o hono

o'r fath oreu. Mae amryw weithfëydd wedi eu hagor yma a thraw, a dywedwyd wrthym bod rhai o'r *shafftydd* uwch tri chan' troedfedd o ddyfnder. Bernir bod yma gyflawnder o lô ond myned ddigon dwfn, a chael peiriannau digon nerthol i dynu dwfr o'r gweithfäoedd. Mae cwmpeini o Saeson wedi prynu un o'r pyllau, sef Berw, ond rywfodd nid oes fawr lwyddiant hyd yn hyn wedi bod ar yr anturiaeth.

Wedi croesi yr afon yn lled fuan dyma ni yn y pentref a elwir Yard Malltraeth. Bu yma ysgoldŷ er ys llawer o flynyddau gan y Methodistiaid, ond yn awr dyma gapel bychan hardd wedi ei adeiladu ac yn barod i'w agor. Bydd yn gyfleusdra rhagorol i'r trigolion, gan fod gryn ffordd iddynt i unrhyw le arall i addoli. Oddiyma ni a aethom ymlaen tuag eglwys Trefdraeth, yr hon a gysegrwyd i Beuno, Abad Clynnog Fawr yn Arfon, tua 616. Ond nid oes yma eto ddim neillduol i dynu sylw yr henafiaethydd. Yn 1606, cafodd Henry Parri bersoniaeth Trefdraeth, yr hwn yn 1616 a gyhoeddodd ail argraffiad o "Rhetoreg William Salisbury," ac ymadawodd yn 1618. Mae y plwyf hwn wedi ei hynodi fel y cyntaf yn Ngogledd Cymru lle cymeryd y fantais o'r gyfraith (5th Elizabeth a 13 & 14 Charles II.), yn erbyn gwaith yr esgobion Seisonig yn penodi personiaid heb allu darllen gwasanaeth Eglwys Loegr, neu bregethu yn yr iaith Gymraeg. Yr oedd yr esgobion y pryd hyny wedi penderfynu dileu iaith y dalaeth, a'r modd y bwriadent wneyd hyn ydoedd trwy benodi Saeson i fywioliaethau eglwysig cyfoethog Cymru. Yn y flwyddyn 1776, penododd John Egerton, Esgob Bangor, Sais dysgedig, sef Dr. Bowles, i fywioliaeth Trefdraeth. Daeth y gweinidog i'w blwyf, a dechreuodd ar ei orchwyl y Sabbath cyntaf; ond nid oedd neb o'r plwyfolion yn ei ddeall. Gwnaethant eu cwyn yn hysbys i'r esgob, ond nid oedd yno wrandawiad iddynt. Yna erfyniasant gynnorthwy Cymdeithas y Cymrodorion yn Llundain. Cymerodd y diweddar Richard Morris o'r *Navy Office*, a'r *Counsellor* Jones o Lwyn onn, ddyddordeb mawr yn yr achos, a thrwy eu dylanwad hwy yn benaf cymerwyd yr achos i fyny yn wresog gan y Cymrodorion, a dygwyd cynghaws yn erbyn yr Esgob yn y *Court of Arches*. Galwyd amryw bersonau o'r ardal i Lundain i roddi eu tystiolaeth yn yr achos, ac ennillasant y dydd càn belled ag i farn y llys hwnw gondemnio ymddygiad yr esgob, a chyhoeddi Dr. Bowles yn anaddas i gyflawni y swydd; eto cynghorasant y plwyfolion i'w oddef am ei oes; felly cafodd fwynhâu y *mêl* am ei oes, ond bu raid iddo gyflogi Curad Cymreig i wasanaethu anghenion ysbrydol y trigolion. Yr un flwyddyn, sef 1776, y dechreuwyd cadw moddion crefyddol yn rheolaidd yn yr ardal gan y Methodistiaid. Bu yr achos yn wanaidd am flynyddau, ac nid oes odid lanerch yn y wlad y dyoddefwyd mwy o erlidigaeth yn achos crefydd efengylaidd. Yr erlidiwr creulawn hwnw, y Canghellwr Lewis o'r Siamber wen, a feddiannai fywioliaeth Trefdraeth cyn penodiad y Dr. Bowles; a chafodd yr ychydig Fethodistiaid ynghyd a'r Annibynwyr yn yr ardal wybod beth oedd eithaf gallu ei lidiogrwydd mewn llawer dull a modd, nad doeth fe allai wneyd coffa am danynt ar hyn o bryd.* Oddiyma ni a aethom trwy bentref Bethel, a elwir felly oddiwrth enw y capel. Adeiladwyd y capel

* *The Depositions, Arguments, and Judgment in the cause of the Churchwardens of Trefdraeth, Anglesey, against Dr. Bowles, &c., &c.* "Methodistiaeth Cymru," Cyf. II., tu dal. 515.

hwn ar y cyntaf yn 1815, a helaethwyd ef amryw weithiau ar ol hyny. Y mae yn awr yn adeilad helaeth a chysurus, a chynnulleidfa fawr yn arfer gwrando yr efengyl ynddo.

Ond prysuro ymlaen raid i ni, ac heb ymdroi yn y lle hwn. Buan y cyrhaeddasom Eglwys Ael neu Langadwaladr, yr hwn sydd yn un o'r eglwysdai hynotaf yn y wlad. Dywedir bod enw y plwyf yn deilliaw oddiwrth Cadwaladr, y diweddaf o'r Cymry a gymerodd y titl o Frenin Prydain, yr hwn Gadwaladr ydoedd fab Cadwallon ap Cadfan ap Iago ap Beli ap Rhyn ap Maelgwn Gwynedd. Yn gysylltiedig â'r eglwys, o du y gogledd, y mae adeilad a elwir Capel Bodowen, yn yr hwn y mae claddfa y teulu gynt a breswylient hen balas o'r enw ag sydd yn yr ardal. Mae o wneuthuriad da, ac ar y muriau amryw lechau coffadwriaethol am y teulu. Ar lêch o fynor du, mynegir i'r "*Chappell*" gael ei adeiladu yn y flwyddyn 1661 gan "Ann Owen, unig ferch ag etifeddes Richard Williams Yswaen o Lysdulas ar ddymuniad ei gŵr Hugh Owen mab ac etifedd William Owen o Fodowen Yswaen." Oddimewn i'r eglwys y mae cofadail am yr un person, yr hwn a fu farw Hydref 21ain, 1659; a mynegir i'r gofadail gael ei rhoddi gan ei wraig Ann Owen, yn 1660.

Y mae Browne Willis, yn ei "*History of Bangor Cathedral*," yn rhoddi desgrifiad manwl o eglwys Llangadwaladr yn ei amser ef. Nid yw yr olwg bresennol yn hollol gyfateb i'r desgrifiad hwnw. Er bod yr eglwys wedi ei hadgyweirio a'i harddu yn y flwyddyn ddiweddaf trwy draul a chost dirfawr, eto y mae gryn lawer yn ol o'r hyn ydoedd y pryd hwnw. Yn y ffenestr ogleddol yr ydoedd arlun mewn gwydr lliwiedig o Meurig ap Llewelyn, y cyntaf o'r teulu a sefydlodd yn Bodeon, ac odditan pa un y mae yr ysgrifen ganlynol mewn hen lythyrenau, neu lythyrenau blewog, fel eu gelwir:—

"Orate pro Animabus Meyrick ap Llewelyn ap Hwlcyn,
& Margareta uxoris & Odoeni Meyrick & Ellenae,
ferch Roberti Meredith de glyn—lleon Armigeri,
Uxoris suae qui hanc, fenestram fieri secerunt,"

ac hefyd cofarwyddion y teulu.

Richard, mab hynaf y Meirig hwn, a gafodd Fodorgan. Ei ail fab Rowland, yr hwn a anwyd yn 1505, a ddygwyd i fyny i'r eglwys. Cafodd bersoniaeth Llangadwaladr tua 1554, a chysegrwyd ef yn Esgob Bangor yn 1559. Bu farw yn 1565, a chladdwyd ef yn yr Eglwys Gadeiriol o'r tu dehau i'r bwrdd cymundeb, a gosodwyd cofadail o efydd ar gareg ei fedd; ond nid oes yno yn awr ond y gareg yn unig. Yn yr un beddgell y gorwedd gweddillion marwol yr Esgob Bailey, hynafiad teulu Ardalydd Môn. O'r Rowland Meirig yma y deillia teulu anrhydeddus Syr Samuel Rush Meirick, Bart., o Goodrich Court, Henffordd, enw tra adnabyddus i henafiaethwyr. Ei drydydd mab Owen, sef yr Odoeni uchod, a gafodd Fodeon, a alwyd o hyny allan Bodowen. Mae Cywydd Marwnad i'r Owain hwn yn "Gorchestion Beirdd Cymru," tu dal. 226, gan Tudur Aled, medd y casglydd; ond y mae yn lled debyg mai camgymeriad yw hyn, gan y dywedir bod Tudur Aled yn ei flodau B.A. 1490, ond ni bu Meirig ap Llewelyn farw hyd y flwyddyn 1530. Dywedir yn y Cywydd fod

"Cnwd lawer, cenedl Owain
Calon Feirig, glau Farwn,
Glau yw Huw o galon hwn;

Iesu gael osawg i wŷr,
I Sion Owain oes naw-wŷr;
Nid hael i gyd delai gant,
Nid dewr eilwaith ond Rolant.
Gwibwn y rhoed, a gwaew benn rhaith
Gwrolawg o'r gwŷr eilwaith;
Ni ddichon nawdd ei iechyd
Hyn o gerdd, eu henwi i gŷd.
Nid eu rhif, i nodi 'u rhyw,
Er eu llwydd yn Ieirll heddyw:
Naw onid un, enaid aeth,
A chwe' bun ucho bennaeth.
O chaed hyny, a chyflymynt,
Fe äi tros gôf y trais gynt."

Gan y dangosir i ni yma fod i Owain ap Meirig bedwar ar ddeg o blant, gellir casglu iddo gyrhaedd gryn oedran, ac ammheus genym ydyw i Tudur Aled ei oroesi. Pedwerydd mab Meirig ap Llewelyn ydoedd Lewis Owen ap Meirig, yr hwn a gafodd y Frondeg. Yr ydoedd efe yn aelod Seneddol tros wlad Môn yn 1552, y chweched flwyddyn i Iorwerth y Chweched, yn ol ysgriflyfrau y diweddar W. Wynne Sparrow, Yswain, o'r Gwyndŷ neu Bodychen (yr hwn o du ei fam ydoedd olynydd agosaf Rhys ap Llewelyn ap Hwlcyn). Mab i'r Lewis Owain hwn ydoedd y Dr. Lewis Owain. Graddiwyd ef yn L.L.B. yn Rhydychain yn 1558. Oblegid ei ymlyniad diysgog wrth Babyddiaeth, gadawodd y Brifathrofa yn 1566, a sefydlodd yn Athrofa Douay yn Flanders. Cafodd Esgobaeth Casino yn Naples gan y Pab Gregory XIV. yn 1587. Bu farw Hydref 14eg, 1594, a chladdwyd ef yn Rhufain. Mae ei fedd i'w weled yno hyd heddyw, a'r ysgrifen ganlynol er coffadwriaeth am dano yn ysgrifenedig ar gareg uwch ei ben.

"D. O. M. Audoeno Ludovico Cambro-Britanno, L. V. D. ac professori, Oxonii, in Anglia, ac regio Dauei, in Flandria, Archidid, Hannoviae & Can. in Metropol. Cameracensi, atque officiali generali, utriusque signaturae referendario, caroli Cardinalis Borromae Archiepiscopi Mediolanensis Vicaro Generali, Gregorii XIII. & Sexto V., in congregationae de consultationibus episcoporum & regularium a secretis, episcopo Cassanensii Gregorii XIV. ad Helvetus nuncio Clement VIII. epistolacae visitationis in alma urbe adjutori Anglos in Italia, Gallia & Belgio, omni ope semper pivit, ac ejus imprimas opero hujus collegi ac Duacensis & Rhemensis fundamenta jecit vixit an. 61. menses 9, dies 19. Exul a' patria xxxvj. ob., 14. Oct., MDXCIV. Ludovicus de Torres archiepiscopus montis regalis amico possuit."

Hugh ap Owen Meirig a gafodd Fodowen ar ol ei dad, ac Owen ap Hugh ar ei ol yntau, yr hwn a fu yn Uchel Sirydd Môn am y flwyddyn 1563. Mae rhai hanesion yn dyweyd mai brawd i'r Owain yma ydoedd y Dr. Lewis Owain, ac nid cefnder yn ol ysgriflyfrau y Gwyndŷ. Mab i'r Owain hwn ydoedd Syr Hugh Owen, Marchog, yr hwn a briododd unig ferch ac etifeddes George Wyrryot, Yswain, o Orielton, Swydd Benfro, ŵyres i'r hyglod Syr Rhys ap Thomas. Wedi priodi, symudodd Syr Hugh Owen o Fôn i Swydd Benfro, a gadawodd yr etifeddiaeth yn Môn i'w frawd William Owen, yr hwn a fu yn Uchel Sirydd dros y wlad am 1610. Priododd â Jane, merch Syr William Williams o'r Faenol. Ei mab henaf Hugh a gafodd yr etifeddiaeth ar ei ol, a bu yn Uchel Sirydd am 1634. Priododd Ann Williams o Lysdulas, sef yr Ann Owen y soniwyd am dani yn barod. Ni bu iddynt blant, a meddiannwyd yr etifedd-

iaeth ar eu hol gan Henry Owen, ail fab William Owen, Yswain, yr hwn a briododd Elsbeth, merch ac etifeddes Hugh Gwyn, Yswain, o Mosoglan. Ni bu iddynt blant ond un ferch, yr hon a briododd ei chefnder, Syr Hugh Owen, Marchog, o Orielton; a thrwy y briodas hon ailunwyd drachefn etifeddiaethau Môn a Phenfro yn y gangen henaf o'r teulu, a pharhäodd yn eu meddiant hyd ddechreu y canrif presennol, pan y gwerthwyd yr etifeddiaeth yn Môn i'r diweddar Mr. Hughes, o'r Chwaen wen a Llysdulas, tad y diweddar Arglwydd Dinorben; ac y mae yn awr yn meddiant teulu Kinmel.

Ar ochr ddeheuol yr eglwysdŷ, y mae adeilád arall a elwir Capel Bodorgan. Mae yr ysgrif ganlynol ar lêch o fynor du ar y mur:—"This Chappel was built by Richard Meyrick, Esq., Anno 1640, and the Vault underneath by his great grandson, Owen Meyrick, Esq., Anno 1780. This Chapel was rebuilt by Owen Rutland Meyrick, Esq., 1801."—Mae y capel wedi ei adgyweirio yn drwyadl yn 1860, gan O. J. A. F. Meyrick, Yswain, yaghyd a'r feddgell odditano. Ynddo y mae cofadeiladau am y teulu yn y canrif diweddaf.

Ond yr hyn sydd yn hynodi Llangadwaladr yn benaf ydyw yr hen ysgrifen uwchben y drws deheuol er cof am Cadfan. Barn amryw henafiaethwyr ydyw mai darn o gareg ei fedd yw. Mae yr ysgrifen yn lled anamlwg, ond gyda gofal gellir ei gwneyd allan yn foddhäol yn "Catamanus Rex sapientissimus opinatissimus omnium Regum" (Cadfan Frenin y doethaf a'r mwyaf clodfawr o'r breninoedd). Yn ol Rees yn ei "Achau y Saint," "Rhwng dechreu y seithfed ganrif a Chymanfa Brefi y gellid dyddio dyfodiad Cadfan i'r wlad hon. * * Daeth â llu o saint i'w ganlyn o Lydaw. Yr ydoedd yn ŵr urddasol, yn fab Eneas Lydawig o Gwentewbron, merch Emyr Llydaw, un o dywysogion y wlad. Yn gymdeithion iddo yr oedd Cynon, Padarn, Tydecho, Trinio, Gwyndaf, Mael, Sulian, Tanwg, Sadwrn, &c., gwŷr o deulu tywysogaidd, ac oll yn berthynasau i Cadfan, yr hwn ar ei ddyfodiad i Gymru a fu yn offerynol i gyfodi amryw eglwysdai, megys Tywyn Meirionydd, a Llangadfan yn Swydd Drefaldwyn, ond yn fwyaf neillduol adnabyddir ef fel Abad cyntaf y Fonachlog a adeiladwyd ganddo yn Ynys Enlli." Mae yma gamgymeriad amlwg. Nis gallasai Cadfan Rees, a Chadfan hanesyddiaeth Gymreig, fod yr un person. Yn ol âchrestr Harri y Seithfed, "Cadwaladr fab Cadwallon ap Cadfan ap Iago ap Beli ap Rhyn ap Maelgwn Gwynedd."* "Anno 601. Cadfan the son of Iago ap Beli, was Prince of North Wales. This Cadfan, with four other British Princes, routed the Saxons who massacred the Monks of Bangor. He killed ten thousand sixty and six of them upon the spot."† Eto, "The said Catamanus or Cadfan, who was grandfather of King Cadwaladr, is said to be buried in the Isle of Bardsey; * * but by this inscription it may seem probable that the said Cadfan was buried at this place, where his grandson built this church, and endowed it one of the Sanctuaries of this Island.‡" Mae yn lled amlwg, feddyliem, mai brenin, ac nid abad, monach, na meudwy, ydoedd Cadfan; ac fel brenin doeth a chlodfawr y bwriedid cario ei goffadwriaeth i'r oesau dyfodol trwy y cerfiad am dano, yn ol pob tebyg,

* Wynn's "*History of Wales*," p. 331. † Rowland's "*Mona Antiqua*," p. 146.
‡ Rowland's "*Mona Antiqua*," p. 157.

ar gareg ei fedd. Gan fod llys ganddo yn Aberffraw, fel y ceir sylwi eto, nid yw yn annhebyg iddo gael ei gladdu, fel yr awgryma Rowlands, yn y fan hon. Ei ŵyr Cadwaladr, medd Rowlands, a adeiladodd eglwysdŷ yn y fan er cof am dano. Mae hyn yn ammheus genym, oblegid yr enw a geir ar y lle mewn hen ysgrifau ydyw Eglwys Ael; yn *Extent* Iorwerth y Trydydd—Eglwys-ell. Y lle cyntaf y cawn hanes am Cadwaladr yn ei gysylltiad â'r fan ydyw mewn hen gywydd gan Rhys Goch Glyn Dyfrdwy, tua 1480. Yr ydoedd helynt Cymru mor flin yn amser Cadwaladr, fel y gadawodd ei wlad, ac yr aeth ar bererindod i Rufain, lle y bu farw. Seintiwyd ei enw gan y Pab Sergius yn 688, ac ychwanegwyd bendigaid ato. Ond llawer mwy tebyg genym ni yw i'r enw gael ei roddi rywbryd ar ol hyny oblegid darganfod yr hen ysgrifen yn y lle.

Oddiyma ni a aethom i weled monwent Llanfeirion, lle gynt y safai Capel Meirion, ond nid oes yma yn awr unrhyw olion o hono. Y mae y lle y safai y fynwent wedi ei gau allan, a choed ywen wedi eu planu er dynodi y fan lle gynt y safai y capel. Prysurasom ymlaen i gael golwg ar balas a gerddi prydferth Bodorgan. Wedi cyrhaedd y lle, cawsom bawb yn hynod garedig, ac yn barod i ddangos yr hyn ydoedd i'w weled. Mae y gerddi yn ardderchog, tu hwnt i ddim a welsom yn y wlad na'r gwledydd cyfagos. Mae y palas hefyd yn werth ei weled, er nad ydyw mor ardderchog â'r Plas Newydd neu Baron Hill. Nis gwyddys pa mor fore y mae Bodorgan—neu yn ol yr *Extent*, Bodgwrgan—yn gartref i henafiaid y gŵr urddasol sydd yn preswylio yno yn awr, sef Owen John Augustus Fuller Meyrick, Yswain. Yr hanes cyntaf sydd genym am y lle ydyw i Efa, ŵyres Llywarch ap Bran, briodi Einion Sais ap Dafydd, yr hwn, yn ol Lewis Dwn, ydoedd un o brif wasanaethyddion llys Harri y Chweched. Dywedir iddo fod yn absennol o'i wlad am amser mor faith nes bron anghofio iaith ei fam, o ba herwydd galwyd ef Einion Sais. Yr Einion hwn a briododd Hwlcen o deulu Hwfa ap Cynddelw o Presaddfed. Yr ydoedd ei fab Llewelyn yn ymladd ar faes Bosworth o blaid Harri, Iarll Richmond. Mae ei gleddyf daufiniog a'i lurig i'w gweled yn Bodorgan hyd heddyw. Yr ydoedd i Llewelyn bump o feibion, fel y gwelir oddiwrth y cywydd canmoliaeth iddynt gan Rhys Goch; a chan nad ydys yn gwybod bod y cywydd yn argraffedig, fe allai nad anmhriodol ei roddi yma yn gyflawn,—

"Mi wn draw myned yr wyf,
Nid er oed da yr ydwyf,
I dir Môn, dros ddŵr Menai,
Ar draws traeth, ond aros trai.
Mawr ô'n Iaith yn y marn i
Yw sôn Dynion am dani:
Deufwy, fal coed am dyfu,
Yw 'r sôn am Fôn nag a fu.
Enyn y glêr ar wir glôd,
T'rawiad afon trwy dyfod.
Nid wyf na byddar na dall,
Mewn goror mwy nag arall.
Clywed yr wyf clod i rai,
Ceirw Môn lle ceir mwnai:
Mae rhiwgeirw mwy eu rhagor,
Meibion llew Môn, gerllaw môr;

Meirig hael am aur y caf,
Moler hwn milwr hynaf,
Hoen difai hynod ofyn,
Huw ydyw 'r ail hyder ynn;
Da fydd hwn Dafydd hynod,
Dewr y glêr da yw yr glod;
Gryffydd 'n dwyn bedydd ni bu
Wr well o'i aur a'i allu;
Rhys rhoddiad a roes ruddaur,
Rhwydd yw y swydd rhoddes aur.
Llyna saint llawen y sydd,
A llyna 'r pump llawenydd;
Pum' brodor, ynt un gweryd,
Pum' bonedd Gwynedd i gyd,
Pump a ga'd o benadur,
Pum' Sul gwyn, pum' sêl y gwŷr,
Pum' tŵr yn dwyn pum' tarian,
Pum' carogl aur, pum' câr glân.
Pyst cerdd, pum' rhan Iwerddon,
Pum' wŷr mawr, pum' Eryr Môn.
Pum' angel o Lewelyn,
Pwy mor hael a'r pum' wŷr hyn?
Pe aur tywod y frodir,
Y rhain oll a'i rhoe yn wir.
Pe dillad y farchnad faith,
Y rhai 'n wyl a'i rhoen' eilwaith.
Pe bae tiroedd post werin,
Mawr yn aur, a'r môr yn win;
Pe bae 'n fêdd pob afon fawr,
'Rhai 'n inni â'i rhoen' unawr
Pe arian bedwar bann byd,
Yr hafog y rhoen' hefyd.
Am hyn mi a weddïaf,
Dduw gwyn a'm gweddi a gaf.
Er ei gûr a'i arw goron
Gwedi i friw a gwaed ei fron.
Er dolur a'i gûr yn gwau,
O lawer o weliau,
A rhoddo i'r pum' wŷr rhyddion
Einioes fawr yn Ynys Fôn."

Wele dyma ormodiaeth! ond ar yr un pryd dyma gynllun o ddull yr hen feirdd yn y cyffredin pan yn canmawl y mawrion, a hyny yn ddiammheu er cynnyrchu tosturi ynddynt tuag at y prydydd. Yn ein tyb ni, rhaid fod cylla yr uchelradd yn hynod wancus i allu llyncu y fath *stuff*, gan y gall pob meddwl ystyriol ganfod mewn gorganmoliaeth gochl rhagrith yn ymguddio. A gadael allan y ffolineb hwn, y mae y Cywydd yn werthfawr, gan ei fod yn dangos yn eglur pa nifer o feibion ydoedd i Llewelyn ap Hwlcyn, a'u bod yn wŷr galluog yn y dyddiau hyny. Mae dwy awdl gan Dafydd ap Edmwnd i Rhys ap Llewelyn yn "Gorchestion Beirdd Cymru," y rhai yr un wedd sydd lawn o organmoliaeth ffol.

Ar ol Meirig ap Llewelyn nid ydym yn gallu cael nemawr o hanes teulu Bodorgan ag y gellir ymddibynu arno hyd ddechreu yr eilfed canrif ar bymtheg, pan y cawn Richard Meirig, Yswain, yn preswylio yma, yr hwn yn 1615 a briododd Jane, merch Owen Wood, Yswain, o Rhosmor. Bu yn Uchel Sirydd am y blynyddau 1615, 1641, 1647, a 1648. Ei fab William a briododd Jane, merch ac etifeddes William Bold, Yswain, o Dre'r ddol, yn mhlwyf Llandrygarn, yn y flwyddyn 1668. Trwy

y briodas hon yr unwyd etifeddiaethau Tre'r ddol a Bodorgan. Bu yn Uchel Sirydd am 1675. Mab iddo ef ydoedd Owen Meirig, Yswain, yr hwn a fu yn Aelod Seneddol dros y wlad o'r flwyddyn gyntaf hyd y seithfed flwyddyn i Sior y Cyntaf, sef o 1715 hyd 1722. Priododd Anne, merch Pierce Lloyd, Yswain, o Lugwy. Bu yn Uchel Sirydd am 1706. Owen ei fab yntau a fu yn Aelod Seneddol o'r flwyddyn gyntaf hyd yr wythfed i Sior y Trydydd, sef o 1761 hyd 1768. Bu y fath ymdrechfa rhyngddo â Syr Nicholas Bayley, o'r Plas Newydd y pryd hwnw, am gynnrychiolaeth y wlad yn y Senedd, na welwyd ei debyg o bosibl na chynt nac wedi hyny yn Môn. Clywsom lawer o sôn am dano gan yr hen bobl er ys blynyddau yn ol, a sonir yn aml eto am *election* Meirig a Syr Nichols gan y rhai a gawsant yr hanes gan eu tadau. Priododd yn y flwyddyn 1755, un Hester Putland o Lundain. Bu yn Uchel Sirydd am 1761, a bu farw 1768. Wedi ei farwolaeth etholwyd Syr Nicholas dros y wlad yn ddiwrthwynebiad. Owen Putland ei fab a briododd Clara, merch ac etifeddes Richard Garth, Yswain, Morton, Surrey. Bu yn Uchel Sirydd am 1774. Ar ei farwolaeth, meddiannwyd yr etifeddiaeth gan ei ŵyr, sef O. J. A. Fuller Meyrick, Yswain, yr etifedd presennol, yr hwn ydyw mab hynaf Augustus Eliot Fuller, Yswain, o Rose Hill, a Clara merch henaf y diweddar O. Putland Meirig, Yswain. Bu Mrs. Fuller farw ychydig flynyddau yn ol yn Llundain, a chladdwyd hi yn meddrod y teulu yn Llangadwaladr. Rhag ofn meithder gormodol, goddefer i ni orphen y llith bresennol gyda hyn, gan obeithio nad annifyr fydd gan y darllenydd ein cyfarfod eto.

---

# ESTHER.

## *YR AIL RAN.*

### I.

(Yr Olygfa—Ystafell-wely Ahasuerus).

*Ahasuerus yn deffro.*

Fasti! Pa le mae Fasti? O! fy mhen!
Fileiniaid! Rhowch i'm ddiod! Wele mae
Fy ngenau yn gras-sych, a fy nghylla ar dân!
Pa beth yw hyn? O! 'r wyf yn cofio yn awr;—
Y wledd fawr neithiwyr! Y llawenydd mawr;—
Cymundeb ffyliaid! minnau y penaf un,
Yn llawn o win! Wrth lenwi o ddiod gref

Gwaghäwyd ni o'n synwyr! Nid oes le
Yn 'menydd dyn i'r ddau, ac ni chyttunant;
Pan ddêl y naill i mewn, â'r llall i maes.
O! bleser ffol! Dedwyddwch ynfyd, gau,
Twyllodrus hefyd, yw yr hwn a geir
Trwy borthi 'r gwaed, symbylu 'r meddwl gwan
I ymyl d'ryswch; codi 'r ysbryd fry
Yn ddigon uchel i roi codwm cas
Anaele iddo! O! fy Fasti dêg!
Fy hoff, fy serchog, fy rhinweddol wraig!
A ydwyf wedi 'th golli? O! fy mhen!
Cyfreithiau Media a Phersia nid oes modd
Eu newid hwynt! Gall cyfnewidiol ddyn
Wneyd deddfau digyfnewid! Wele 'n wir!
Gall dynion meddwon wneyd cyfreithiau i ddal
Y sobr yn gaethion byth! Oes dim apêl
O feddwdod at sobrwydd? Beth a wnaf?
Fileiniaid, pa le mae 'r gwin? Brysiwch âg ef,
Lestraid o'r henaf, cryfaf yn y gwindŷ.

II.

(Memuchan a gweision Ahasuerus).

*Y gwas cyntaf.*

Henffych Memuchan! Ti a ddaethost yma,
Yn union yn yr adeg, canys mae
Y brenin yn orphwyllog am yr hyn
A basiodd neithiwyr. Er pan y deffrôdd
Y bore heddyw mae ei feddwl yn
Y cyffro mwyaf; sonia yn ddibaid
Am ei anwylaf Fasti; edifarhâ
Am ei orchymyn byrbwyll yn ei chylch;
Mawr yw ei dristwch; ni fyn ei gysuro.

*Memuchan.*

Felly yn wir! Ac nid efe yw 'r cyntaf
A wnaeth o dan ddylanwad diod gref
Yr hyn a barai alar am ei oes
A thristwch iddo. Pa le mae e' yn awr?

*Ail was.*

Yn ei ystafell mae yn yfed gwin,
Gan rodio ôl a blaen ar brydiau yn wyllt,
A thra chynhyrfus; weithiau cura ei ben,
Ac yna ei ddwyfron; sieryd ynddo ei hun,
Gan furmur yn ddibaid, "Fy anwyl Fasti!"

*Memuchan.*

O! gadewch iddo, fe ddaw eto yn well.
Fasti yn wir! Onid oes yn ein gwlad
Fenywod filoedd sydd yn llawn mor deg
A chall â hithau? y mae yn y môr
Fil mwy o bysgod nag a ddelir byth.
'D oes dim i'w wneyd ond cyrchu yn ddioed
Ryw wrthddrych newydd i bêr swyno serch
A nwyd y brenin. Pan y dygwydd fod
Dyn wedi ei siomi am anwylyd, nid
Oes dim cyffelyb er lliniaru y boen,
A chodi 'r galon, a chael cariad newydd.
Mynai Marsenas neithiwyr yn y wledd
Awgrymu am fy synwyr i, mai gwan
A bychan ydoedd; ond gwn innau beth
Am naws y natur ddynol; ac mi ddôf
Trwy hyn yn burion. Am y ddeddf a aeth
Oddiwrth y brenin trwy y deyrnas oll
Yn erbyn gwragedd cyndyn, nid oes wiw
Na modd ei newid; onidê yn wir
Os drwg oedd cynt byddai yn ddeg gwaeth gwed'yn!
Ac heblaw hyny dygai gwmwl du
Ar orsedd ac ar ddeddfwyr mawr ein gwlad.
Gogoniant, grym, a nerth priodol holl
Gyfreithiau Media a Phersia yw eu bod
Yn ddigyfnewid; ac a gollwn ni
Ein henw a'n bri arbenig er mwyn benyw?
Arweiniwch fi at y brenin; mi a rôf
Gynghor effeithiol iddo; sef yw hyn,
Anfoned allan swyddwyr yn ddioed
Trwy holl daleithiau 'r ymherodraeth fawr,
A chasgler ganddynt o'u gwyryfon teg
Y tecaf oll ynghyd i dŷ y gwragedd,
A boed i'r brenin ddewis iddo ei hun
Frenines yn lle Fasti. Chwi gewch wel'd
Y cwsg yn dawel eto. Byddwch wych!

III.

(Tŷ Mordecai.)

*Esther gyda gorchwylion y tŷ, yn canu.*

Agorodd y môr a'r Iorddonen
  I Israel fyn'd trwodd yn fyw;
Tiriasant yn Nghanaan yn llawen,
  Gan ganu daioni eu Duw;
O gaethglud yr Aipht yn ddiangol,
  O ofid yr hen anial maith,
Yn ngwlad yr addewid ddymunol
  Yn llon gorphenasant eu taith.

Cyfammod Jehofah gyflawnwyd
  Ag Abram ac Isaac yn wir;
A braich estynedig gwaredwyd,
  A dodwyd eu hâd yn eu tir:
Er gallu a llid y gwastadedd,
  Yn ddiogel preswyliant eu bro;
Ffyddlondeb eu Duw a'i drugaredd,
  Oedd drostynt, am danynt, yn dô.

Beth! er fod plant Anac yn llidio;
  Yr hen Amaleciaid yn flin;
A lluoedd Philistia 'n byddino,
  A'u bwriad yn greulawn i drin?
Rhyw Samson, neu Gedeon, neu Dafydd,
  Yn brydlawn waredydd a gaid;
A nerthol amddiffyn eu Harglwydd
  Oedd beunydd yn gymhorth wrth raid.

Ond heddyw mae 'r hâd etholedig,
  Am fod yn wrthnysig, yn gaeth,
Eu telyn yn rhwym ar yr helyg,
  Dydd trallod anorfod a ddaeth;
Ond er eu ceryddu 'n y gaethglud,
  Duw Israel sydd eto yr un;
Yn ol ei hen arfer fe 'u gweryd
  Yn glyd yn ei amser ei Hun.

Pwy ŵyr nad oes gweled allorau,
  A henwlad fy nhadau mewn hedd,
A gwylio yn ei sanctaidd gynteddau
  I minnau cyn myned i'm medd?
Os gwelir fy nhraed byth yn sangu
  Yn llawen ar dir Salem lân,
Fy enaid ni phaid a moliannu,
  Fy nhafod nis derfydd â'i gân.

*Mordecai yn dyfod i mewn.*

Amen! anwylyd hoff; yr Arglwydd Iôr
A roddo dy ddymuniad; ond ni ddaeth
Yr amser eto. Yn hytrach ofnwyf fod
Ffwrneisiau poethach, a threialon mwy,
I Israel fyned trwyddynt, cyn y daw
Eu gwaredigaeth hollol. Ffiaidd iawn
Oedd eu camweddau; ac os bydd y gosb
A'r cerydd yn gymesur, aml a fydd
Eu dyoddefiadau. Ofnaf nad yn hawdd
Nac ar ychydig chwaith y dryllir grym
Eu calongaledwch. Dïau ni iachëir
Eu briw yn ysgafn; ond y perffaith Ddoeth
A'u dwg i'r llwch, ac yna fe 'u gwareda—

Fe a'u gwareda! Hawddach yw i'r haul
Ddiflanu o'r ffurfafen, nag i had
Yr Israel ballu, canys ynddynt hwy
Diflanai gobaith y cenedloedd oll,
Diflanai enw Duw, ac elai 'r byd
Yn dywyllwch eithaf. Nid all hyny fod.
Fel y mae 'r enfys yn yr awyr lâs
Yn brawf na ddêl y diluw eilwaith i
Ddinystrio 'r ddaear; felly mae parhâd
Cyfammod Duw âg Israel yn wir brawf
Y dygir y cenedloedd oll i hedd
A gwynfyd ynddo Ef cyn diwedd amser.—
Ond, Esther, gwrando arnaf, mae i mi
Hysbysiad pwysig i'w fynegu heddyw;
Ti glywaist fod y brenin wedi rhoi 'r
Frenines Fasti ymaith; ac yn awr
Y mae gorchymyn allan i ddwyn holl
Fenywod tecaf Media a Phersia ynghyd
I'w bresennoldeb, fel y gallo ef
Ddewis o'u plith frenines yn lle Fasti.
A chan fod dy brydferthwch odiaeth di
Yn hysbys trwy holl Susan, mae 'r swyddogion
Wedi gorchymyn dy ddwyn dithau i'r palas.

*Esther.*

Myfi! och fi! fy nhad, na ddywed hyn,
Ac na oddefa iddynt fyn'd â mi
Odditan dy gronglwyd. Mae fy nhad a'm mam
Yn pydru yn y bedd er's blwyddau maith.
I mi, amddifad, ti a fuost dad,
A chyfaill ffyddlawn. O! na chaniatâ
Fy nwyn oddiwrthyt. Na throsglwydda fi
I ddwylaw estroniaid. Gwell i mi yw byw
A marw yn dawel yn yr annedd hon,
Na phrofi rhwysg a rhysedd mawrion, a
Chael ffafrau breiniol, yn enwedig gan
Frenin cenedlig a gorthrymwr blin
Fy anwyl Israel.

*Mordecai.*

A! fy Esther hoff,
Da gwyddost fel y'th garaf. Fy mawr serch
A redodd atat gynta' er mwyn dy dad,
Ond glynodd, tyfodd, er dy fwyn dy hun
Yn fwy tanbeidiol. Fy nysgwyliad oedd
Cael dy gymdeithas hoff ar hyd fy oes
I ymgysuro ynddi, ac yn mhrydnawn
Fy niwrnod pruddaidd i gael llewyrch teg
Dy gariad puraidd, i oleuo 'm ffordd

I fin y bedd; ond heddyw wele obaith
Tyneraf, olaf f' einioes yn tywyllu,
Heb un ymwared; canys pa beth yw
Ein gallu ni, plant y caethiwed blin,
I sefyll o flaen 'wyllys Ahasferus?
Nis gallwn ond ymostwng; ond pwy ŵyr
Na ddaw daioni o hyn; un rhyfedd yw
Ein Harglwydd Iôr. Fel cynt, fe ddichon Ef
O dywyllwch eithaf ddwyn goleuni mawr,
A gwneyd i amcanion creulawn weithio 'r ffordd
I gadw ei bobl. Onid felly y bu
Gyda y prydferth Joseph yn yr Aipht?
Moses, y bachgen tlws, a fagwyd yn
Mhalasdŷ Pharaoh ei hun, yn gymhwys i
Waredu Israel! Esther! pwy a ŵyr
Na wisgwyd tithau â'r prydferthwch cu
A'r tlysni swynol yna, er mwyn rhoi
Cynnorthwy i Israel? Fe allai fod rhyw ddydd
O drallod mawr gerllaw, ac yna bydd
Yn werthfawr iawn gael cyfaill yn y llys.

*Esther.*

Rhyfeddol yw Efe, a diau fod
Yn perthyn iddo lawer o'r fath bethau.
A minnau yr annheilyngaf oll o'i blant,
Yn dawel a aberthwn bob mwynhâd,
Ac a anturiwn bob enbydrwydd bron,
Os gallwn fod o ryw wasanaeth i
Hoff deulu Israel. Ond, fy anwyl dad,
Os dygir fi i'r palas, pan y bydd
I'r brenin a'i swyddogion ddeall mai
Iuddewes ydwyf, oni bydd i hyn
Ar unwaith eu cyffroi, a pheri iddynt
Fy mwrw allan gyda dirmyg?

*Mordecai.*

Gwir,
Addfwynaf Esther; ond gan iddynt hwy
Dy erchi yno, nid oes achos i'w
Goleuo am dy dylwyth. Nac yngan
Am Israel wrthynt; ond boed hyny fel
Cyfrinach werthfawr yn nirgeloedd dwfn
Dy galon dyner. Gwylia, gwylia byth
Dy hunan ollwng hyny o dy gôf.
Byth nac anghofia fod gwaed Abraham,
Isaac, a Jacob, eto yn llifo yn bur
Yn dy wythïenau; cofia 'n wastad mai
Hebrëes o'r Hebrëaid, un o blant
Cyfammod y JEHOFAH ydwyt ti.

*Esther.*

Anghofio Israel! nis gall hyny fod.
Glyned fy nhafod yn fy ngenau 'n fud,
Os mi byth a anghofiaf dŷ fy nhad.
Pe gellid tynu ymaith o fy nghôf
Bob gwrthddrych a drysorwyd yno erioed,
Yn ddyfnaf, isaf, dan y cyfan oll,
Ar fewnaf lêch fy nghalon, fe geid fod
Ei enw Ef ac Israel eto yn aros.

*Mordecai.*

Digon, fy merch, yr Arglwydd a'th fendithio!

IV.

(Hegai a Memuchan yn rhodio yn nghyntedd y brenindŷ.)

*Memuchan.*

Ha! ha! fe garwn wybod beth yn awr
Ddywed Marsenas am fy synwyr i
A'm cynnygiadau? Wele heddyw daeth
Pobpeth i ben yn union fel y dywedais.
Mae 'r brenin eto 'n ddedwydd; darfu swyn
A thlysni dysglaer yr anwylyd newydd
Daflu yr hen i ebargofiant llwyr,
Fel pe na buasai erioed; ac mae y ddeddf
Yn anrhydeddus; a holl wragedd blin
Media a Phersia wedi derbyn gwers
Nas gallant ei hanghofio. Yn y wledd
Gynnelir yfory er anrhydedd i'r
Frenines newydd, oni byddaf fi,
Memuchan, yn brif wrthddrych molawd pawb,
A Marsenas yn cuddio ei ben mewn gwarth?
Ond Hegai, attolwg, a yw yr Esther hon
Mor anghymharol brydferth?

*Hegai.*

Mi erioed
Nis gwelais ei chyffelyb. Er y dydd
Y daeth i'r palas, hi ennillodd serch
Pob un a'i gwelodd. Er fod yma ynghyd
Holl bigion teg benywod teca' ein gwlad;
Y fath grynodeb o bêr flodau cain;
Y fath gydseriad o orddysglaer sêr,
Na welodd byd ei debyg; eto y mae
Ein Hesther yn rhagori arnynt oll,
Fel lili ar laswellt, neu fel haul ar sêr.

*Memuchan.*

O! na chawn olwg arni! Hegai hoff,
Mynega i mi 'n fanwl ei phrydferthion.

*Hegai.*

Annarluniadwy ydynt! Ynddi y mae
Pob tlysni 'n cydgyfarfod. Tlysni corff
A thlysni meddwl, tlysni tymher, rhinwedd,
A mawredd ysbryd cymhwys i frenines.
Os bu perffeithrwydd dynol, dyma fe.
Ceir ambell fenyw megys delw deg;
Llinellau prydferth aml-liwiedig ar
Ei hwyneb welir; ond er hyn nid yw
Yr enaid byw 'n deimladwy trwyddynt, ond
Prydferthwch colofn farw ydyw. Ceir
Un arall fel angyles yn ei llun,
A'i doniau hefyd, ond bydd balchder cas
A blinder ysbryd yn arddangos, os
Angyles hefyd, un syrthiedig yw.
Nid felly Esther. O! ei phrydferth wedd,
Mor fynegiannol ydyw! A'i llygaid byw
Mor llawn o drydan a thynerwch pur.
Bywiogrwydd llednais yn serenu trwy
Ei phob ysgogiad ac edrychiad, nes
O'r bron nad yw 'n ysbrydoleiddio 'r clai
O'r hwn ei ffurfiwyd. Gyda hyn i gyd
Mor bwyllog ydyw—mor feddylgar yw!
Mor wylaidd, gostyngedig, hynaws, mwyn!
Yn wir, buasai ei rhinweddau hi
Yn gwisgo hacrwch hollol â phrydferthwch.
Myfi a'i haddolaswn, gan mor fawr
Fy hoffder parchus. Rhoddais iddi 'r lle
Rhagoraf yn nhŷ 'r gwragedd. A phan ddaeth
Yr amser iddi ymddangos i Ahasferus,
Rhoddaswn iddi bob rhyw dlysau teg,
A dillad drudfawr; ond ni fynai hi
Ei goraddurno; ond hi aeth i mewn
Yn nysglaer degwch ei gogoniant syml
Naturiol hi ei hunan; aeth i mewn;
Daeth allan yn frenines; ac oes hir
A dedwydd fyddo iddi, medd fy enaid.

V.

(Mordecai yn eistedd yn y porth.)

*Esther.*

Henffych, fy nhad!

*Mordecai.*

Henffych, fy anwyl ferch!
Cydroddwn ddiolch i'r Llywiawdwr da
A barodd dy dderchafiad; fel erioed
Tad yr amddifaid ydyw; boed ei ras
Yn aros ynot byth. Efe, yr hwn
A gadwodd Joseph dirion yn yr Aipht,
A Moses hefyd, ac Abïah hoff
Mewn tŷ annuwiol, a dy gadwo di
Yn bur a ffyddlawn i dy bobl, ac
I Dduw dy dadau. Tybiaf eto mai
I ryw ddybenion da y'th godwyd di
I wisgo 'r goron. Ac yn wir, nis gwn
Nad yw yn dechreu eisoes i roi gwaith
Gwaredu iti. Fel yr oeddwn i
Yn eistedd yma heddyw, clywais ddau
O'r ystafellyddion yn cydlunio brâd
Yn erbyn Ahasferus. Ac ni wnaent
Un ymgais i'w ddirgelu rhagof! Ah!
Ni wyddent hwy fod genyf yn y llŷs
Fath drysor gwerthfawr. Digon tebyg mai
Ymsynied wnaent y byddai Iuddew yn
Fwy tebyg i gyduno i dywallt gwaed
Y brenin na 'i amddiffyn. Ond nid felly.
Ni weddai i Israeliaid lunio brâd,
A llech llofruddiaeth er mwyn dial, neu
I ymdrech am ein rhyddid. Ein Duw ni
A wnaeth i'r haul, a'r lloer, a'r sêr, a'r môr,
Angelion nefoedd, ac ymlusgiaid byd,
I ymladd drosom. Yn ei amser da
Fe 'n gweryd eto, ac fe dâl y pwyth
I'n holl elynion. Llwyr annheilwng f'ai,
Yn lle ymddiried i'w ffyddlondeb Ef,
I ymdrech trwy gynllwynion creulawn erch
Fel y cenedloedd. Dos gan hyny yn awr
Heb aros, anwyl Esther, a dynoetha
Y bwriad gwaedlyd i fy arglwydd frenin.

*Esther.*

O! fwriad adgas! O! annynol frâd!
A hapus waredigaeth! Af yn awr,
Mynegaf i fy arglwydd yn dy enw
Y bwriad euog, a diammheu y daw
Y gwaedlyd fradwyr i ddyledus gosb.

# "YR EISTEDDFOD."

"PA beth sydd mewn enw?" medd y Sais. "*What is in a name?*" Mwy nag y mae llawer yn ei feddwl; un ai er da neu er drwg. Y mae yr enw Eisteddfod yn fwgan i rai dynion pur gall a gwir dda yn Nghymru; ond yn nghlustiau y mwyafrif o'r Cymry, tybygem, y mae yn swnio yn ber-aidd a chymeradwy, nes y mae eu calonau yn cynhesu wrth ei glywed. Y mae yn apelio at eu serchiadau dwysaf, yn cyffroi eu gwladgarwch i'r dwfn, ac yn portreiadu o flaen eu meddwl arbenigion neillduol gwlad eu genedigaeth—eu "*fatherland.*" Y mae y gymanfa grefyddol a'r etholiad gwladol—y mae Dydd Nadolig a Gwener y Groglith—y mae y ffair a'r farchnad—yn gyffredin iddi gyda'r gwledydd o'i hamgylch; ond y mae yr Eisteddfod, fel y gynghanedd gaeth a'r delyn drithant, yn etifedd-iaeth ac yn briodoledd i Gymru yn unig. Ceir yn yr Eisteddfod hefyd ryw dir cyffredin, lle y gall yr hwn sydd yn ymofyn am bleser a'r hwn sydd yn chwilio am wybodaeth gydgyfarfod, lle y gall gwahanol bleidiau gwladol a chrefyddol anghofio am enyd eu neillduolion, a lle nad oes dim yn *egwyddor* y sefydliad ag y rhaid i'r mwyaf tyner eu cydwybod a manwl eu moesau gadw draw. Nid rhyfedd gan hyny fod y cyfarfodydd hyn, bron yn ddïeithriad, mor dra phoblogaidd.

Dïau fod yr Eisteddfod yn hen iawn hefyd—yn chwe' chan' mlynedd oed o leiaf. Pa mor bell yn ôl yr oedd Barddas a Gorsedd yn bod cyn hyny, nis gellir penderfynu; ac y mae niwl henafiaeth ar hanes, ac ar-ferion, ac athrawiaeth, a chyfarfodydd, yr hen Feirdd a'r Derwyddon. Ond yr ydym yn cael cynnulliad o'r Beirdd yn cael ei alw ar yr enw Eisteddfod yn nechreu y deuddegfed canrif. Yn "Ystatyd Aberffraw," gan Gruffydd ab Cynan, ceir yr enw Eisteddfod amryw weithiau, a dynoda yn amlwg gyfarfod breiniedig o'r beirdd. "Ni ddylid gradd i ddysgybl, namyn o radd cenedliad athraw mewn Eisteddfod;" "Ni ddylid Eis-teddfod namyn yn llŷs y Tywysog, a hyny unwaith yn y tair blynedd, &c." Amlwg yw, tra yr oedd Cymru yn annibynol, fod yr Eisteddfod yn sefydliad gwladol dan awdurdod y brenin; ac hyd yn nôd wedi llyncu ein gwlad yn uchafiaeth Lloegr, yn y flwyddyn 1568, yr ydym yn cael Eisteddfod yn cael ei chynnal yn Nghaerwys trwy orchymyn y Frenines Elizabeth. Dyma gyfieithiad o "*Preamble*" y gorchymyn hwnw:—"Yn gymaint a'i fod wedi dyfod i wybodaeth yr Arglwydd-Raglaw, ac eraill o wŷr ein Cynghor yn nghyffiniau Cymru, fod crwydr-iaid segur yn galw eu hunain yn Ddadgeinwyr, Prydyddion, a Beirdd, yn ddiweddar wedi amlhâu i'r fath liosogrwydd anoddefol o fewn i Dy-wysogaeth Gogledd Cymru, fel y mae nid yn unig Foneddigion ac eraill yn cael eu haflonyddu yn fynych yn eu trigfanau gan eu hafreolaeth di-gywilydd, ond hefyd fod Dadgeinwyr a Cherddorion gwir fedrus mewn Tafod a Dawn yn cael eu digaloni yn fawr i ymdrechu yn yr amaethiad a'r ymarferiad o'u gwybodaeth, ac hefyd yn cael eu mawr rwystro i gyr-haedd Bywioliaethau a Derchafiad,—y mae diwygiad ar hyn, a dygiad

o'r Bobl hyn i drefn, wedi ei farnu gan y dywededig Arglwydd-Raglaw a'i Gynghor yn dra anghenrheidiol," &c. Erbyn heddyw y mae y nawdd breninol wedi darfod; ond pa mor lïosog bynag oedd nifer y beirdd a'r prydyddion o dan deyrnasiad y Frenines "Bess," yr ydym yn credu eu bod yn llawer iawn mwy llïosog o dan y Frenines Victoria. Ni ddywedwn (rhag ofn) eu bod hefyd "mor ddigywilydd o annhrefnus;" ond ni a ddywedwn fod rhoddi llïaws beirdd a llênorion ein gwlad mewn gwell trefn eto "yn dra anghenrheidiol."

Bellach y mae yn rhaid i'r bobl gymeryd y gwaith yn eu dwylaw eu hunain. Nid yn unig nid yw yr orsedd yn sylwi ar neillduolion Cymru, ond y gwir yw, y mae uchelwyr Cymru o ran teimlad, bron heb eithriad, yn estroniaid i anian y genedl, yn ddyeithriaid i'w hiaith, ac yn rhagfarnllyd yn erbyn ei hegwyddorion, yn grefyddol, yn wladol, ac yn llênyddol. Y mae rhai eithriadau anrhydeddus i hyn, mae yn wir; ond ni a gynghorem arweinwyr "Yr Eisteddfod" i ymddibynu arnynt eu hunain ac ar y bobl, i beidio ymostwng yn slafaidd i geisio ffafrau gan y boneddwyr, nac i erfyn am nawdd a chynnorthwy ond gan uchelwyr o waed neu o deimlad pur Cymreig. "Trech gwlad nag arglwydd." Gwneler "Yr Eisteddfod" yn ffaith sefydlog, ac yn ffaith gyson â synwyr cyffredin ac â gwybodaeth yr oes, ac fe fydd yn rhaid i bawb ei chydnabod a'i harddel.

Y mae yn rhaid addef fod y gwŷr sydd yn cymeryd mantais ar y syniad Eisteddfodol, ac yn ceisio ei gymhwyso at amgylchiadau presennol ein gwlad, ac fel moddion gwareiddiad a derchafiad y genedl, yn amcanu at wneyd gwasanaeth mawr; ond yr ydym yn credu fod anhawsderau mawr ar ffordd eu llwyddiant. Yn ddïau cryn orchwyl fydd dwyn y sefydliad i gysondeb â chyrhaeddiadau yr oes hon, heb golli ei nodweddiad arbenig, henafol, a chenedlaethol. Amlwg ydyw nad allwn wisgo yr Eisteddfod yn awr, pan nad yw Cymru ond talaeth fechan yn yr ymherodraeth unedig, â'r un urddas ag a berthynai iddi pan yr oedd ein gwlad yn deyrnas annibynol, a'r Eisteddfod yn brif sefydliad ac yn unig ffynnonell ei llênyddiaeth. Ynfydrwydd hefyd, dybygem ni, os nad ydym am ddychwelyd yn ôl i fabwysiadu hen athrawiaeth Barddas a Derwyddiaeth yn hollol, i ni geisio efelychu holl rwysg, a mabwysiadu holl ddefodau ac arwyddluniau a gwisgoedd swyddogol yr hen deulu parchus hyny. Yr ydym yn deall fod rhyw henafiaethwyr gorzelog yn haeru fod y gwir urddau barddonol yn dreigliedig trwy olyniaeth reolaidd o oes i oes. Clywsom fod un hen ŵr o "hwntw" yn hawlio iddo ei hun yr anrhydedd o fod yn Archdderwydd yr oes hon, a'i fod yn haeru nad oes ond un gwir fardd "cadeiriol" yn yr oes hon; fod rhyw fwlch yn yr olyniaeth yn nheitlau y gweddill o'n prif-feirdd cadeiriol. Rhaid i ni gydnabod ein bod ni yn rhy ddwl, ac fe allai yn rhy anfarddonol, i gredu mewn nac olyniaeth Farddonol nac olyniaeth Apostolaidd, ond olyniaeth ysbryd yn unig. Yr ydym rywfodd wedi myned i ammheu pob urddau sydd yn dibynu ar genedliad neu arddodiad dwylaw urddedig *yn unig;* yr ydym yn credu fod oes y ffydd hono wedi myned heibio, ac mai barn y bobl, wedi ei hamlygu trwy gynnrychiolaeth deg, ydyw ffynnonell gwir anrhydedd.

Y mae ein cenedl ni, ysywaeth, er yn fore iawn, wedi ei hynodi a'i niweidio gan ymraniadau; ac "megys yr oedd yn y dechreu, y mae yr

awr hon;" a chryn orchest a fydd os medr ein diwygwyr Eisteddfodol gadw y ddysgl yn wastad gyda'r gwahanol bartïon sydd yn awr yn ein gwlad, a hwylio y sefydliad ymlaen yn ddiogel trwyddynt. Yr ydym yn deall fod genym ddwy Gymdeithas Henafiaethol *(Antiquarian and Archæological Societies)*; a dyna Gymdeithas Gymröaidd Powys yn ymddangos fel yn wrthymgeisydd â'r "Eisteddfod" am sylw y wlad. Y gwir yw, y mae genym ddau ddosbarth o henafiaethwyr. Gellir galw y naill yn henafiaethwyr eithafol—pobl fawr eu ffydd, sydd yn barod i gredu pob hen hanes; a'r llall yr henafiaethwyr cymedrol—pobl wanach eu ffydd, a'r rhai, yn marn y blaid gyntaf, ydynt yn fwy na hanner Thomasiaid, yn barod i ammheu pob peth braidd, os na welant ef o'r bron â'u llygaid. Myn yr henafiaethwyr eithafol gadw i fyny bob hen ddefod, yn unig am ei bod yn hen; ond y mae yr henafiaethwyr cymedrol yn fwy cynnil a buddgeisiol *(utilitarian)* yn eu syniadau, a mynant gadw i fyny yr hen seremonïau yn unig mor bell ag y gallant fod o ryw ddefnydd, ac heb redeg yn groes i synwyr a goleuni yr oes.

Dyna y beirdd drachefn (heb son am eu dadleuon personol gorddoniol ar ol pob Eisteddfod), y maent hwythau yn rhanedig i ddau, os nad tri, o ddosbarthiadau. Dyna wŷr y mesurau caethion—y "sect fanylaf" o'r beirdd—wedi ymranu yn ddwy blaid hollol, mor fore a'r pymthegfed canrif, sef yn Eisteddfod Caerfyrddin; ac o'r pryd hwnw y mae dau ddosbarth o fesurau, sef yr eiddo beirdd Morganwg, a'r eiddo beirdd Gwynedd ar ol Dafydd ap Edmwnt. Mae yn wir fod Eisteddfod Caerfyrddin yn 1819 wedi penderfynu fod y ddau ddull o farddoni yn oddefol; ond y mae rhai eto yn credu, er mai rheolau beirdd Gwynedd sydd yn y ffasiwn, a bod mesurau Morganwg yn anarferedig ac anhysbys, mai y rhai olaf ydynt y rhai rhagoraf, a'r hwylusaf i ehediad ëang yr awen. Tybiem mai nid anfuddiol fyddai i'r beirdd yn Eisteddfod Caernarfon fwrw ail olwg ar y mesurau hyn, a'u dwyn i ychydig mwy o sylw. Dyna eto y pryddestwyr a diodlwyr—plaid gref iawn ac yn cynnyddu beunydd. "Meddyliau ac nid seiniau" ydyw eu harwyddair hwy. Edrycha y rhai hyn yn lled ysgafn ar gynnyrchion y cynghaneddwyr, tra y mae y cynghaneddwyr manwl yn eu *hignorio* hwythau—yn gwadu eu bodolaeth barddonol hwy yn hollol. A dywedyd y gwir, yr ydym yn barod i feddwl fod yr amser wedi dyfod, pryd y gellid yn rhesymol amcanu at gaethiwo dipyn ar y pryddestwyr presennol, a rhyddhâu ychydig ar y cynghaneddwyr. Rhaid addef fod *cywreinrwydd* mewn awdl os na bydd *meddwl* ynddi; ond am bryddest, os na bydd meddwl ynddi, mae hi yn ddiflas a pherffaith salw; canys y mae heb na "rhigwm na rheswm." Fe allai y gellid cyfarfod ar dir canol Mesurau Morganwg. Y mae rhywbeth gwir gydnaws â'r iaith Gymreig yn y gynghanedd. Er fod cynghanedd cydseiniaid yn dygwydd weithiau yn nghyfansoddiadau prif-feirdd ieithoedd eraill, nid oes un iaith arall yn yr hon y mae y gynghanedd wedi ei ffurfio yn gyfundrefn reolaidd, ond y Gymraeg. O herwydd yr arbenigrwydd hwn, o barch i'w henafiaeth —er nad ydyw eu harferiad ddim pellach yn ôl na'r canol-oesoedd—ac fel prawf o alluoedd ein hiaith, y mae genym gryn barch i'r mesurau caethion, ac ni fynem eu dilëu.

Nid ydys i gasglu oddiwrth y gair "Barddas," mai o farddoniaeth yn unig yr oedd llênyddiaeth yr oesoedd boreuol yn gynnwysedig. Yr un

pryd, pan ystyriom mai trwy draddodiad yr oedd pob hanesion yn cael eu trosglwyddo gynt, y mae yn hawdd meddwl y gallai fod pob hanes wedi ei gyfleu mewn rhyw eiriau mesuredig, am y byddai hyny yn llawer mwy manteisiol i'r côf. Yn y canol-oesoedd, pan yr oedd cyfrinion pur Barddas, dylanwad ac awdurdod gwledyddol y beirdd, a defodau priodol Cymru annibynol yn myned yn llythyren farw, gellid tybied fod y beirdd a'r ychydig lênorion yn ein gwlad wedi cyfyngu eu sylw gan mwyaf at farddoniaeth, ac fel pob cenedl yn moreuddydd ei gwareiddiad, wedi talu sylw mwy i sain nag i syniad; i gywreinrwydd plethiadau geiriau nag i brydferthwch neu arucheledd meddyliau; ac felly wedi dwyn allan yr hualau cynghaneddol. Yn y cyfnod hwnw, yr oedd y wasg eto heb ei pherffeithio, a'r werin yn anllythyrenog; yr oedd llênyddiaeth wedi ei gyfyngu i gylch bychan; ac am farddoniaeth, yr oedd y mesurau caethion yn ei gyfyngu o ran yr ymarferiad neu y mwynhâd o hono i gylch llai fyth. Ond yr ydym ni wedi disgyn ar ddyddiau masnach rydd, hyd yn nôd mewn llênyddiaeth. Yn ein dyddiau breiniedig ni, pan y mae agos bawb yn ddarllenwyr, dylai ein barddoniaeth fod yn gyfryw ag a fyddo yn eglur i ac yn fwynhadwy gan bawb; a phan y mae llawer o'r darllenwyr wedi cael cyfle i ymgoethi trwy astudio y beirdd clasurol mewn ieithoedd eraill, rhaid amcanu at ryw ragorion uwch na chlecian cydseiniaid yn unig.

Ond y mae plaid yn ein gwlad sydd braidd yn dirmygu barddoniaeth, ac yn meddwl mai traethodau a ddylent gael y lle mwyaf yn ein Heisteddfodau. "Poets are the best writers of all, next to those who have written prose," meddai Syr Henry Saville. Am farddoniaeth Gymreig, yr ydym yn ofni nad ydyw ein gwŷr dysgedicaf, mewn gwirionedd, yn meddwl ond pur ychydig o honi, ac yr ydym yn credu fod yr hualau caethion yn gyfrifol i fesur helaeth am hyny. Y mae rhai eto mor anwybodus fel nad ystyriant brydyddiaeth o fath yn y byd yn werth dim. Ystyriant fod cyfansoddiadau barddonol fel blodau, na lanwant gylla neb; rhaid iddynt hwy gael sylwedd; ac nid oes dim sylwedd ond mewn traethawd! Wel, yn wir, yr oedd y Crëawdwr yn meddwl fod rhyw fudd mewn blodau; y maent mor lliosog â'r ffrwythau, ac yn llawer mwy felly. Y mae y rhai a ddirmygant gyfansoddiadau barddonol fel yn ddiddefnydd i genedl, yn mawr gamgymeryd.

"A thing of beauty is a joy for ever."

Os darfu buddugoliaethau Marlborough, Nelson, a Wellington, urddasoli a diogelu Lloegr, y mae cyfansoddiadau Shakspeare, Milton, a Macaulay, wedi ei chyfoethogi a'i chymhwyso i fwynhâu ei diogelwch. Heblaw y pleser a rydd y darlleniad o bryddest goethedig dda, y mae hi yn tueddu i goethi a derchafu y deall yn barhâus. Nid wrth yr arian a delir am danynt mewn cysylltiad âg Eisteddfod y mae barnu y cyfryw gynnyrchion. Y mae pob pryddest neu awdl odidog, pob tôn beraidd, pob arlun tlws, pob adeilad ddestlus, a chwanegir at drysorau cenedl, yn hyrwyddo ei gwareiddiad, ac yn tueddu at ei derchafiad yn foesol a deallol. Y mae yn y meddwl dynol yr hyn a elwir yn "*association of ideas;*" ac y mae pob syniad o'r prydferth a genedlir ynddo yn arwain i un arall. Y mae canfod y prydferth a'r priodol mewn pryddest, neu arlun, neu dôn, yn lledneisio y

teimlad, ac yn cymhwyso i ganfod y prydferth a'r cywir mewn moesau ac mewn trefniadau o bob math; ac ar yr un pryd y mae yn agor byd newydd o fwynhâd o flaen y meddwl. Nid yw gweddillion y Cymry yn dangos fod y syniad am y prydferth yn gryf yn nodweddiad y genedl. Yn ein cromlechau, ein carneddau, a'n hen gestyll, fel yn nghyfansoddiadau ein hen feirdd, cryfder, ac nid prydferthwch, sydd yn eu hynodi. Yn wir, y mae yr hen eglwysydd a welir yn rhanau gwledig y Dywysogaeth, yn ddolur llygaid i'r ymdeithydd, ac nid yw capeli yr Ymneillduwyr nemawr gwell. Eithr da genym weled fod y naill a'r llall yn y blynyddoedd diweddaf yn gwella ychydig; ac y mae y tlysni a'r gweddeidd-dra adeiladol hwn, yn dystaw effeithio er perffeithio gwareiddiad y trigolion.

Er ein bod yn barnu mai barddoniaeth a cherddoriaeth a ddylent gael y lle helaethaf yn ein Heisteddfodau, yn ol esiampl y cynfeirdd, dylid cofio hefyd mai yr amcan ydyw uno pleser â gwybodaeth; ac felly, anghenrhaid yw arwain y werin trwy lwybrau ysgafnaf llênyddiaeth *(belles lettres)*, nes coethi eu chwaeth a chryfhâu eu meddyliau at ymchwiliadau yn y gwybodaethau pur a manwl. Nid ellir dysgwyl i genedl fechan, ailraddol yn y cyfanswm, ragori mewn ymchwiliadau o'r natur hyn; ond diau y dylai traethodau ar faterion o'r fath bellach gael lle helaeth yn ein Heisteddfodau. Ymhlith y Saeson y mae y cyfarfod cerddorol, a'r cyfarfod gwybodaethol, yn hollol ar wahân. Priodoledd yr Eisteddfod ydyw, fod y ddau amcan, o weinyddu mwyniant a hyfforddiant, yn cael eu cyduno. Yr ydym yn ystyried fod y penderfyniad i dreulio un diwrnod yn Eisteddfod Caernarfon i ddarllen papyrau ar wahanol bynciau o wybodaeth fuddiol ac ymarferol, yn symudiad yn yr iawn gyfeiriad. Yr ydym yn deall fod amryw o'n gwŷr mwyaf cymhwys a phrofiadol eisoes wedi ymgymeryd â pharotöi y cyfryw gyfansoddiadau, a hyderwn y bydd i'r dosbarth meddylgar roddi eu cefnogaeth a'u presennoldeb iddynt, ac y bydd y cyfarfodydd hyny yn berffaith lwyddiant.

Y mae testynau ein Heisteddfodydd wedi bod yn gyffredin yn rhy lëol, ac ar faterion na byddont ond o ddyddordeb amserol. Da fyddai cael testynau o natur mwy cosmopolitaidd neu gyffredinol; cyfansoddiadau a oddefent eu cyfieithu, ac a darawent ar y galon ddynol, ymha iaith bynag y darllener hwynt. Dylid rhoi mwy o amser i gyfansoddi hefyd os myner cael cynnyrchion gwir gaboledig. A chyda rhoddi mwy o amser i gyfansoddi, dylid cyfyngu y cyfansoddiadau, yn enwedig y farddoniaeth, i lai o gylch. Rhodder ar ddeall i'r ymgeiswyr mai "*quality*" yn hytrach na "*quantity*" a ddysgwylir. Y mae yn greulonder ar y beirniaid eu rhwymo i ymlusgo trwy bump neu chwech o bryddestau, a rhai o honynt, o bedair neu bum' mil o linellau o hŷd,

"Where perhaps one beauty shines
In the dry desert of a thousand lines."

Y mae llawer o sôn am gael Arwrgerdd genedlaethol; eithr na fydded i ni godi ein dysgwyliad yn rhy uchel. Nid unwaith mewn can' mlynedd, na phrin unwaith mewn mil o flynyddoedd, yr ymddengys *Iliad* neu *Goll Gwynfa*. Y mae yn gwestiwn genym ai nid oes yn amgylchiadau ein hiaith a'n cenedl wendid anorfod i nofio cyfansoddiad o'r radd uchod i anfarwoldeb.

Clywir rhai brodyr gorzelog yn grwgnach i ymyl gwrthryfel am fod cymaint o drafod yr iaith Saesoneg yn ein Heisteddfodau. Rhaid i ni gyfaddef, dan berygl o gael ein cyfrif yn *heterodox*, ein bod yn credu mai mantais yn hytrach nag anfantais sydd yn yr arferiad hwn. Ni fynem i'n beirdd a'n llênorion fod fel cynifer o lamddelwau *(puppets)* yn actio o flaen y llïaws Saeson sydd yn heidio i'r cyfarfodydd hyn, ac arian pa rai sydd yn dra chymeradwy. Carem i'n cymydogion gael cyfle i ddeall fod gwir synwyr ac athrylith, ac amcan buddiol, yn ein cynnulliadau; a charem i'r cyfryw arferiad fod yn symbyliad i'n llênyddwyr ieuainc a'r bobl yn gyffredin i ymgyfarwyddo yn yr iaith arall. Dygwyddodd i'r enwog Richard Cobden fod unwaith mewn tref lle y cynnelid Eisteddfod; a sylw y gŵr llygadgraff hwnw oedd, "*I would recommend them to hold an Eisteddfod to learn English.*" Ac yn hytrach na bod heb ddysgu Saesoneg oll, yr ydym yn hollol o'r un farn âg ef.

Da genym ddeall fod cyfarfodydd diweddaraf ein Heisteddfodau wedi eu cario ymlaen gyda mwy o syberwch na chynt—fod pob syniadau masweddol a chyfeiriadau ysgafn at bethau cysegredig ar unwaith yn cau allan rhag y wobr, yn enwedig mewn caniadau gyda'r delyn, &c.—fod amcan teg yn cael ei ddangos i godi chwaeth y llïaws at gywirdeb, yn hytrach nag ymostwng i gyfarfod eu syniadau anmherffaith hwy. Os myn gwŷr yr Eisteddfodau gael wyneb dynion goreu ein gwlad, rhaid iddynt gerdded ymlaen eto yn y cyfeiriad yna. Rhaid cadw y cyfarfod llênyddol a'r cyfarfodydd difyrol yn fwy llwyr ar wahân. Rhaid ymgadw rhag cymysgu yn yr un cyfarfod bethau anghydnaws â'u gilydd, megys cerddoriaeth ac anthemau cysegredig â phennillion a chaniadau ysgafn a chwerthinus. Rhywbeth sydd yn gwrthdaro yn erbyn y syniad o briodoldeb sydd yn y galon, yw i weinidog yr efengyl fod yn bresennol lle y byddo y fath gymysgfa anghydweddol yn cael lle.

Er mwyn i arweinwyr yr Eisteddfod allu myned ymlaen yn fwy annibynol gyda'r gwelliadau megys uchod, heb fod yn ymddibynu ar arian y pleser-ymofynwyr yn unig i gynnal eu cyfarfodydd, ac hefyd er eu galluogi i gyfoethogi llênyddiaeth ein gwlad â chynnyrchion yr Eisteddfod trwy y wasg, amlwg yw mai dyledswydd pob gwir wladgarwr ydyw cynnal eu breichiau â chynnorthwy arianol. Hyderwn mai felly y bydd, a dymunem rwydd hynt i'r gwŷr da hyn. Bydded iddynt ddyfal barhâu. Na fydded iddynt ofalu am ddiofalwch na diystyrwch y rhai nad oes ganddynt ddim zêl ond zêl sectol, y rhai na chynnorthwyant un ymdrech oni chânt y llaw uchaf a'u ffordd eu hunain ymhob dim, a chael golwg am ryw enw neu elw uniongyrchol iddynt eu hunain. Y mae barn a chydwybod y llïaws yn y diwedd yn fwy cywir na mympwy personau neu bleidiau neillduol; ac ond iddynt barhâu i ddangos amcan teilwng a chyson, nid rhaid iddynt ofni na chânt gynnorthwy effeithiol y genedl.

# YR EPISTOLAU CYFFREDINOL.

## EPISTOL CYNTAF IOAN—CYFFREDINOL.

### PEN. I.

1. YR hyn a fu o'r dechreu, yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n
llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw,* am
2. Air y bywyd† (ac amlygwyd y bywyd, a gwelsom, a thystiolaethwn,
a mynegwn i chwi, y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyda'r Tad
3. ac a amlygwyd i ni)—yr hyn a welsom ac a glywsom, a fynegwn i
chwi, fel y caffoch chwi hefyd gymdeithas‡ gyda ni, a'n cymdeithas
4. ni yn wir sydd â'r Tad ac â'i Fab Ef Iesu Grist. A'r pethau hyn
a ysgrifenwn atoch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.
5. A hon yw y genadwri, yr hon a glywsom ganddo, ac a fyneg-
wn i chwi, mai goleuni yw Duw,‖ ac nad oes ynddo ddim tywyll-
6. wch. Os dywedwn fod genym gymdeithas âg Ef, a rhodio yn y
7. tywyllwch,§ celwyddwn, ac ni ddywedwn y gwir :¶ ond os rhodiwn yn
y goleuni, fel ag y mae Efe yn y goleuni, y mae genym gymdeithas
â'n gilydd ;** a glanhâ ni waed Iesu Grist ei Fab oddiwrth bob
8. pechod.†† Os dywedwn nad oes ynom bechod, twyllwn ein hunain,
9. a'r gwir nid yw ynom. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn
ydyw a chyfiawn,‡‡ i faddeu i ni ein pechodau, ac i'n glanhâu oddi-
10. wrth bob anwiredd. Os dywedwn na phechasom, gwnawn Ef yn
gelwyddog, a'i air‖‖ nid yw ynom.

### PEN. II.

1. Fy mhlant anwyl !§§ y pethau hyn a ysgrifenaf atoch fel na

* Dywed am glywed, gweled, edrych, a theimlo, er dangos gwir ddynoliaeth Crist, a wadid gan rai yn ei ddydd.

† "Gair" oedd un o'i enwau, am yr amlygai feddwl Duw: awdwr "bywyd" yw. Gelwir ef yn fywyd, ac yn fywyd tragywyddol, am mai Ef yw eu rhoddwr. Yr oedd Awdwr bywyd tragywyddol gyda'r Tad cyn amser, ond amlygwyd Ef i'r byd pan ymddangosodd yn y cnawd. Geilw ei hun yr adgyfodiad a'r bywyd, gan mai Efe a'i rhydd. Ioan xi. 25.

‡ Neu, gymundeb neu gyfrinach : mae adnabyddiaeth a chyfeillach rhwng Duw a'i bobl.

‖ Arwydda "goleuni," wybodaeth, sancteiddrwydd, a dedwyddwch ; a "thywyllwch," anwybodaeth, pechadurusrwydd, a thrueni. Yr ail a feddylir yma, sef mai sanctaidd yw Duw. Gwel adn. 7.

§ Sef, mewn pechadurusrwydd.

¶ Arfer gyffredin Ioan yw traethu peth yn gadarnhäol ac yn nacäol, ac yn y gwrthwyneb. "Ni wedwn,"—yn llythyrenol, "Ni wnawn ;" ond neillduoldeb iaith yw hyn.

** Sef Duw a ninnau.

†† Effaith sancteiddiol y gwaed a ddynodir yma ; gan mai pechadurusrwydd neu lygredd y dywed am dano.

‡‡ "Cyfiawn," o herwydd yr Iawn a roddodd Iesu, i faddeu pechod ; a "ffyddlawn," o herwydd ei rad addewid, i lanhâu oddiwrth aflendid anwiredd. Felly y mae trefn yr ymadrodd yn aml. Gwel Attodiad A.

‖‖ Sydd yn dyweyd ein bod yn bechaduriaid, euog, ac aflan ; ac aflan yma, gan mai y cyfeiriad sydd at lanhâu ; a chyfeirir at euogrwydd yn yr adnod gyntaf o'r bennod a ganlyn, pan y sonir am Iawn ein Heiriolwr.

§§ Gair a ddynoda anwyldeb yw ; tebyg i'r gair, plantos.

phechoch: ac os pecha neb, y mae genym Eiriolwr gyda'r Tad,
2. Iesu Grist y cyfiawn;* ac Iawn yw Efe dros ein pechodau, ac nid
dros yr eiddom ni yn unig, ond hefyd dros eiddo'r holl fyd.
3. Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenwn Ef, os cadwn ei orchy-
4. mynion. Yr hwn a ddywed, "Adwaenaf Ef," ac ni cheidw ei
5. orchymynion, celwyddog yw, a'r gwir nid yw ynddo: ond pwy
bynag a gadwo ei air, yn hwn yn wirioneddol y perffeithiwyd cariad
6. Duw:† wrth hyn y gwyddom ein bod ynddo. Yr hwn a ddywed
yr erys ynddo,‡ dylai efe ei hun felly rodio fel y rhodiodd Efe.
7. Frodyr! nid gorchymyn newydd a ysgrifenaf atoch, ond hen
orchymyn, a fu genym o'r dechreu: yr hen orchymyn yw y gair a
8. glywsoch o'r dechreu. Trachefn, gorchymyn newydd a ysgrifenaf
atoch;|| yr hyn sydd wir§ o'i ran Ef ac o'ch rhan chwi: oblegid
9. aeth heibio y tywyllwch, a thywyna yn awr y gwir oleuni. Yr hwn
a ddywed ei fod yn y goleuni, ac yn casâu ei frawd, yn y tywyllwch
10. y mae hyd y pryd hwn. Yr hwn a gâr ei frawd, erys yn y goleuni,
11. ac iddo nid oes dramgwydd:¶ ond yr hwn a gasâ ei frawd, yn y
tywyllwch y mae, ac yn y tywyllwch y rhodia; ac ni ŵyr i ble yr â,
oblegid dallodd y tywyllwch ei lygaid.
12. Ysgrifenaf atoch chwi, anwyl blant,** oblegid maddeuwyd i chwi
13. eich pechodau er mwyn ei enw Ef;—ysgrifenaf atoch chwi, dadau,
oblegid adnabuasoch yr hwn sydd o'r dechreu; ysgrifenaf atoch
chwi, ieuainc, oblegid gorchfygasoch yr un drwg; ysgrifenaf atoch
14. chwi, fabanod, oblegid adnabuasoch y Tad;—Ysgrifenais atoch
chwi,†† dadau, oblegid adnabuasoch yr hwn sydd o'r dechreu;
ysgrifenais atoch chwi, ieuainc, oblegid cryfion ydych, ac erys gair
15. Duw ynoch, a gorchfygasoch yr un drwg;‡‡—Na cherwch y byd,||||
na'r pethau ydynt yn y byd: os câr neb y byd, nid yw cariad y Tad
16. ynddo: oblegid pob peth sydd yn y byd, chwant y cnawd, a chwant
y llygaid a rhodres bywyd,§§ nid ydynt o'r Tad, ond o'r byd y
17. maent: a'r byd sy'n myned heibio a'i chwant hefyd; ond yr hwn
a wna ewyllys Duw, a erys yn dragywydd.

* Mae dau beth yn ei addasu fel Eiriolwr; un "cyfiawn" yw, a rhoddodd Iawn dros yr anghyfiawn. 1 Pedr iii. 18.

† Sef at Dduw: gwrthddrych yr hwn yw Duw. Perffeithio cariad at Dduw yw ei ddangos trwy gadw ei air.

‡ Sef yn Nghrist, canys dywed am rodio fel y rhodiodd Efe.

|| Yr oedd yn orchymyn hen, gan ei fod o'r dechreu; yn newydd, gan ei fod yn parhâu yr un, ac i'w gadw o hyd, a'i osod hefyd ar sail newydd, sef ar gariad Crist yn marw trosom. Pen. iii. 18.

§ Sef ei fod yn newydd, yn parhâu, heb fyned heibio, gan na ddarfu Crist ei gyfnewid, na hwy ei ddiarddel, neu ei esgeuluso. Gosod anghariad yn un o'r pethau a berthynent i dywyllwch, a chariad i'r goleuni.

¶ Mae yn canfod ei ffordd, ac ni bydd iddo dramgwyddo neu lithro.

** Gwel Attodiad B.

†† Ail adrodd ymron yr un pethau er mwyn gwneyd mwy o argraff ar eu meddyliau. Felly y dywed yn adn. 26, am yr hyn oedd y pryd hyny yn ysgrifenu. Arfera "dysg" a "dysgodd" yn y cyffelyb fodd, yn adn. 27.

‡‡ Sef diafol, yr hwn y dywed am dano yn neillduol yn pen. iii. 10.

|||| Sef cyfoeth, anrhydedd, pleser, y rhai a gynnwys y byd: dyma y pethau a wnant i fyny y byd. Caru y pethau hyn yw caru y byd. A'r "pethau ydynt yn y byd," ydynt dymherau llygredig, neu dueddiadau pechadurus at y byd neu bethau y byd, megys chwant y cnawd, &c.

§§ Hyny yw, cnawdolrwydd, ariangarwch, uchelfrydedd—yr eilunod a addolir gan fydolion.

18. Blant anwyl! yr awr ddiweddaf ydyw; ac fel y clywsoch y deuai
y gwrthgrist,* y mae hefyd yn awr Wrthgristiau lawer: wrth hyn
19. y gwyddom mai yr awr ddiweddaf ydyw. Oddiwrthym yr aethant
allan; ond nid oeddent o honom; canys pe buasent o honom, aros-
asent gyda ni: ond *aethant allan,* fel yr amlygid hwynt, nad oedd-
20. ent oll o honom. Ond chwi, y mae genych eneiniad oddiwrth yr
21. Un sanctaidd,† a gwyddoch bob peth.‡ Nid ysgrifenais atoch, am
na wyddech y gwirionedd; ond am y gwyddech ef, ac am bob peth
anwir,‖ nad yw o'r gwirionedd.
22. Pwy yw yr anwir, onid yr hwn a wada mai Iesu yw Crist?§ hwn
23. sydd Wrthgrist, yn gwadu y Tad a'r Mab. Pob un a wada y Mab,
nid yw y Tad ganddo chwaith: ond yr hwn a gyfaddef y Mab, y
24. mae y Tad ganddo hefyd.¶ Chwi gan hyny, arosed ynoch yr hyn a
glywsoch o'r dechreu: os erys ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreu,
25. chwi hefyd a aroswch yn y Mab ac yn y Tad. A hon yw'r addewid
yr hon a addawodd Efe i ni, sef bywyd tragywyddol.
26. Y pethau hyn a ysgrifenais atoch ynghylch y rhai a'ch hudant:
27. ond chwi, yr eneiniad a dderbyniasoch ganddo,** sy'n aros ynoch;
ac nid oes anghen arnoch i neb eich dysgu: ond fel ag y dysg yr un
eneiniad chwi am bob peth, a'i fod yn wir ac nid yn anwir, ac fel
28. ag y dysgodd chwi, aroswch ynddo.†† Ac yn awr, blant anwyl,
aroswch ynddo, fel pan ymddangoso y byddo genym hyfdra, ac na
29. chywilyddiom ger ei fron ar ei ddyfodiad.‡‡ Os gwyddoch mai
cyfiawn yw, gwyddoch y ganwyd o hono bob un a wna gyfiawnder.‖‖

PEN. III.

1. Gwelwch pa gymaint cariad a ddangosodd y Tad i ni,§§ fel y
gelwid ni yn blant Duw!¶¶ Am hyn*** nid edwyn y byd ni, am
2. nad adwaenodd Ef. Anwyliaid, yn awr plant Duw ydym, ac nid
amlygwyd eto, beth a fyddwn: ond gwyddom y byddwn, pan ym-
ddangoso, yn gyffelyb iddo;††† oblegid cawn ei weled fel ag y mae.
3. A phob un ag sydd ganddo y gobaith hwn, pura ei hun, megys ag y
mae Efe yn bur.‡‡‡

* Gwel Attodiad C.

† Cyfeiria at yr addewid o'r Ysbryd gan Grist. Ioan xiv. 26; xvi. 13. Gwel Attodiad D.

‡ Yn anghenrheidiol i iachawdwriaeth, ac er eu cadw rhag amryfusedd.

‖ Am y gwyddent ef, sef y gwirionedd, ac y gwyddent hefyd am bob peth anwir, neu bob gau-athrawiaeth, nad oedd o'r gwirionedd, sef o'r efengyl. Arfer yr apostol hwn yw llefaru am bethau yn nacäol ac yn gadarnhäol, ac yn y gwrthwyneb. Felly y gwna yn adn. 23.

§ Sef y Messïah addawedig.

¶ Nid oes achos digonol i adael allan y rhan olaf o'r adnod hon. Mae'r adroddiad yn gydwedd âg arfer yr apostol.

** Sef gan yr Un sanctaidd, adn. 20.

†† Yr oedd wedi eu dysgu, ac yn parhâu i'w dysgu.

‡‡ Mae gwarth yr hwn a ddysgir yn tueddu i ddwyn gwarth i'w ddysgawdwr.

‖‖ Mae gwneuthur cyfiawnder, nid mewn rhan, ond yn ol gair Duw, yn brawf o adgenedliad.

§§ Yn llythyrenol, A roddodd y Tad i ni.

¶¶ Nid "meibion," gan y cynnwys y gair ferched hefyd.

*** "Am hyn," a gyfeiria at yr hyn a ganlyn, sef, "am nad adwaenodd Ef.'

††† Mewn purdeb a dedwyddwch; ond purdeb yma, gan mai hyn yw'r peth mewn llaw: adn. 3.

‡‡‡ Neu, glanhâ ei hun, megys ag y mae Efe yn lân

4. **Pob un a wna bechod, a drosedda hefyd y ddeddf; oblegid**
5. **pechod, trosedd o'r ddeddf ydyw:* a gwyddoch iddo Ef ymddangos,**
6. **fel y cymerai ymaith ein pechodau;† ac ynddo nid oes bechod. Pob**
**un a erys ynddo, ni phecha;‡ pob un a becha, nis gwelodd Ef, ac**
**nis adwaenodd Ef chwaith.**
7. **Blant anwyl! na thwylled neb chwi: yr hwn a wna gyfiawnder‖**
8. **cyfiawn yw, megys ag y mae Efe yn gyfiawn. Yr hwn a wna**
**bechod, o ddiafol y mae; o herwydd pecha y diafol o'r dechreu: er**
**mwyn hyn yr ymddangosodd Mab Duw, sef, fel y dattodai§ weith-**
9. **redoedd y diafol. Pob un a aned o Dduw, ni wna bechod, oblegid**
**ei hâd a erys ynddo: ac nis gall bechu, oblegid ganwyd ef o Dduw.**
10. **Wrth hyn y mae yn amlwg blant Duw a phlant y diafol—y neb ni**
**wna gyfiawnder, nid yw o Dduw, na'r hwn ni châr ei frawd:**
11. **oblegid hon yw y genadwri a glywsom o'r dechreu, bod i ni garu**
12. **ein gilydd; nid fel Cain, *yr hwn* oedd o'r un drwg, ac a laddodd ei**
**frawd. A phaham y lladdodd ef? am fod ei weithredoedd yn ddrwg,**
**ac eiddo ei frawd yn gyfiawn.**
13, 14. **Na ryfeddwch, fy mrodyr, os casâ y byd chwi:¶ ni a wyddom ein**
**symud o farwolaeth i fywyd am y carwn y brodyr; yr hwn ni châr**
15. **ei frawd, a erys yn marwolaeth. Pob un a gasâo ei frawd, dyn-**
**leiddiad** yw; a gwyddoch nad oes gan ddynleiddiad fywyd tragy-**
**wyddol yn aros ynddo.**
16. **Wrth hyn yr adwaenwn gariad,†† oblegid rhoddodd Efe ei**
**fywyd drosom; a dylem ninnau roddi ein bywydau dros y brodyr.**
17. **Ond yr hwn sydd ganddo ddâ bydol, ac a welo ei frawd mewn eis-**
**ieu, ac a gauo ei ymysgaroedd rhagddo, podd yr erys ynddo gariad**
**Duw?‡‡**
18. **Fy mhlant anwyl! na charwn ar air nac ar dafod *yn unig*, ond**
19. ***hefyd* mewn gweithred a gwirionedd;‖‖ ac wrth hyn§§ y gwyddom ein**
**bod o'r gwirionedd, ac y gwnawn ein calonau yn hyderus ger ei**
20. **fron: oblegid os cyhudda ni ein calon,¶¶ eto mwy yw Duw na'n**
21. **calon, a gŵyr bob peth. Anwyliaid, os ni chyhudda ni ein calon,**
22. **y mae genym hyder tuag at Dduw; a pheth bynag a ofynom, a**

* Yn llythyrenol, a wna hefyd anneddfiad; oblegid pechod, annedfiad yw: ond gwell canlyn y Saesoneg yma, gan ei fod yn fwy eglur. Gwneyd pechod yw bod yn was iddo. Gwel Ioan viii. 34.

† Trwy eu maddeu, a thrwy ein glanhâu oddiwrth eu halogiad.

‡ Ni rodia mewn pechod, gan ei wasanaethu fel meistr. Pechu, a gwneyd pechod, yw, yn ol ystyr yr apostol, bod yn was i bechod. Ni phecha fel hyn neb a aned o Dduw, er nas gallant ddywedyd nad oes bechod ynddynt. Pen. i. 8, 9.

‖ Gwedi dywedyd am wneyd pechod, dywed yn awr am wneyd cyfiawnder, gan osod i lawr, yn ol ei arfer, y ddwy ochr.

§ Neu, diddymai.

¶ Y byd yma yw dynion annuwiol y byd.

** Dyma yn llythyrenol y gair. Gellir ei gyfieithu, "llofrudd." Mae casâu brawd, yn ngolwg Duw, yn llofruddiaeth.

†† Felly y mae y lle; nid cariad Duw a feddylir, ond cariad Crist, o herwydd dywedir iddo roddi ei fywyd drosom. A'r "Efe" yma a gyfeiria at "Fab Duw," yn adn. 8.

‡‡ Sef, cariad at Dduw; cariad, gwrthddrych yr hwn yw Duw. Am hyny y canlyn, "Na charwn," &c.

‖‖ Yn ol y drefn gyffredin, cyferbynir "gweithred" y "tafod," a "gwirionedd" y "gair." Rhaid gwirioneddu y gair, a gweithredu yn ol yr hyn a lefara y tafod.

§§ Sef, trwy garu mewn gweithred a gwirionedd.

¶¶ Sef, nad ydym yn caru ein gilydd.

dderbyniwn ganddo, am y cadwn ei orchymynion a gwnawn yr hyn
23. sydd foddhäol* yn ei olwg. A hwn yw ei orchymyn, gredu o
honom yn enw ei Fab Ef Iesu Grist, a charu ein gilydd, fel y
24. rhoddodd orchymyn i ni. A'r hwn a geidw ei orchymynion,† a erys
ynddo Ef, ac Efe ynddo yntau: a thrwy hyn y gwyddom yr erys
ynom, *sef*, trwy'r Ysbryd a roddodd i ni.‡



PEN. IV.

1. Anwyliaid, na chredwch bob ysbryd,|| ond profwch yr ysbrydion,
pa un ai ydynt o Dduw; oblegid gaubrophwydi lawer a aethant
2. allan i'r byd. Wrth hyn yr adnabyddwch yr ysbryd sydd o
Dduw—Pob ysbryd yr hwn a gyfaddef ddyfod Iesu Grist yn y
3. cnawd, oddiwrth Dduw y mae; a phob ysbryd yr hwn ni chyfaddef
ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, nid yw oddiwrth Dduw; a hwn,
eiddo'r Gwrthgrist yw, yr hwn y clywsoch am dano y deuai, ac yn
awr yn y byd y mae eisoes.
4. Chwi, blant anwyl, o Dduw yr ydych, a gorchfygasoch hwynt;
5. oblegid mwy yw'r hwn sydd ynoch na'r hwn sydd yn y byd. Hwy
o'r byd y maent; am hyny yn ol y byd§ y llefarant, a'r byd a
6. wrendy arnynt. Nyni o Dduw yr ydym; yr hwn a adwaen Dduw
a wrendy arnom; yr hwn nid yw o Dduw ni wrendy arnom: wrth
hyn yr adwaenwn ysbryd y gwirionedd ac ysbryd y cyfeiliorni.¶
7. Anwyliaid, carwn ein gilydd; oblegid cariad, o Dduw y mae; a
phob un ag sydd yn caru, o Dduw y ganwyd ef, ac adwaen Dduw.
8. Yr hwn nid yw yn caru,** nid adwaen Dduw; oblegid Duw, cariad
9. yw. Yn hyn yr amlygwyd cariad Duw tuag atom, o herwydd dan-
fon o Dduw ei uniganedig Fab i'r byd, fel y byddem byw trwyddo.
10. Yn hyn y mae cariad, nid am i ni garu Duw, ond am iddo Ef ein
11. caru ni,†† a danfon ei Fab i fod yn Iawn dros ein pechodau. An-
wyliaid, os felly y carodd Duw ni, dylem ninnau hefyd garu ein
12. gilydd. Ni welodd neb Dduw un amser: os carwn ein gilydd,
13. erys Duw ynom, a pherffeithiwyd ynom ei gariad.‡‡ Wrth hyn y
gwyddom yr aroswn ynddo Ef, ac Efe ynom ni, o herwydd rhoddi
o hono i ni o'i Ysbryd.||||
14. A gwelsom ni a thystiolaethwn, ddanfon o'r Tad y Mab i *fod* yn
15. Iachawdwr i'r byd. Pwy bynag a gyfaddef mai Iesu yw Mab

* Neu, yn gymeradwy.

† Sef, credu yn Nghrist, a charu ein gilydd.

‡ Gwel Rhuf. viii. 15, 16. Drwy'r Ysbryd y llefwn, Abba Dad, a thrwy ei dystiolaeth y gwybyddwn ein bod yn blant Duw.

|| Defnyddia "ysbryd" am yr hwn a honai fod ganddo yr ysbryd, pa un ai yn gywir neu yn anghywir: unrhyw ddysgawdwr a feddylir. Arferir "ysbryd" yma yn y cyfryw fodd a "bywyd," yn lle Awdwr neu Roddwr bywyd, yn pen. i. 2.

§ Nid "am y byd," ond yn ol egwyddorion a syniadau, ac ysbryd y byd, o herwydd dywed am ddysgawdwyr gau, a drinient bethau crefyddol.

¶ Sef, dysgawdwr y gwir, a dysgawdwr yr anwir.

** Hyny yw, y brodyr.

†† Dywed yn awr am gariad y Tad; dywedodd yn pen. iii. 16 am gariad y Mab.

‡‡ Trwy ei fod ynom yn wirioneddol. Gwir fodolaeth cariad a feddylir, nid ei berffeithder.

|||| Yr hwn sydd Ysbryd cariad. Trwy feddu cariad, meddiannwn brawf fod Duw yn aros ynom.

16. Duw,* erys Duw ynddo ef, ac efe yn Nuw. Adwaenasom ni hefyd
a chredasom y cariad sydd gan Dduw tuag atom: Duw, cariad yw;
a'r hwn a erys mewn cariad a erys yn Nuw, a Duw ynddo ef.
17. Trwy hyn† y perffeithiwyd cariad ynom, fel y byddo genym
hyder yn nydd y farn, o herwydd megys ag y mae Efe yr ydym ni
18. hefyd yn y byd hwn.‡ Nid oes ofn|| mewn cariad; ond perffaith
gariad, tafl allan ofn; a'r hwn sy'n ofni, ni pherffeithiwyd ef mewn
19. cariad. Carwn ni Ef, am iddo Ef yn gyntaf ein caru ni.
20. Os dywed neb, "Yr wyf yn caru Duw," ac yn casâu ei frawd, aneir-
wir yw; canys yr hwn ni charo ei frawd yr hwn a wêl, podd y
21. dichon garu Duw yr hwn ni wêl? a'r gorchymyn hwn a gawsom
ganddo, fod i'r hwn a garo Dduw garu ei frawd hefyd.

PEN. V.

1. Pwy bynag sydd yn credu mai Iesu yw Crist, o Dduw y ganwyd
ef; a phwy bynag a garo y cenedlydd,§ a gâr hefyd yr hwn a genedl-
2. wyd ganddo. Wrth hyn y gwyddom y carwn blant Duw, pan y
3. carom Dduw, ac y cadwom ei orchymynion; oblegid hyn yw cariad
Duw, bod i ni gadw ei orchymynion; a'i orchymynion nid ydynt
4. drymion: oblegid pwy bynag a anwyd o Dduw a orchfyga'r byd;
5. a hon yw'r oruchafiaeth¶ a orchfyga'r byd, *sef* ein ffydd. Pwy yw
yr hwn a orchfyga'r byd, onid yr hwn sydd yn credu mai Iesu yw
Mab Duw?
6. Hwn yw Efe a ddaeth trwy ddwfr a gwaed, sef Iesu Grist; nid
gyda dwfr yn unig, ond gyda dwfr a gwaed: yr Ysbryd hefyd a
7. dystiolaetha; oblegid yr Ysbryd, gwirionedd yw.** Oblegid tri a
dystiolaethant [yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glân; a'r tri
8. hyn, un ydynt.†† A thri a dystiolaethant ar y ddaear,] yr Ysbryd,
y dwfr, a'r gwaed; a'r tri, yn un y maent.‡‡
9. Os tystiolaeth dynion a dderbyniwn, tystiolaeth Duw, mwy
ydyw:|||| oblegid hon yw tystiolaeth Duw a dystiolaethodd am ei
10. Fab (yr hwn sy'n credu yn Mab Duw, y mae ganddo y dystiolaeth
ynddo ei hun;§§ yr hwn nid yw yn credu Duw, gwnaeth Ef yn

* Neu, "mai Mab Duw yw Iesu." Yr ystyr yw, mai Efe yw unig Fab Duw. Gwel adn. 9.

† Sef, trwy ein bod ni yn aros yn Nuw, a Duw ynom ni.

‡ Y cyffelybrwydd sydd o ran cariad. Cariad yw Duw, ac os adwaenom Ef, cariad mewn rhan ydym ninnau.

|| Ofn barn a feddylir, canys dywed yn flaenorol am hyder yn nydd y farn. Ofn y gosb ydyw hwn, ac nid ofn mabaidd, nac ofn parchus, nac ofn gwyliadwrus, y rhai ydynt oll yn cydfyw â chariad.

§ Y cenedlydd yw Duw, a'r hwn a genedlwyd yw brawd yn y ffydd. Gwelwn yma y pethau ydynt ynglŷn â chredu mai Iesu yw Crist, yr hyn a wadai y gauathrawon,—aileni, caru'r brodyr, caru Duw, cadw ei orchymynion, a gorchfygu'r byd.

¶ Yn lle yr hyn sydd yn rhoddi'r oruchafiaeth, megys bywyd yn lle awdwr bywyd.

** Yr oedd dan yr hen oruchwyliaeth ddwfr i lanhâu, a gwaed yn aberth dros bechod. Cyferbyniol i hyn yw'r bendithion a ddwg yr Iesu. Rhoddodd ei waed yn Iawn dros bechod, ac er glanhâu oddiwrth bob anwiredd. Tystiolaeth yr Ysbryd yw ei waith adgenedlol a sancteiddiol, a thrwy ei wyrthiau yn cadarnhâu y gwirionedd.

†† Gwel Attodiad E.

‡‡ Sef, yn eu tystiolaeth.

|||| O ran ei chadernid a'i diammheurwydd.

§§ Nid yw yn derbyn y dystiolaeth yn aneffeithiol, ond gwna y credadyn yn feddiannol o'r bywyd y tystiolaethir am dano Tystiolaeth yma a arwydda yr hyn y tystiolaethir am dano, sef bywyd. Gwel adn. 12.

aneirwir, am na chredodd y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am
11. ei Fab,) ïe, hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragy-
12. wyddol, a bod y bywyd hwn yn ei Fab. Yr hwn sydd ganddo y
Mab, y mae bywyd ganddo: yr hwn nid oes ganddo y Mab, nid oes
ganddo fywyd.
13. Y pethau hyn a ysgrifenais atoch chwi a gredwch yn enw Mab
Duw, fel y gwybyddoch fod genych fywyd tragywyddol, ac fel y
14. credoch yn enw Mab Duw.* A'r hyfder hwn sydd genym ynddo,
15. y gwrendy ni, os gofynwn ddim yn ol ei ewyllys: ac os gwyddom
y gwrendy ni am yr hyn a ofynom, gwyddom y cawn y gofynion a
ofynwn ganddo.
16. Os cenfydd neb ei frawd yn pechu pechod nad yw i farwolaeth,
gofyned; a rhydd erddo fywyd i'r rhai na phechant i farwolaeth: y
mae pechod i farwolaeth; nid hwn y dywedaf am iddo geisio am
17. dano.† Pob anghyfiawnder, pechod yw; ac y mae pechod nad yw
i farwolaeth.
18. Gwyddom na phecha‡ y neb a anwyd o Dduw; ond yr hwn a
anwyd o Dduw, ceidw ei hun; a'r un drwg|| ni chyffwrdd âg ef.
19. Gwyddom ein bod o Dduw, a bod yr holl fyd yn gorwedd yn yr un
20. drwg.§ Gwyddom hefyd ddyfod o Fab Duw, a rhoddi i ni wybod-
aeth,¶ fel yr adwaenem yr Hwn sydd wir; ac yr ydym yn yr Hwn
sydd wir** *ac* yn ei Fab Iesu Grist: Hwn yw y gwir Dduw a'r
21. bywyd tragywyddol. Blant anwyl! ymgedwch rhag eilunod.
Amen.

## AIL EPISTOL IOAN—AT BENDEFIGES.

1. Yr henuriad at bendefiges etholedig†† a'i phlant y rhai a garaf am
y gwirionedd;‡‡ ac nid myfi yn unig, ond pawb hefyd a adwaenant
2. y gwirionedd, o herwydd y gwirionedd a erys ynom, ac a fydd gyda
3. ni yn dragywydd,—bydded gyda chwi rad, trugaredd, a heddwch,
oddiwrth Dduw Dad ac oddiwrth yr Arglwydd Iesu Grist, Mab y
Tad mewn gwirionedd a chariad.||||
4. Llawenhëais yn fawr o herwydd y cefais o'th blant§§ yn rhodio
yn y gwirionedd,¶¶ megys ag y derbyniasom orchymyn gan y Tad.
5. Ac yn awr erfyniaf arnat ti, bendefiges,—nid fel yn ysgrifenu atat
orchymyn newydd, ond yr hwn a fu genym o'r dechreu,—garu o

* Yn fwy cyflawn, yn fwy dïysgog. Rhaid i ffydd gynnyddu tra fyddom byw.

† Llwyr wrthgiliad yn debygol oedd y pechod hwn, yr hwn y dywed Paul am dano yn Heb. x. 26, 27.

‡ Sef, y pechod i farwolaeth.

|| Y diafol, arweinydd i bob pechod, yn enwedig i wrthgiliad.

§ Gorwedd yn yr un drwg, yw bod tan ei lywodraeth a'i dywysiad.

¶ Neu ddealltwriaeth.

** Yn wir Dduw. Gwel Ioan xvii. 3. Geilw ef yn wir Dduw mewn gwrthwyneb i eilunod.

†† Felly y gelwir credinwyr, 1 Pedr i. 1. Gwel Attodiad F.

‡‡ Sef, am y gwirionedd ag oedd ynddynt; ac hefyd "o herwydd" y gwirionedd a arosai yn yr apostol ac eraill. Gwirionedd o'r ddau du oedd yn eu clymu mewn cariad at eu gilydd.

|||| Yr oedd yn Fab "mewn gwirionedd," yn wirioneddol, yn sylweddol, ac mewn "cariad," gan ei gelwir yn Anwylyd y Tad. Mab gwir ac anwyl y Tad ydyw.

§§ Cyfeiria at *rai* o honynt, sef y rhai a welodd, neu fe allai, nad oeddynt oll yn arddel y ffydd.

¶¶ Sef, yn ol y gwirionedd, gan addef a dilyn y gwirionedd.

6. honom ein gilydd. A hyn yw cariad, rhodio o honom yn ol ei
orchymynion. Hwn yw y gorchymyn, fel y clywsoch o'r dechreu,
rhodio o honoch ynddo.*
7. Oblegid daeth twyllwyr lawer i mewn i'r byd, y rhai ni
chyfaddefant ddyfod Iesu Grist yn y cnawd: hwn, y twyllwr yw a'r
8. Gwrthgrist. Gwyliwch eich hunain,† fel na chollom yr hyn a
wnaethom, ond y derbyniom lawn wobrwy.
9. Pwy bynag a drosedda ac na erys yn athrawiaeth Crist, nid yw
Duw ganddo: yr hwn a erys yn athrawiaeth Crist, y mae ganddo
10. ef y Tad a'r Mab hefyd. Os daw neb atoch, ac heb ddwyn yr
athrawiaeth hon, na dderbyniwch ef i dŷ, ac na ddywedwch wrtho,
11. "croesaw;" canys yr hwn a ddywed wrtho, "croesaw," cyfranoga
o'i weithredoedd drwg.
12. Gan fod genym lawer o bethau i'w hysgrifenu atoch, ni fwriadais
wneyd hyny ar bapur ac âg inc; ond gobeithiaf ddyfod atoch a
llefaru enau yn ngenau,‡ fel y byddo yn gyflawn ein llawenydd.
13. Anercha di blant dy chwaer etholedig. Amen.

## TRYDYDD EPISTOL IOAN—AT GAIUS.

1. Yr henuriad at yr anwyl Gaius, yr hwn a garaf am y gwirionedd.
2. Anwylyd, dymunaf i ti o ran pob peth lwyddo,‖ a bod mewn iechyd,
3. fel y llwydda dy enaid. Oblegid llawenhëais yn fawr, pan ddaeth
y brodyr a thystiolaethu am dy wirionedd,§ fel y gwnai di rodio yn
4. y gwirionedd. Mwy llawenydd na hyn nid oes genyf, sef clywed
fod fy mhlant yn rhodio yn y gwirionedd.¶
5. Anwylyd, ffyddlawn y gwnai yr hyn wyt yn wneyd tuag at y
6. brodyr a thuag at ddyeithriaid, y rhai a dystiolaethasant am dy
gariad gerbron yr eglwys; y rhai os eu hebrynger mewn modd
7. teilwng o Dduw, da y gwnai: canys er mwyn ei enw yr aethant
8. allan heb dderbyn dim gan y cenedloedd. Dylem ni gan hyny
dderbyn y cyfryw, fel y byddom yn gydweithredwyr o ran y gwir-
ionedd.**
9. Ysgrifenais at yr eglwys;†† ond ni dderbyn ni Diotrephes,‡‡ a
10. gâr flaenori arnynt: o herwydd hyn, pan ddelwyf, adgoffâf ei
weithredoedd a wna, gan ein goganu â geiriau enllibus;‖‖ ac heb
ymfoddloni ar hyny, ni dderbyn ei hun y brodyr, a'r rhai a ewyll-
ysiant a waharddd ac a dafl allan o'r eglwys.

* Sef cariad: un o'r gorchymynion pendant yw hwn.
† Rhag iddynt gael eu twyllo gan hudolwyr.
‡ Felly y geiriau yn llythyrenol, a chydweddant â'r hyn a arferir yn y Gymraeg.
‖ "O ran pob peth, &c.," hyny yw, tymmorol, neu o ran crefydd. Felly Doddridge, Macknight, ac eraill.
§ A wnai addef a'i broffesu.
¶ Yn yr addefiad a'r ymarferiad o hono.
** Yn y gwaith o ymledu y gwirionedd. Mae y rhai sydd yn derbyn ac yn cynnal gweinidogion y gair yn cydweithio â hwynt yn y gorchwyl o wneyd y gwirionedd yn hysbys i'r byd.
†† Ephesus, fel y tybir yn gyffredin.
‡‡ Ni wyddir dim am y dyn hwn, ond yr hyn a ddywedir yma. Yr oedd yn *flaengar*, fel yr arwydda y gair, yn hoffi bod yn flaenaf; ac, fel y mae y cyfryw bob amser, yr oedd yn athrodwr ac yn orthrymwr trahaus.
‖‖ Llythyrenol, drwg, sef i'w cymeriad, er eu hiselhâu a'u niweidio.

11. Anwylyd, na ddilyn ddrwg, ond y da; yr hwn a wna dda, o
Dduw y mae; ond yr hwn a wna ddrwg, ni welodd Dduw.
12. Tystiolaethir yn dda am Demetrius gan bawb, a chan y gwir-
ionedd ei hun;* a ni hefyd a dystiolaethwn, a gwyddoch mai gwir
yw ein tystiolaeth.
13. Yr oedd genyf lawer o bethau i'w hysgrifenu, ond ni chwennychaf
14. ysgrifenu atat âg inc a phin; ond gobeithiaf dy weled ar fyrder,
fel y llefarom enau yn ngenau.
15. Heddwch i ti. Anerch di y cyfeillion; anercha y cyfeillion wrth
eu henwau.

## EPISTOL CYFFREDINOL JUDAS.

1. Judas, gwas Iesu Grist, a brawd Iago, at y galwedigion a sanct-
2. eiddiwyd gan Dduw Dad ac a gadwyd gan Iesu Grist,†—trugaredd
i chwi, a heddwch, a chariad,‡ a lïosoger.
3. Anwyliaid, tra yn arferyd pob diwydrwydd i ysgrifenu am yr
iachawdwriaeth gyffredinol,|| tybiais yn anghenrheidiol ysgrifenu
atoch er eich annog i lwyr ymdrechu yn mhlaid y ffydd a draddod-
4. wyd unwaith i'r saint; canys daeth rhyw ddynion i mewn yn
lladradaidd, y rhai er cynt a ragdrefnwyd i'r farn hon,§ annuwiol-
ion, yn troi rhad ein Duw i drythyllwch,¶ ac yn gwadu yr unig
Lywiawdwr a'n Harglwydd Iesu Grist.**
5. Ewyllysiaf gan hyny eich hadgoffâu, er y gwyddech hyn
unwaith, ddarfod i'r Arglwydd, wedi gwaredu y bobl o wlad yr
6. Aipht, ddyfetha ar ol hyny y rhai ni chredasent. Yr angelion hefyd,
na chadwasent eu huwchafiaeth,†† ond a adawsent eu trigfod eu
hun, a gadwodd i farn y dydd mawr tan dywyllwch mewn cadwynau
7. parhâus. Megys Sodom a Gomorra a'r dinasoedd o'u hamgylch,
yn puteinio mewn gyffelyb fodd iddynt, ac yn myned ar ol cnawd
dyeithr, a osodwyd yn gynlluniad trwy ddyoddef barn o dân tragy-
8. gywyddol; yn yr un modd hefyd y *bydd* y breuddwydwyr hyn:‡‡ y
*rhai* a halogant y cnawd, ac a ddirmygant lywodraeth, ac a gablant
9. urddasau.|||| Ond Micael yr archangel,§§ pan yn ymddadleu â'r
Diafol, yr ymresymai ynghylch corff Moses, ni feiddiodd ddwyn

* Yr oedd llwyddiant y gwirionedd a addefai ac a gefnogai yn dwyn tystiolaeth iddo.

† Yr oeddynt yn alwedig trwy rad, wedi eu sancteiddio a'u hadgenedlu gan Dduw Dad trwy ei Ysbryd, a'u rhoi dan gadwraeth a nodded Iesu Grist, er eu diogelu rhag cael eu gorchfygu gan eu gelynion.

‡ Rhoddion Duw: trugaredd yw y ffynnon, heddwch a chariad y ffrydiau. Gan mai trugaredd Duw a feddylir, felly heddwch Duw a chariad Duw.

|| Nid yn neillduol i unrhyw genedl neu radd o ddynion. Tra yr oedd yn ymbarotöi i ysgrifenu am y gwirionedd yn gyffredin, gorfu arno gan amgylchiadau yr amser ysgrifenu fel y gwna yma.

§ O herwydd eu bod yn "annuwiolion."

¶ Neu, anlladrwydd.

** Gwel Attodiad F.

†† Felly yn ddïau yw ystyr y gair, yn hytrach na "dechreuad."

‡‡ Sef, yn gynlluniad o ddïaledd Dwyfol. Nid annhebyg yw fod y rhai hyn yn hòni y gwelent freuddwydion fel y prophwydi gynt. A thrwy hyn y twyllent ddynion.

|||| Halogent y cnawd fel y Sodomiaid trwy drythyllwch annaturiol; dirmygent lywodraeth fel yr angelion syrthiedig; a chablent urddasau fel yr Israeliaid yn yr anialwch.

§§ Cyfeiria at draddodiad ymysg yr Iuddewon. Nid peth credadwy yn gyffredin yw traddodiad; ond gall fod *rhai* traddodiadau yn wir.

**barn gableddus yn ei erbyn, ond dywedodd, Ceryddod yr Arglwydd**
10. di: ond y rhai'n, cablant y pethau nis gwyddant am danynt; a'r
pethau a wyddant yn anianol, fel milod direswm, y pethau hyn
ymlygrant ynddynt.*
11. Gwae iddynt! oblegid yn ffordd Cain y cerddasant, ac ymruthr-
asant i hudoliaeth gwobrwy Balaam, ac a ddyfethwyd trwy wrth-
ryfel Core.†
12. Y rhai'n, mànau ydynt yn eich cariadwleddoedd, yn cyd-
wledda â chwi, yn porthi eu hunain yn ddïofn; cymylau diddwfr
ydynt, a gylcharweinir gan wyntoedd; prenau Hydref heb ffrwyth,
13. yn farw ddwywaith,‡ wedi eu diwreiddio; tònau cynddeiriog y môr,
yn ewynu allan eu gwarth eu hunain; sêr gwibiog, y rhai y cedwir
iddynt gaddug y tywyllwch yn dragywydd.
14. Prophwydodd Enoc hefyd,|| y seithfed o Adda, am y rhai'n, gan
ddywedyd,—"Wele, daw yr Arglwydd gyda myrddiwn o'i saint,
15. i roddi barn ar bawb, ïe, i gyhuddo yr holl annuwiolion yn eu plith
o holl weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai yn annuwiol a wnaeth-
ant, ac o'r holl bethau caled a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn
ei erbyn."§
16. Y rhai'n ydynt rwgnachwyr,¶ tuchanwyr,** yn rhodio yn ol
eu chwantau eu hunain; a llefara eu genau bethau chwyddedig,††
17. gan fawrygu dynion er mwyn elw!‡‡ Ond chwi, anwyliaid, cofiwch
y geiriau a ragdraethwyd gan apostolion ein Harglwydd Iesu Grist:
18. oblegid dywedasant wrthych, y bydd yn yr amser diweddaf watwar-
19. wyr yn rhodio yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain. Y rhai'n
ydynt hwy a barant ymraniadau,|||| gan fod yr anianol,§§ heb fod
20. ganddynt yr Ysbryd. Ond chwi, anwyliaid, gan adeiladu eich
hunain¶¶ ar eich ffydd sancteiddiaf,*** *a* gweddïo trwy'r Ysbryd
21. Glân, cedwch eich hunain yn nghariad Duw,††† gan ddysgwyl am
22. drugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol. A rhai
23. yn wir trugarhêwch wrthynt, gan wneuthur gwahaniaeth; ond
achubwch eraill mewn ofn,‡‡‡ trwy eu cipio allan o'r tân, gan gasâu
hyd yn nôd y wisg a halogwyd gan y cnawd.
24. Yn awr, yr Hwn a ddichon eich cadw heb syrthio, a'ch gosod

* Canlynent reddf anian, fel anifeiliaid, ac nid deall â synwyr fel dynion.

† Lladdent trwy auathrawiaeth eneidiau, fel y lladdodd Cain ei frawd; ymruthrent i hudo dynion i anlladrwydd fel yr hudai Balaam yr Israeliaid trwy wobrwy, Num. xxxi. 16; a dyfethid hwynt trwy wrthryfel tebyg i eiddo Core. Dywed "dyfethwyd," yn lle dyfethir, i ddangos sicrwydd eu dinystr, yn ol arfer y prophwyd.

‡ Ymadrodd diarebol, yn dangos eu bod yn hollol farw, neu fe allai yr ystyr yw, eu bod yn farw pan oeddynt yn Iuddewon, ac hefyd wedi dyfod yn Gristionogion

|| Gwel Attodiad H.

§ Enwa y peth mwyaf a diweddaf yn gyntaf, sef "rhoddi barn ar bawb;" yna dywed am bethau blaenorol, sef, "cyhuddo." Dyma'r drefn a arferir yn aml yn yr Ysgrythyr.

¶ Yn erbyn eraill.

** O herwydd eu tynghed, yn anfoddlawn i'w sefyllfa.

†† Yn ymffrostgar, yn llawn balchder a mympwy.

‡‡ Sef, er cael eu harian i borthi eu chwantau, a byw mewn rhwysg a rhodres.

|||| Gwel Attodiad I.

§§ Tan ddylanwad eu hanian lygredig.

¶¶ Neu, eich gilydd.

*** Ffydd yma yw yr hyn a gredir, sef y gwirionedd.

††† Trwy adeiladu ar y gwir a gweddïo trwy'r Ysbryd.

‡‡‡ Rhag cael eu niweidio ganddynt, gan fod perygl wrth gipio unpeth o'r tân. Mae casâu y wisg yn dynodi yr un peth.

25. ger bron ei ogoniant yn ddifrycheu mewn gorfoledd, yr unig ddoeth Dduw, ein Iachawdwr, iddo ef y bo'r gogoniant a'r mawredd, y gallu a'r oruchafiaeth, y pryd hwn, a thrwy bob oesoedd. Amen.

## ATTODIAD.

### A. Tu dal. 337.

1 Ioan i. 9. Gosodir yr adnod hon yn ol y drefn a ganfyddir yn aml yn y Salmau a'r Prophwydi:

Ffyddlawn ydyw,
A chyfiawn,
I faddeu i ni ein pechodau,
Ac i'n glanhâu oddiwrth bob anwiredd.

Y cysylltiad sydd rhwng y llinell gyntaf a'r olaf, a rhwng yr ail a'r drydedd. Ac yna yn y ddegfed adnod, y cyfeiriad sydd at lanhâd, y peth diweddaf yn yr adnod flaenorol; ac yn yr adnod gyntaf o'r ail bennod, at faddeuant, o herwydd dywedir am yr Iawn.

### B. Tu dal. 338.

ii. 12—16. Geilw ei holl frodyr Cristionogol, fel yn yr adnod gyntaf, yn "anwyl blant;" yna dosbartha hwynt i "dadau," "ieuainc," a "babanod," er dynodi eu hoedran mewn crefydd. Wedi hyn ailadrodd yr un peth ynghylch y "tadau" a'r "ieuainc," heb nodi y "babanod." Yr achos nid yw yn amlwg, oddieithr nad oeddent mewn cymaint perygl a'r tadau a'r ieuainc o garu'r byd. Yr hyn a ysgrifenai atynt oll oedd, "Na cherwch y byd, &c.;" a hyny o herwydd yr amrywiol bethau a ddywed am danynt. Yr hyn a gawsent *oll* oedd maddeuant o'u pechodau er mwyn enw'r Iachawdwr. Y peth neillduol o ran y tadau oedd iddynt ei adnabod dros hir amser, "o'r dechreu;" o ran yr ieuainc, iddynt orchfygu yr un drwg trwy orchest mawr; ac o ran y babanod, iddynt gael adnabod Duw fel Tad.

### C. Tu dal. 339.

ii. 18. "Gwrthgrist;" nid Anghrist, sef un heb Grist, ond un yn gwrthwynebu Crist. Cyfeiria at un yn neillduol, ond dywed fod llawer o honynt. Yr oedd *y* Gwrthgrist i ddyfod, ond rhagflaenid ef gan lawer o'r un duedd a bwriad.

### D. Tu dal. 339.

ii. 20. "Eneiniad:" geilw felly addysg a llewyrchiad yr Ysbryd; o herwydd eneinid gynt offeiriaid a breninoedd, er dangos eu bod wedi eu cymhwyso i'w swyddi. Gwybod y gwirionedd oedd effaith yr eneiniad, ac nid meddiant o radau gwyrthiol. Nid mwynhâd o weinidogaeth apostolaidd a gadwai ddynion rhag cyfeiliorni, ond eneiniad yr Ysbryd. Yr un yw'r diogelwch eto.

### E. Tu dal. 342.

v. 7. Ni thybir gan lawer fod y rhan o fewn y cromfachau yn gynwynol, ond chwanegiad oesoedd diweddarach. Bu llawer o ddadleu

ynghylch y rhan hon; ond pwys y dystiolaeth sydd yn ei herbyn. Ni cheir y geiriau mewn un o gopïau cynnar Groeg, nac mewn amryw o'r rhai Lladin. A phe cyfrifid hwynt yn gynwynol, ni chadarnhäent undod y Drindod, gan mai un dystiolaeth a feddylir, yn ol yr hyn a ofyn amgylchiadau y lle. Felly y barnai Calvin ac amryw feirniaid cywirgred eraill.

Rheda athrawiaeth y Drindod trwy yr holl Fibl, ac nid oes anghen o'r lle hwn i'w chadarnhâu; a chan fod seiliau i ammheu ei gynwyniad, nid doeth yw dadleu yn ei gylch.

## F. Tu dal. 343.

2 Ioan 1. "Bendefiges," nid yw yn ei henwi. Geilw hi yn "etholedig," gan y proffesai y wir grefydd. Pendefiges yn credu'r efengyl oedd.—"Am," neu, o herwydd "y gwirionedd." Dynoda ἐν, am, yn aml. Gwel Matth. viii. 7.

## G. Tu dal. 345.

Judas 4. "Yr unig Lywiawdwr." Ni thybir y gair "Duw" yn berthynol i'r lle. Ni cheir ef yn y copïau goreu. Arfer Judas, megys Pedr (2 Pedr ii. 1), y gair "Llywiawdwr," a dynoda un yn meddu llawn allu i lywodraethu. Y gallu hwn a wadai y gauathrawon. Addefent rad Duw, ond tröent ef i benrhyddid; ac felly mewn effaith diarddelent Grist fel llywydd penadurol. Crist yw yr unig Lywiawdwr, gan ei osod felly gan y Tad. Rhoddwyd iddo bob gallu yn y nef ac ar y ddaear. Matth. xi. 27; xxviii. 18.

## H. Tu dal. 346.

Adn. 14. "Enoc." Tebyg mai traddodiad oedd y brophwydoliaeth hon. Cyhoeddwyd "Llyfr Enoc" ychydig flynyddau yn ol; ond ffugwaith yn ddïau ydyw, a ysgrifenwyd gwedi amser Judas, ond a achlysurwyd, fel y mae yn debyg, gan yr hyn a ddywedir yma.

## I. Tu dal. 346.

19. "A barant ymraniadau." Nid "didoli" a arwydda y gair, ac nid yw "eu hunain" yn gynenid. Nid gwir eu bod yn didoli eu hunain, gan y cydwleddant â'r brodyr. Nid ymneillduo yr oeddynt, ond yn peri anghydfod, fel y rhai y dywed Paul am danynt yn Rhuf. xvi. 17.

[Er mwyn cywiro camgymeriad sydd yn ffynu mewn rhai cylchoedd, tybiwn mai priodol yw i ni wneyd yn hysbys mai awdwr y cyfieithiad o'r Epistolau Cyffredinol, a'r Nodiadau Eglurhäol, yw y Parch. John Owen, M.A., Thrussington, cyfieithydd Calvin ar y Rhufeiniaid i'r Saesoneg, awdwr cyfieithiad newydd i'r Gymraeg o'r Epistol at y Rhufeiniaid, a'r hwn a anfonodd gyfieithiad newydd o rai o lyfrau yr Hen Destament i gyfrolau blaenorol o'r TRAETHODYDD. Da genym weled profion o barhâd ireidd-dra meddwl Mr. Owen, pan y mae ar gyffiniau y dyddiau blin, a'i fod yn llafurio yn yr hen Gymraeg er yn byw ymhell yn Lloegr; ac er, mae yn ddilys, y coleddir gwahanol farnau ynghylch rhagoriaethau neu ddiffygion y cyfieithiad newydd hwn o'r Epistolau, rhaid addef yn gyffredinol y bydd yn fantais chwanegol i Gymro ddeall y rhanau hyn o'r Ysgrythyr, wedi y cymharo y naill gyfieithiad â'r llall.]

# HUNANADDYSGIANT.

Gellir edrych ar ddyn yn ddeiliad tair gradd o addysg: addysg ei rieni —addysg yr ysgolfeistr—a'i addysgiad ei hun. Y mae gan bob un o'r rhai hyn eu gwaith neillduol arno; ac y mae cyflawniad priodol y naill yn gynnorthwy i gyflawniad y llall. Mae y ddau flaenaf yn barotöad i'r olaf, ac mae yr olaf yn berffeithiad y rhai cyntaf. Ein hamcan yn bresennol yw sylwi ar hunanaddysgiant.

Beth a gynnwysir mewn hunanaddysgiant?

Y meddwl sydd ynglŷn â'r gair ydyw—dyn yn dysgu ei hun, yn annibynol ar hyfforddiad a chymhorth personol arall. Fel rhan o hunanaddysgiant; gellir nodi,—

*Hunanadnabyddiaeth.* Dyma y wers gyntaf. Mae yn anmhosibl i ddyn ddysgu ei hun heb wybod yn gyntaf ymha bethau y mae arno eisieu ei ddysgu: dysgu adnabod ei golliadau, ei alluoedd, a'i ddyledswyddau. Y mae y llygredd sydd ynglŷn â dyn yn gwneyd ei galon fel anialwch dyrys, fel mae ei adnabod ei hun yn orchwyl anhawdd iddo. "Y galon sydd fwy ei thwyll na dim; drwg ddiobaith ydyw; pwy a'i hedwyn?" Y mae yn wir fod dyfnder drygioni y galon uwchlaw gallu pawb ond Chwiliwr y calonau i'w amgyffred; ond os nad all dyn ei hun wybod mawredd ei lygredd, gall wybod i raddau pell ei wahanol agweddau. Gall wybod y niwed y mae pechod wedi ei wneyd i'w holl gynneddfau; gall wybod pa bechod sydd barod i'w amgylchu; a gall wybod ymha bethau y dylai wella a rhagori. Gall wybod bychander ei ddeall, tlodi ac oferedd ei feddwl, llygredd ei chwaeth, a gwendid ei gof; mewn gair, gall wybod pa fath un ydyw yn yr oll a berthyn iddo. Ond a ydyw y cyffredin o ddynion yn adnabod eu hunain? Nac ydynt yn ddïau. Cyfarfyddir â llawer amgylchiad a brofant hyn. Nid peth anghyffredin ydyw clywed dyn yn darostwng rhai o'i gymydogion am y drwg hwn neu arall, pryd mewn gwirionedd ei fod ef ei hun yn gynddrwg â hwy yn yr hyn a gondemnia. Ped adnabyddai ei hun, ymdrechai i ddiwygio ei hun yn hytrach na dannod pethau am eraill ag y mae yntau yn euog o honynt. Y mae hyn hefyd yn un achos fod cynifer o ddynion mor fychan eu gwybodaeth, ac mor ddiymdrech i ddiwyllio eu hunain. Tybiant eu bod yn meddu digon o wybodaeth gyffredinol, a'u bod yn deall pobpeth y deuant i gyffyrddiad âg ef, pryd na wyddant ddim megys y dylent wybod. Y mae diffyg hunanadnabyddiaeth yn peri i ddyn bychain ymhob rhagoriaeth feddwl yn fawr o hono ei hun; ac felly nis gall fyned ar gynnydd mewn diwylliaeth meddyliol. Y mae graddau hunanaddysgiant yn ol graddau adnabyddiaeth dyn o hono ei hun; ac megys y dylai ddysgu ei hun trwy ei oes, felly hefyd dylai dreiddio iddo ei hun yn barhâus i wybod ei bwysau ymhob daioni. Mynwn ddysgu yn ymarferol briodoldeb yr hen wireb baganaidd—"Adnebydd dy hun," ac awdurdod uwch y cynghor apostolaidd—"Holwch eich hunain; ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain?"

*Darostwng y chwantau a'r nwydau.*—Dywedir yn y Bibl fod ynglŷn â'r

hen ddyn wŷniau a chwantau—"chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y bywyd." Y mae y dyn sydd yn adnabod ei hun yn gwybod pa rai ydynt y chwantau y mae efe yn fwyaf agored i syrthio iddynt, a'r gwyniau sydd gryfaf yn ei natur. Ystyria eu nhiwed, ac ymdrecha eu darostwng; nid yn unig ceidw hwy rhag tori allan yn y fuchedd, ond ceisia eu darostwng yn eu cyffröad yn y meddwl. Y mae y pwnc hwn yn un tra phwysig, ac yn neillduol felly i bobl ieuainc. "Chwantau ieuenctyd, ffô oddiwrthynt;" ac mewn cysylltiad â gwŷr ieuainc y dywedai Ioan am "chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y bywyd." Y mae yr ieuainc yn y perygl mwyaf o syrthio dan lywodraeth yr elfenau pechadurus a gynnwysir yn y tri dosbarth yma o bechodau. Y maent mewn perygl o syrthio dan ddylanwad diodydd meddwol, ysbryd cybydddod, rhyw uchelgais hunanol, anniweirdeb, a llygredigaethau o'r fath. Mae yn gynnwysedig mewn hunanaddysgiant ddarostwng y chwantau hyn yn eu hysgogiadau cyntaf. Y mae y neb a syrth yn ysglyfaeth iddynt yn rhoddi y prawf egluraf o ddiffyg hunanlywodraeth.

*Llywodraethu y dymher, a nawseiddio yr ysbryd.*—Un o nodau amlycaf llygredigaeth y galon ydyw tymher afrywiog ac ysbryd aflywodraethus. Er nad yw hyny i'w ganfod mor gryf ymhob dyn fel eu gilydd, ac o gymaint profedigaeth i'r naill ag ydyw i'r llall, eto, fe dybygid nad oes un dyn, yn ei sefyllfa anniwylliedig, nad yw yn ddarostyngedig i dymher gythryblus ar brydiau. Y mae dysgyblu y dymher, gan hyny, yn rhan arbenig o hunanaddysgiant. Y mae y dyn gwir addysgiedig a synwyrol yn ystyriol o drefn amgylchiadau cyffredin bywyd—gŵyr na cheir y melus heb y chwerw, ac y gall pethau ddyfod yn erbyn ei obaith; ac yn y cyfryw ymwybodolrwydd, pan ddaw awelon croesion—pethau a dueddant i gynhyrfu ei ysbryd, ennilla rheswm oruchafiaeth ar y dymher, a'r farn ar y teimlad. Yn gyffredin, rhai heb ddeall ac ystyried trefn dygwyddiadau bywyd, ac am eu dyledswyddau hwythau ymhob amgylchiad, ydynt y rhai mwyaf darostyngedig i dymher gyffröus. Heblaw fod hunanaddysgiant yn cynnwys rheolaeth ar yr ysbryd mewn cynhyrfiadau achlysurol, y mae hefyd yn llywodraethu y dymher sarug ac afrywiog y gallo dyn fod yn dueddol iddi yn wastadol. Gwelir ambell un o edrychiad angharuaidd, yn siarad yn swta, a'i eiriau fel brath cleddyf, a hyny agos bob amser, fel pe byddai pawb a phob peth yn y byd o'u lle ond ei hun. I ba beth bynag y byddo colliadau o'r fath yma i'w priodoli, dylai dyn mewn oed a synwyr adnabod ei hun ymhob peth, a diwyllio yr hyn sydd ddiffygiol ynddo. Dysgyblu y dymher a gynnyrcha sirioldeb gwedd heb ysgafnder a gwamalrwydd, geiriau boddus a synwyrol heb weniaeth ac oferedd; ac ysbryd tawel ac addfwyn heb lwfrdra a gwaseidd-dra. Y mae lleferydd Ysbrydoliaeth yn egluro tymher addas yn yr ymadroddion mynegiadol, "ysbryd addfwyn a llonydd," a "chalon hawddgar a da."

*Dyrchafu a choethi y chwaeth.*—Y mae "ysbryd y cyfeiliornad" yn darparu digon o ddefnydd boddhâd i'r meddwl llygredig yn gystal ag i'r llygad gwamal. Y mae dyn, ysywaeth, mewn mwy o fanteision i feithrin chwaeth isel nag o fanteision i'w gynnorthwyo i ddyrchafu ei chwaeth. Y mae y rhan fwyaf o'r ymddyddanion a fydd mewn tai, gweithdai, a gweithfëydd, a chyda gwahanol gyflawniadau bywyd, yn tueddu i lygru y chwaeth yn hytrach na'i phuro. Felly am y lliaws mwyaf o fân new-

yddiaduron a llyfrynau yn Lloegr, ac o rai, ysgwaetheroedd, yn Nghymru; y maent yn cynnwys cynnyrchion meddyliau llygredig ac isel, ac felly yn gydgordiol â chwaeth gyfatebol. Un o wersi penodol hunanaddysgiant ydyw gwylio y llygaid rhag edrych ar wagedd, a neillduo y clustiau rhag gogwyddo i wrandaw geiriau ffolineb. Chwilia am, ac ymhyfryda yn, yr hyn sydd foesol mewn egwyddor, synwyrol mewn ymddyddan, boneddigaidd o ran ymddangosiad, ac adeiladol o ran tuedd. Bydd yn hawdd gwybod o ba natur y bydd chwaeth dyn wrth ei ddilyn drwy wahanol gyfeillachau—wrth y pethau a foddia ei glust, ac a lefara ei dafod, ac wrth ei ddilyn i'w lyfrgell. Dylid bod gyda chwaeth y meddwl fel y byddys gydag archwaeth y corff—yn ofalus rhag bwyta gwenwyn, ac yn ymofyngar am yr ymborth iachusaf.

*Cryfhâu ac ëangu y cof.*—Y mae y cof ar y cyfan yn cyfateb i'r chwaeth. Y dyn sydd yn hoffi ymddyddanion ofer, a chwedlau isel, y cyfryw ymddyddanion a chwedlau a gofia. Yr un modd gellir dyweyd am ddyn a ymhyfryda glywed neu ddarllen gwirioneddau ysbrydol a buddiol, bydd cynnwysiad ei gof o'r pethau hyny yn ol ei chwaeth atynt. Eithr er i'r chwaeth fod yn oruchel, gall y cof fod yn eiddil ac anmherffaith oni chryfheïr ef. Beth bynag sydd yn werth ei ddarllen neu ei wrandaw, sydd yn llawn cymaint o werth i'w gofio. Nid yw yr hunanaddysgol am i un peth o werth syrthio i'r llwch os gall ef ei ddal. Megys y dymunai gael pob llyfr gwerthfawr i'w lyfrgell, felly y mae am gael cymaint a allo o'i lyfrgell i'w gof. Ei nôd ydyw, cadw yn ei gof bob peth da a glywo ac a ddarlleno.

*Meistroli y meddwl.*—Er fod hyn yn un o'r gwersi anhawddaf, y mae yn elfen anhebgorol mewn hunanaddysgiant. Yr hyn a olygwn wrth feistroli y meddwl ydyw ei gael dan awdurdod yn llwyr at y gwaith y bydd ei eisieu, a'i gadw gyda y gwaith hwnw nes ei gwblhâu. Pe byddid yn eistedd i lawr ar brydiau penodol i gyfansoddi traethawd neu ryw awdurwaith arall, meistroli y meddwl ydyw ei gael i ymosod yn llwyr ar y gorchwyl heb wibio at bethau eraill, pa mor dda bynag y dichon y pethau hyny fod yn eu hadeg briodol. Llywodraethu y meddwl hefyd ydyw ei gaethiwo heddyw rhag cyffwrdd â'r hyn nid yw gyfreithlawn hyd yfory—ei gadw y sabbath rhag rhedeg at amgylchiadau bywyd yn ystod yr wythnos—ei hoelio dan y bregeth wrth y bregeth; mewn gair, meddu awdurdod arno i fod yn wasanaethgar i wahanol ddybenion: y dyn yn feistr ar ei feddwl, ac nid y meddwl ar y dyn.

*Trysori gwybodaeth.*—Yr ydym yma yn fwyaf neillduol yn golygu gwybodaeth gyffredinol, ac nid gwybodaeth neillduol a chyfyngedig. Nis mynem ddyweyd gair yn erbyn i ddyn lafurio mwy gyda y wybodaeth fwyaf cydweddol â'i chwaeth a'i dalent na chyda gwybodaethau eraill. Os am hanesyddiaeth, llafuried gyda hyny; os am athroniaeth, gydag athroniaeth; os am seryddiaeth, gyda'r wybodaeth hono; neu ryw gangen fuddiol arall. Y mae gan ddynion duedd at wybodaethau neillduol yn gystal ag at alwedigaethau neillduol, a dylid rhoddi pob cefnogaeth i'r dalent fyned ymlaen yn ei llinell briodol ei hun. I ddynion wedi gweithio eu talentau neillduol allan yn y modd hwnw, yr ydys yn ddyledus am gyfryngau gwahanol wybodaethau mor ragorol a lliosog sydd yn ein cyrhaedd. Ond wrth ganmawl dyn am ymdrechu fwyaf gyda'r hyn a fyddo fwyaf cydweddol â'i duedd, nid ydys am iddo wneyd hyny

ar draul esgeuluso gwybodaethau eraill, y rhai y mae nid yn unig yn fuddiol eu gwybod, ond yn hollol anghenrheidiol. Y mae dyn yn sefyll mewn llïaws o gysylltiadau, yn ei berthynas â'r byd hwn a'r hwn a ddaw, ac fel y cyfryw dylai feddu gwybodaeth led ëang a chryno o'r cysylltiadau hyny. Fel deiliad o lywodraeth wladol neillduol, y mae o bwys iddo feddu gradd o wybodaeth am gyfansoddiad y llywodraeth—am ddull ei chynnrychioliad, ac am egwyddorion ei cynnrychiolwyr; am godiad y trethi, a'u treuliad. Dylai fod yn hyddysg yn ysgogiadau llywodraeth ei wlad a'i chysylltiadau â theyrnasoedd eraill. Dylai ddal sylw ar symudiadau naturiol a moesol gwahanol wledydd, a chraffu ar arwyddion yr amserau. Fel deiliad o wlad neillduol, dylai ymgeisio am wybodaeth o'i hanesiaeth ymhob cysylltiad. Fel un sydd yn byw ar y blaned ddaearol, buddiol fyddai iddo fod yn hyddysg yn ei deddfau a'i rhaniadau, ei gwledydd a'u hinsawdd, ac arferion a nodweddion gwahanol genedloedd. Mewn gair, dylai ymestyn at wybod gymaint ag a allo am bob peth sydd yn wasanaethgar iddo yn ei gysylltiad â'r byd a'r bywyd hwn. Yr ydym yn cyfrif crybwylliadau fel hyn yn hunanaddysgiant am fod miloedd yn amddifaid o'r holl wybodaethau hyn, ac am nad ellir eu gwybod heb i ddyn ei hun ddysgu hyny. Mewn ystyr foesol a chrefyddol eto, y mae ei rwymedigaeth i feddu gwybodaeth yn uwch a phwysicach. Fel y mae Cristionogaeth yn uwch, yn burach, a phwysicach na gwleidyddiaeth, daearyddiaeth, seryddiaeth, cerddoriaeth, ac athroniaeth, y mae meddu gwybodaeth o'i hathrawiaethau o gymaint a hyny yn fwy gwerthfawr a phwysig. Gan fod athrawiaethau yr efengyl yn dwyn perthynas uniongyrchol â dyn yn ei gysylltiad pwysicaf—ei gysylltiad â Duw, ac â'r byd arall—ei ddyledswydd ydyw ymdrechu eu deall yn helaeth a chywir, yn fwy felly na dim arall.

*Ffurfio barn, a bod yn onest i'w dadgan.*—Y mae llawer o ddynion heb feddu un farn sefydlog, er y dywed yr hen air—"Ymhob pen y mae opiniwn." Y mae eraill yn meddu graddau o wybodaeth am lu o bethau, ond heb erioed roddi y meddwl ar waith i ffurfio barn am danynt. Y maent yn debyg i ddyn â chanddo gant o ddefaid, ac yn methu gwybod pa un i'w dewis i'w chymeryd allan; neu i foneddiges yn methu penderfynu pa un i'w chymeryd o'i llïaws gwisgoedd. Os dylai dyn feddu gwybodaeth o egwyddorion y cyfansoddiad gwladol, dylai hefyd ffurfio barn am gyfiawnder a llesiant yr egwyddorion hyny. Os dylai fod yn hysbys o ddull y cynnrychioliad, dylai feddu barn am gymhwysderau gofynol y cynnrychiolwyr—pa rai ydynt y dynion mwyaf rhyddfrydig a pharod i bleidio pob mesur a fyddo yn tueddu at lesiant cyffredinol y deyrnas a'r byd. Os derbynia yr ymddiriedaeth o fyned i drin achosion cynghor trefol, neu gyfarfod plwyfol, nid yn unig dylai fod yn hyddysg yn ngweithrediadau y cyfryw gynghorau, ond dylai lunio golygiadau cywir am bob mesur a gynnygir, a phleidio yr hyn a fyddo yn fwyaf cyfiawn a llesol i ddybenion cyffredinol. Gydag athrawiaethau crefydd, nid yn unig dylai wybod rhyw bethau yn eu cylch, ond dylai ffurfio barn bwyllog a theg am bob cangen athrawiaethol. Nid ydys yn golygu iddo dybied ei farn yn anffaeledig am bethau y mae dynion goreu yn gwahaniaethu yn eu cylch; ond dylai gadw a dadgan y farn a fyddo ganddo hyd nes y barno y dylai ei chyfnewid am ei gwell.

*Ymarfer i dduwioldeb.*—Dyma ben ar y cwbl a ysgrifenwyd. Dyma'r

hunanaddysgiant y mae Ysbrydoliaeth anffaeledig, yr awdurdod uchaf yn y nef a'r ddaear, yn gorchymyn dyn ato. "Ymarfer dy hun i dduwioldeb." "Dysgant yn gyntaf arfer duwioldeb gartref." Yr ydys wedi crybwyll gwybodaeth o athrawiaethau a dyledswyddau crefydd fel un o wersi uchaf hunanaddysgiant: a chynnydd a pherffeithiad y wybodaeth hon ydyw arfer crefydd yn y fuchedd. "Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt." Gellir eu gwybod heb eu gwneuthur. Yn fynych, y mae gwybodaeth pen o grefydd yn tueddu i ymchwyddo; ond y mae cariad yn ei gweithio allan, yn adeiladu ei pherchenog "yn y sancteiddiaf ffydd." Yr amcan penaf sydd gan y dyn gwir hunanaddysgol ydyw bod yn berffaith fel y mae ei Dad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith; ac at y perffeithrwydd hwn y mae yr Ysgrythyr yn annog dyn. "Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio ymhob gweithred dda."—Ymofynwn eto,

Pa fodd i hunanaddysgu?—Fel rhai moddion i hunanaddysgu, yr ydys yn cynnyg y cyfarwyddiadau canlynol:—

*Teimlo yr anghen.*—Beth yw yr achos fod y bachgen mor esgeulus o'r ysgol, ac mor ddiymdrech i ddysgu wedi myned? Heb deimlo ei anghen am addysg y mae. Pan ddaeth i fwy o synwyr a phrofiad, gwelodd ei gamsyniad, a dechreuodd deimlo ei amddifadrwydd o addysg, a'i anghen o hono; a phe cawsai gynnyg ar fanteision addysg y pryd hwnw, dïau yr ymroddasai ato o ddifrif. Am yr un achos y gellir rhoddi cyfrif fod cynifer o ddynion mor ddiffygiol mewn hunanwelliant; nid am nad allasent, ac nad oedd ganddynt fanteision i hyny, y maent yn awr mewn sefyllfa mor druenus, ond am na theimlasant eu hanghen, a'r pwys o hunanaddysgu. Wedi i ddyn adnabod ei ddiffygion, y mae yn naturiol iddo eu teimlo; ac os teimla hwy, ymdrecha roddi y feddyginiaeth briodol i bob diffyg. Dyma safle cychwynol pob diwygiad. Y mae fel ager i'r peiriant, yn ei gyfaddasu i gludo pwysau dirfawr. Er i'r peiriant fod yn gryf, ac yn abl i gludo llwyth anferth, ni chychwyna os na bydd ager ynddo. Felly y gall dyn wneyd gwaith mawr drwy hunanaddysgu, ni rydd un ysgogiad at hyny ond oddiar deimlad dwfn o'r anghenrheidrwydd.

*Dechreu yn ieuanc.*—Hon ydyw y brif reol gydag addysgiad unrhyw beth. Yn ieuanc y mae gogwyddo planigyn i ryw ffurf neillduol. Pan yn ieuanc y mae dwyn anifail dan ddysgyblaeth briodol. Felly hefyd gyda hunanaddysgiant. Nid yn unig anaml y gwelir dyn yn dechreu addysgu ei hun wedi myned i oedran, ond anfynych y gall neb wneyd hyny yn effeithiol; y mae y gorchwyl bellach yn anhawdd. Cofier fod y pethau a anurddant ddyn, ac y dylai eu gochel ynddo ei hun, yn dadblygu ac yn myned ar gynnydd yn fore. Y mae chwŷn yn sicr o dyfu mewn gardd pa un bynag a fydd yno lysiau cymhwys ai peidio. Y mae yn yr ieuanc hadau llïaws o arferion pechadurus, a gadael iddynt dyfu a myned yn gryfion a'i gwna yn grëadur truenus a diddefnydd. Y mae yn haws yn wir troi yr afonig i gyfeiriad y bydd ei heisieu pan gerllaw y ffynnon, na phan wedi myned yn gyfagos i'r môr, wedi i lïaws o aberoedd arllwys iddi. Mae yn haws rhwymo y chwant wedi iddo ymddwyn yn y meddwl nag wedi iddo esgor yn weithredol ar bechod. Y mae yn haws hefyd dysgu rhinweddau gweithredol mewn ieuenctyd. Mae awydd yr ieuanc yn gryf, a'i obeithion yn lïosog ac uchel. Mewn

agwedd o'r fath yma nid mor anhawdd yw meistroli y meddwl, a'i gael dan warogaeth i bob dyben da. Os gadewir i'r meddwl yn nhymmor ieuenctyd arfer crwydro oddiwrth bob testun a gymerir mewn llaw, a chwilio pethau yn arwynebol, mae yn debyg mai felly yr erys drwy yr oes. Ac os esgeulusir gwella y cof pan yn ieuanc, heb ei wella y bydd tra byddo dyn byw. Yr hyn a ddysgir pan yn ieuanc a gofir hawddaf. Yr achos o hyn yw fod y meddwl yn fwy tyner, a gwrthddrychau gwybodaeth drwy eu newyddbeth yn cyffroi mwy arno, ac yn argraffu eu delweddau yn ddyfnach ar y cof. Ychydig sydd yn anghofio yr hyn a ddysgasant yn dda pan yn blant. Y mae yr hen bobl yn gallu adgoffa mwy o'r pethau a welsant ac a glywsant pan yn ieuanc; nag a welsant ac a glywsant mewn un adeg ar ol hyny yn eu bywyd. Mae tymmor ieuenctyd hefyd yn llai ei ofalon, ac felly yn llai ei ddyledswyddau cyffredin. Nis gŵyr yr ieuanc am y llu gofalon a gorchwylion ynglŷn â bywyd priodasol—cadw gwraig a magu plant. Fel hyn y mae pob peth yn cyd-ddywedyd mai yn ieuanc y mae dyn i ymdrechu at ddysgu ei hun ymhob rhagoriaeth feddyliol.

Y mae gan rieni lawer i'w wneyd er cael yr ieuainc i ddiwyllio eu meddyliau. "Hyfforddia blentyn ymhen ei ffordd," meddai y gŵr doeth. Ac yr oedd efe yn cymhell ar eraill yr hyn a deimlai ei hun fel braint. Mewn cyfeiriad at ei dad, dywedai—"Efe a'm dysgai ac a ddywedai wrthyf, Dalied dy galon fy ngeiriau, cadw fy ngorchymynion, a bydd fyw. Cais ddoethineb, cais ddeall." Os ydyw rhieni yn dymuno i'w plant dyfu i fyny yn ddoeth a gwybodus fel Solomon, dylent gofio fod o bwys cael rhieni Solomon i fagu Solomon. Y mae o bwys i benau teuluoedd ofalu am feddyliau eu plant yn gystal ag am eu cyrff. Wedi iddynt hwy wneyd eu rhan gyda eu plant, ânt hwythau ymlaen ymhellach: wedi hau yr hâd da, efe a ddwg ffrwyth.

*Bod yn benderfynol.*—Er y gellid ar ryw olwg ystyried penderfyniad yn rhan o hunanaddysgiaeth, eto yn gyffredin y mae yn fwy o foddion i gyrhaedd dyben nag ydyw yn ddyben ei hun. Mae yn wir mai moddion yn y pen draw, fel y cawn sylwi eto, i-gyrhaedd dybenion ydyw hunanaddysgiant; eto pan yr ydym yn sôn am benderfyniad gyda golwg ar y pwnc hwn, yr hyn a olygir ydyw—bod yn benderfynol i berffeithio hunanaddysgiant, yn hytrach nag i'w ddefnyddio. Pan y byddwn yn sôn am benderfyniad, tybiwn yn gyffredin bod anhawsderau ar y ffordd i gyrhaedd y dyben neu ddybenion fyddo mewn golwg. Y mae rhwystrau ar ffordd dyn i ddysgu ei hun, yn enwedig yr hwn sydd yn rhoddi ei nôd yn uchel; a rhaid bod yn benderfynol wedi gosod nôd felly cyn y cyrhaeddir ef, a pharhâu yn benderfynol hyd nes y bydd yr amcan wedi ei gwblhâu. Diammheu nad yw anhawsderau pawb yn hollol o'r un natur, ond y mae y rhai canlynol yn ymgynnyg i'n meddwl ni yn fwy parod:—*Ystyriaeth o fawredd y gwaith.* Y mae ystyried mawredd pob gwaith yn sicr o ennyn rhyw radd o ammheuaeth o'r posiblrwydd i'w gyflawni. Y mae hunanaddysgu yn orchwyl mawr, anhawdd, a gorchestol. Mae ei wersi yn lliosog ac amrywiol. Cryn orchest ydyw cyrhaedd gradd o berffeithrwydd hyd yn nôd mewn *un* o'r elfenau a nodasom yn y dechreu. —*Angerddoldeb yr awydd am bleserau cnawdol a mwyniant daearol.* I'r ieuanc yn gyffredin nid yw y byd yn ei wahanol ffurfiau a'i arferion ond math o chwareufaddeniadol. Daw i gyrhaedd ei glustiau glywed am,

ac i olwg ei lygaid weled, rhyw aubleserau yn feünyddiol; a gwel fod y cyffredin o'i gyfoedion ieuainc yn rhedeg ar ol pleserau o'r fath, fel er iddo ef fod yn ewyllysio gwneyd da iddo ei hun y teimla fod y duedd ddrwg o fyned ar ol y byd yn bresennol gydag ef. Y mae myned yn gaethwas i un nwyd y dylid meddu awdurdod arni yn rhoddi attalfa ar holl wersi hunanaddysgiaeth, fel y mae ychydig lefain yn lefeinio yr holl does.—*Diffyg cyfryngau gwybodaeth.* Nid yw neb yn benderfynol o wneyd gwaith mawr ac anhawdd heb gael offerynau cymhwys i hyny. Dïau mai y moddion gyda y cymhwysaf i ddyrchafu y meddwl ydyw llyfrau; ac er fod llyfrau da yn awr i'w cael am brisiau isel, eto y mae yn eithaf posibl fod llawer ymysg y dosbarth gweithiol ydynt â'u tuedd yn gryf at hunanaddysgiaeth, yn methu pwrcasu rhai cyfryngau gwir anghenrheidiol i gyrhaedd yr amcan hwnw; ac y mae amddifadrwydd o'r fath yn tueddu i wanhâu y penderfyniad.—*Prinder amser.* Nid oes gan y rhan fwyaf o'r dosbarth gweithiol nemawr o amser i wella eu meddyliau; ac y mae yr hwn sydd yn gosod ei nôd yn uchel iawn yn gorfod teimlo prinder ei amser. Rhaid i'r cyfryw arfer y trefnusedd manylaf gyda'i oriau hamddenol. Gallesid nodi rhwystrau eraill, ond rhedai ein sylwadau i orfeithder. Ond pa mor fawr ac aml bynag ydynt y rhwystrau sydd ar ffordd dyn i ddysgu ei hun, y mae penderfyniad fel câdlywydd medrus a gwrol yn sicr o gael goruchafiaeth ar bob rhwystr, a chyrhaedd ei amcanion yn ogoneddus. Goresgyna fynyddoedd o anfanteision, a gorchfyga leng o wrthwynebiadau. Ffydd ydyw ei egwyddor benaf a chryfaf, ac nid oes rhoddi i fyny ynddi hi. Ei gofyniad ydyw, A yw hyn neu arall yn bosibl? ac nid, A ydyw yn hawdd? Os bydd yr awydd yn gryf, bydd y penderfyniad yr un mor gryf, fel y mae nerth y peiriant yn cyfateb i nerth yr ager fydd ynddo.

*Bod yn bwyllog ac amyneddgar.*—Y mae pwyll mewn ystyr naturiol a chyffredinol yn gymhwysder hanfodol i ddechreu a myned ymlaen yn briodol gyda phob gwaith. Y mae tuedd mewn llawer, os na thybiant y gallant orphen yr hyn fydd ganddynt mewn llaw, yn fuan i golli eu pwyll, a'i fras orphen. Y mae perygl o'r fath gyda hunanaddysgiant, fel y sylwai Locke:—" Mae awyddfryd a gogwyddiad cryf ar ol gwybodaeth, os na reoleiddir ef yn ofalus, yn fynych yn rhwystr i'w chaffaeliad. Mae yn ymwthio ymlaen at ddarganfyddiadau a gwrthddrychau newyddion, ac yn ymgyrhaedd at amrywiaethau gwybodaeth, ac o'r herwydd yn esgeuluso aros yn ddigon hir i edrych i mewn i'r hyn sydd o'i flaen, gan frys i ddilyn yr hyn sydd eto allan o'r golwg. Os bydd y mater yn gylymog, a'r synwyr yn gorwedd yn ddwfn, rhaid i'r meddwl aros, ac ymosod arno, glynu wrtho gyda llafur meddwl a myfyrdod dwys, a pheidio a'i adael nes meistroli yr anhawsder, a chael gafael ar y gwirionedd."

*Darllen yn fanwl a myfyrio yn ddwys.*—Trwy ddarllen, gellir dyfod i feddiant o wybodaethau pwysig mewn ychydig amser mewn cymhariaeth, y rhai y bu y meddyliau galluocaf ymysg cenedloedd y ddaear am oesau yn eu cael allan. Yn ddiammheu y mae darllen yn briodol yn cwblhâu llawer o'r hyn a alwn yn hunanaddysgiant. Y mae darllen yn gyson gydag awyddfryd am lesâd yn gynnorthwy i ëangu y deall. Os bydd ei amgyffredion yn wan ac anmherffaith, wrth dreiddio i gynnyrch meddyliau dynion galluog, lledir a chryfheïr hwynt. Ac wrth efrydu llyfrau

iachus a buddiol, dyrchefir y chwaeth. Fel y mae y naill ddyn wrth gymdeithasu â dyn arall yn gadael argraff ar eu gilydd, felly y mae awdwyr llyfrau yn rhoddi eu delw ar ddarllenwyr ymofyngar; nid yn trosglwyddo eu gallu, mae yn wir, ond yn rhoddi delw o burdeb eu chwaeth a chysegredigrwydd eu meddwl. Nid oes un diogelwch gwell i wŷr ieuainc rhag llygru eu meddyliau, ac iselu eu chwaeth, na chymdeithasu â chynnyrchion meddyliau y dynion galluocaf eu meddyliau, cywiraf eu syniadau, a defnyddiolaf eu bywyd, fu ar y ddaear, ac yn neillduol dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân. Pe iawn gymdeithasid â meddyliau uchel a galluog felly, cyfrifid y mân bapyrau difudd, y ffugchwedlau llygredig, a'r caneuon nad ydynt fuddiol i ddim ond i ennyn "chwerthiniad dyn ynfyd," a chyffelyb bethau, yn dom a gwir golled. Ac y mae darllen yn drwyadl, ac yn aml, a chyda phwyll, yn cryfhâu y cof. Nid yw darllen yn frysiog ac afreolaidd yn cryfhâu dim ar y cof, ond yn hytrach yn ei wanychu. Y mae pob peth o'r bron a wneir gydag arafwch priodol, yn fwy sicr na'r hyn a wneir yn frysiog. Ac y mae darllen yn deilwng hefyd yn cryfhâu y farn. Gan fod meddu gwybodaeth yn anghenrheidiol i ffurfio barn, rhaid fod ychwanegiad gwybodaeth yn cryfhâu y farn yn gyfatebol i hyny. Gwelir gan hyny fod ymgydnabyddu â llyfrau gwerthfawr yn cyflawni llawer o wasanaeth hunanaddysgiaeth heblaw trysori gwybodaeth. Ond wrth roddi y fath bwys ar ddarllen, yr ydym yn ystyried y dylid myfyrio yn ddyfal ar yr hyn a ddarllenir. "Y neb a ddarlleno, ystyried," meddai y gair Dwyfol. A thra y cynghorai Paul Timotheus—"Hyd oni ddelwyf glŷn wrth ddarllen," dywedai hefyd—"Myfyria ar y pethau hyn." Dywed un ysgrifenydd—"Trwy sylwi, ymddyddan, gwrando, a darllen, yr ydym yn casglu y defnyddiau; ond myfyrdod yw y celfyddydwr sydd yn eu dosbarthu, ac yn gosod pob un yn ei le. Mae y moddion eraill yn ein cynnysgaethu â'r offerynau, ond myfyrdod sydd yn ein dysgu pa fodd i'w defnyddio. Gwybodaeth yn y meddwl heb ei myfyrio sydd fel bwyd yn y cylla heb dreulio; gwybodaeth fenthyg a fydd; myfyrdod yn unig a all wneyd gwybodaeth yn eiddo i ni ein hunain."

*Dilyn esiampl dda.*—Y mae llawer o weithrediadau a symudiadau y byd yn myned yn ol esiampl. Y mae y naill deyrnas yn myned ar ol esiampl teyrnas arall, a'r naill oes yn dilyn esiampl y llall. Yr un modd teuluoedd a phersonau—y maent yn dilyn esiampl eu gilydd mewn llawer o bethau. Y mae lliaws o esiamplau drwg wedi eu gadael, ond y mae lliaws o rai da hefyd. Gellid nodi llawer o'r cyfryw, fel rhai teilwng i'w hefelychu gyda hunanaddysgiant. Pan y bydd dynion yn amcanu at ddysgu rhyw gelfyddyd gywrain, neu gasglu cyfoeth, ymofynant pa fodd y dysgodd eraill y gelfyddyd hono, neu y casglodd eraill gyfoeth. Priodol fyddai i wŷr ieuainc ydynt yn cyrchu at "gamp uchel" mewn hunanaddysgiant, ymofyn pa fodd y cyrhaeddodd eraill safleoedd uchel yn hyny. Y mae yn ddiammheu fod y rhai a wnaethant orchestwaith yn y byd llênyddol yn feddiannol ar yr elfenau a nodasom yn flaenorol. Ond dichon ygellid canfod ynddynt ragoriaethau eraill llawn mor galonog a theilwng i wŷr ieuainc ymroddgar sylwi arnynt, a'u dilyn. *Cyfododd y rhan fwyaf o enwogion o'r sefyllfäoedd isaf.* Gellir nodi Elihu Buritt, Benjamin Franklin, Gifford, ac Edmund

Stone, fel engraffau hynod o hyny. Y blaenaf a ddilynai alwedigaeth gôf. Ni chafodd ond tri mis o ysgol, a hyny cyn iddo fod yn bymtheg oed. Er hyny gweithiodd mor egnïol nes meddu adnabyddiaeth lled ëang o hanner cant o ieithoedd! Nid oedd Benjamin Franklin yn ei ddechreuad ond argraffydd cyffredin, ac nid oedd ei amser i efrydu ond prin; er hyny daeth, fel y mae yn eithaf hysbys, yn un o'r dynion mwyaf galluog a dylanwadol yn y byd, ac yn neillduol yn yr America. Gifford ar y cyntaf nid oedd ond crydd; ac yr oedd mewn sefyllfa mor gyfyng pan yn egwyddorwas, fel na chai ddernyn o bapyr i ysgrifenu ei benillion, ac yr ysgrifenai hwynt ar y lledr a weithiai. Gwyddys iddo, er hyny ddyfod i safle mor uchel o ran galluoedd, fel y dewiswyd ef yn Olygydd y *Quarterly Review*. Mab i arddwr Duc Argyle oedd Edmund Stone. Dysgodd o hono ei hun erbyn yr oedd yn ddeunaw mlwydd oed y Frengaeg, Lladin, Alsoddeg, a Meintoneg. Yr ydys yn crybwyll y ffeithiau hyn fel esiampl i wŷr ieuainc ydynt am gyrhaedd enwogrwydd a defnyddioldeb, ond ydynt yn awr mewn sefyllfäoedd isel a chyfyng, i'w dilyn. Tuedda ffeithiau o'r fath i wresogi y dymuniad, a chryfhâu y penderfyniad, o esgyn i raddfa uchel mewn diwylliant meddyliol.—Yr oedd y rhai a gyrhaeddasant enwogrwydd o ran eu galluoedd meddyliol *yn ddiwyd a gofalus iawn o'u hamser*. Yr oedd Franklin yn cyfrif ei oriau rhydd neu hamddenol mor werthfawr, fel y prynai dorth i'w bwyta yn frysiog, rhag colli ei amser wrth fyned i geisio ei giniaw, er mwyn astudio. Fe fyddai Cobbett mor ystyriol o werth amser, fel y codai am bedwar o'r gloch yn y gauaf, a chyda'r dydd yn yr haf. Dywedir mai rhyw dair awr yn y dydd a ddefnyddir gan Syr E. Bulwer Lytton i ddarllen, astudio, ac ysgrifenu; ac y mae wedi cyhoeddi dros driugain o gyfrolau; a phriodola ei lwyddiant i wneuthur un peth ar unwaith, a gwneyd hwnw â'i holl egni. Dywed yr esboniwr poblogaidd, Albert Barnes, iddo ysgrifenu ei esboniad cyn naw o'r gloch bob bore. Yr un modd y gellir dyweyd am y rhan fwyaf a gyfrifir yn enwog a defnyddiol: yr oeddynt yn caniatâu càn lleied ag a allent o amser i gwsg, a chyfrifent bob awr yn fwy gwerthfawr nag aur lawer.—Yr oedd yr enwogion a enwyd, a llu eraill allesid eu henwi, *yn dra gofalus o'u hiechyd*. Nid ellir dysgwyl i'r meddwl fod yn gryf, bywiog, a phenderfynol, os na bydd y corff yn iach. Dylid cadw at y deddfau hyny a sicrhânt iechyd da, pa rai ydynt gymedroldeb mewn bwyta ac yfed, a bod yn rheolaidd mewn arferion. Gellir nodi eto fod llawer i'w cael yn nês atom na'r gwŷr a enwyd, y rhai y mae yn deilwng i'r ieuainc eu dilyn fel rhai wedi esgyn yn uchel yn ngraddfa hunanaddysgiaeth. Y rhan fwyaf o'r cyfryw ydynt weinidogion ymhlith y gwahanol enwadau yn Nghymru. Olrheinier eu hanes, a cheir eu bod wedi cyfodi o'r sefyllfäoedd isaf i fod yn gymhwys i'w cymharu â gwroniaid unrhyw oes neu genedl.

*Gweddïo am gynnorthwy a bendith Duw.*—Ymhob dyledswydd o eiddo dyn, gellir a dylid gofyn am gymhorth Duw i'w chyflawni, a'i fendith arni, pa un bynag ai naturiol, meddyliol, neu foesol fyddo y ddyledswydd. Dylid gofyn am gyfarwyddyd Ysbryd yr Arglwydd i ddiwyllio a pherffeithio y meddwl a'r ymddygiad, os bydd dyn am wneyd hyny er bod o gysur iddo ei hun, lles ei gydgrëaduriaid, a gogoniant i Dduw. Dylid gweddïo am nerth yr Ysbryd i orchfygu y chwantau, o dan yr ystyriaeth eu bod yn ffiaidd yn ngolwg Duw, yn gystal a dinystriol i gysur ac

anrhydedd dyn. Dylid ymofyn â Duw am ras i lywodraethu y dymher, oddiar yr ystyriaeth mai ysbryd addfwyn a llonydd sydd ger ei fron ef yn werthfawr. Byddai yn dda gofyn ei gymhorth i ddyrchafu a phuro y chwaeth; oblegid "Gwyn eu byd y rhai pur o galon." Dylid erfyn ei gyfarwyddyd a'i fendith ar bob ymdrech am fod yn ddefnyddiol yn y byd, os bydd y defnyddioldeb hwnw yn cael ei gymhell oddiar egwyddor fawr crefydd—cariad at Dduw ac at ddynion. Gofynodd Solomon am "galon ddeallus i farnu y bobl, ac i ddeall rhagor rhwng da a drwg," a chafodd ei ddymuniad. Dywed yr Apostol Iago—"O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw." Wrth gynnyg ar bob rhan o welliant meddyliol, dylid credu gwirionedd y dystiolaeth—"Hebof fi nid ellwch chwi wneuthur dim."—Safwn eto ar

Y PWYS O HUNANADDYSGU.

Wedi ceisio egluro yn fyr beth a gynnwysir mewn hunanaddysgiant, a rhoddi rhai cyfarwyddiadau i hunanaddysgu, naturiol yw tynu casgliad bellach fod rhyw ddybenion pwysig i'r cyfan. Y mae yn anghenrheidiol am yr hunanaddysgiant hwn—

*Er ffurfio cymeriad anrhydeddus.*—Nid yw y byd i gyd o gymaint gwerth a chymeriad da: "Mwy dymunol yw enw da na chyfoeth lawer." Y mae cymeriad yn cael ei ffurfio yn gwbl gan ddyn ei hun. Mae yn wir fod gan rïeni, a chymeryd y mater yn gyffredinol, law i raddau pell yn ffurfiad nodweddiad eu plant. Gallant gydag ymdrech diflino, a gofal cyson, eu rhoddi ar ben y ffordd i anrhydedd a defnyddioldeb; ac o'r tu arall, wrth eu hesgeuluso, nid yw yn annhebyg y gallant eu gweled "o fewn ychydig i bob drwg." Ond fe ddichon fod esiamplau ac addysgiadau rhieni i'w plant yn ffurfio mwy o'u cymeriad da mewn ystyr nacäol nag mewn ystyr ymarferol—yn eu gwaredu yn fwy oddiwrth ddrygau na'u cymhwyso i fod yn wir ddefnyddiol, er y gallant wneyd eu rhan yn fawr gyda yr olaf. Dyn sydd yn gyfrifol am ei gymeriad, yn ngolwg dynion a cher bron Duw; a chan mai efe sydd yn gyfrifol, arno ef y gorphwys y gwaith o'i ffurfio. Y mae mawredd ac urddas y cymeriad yn dibynu ar berffeithrwydd yr hunanaddysgiaeth, fel mai y perffeithiaf yn hyny ydyw y teilyngaf i gael y cymeriad uchaf. Dylid cofio mai yr hyn a rydd fawredd ar ddyn ydyw mawredd yr hyn a wna. Yr hyn a roddai y fath gymeriad uchel o ddoethineb i Solomon ydoedd ffrwyth ei ymdrech i geisio doethineb yn fwy na phawb fu o'i flaen yn Jerusalem. Ymha le y mae dirgelwch anrhydedd Milton, Newton, Howe, Butler, Doddridge, Jonathan Edwards, Chalmers, ac eraill enwogion? Dïau mai y gorchestweithiau a gyflawnasant a rydd y fath urddas arnynt. Ond dylid myned ymhellach yn ôl i gael ateb cywir. Diammheu fod ganddynt alluoedd anghyffredin, ond ni ddadblygasid eu galluoedd i raddau mor nodedig oni buasai eu bod wedi myned yn rheolaidd a chyflawn trwy wersi hunanaddysgiant. Y mae eu hanrhydedd i'w olrhain mor bell yn ôl â'r mynyd cyntaf y penderfynasant wella eu meddyliau. Y mae dringo yr un ysgol yn sicr o roddi anrhydedd cyfatebol i'r uchder a esgynir. A dyma a ddywed esiampl yr enwogion crybwylledig wrth bob dyn ymofyngar—"Dring i fyny yma."

*Er mwyn bod yn ddefnyddiol.*—Dyma un o ddybenion pwysicaf hunanaddysgiant. Y mae y Crëawdwr wedi bwriadu i ddyn wneyd llawer o ddaioni yn y byd; y mae yn dysgwyl i bob dyn wneyd yn gyfatebol i'w

allu. Ond nid all neb wneyd cymaint o wasanaeth yn ei oes ag y dylai ac y gallai, heb ymgymhwyso i hyny. Y dyn mwyaf diddefnydd ydyw yr hwn na threuliodd fynyd erioed i wella ei feddwl. Heb son yn awr am ddefnyddioldeb yr ysgrifbin yn y byd, y mae hunanaddysgu o bwys er bod yn ddefnyddiol mewn cylchoedd eraill heblaw yr un llênyddol. Gallu dylanwadol iawn i'r byd ydyw y tafod, pa un bynag ai yn y senedd, ai ar esgynlawr unrhyw gymdeithas ddyngarol, ai yn yr areithfa, ai yn y teulu, y byddo yn gweithredu. Edrychwn ar fedrusrwydd a dylanwad llawer o'n seneddwyr. Y mae galluoedd a dylanwad Gladstone, Cobden, Bright, ac eraill, yn cael eu teimlo drwy yr holl deyrnas a'r byd. Y mae yn anmhosibl dirnad eu gwerth a'u defnyddioldeb. Dichon mai o herwydd yr egwyddorion llesol, ëang, a chryfion, y dadleuant drostynt, y cyfrifir hwy yn bersonau mor nodedig; ond mae yn ddilys na fuasent yn weithwyr mor egnïol a chyson o blaid yr egwyddorion hyny oni buasai eu bod wedi diwyllio eu galluoedd i'r cyfryw ddyben. Ffurfiasant opiniynau cywir am yr hyn fyddai fwyaf o les cyffredinol; casglasant bob math o wybodaeth hanfodol i wneyd seneddwr teilwng; dygasant eu meddyliau dan deyrnged i'w gwasanaeth, cryfhasant eu cof, arferasant eu deall i fod yn gyflym ac ëang ei amgyffredion; perffeithiasant eu hunain fel siaradwyr, yr hyn bethau ynghyd â'r egwyddorion canmoladwy y dadleuant mor egnïol a ffyddlawn drostynt, a rydd yn ddïau anfarwoldeb i'w henwau. Os cymhwyswn y sylw drachefn at y pulpud, ni a'i cawn yr un mor gryf. Cydnabyddwn yn barchus mai gallu Duw yw yr efengyl er iachawdwriaeth, ac mai "nerth Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu" a amlygir drwy y weinidogaeth i ryddhâu dynion "oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Addefwn mai duwioldeb ydyw y cymhwysder penaf i'r swydd weinidogaethol, ac mai i Dduw y perthyn yr holl ogoniant oddiwrthi. Ond gan mai dynion a elwir i fod yn weision,—dynion nid fel y prophwydi a'r apostolion wedi eu cynnysgaethu â doniau neillduol, rhaid iddynt cyn y byddant yn llwyddiannus a defnyddiol ymgymhwyso o ran eu galluoedd naturiol i gyfateb i urddas eu swydd a phwysigrwydd eu cenadwri. Nid yw hyn yn cymylu gras, nac yn dwyn dyn i le Duw; ond yn hytrach i'r gwrthwyneb—y mae yn mawrhâu gras, ac yn anrhydeddu Duw. Y mae Efe yn cymeryd offerynau addas at ei holl waith. Y mae galluoedd naturiol dyn i gael eu cyfaddasu i gyhoeddi cenadwri nefol Duw; wrth berffeithio y blaenaf yr ydys yn dangos parch i'r olaf. Cymhwyser y sylw eto at rieni. Y rheol gyffredin gyda phob addysgiad a gyfrènir ydyw, mai yr hwn sydd wedi dysgu sydd gymhwys i addysgu arall. Ceryddai Paul yn llym yr hwn a gymerai arno ddysgu arall ond heb ddysgu ei hun. Beth bynag a gynnwysir mewn addysg deuluol briodol, dylai rhieni fod yn hyddysg yn ei holl elfenau, ac yn deimladol o'u dylanwad arnynt eu hunain, cyn y gweinyddir yr addysg yn effeithiol i'w plant. I brofi hyn, ni raid i ni ond edrych i ansawdd dau ddosbarth o deuluoedd sydd yn ein gwlad. I un dosbarth perthyna rhieni anystyriol a diofal o'u dyledswyddau. Ni ofalant hwy am ddim i'w plant ond ymborth a dillad; gadawant iddynt dyfu yn amddifaid o bob dysgybliad ac amaethiad meddyliol, ac felly yn naturiol y rhedant i ddrygioni. Beth ydyw yr achos? Y rhieni eu hunain sydd yn amddifaid o ddiwylliad meddyliol. Y dosbarth arall yw rhieni ystyriol a medrus yn nghyflawniad eu haddysgiadau i'w plant. Gwyliant hwy ysgogiadau cyntaf eu rhai bychain; ar-

ferant foddion i feithrin ynddynt "galon hawddgar a da," cefnogant bob tuedd ymofyngar ynddynt, a rhoddant hwy ymhen y ffordd i drysori gwybodaeth fuddiol, ac yn neillduol yr un Ysgrythyrol. Beth sydd yn cymhell llafur o'r fath? Dïau mai ymwybyddiaeth o werth y cyfryw addysgiadau eu hunain; a naturiol yw meddwl yr ymdrechant i ddwyn eu plant i ymestyn at raddau perffeithiach mewn hunanaddysgiant na hwynt-hwy, gan fod meddiant o beth da yn creu dymuniad am ychwaneg o hono. Os cymhwyswn eto y mater hwn o ddefnyddioldeb yn fwy uniongyrchol at grefydd, ymddengys yn fwy priodol a phwysig. Gelwir y saint yn "halen y ddaear" ac yn "oleuni y byd," ac y mae yr Arglwydd Iesu, wrth ymresymu ar y mater, yn dywedyd nad allant fod yn "halen y ddaear" ac yn "oleuni y byd," os byddant wedi diflasu, a'r goleuni sydd ynddynt wedi myned yn dywyllwch. Wrth gymhell y saint i fod yn bur a dysglaer mewn crefydd, y mae dyben i hyny heblaw eu cysur a'u hanrhydedd eu hunain, a dyma ydyw—"Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd."

*Er meddu cysur amserol a thragywyddol.*—Y mae yn ddiddadl fod cysur i'w fwynhâu wrth ddiwyllio cynneddfau yr enaid. Gwir yw fod ystyriaethau pruddaidd yn cael eu cynnyrchu wrth geisio adnabod y galon, ac ystyried ei thwyll, a'i hanaddasrwydd i bob gwaith da; ond y mae pelydr o gysur yn tori wrth ddymuno ac ymdrechu ei gwellâu. Y mae yn ddiammheu fod tuedd unrhyw chwant pechadurus, neu gyffröad gwyllt y dymher, yn peri gofid; ond y mae cael goruchafiaeth ar y cyfryw yn cynnyrchu cysur. Os bydd gwaith mawr yn myned ymlaen yn llwyddiannus, achosa lawenydd a boddlonrwydd i'w berchenog. Felly am hunanaddysgiant, er ei fod yn waith pwysig, y mae sicrwydd ei fod yn myned ymlaen yn raddol yn rhoddi cysur i'r hunanaddysgwr. Ac y mae y cysur yn llawer mwy goruchel a phur eto wrth arfer ein hunain i dduwioldeb, ac ymdrechu "perffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw." Y mae y cysur hwn yn perffeithio y cysur arall. Y mae yr olaf yn rhoddi dysgleirdeb ar y blaenaf, ac y mae y blaenaf yn talu gwarogaeth i'r olaf.

*Er gogoneddu Duw.*—Hwn yw y dyben uchaf i'r cyfan oll, ac felly y rheswm cryfaf. Dyma ddyben penaf bodolaeth dyn; a dylai fod y nôd yma o flaen ei feddwl gyda phob peth a wnelo. "Dy holl weithredoedd a'th glodforant," meddai y Salmydd; ac os yw gweithredoedd Duw mewn crëadigaeth a rhagluniaeth yn ei glodfori, dïau y dylai dyn, y weithred benaf o grëadigaeth, a gwrthddrych manylaf rhagluniaeth, ei glodfori yn fwy na neb a dim arall. Y mae y Bibl yn llawn o gymhellion i ni wneyd "pob peth er gogoniant i Dduw"—*pob* peth, er na byddont yn dal cysylltiad uniongyrchol â Duw—gwneler hwy er ei ogoniant. Er mai âg amgylchiadau llywodraeth ddaearol y mae y seneddwr yn ymwneyd, eto dylai gyflawni ei swydd er anrhydedd yr Hwn sydd yn llywodraethu yn mreniniaethau dynion. Y dyn sydd â'i fryd am ddysgu y byd mewn rhyw wybodaeth gyda'i ysgrifbin, dylai wneyd hyny yn gyson â dyben penaf ei fod. Pa egwyddor bynag y byddys yn dadleu drosti, gwneler yn ol y portrëad fyddo yn gyson â gogoniant Duw. Y pregethwr, yr athraw, a'r penteulu, a ddylent fyned trwy holl gylchoedd eu cyflawniadau dan ddylanwad yr ystyriaeth hon. Ond pa fodd y gall y naill a'r llall wneyd hyny heb feddu cymhwysderau helaeth? Nis

gallodd "y dyn cyntaf Adda" wasanaethu a gogoneddu ei Grëawdwr ond am y tymmor y cadwodd gymhwysder i hyny. Pan y pechodd, llygrodd ei holl gynneddfau, fel nad oedd gymhwys i anrhydeddu ei Grëawdwr. Y mae y llygredd a ddaeth i galon Adda yn wreiddiol yn ei hiliogaeth; ac megys y dylent wasanaethu Duw mor gywir a ffyddlawn ag y buasent yn gwneyd pe na phechasai Adda, a'u bod mor anesgusodol am esgeuluso ag ydoedd yntau, felly nid allant ogoneddu Duw heb eu cyfodi i raddau uchel o adgyweiriad meddyliol a moesol. Fel y mae o bwys gwella gwahanol ranau y meddwl er bod yn ddefnyddiol, felly y dylai nôd uchaf defnyddioldeb pob dyn dueddu i roddi "mawredd i'n Duw ni." "Byddwch chwi gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith."

---

# DYLANWAD MAM.

[Gydag hyfrydwch nid bychan, yr ydym yn cyflwyno y byr-draethawd canlynol i'n darllenyddion fel cynnyrch meddwl a ffrwyth ysgrifbin un o ferched ieuainc Cymru. Siomir ni yn fawr os na chydnabyddir yn gyffredinol burdeb a grymusder yr iaith, gwreiddiolder y meddyliau, prydferthwch yr egluriadau, yn gystal â thuedd adeiladol yr holl sylwadau. Os â "MARGARET" ymlaen fel y dechreuodd, ni bydd yn syn genym ei gweled yn cael ei chydnabod fel awdures yn ogoniant i Gymru.]

NID oes yr un gwrthddrych mwy prydferth i'r meddylgar na'r baban. Mor syml a diniwed fel y geilw y bardd ef yn "angel heb ddihuno." Mae yn ddyddorol i'r estron; ond pa fath raid fod teimladau ei fam, fel y sylla arno gan ryfeddu pa beth a fydd! Y mae Awdwr natur wedi rhoddi rhyw arbenigrwydd rhyfedd ar sefyllfa mam, hyd yn nôd ymhlith y crëaduriaid direswm. Y mae ar ei phen ei hun. O'r fam fwyaf distadl i'r uchaf, canfyddir yr un hynodion i raddau, sef y gofal a'r anwyldeb cryfaf a all ein natur ddangos. Ond yn gymaint â bod dyn yn grëadur uwch nag yr un arall, mae undeb o natur uwch rhyngddo â'i fam. Mae yr undeb agosaf rhwng y meddwl sydd heb ddyfod i ymwybyddiaeth â'r eiddo ei fam. Gellir ei gyffelybu i'r undeb sydd rhwng y pridd a'r llysiau. Mae gwraidd y rhai hyny yn guddiedig yn y ddaear; a medda y pridd ryw adnoddau penodol cyfatebol i rai sydd yn y pren o ba rai y sugna faeth, a hyny ymhell cyn ei ddyfod o dan ddylanwad uniongyrchol yr hinsawdd. Felly bodola rhyw undeb dirgelaidd anweledig rhwng meddwl y plentyn â'r eiddo ei fam, ymhell cyn y daw i gyrhaedd pethau allanol bywyd.

Pa mor fore bynag y daw y plentyn i gymeryd sylw o esiampl, nid oes dim yn fwy naturiol nag iddo efelychu un sydd mor hoff o hono, a charedig wrtho, o flaen neb arall. Ond heblaw y duedd naturiol yma, y mae y fam wedi ei chynnysgaethu â rhyw allu i wneyd argraff ar feddwl goddefol ei phlentyn na fêdd neb arall mo hono. Pelydra yn

ei llygaid, ac â i ganlyn ei geiriau y dylanwad cryfaf yn y byd;—rhywbeth a blanwyd ynddi gan Dduw—swyddog o'i lŷs Ef ei hunan, yr hwn y mae yn ei anfon i bob rhan o'r byd, pan yn ei ddwyn i ystâd o wareiddiad. Yn debyg fel y bydd breninoedd y ddaear pan ennillont diriogaeth newydd: y peth cyntaf a wnant a fydd anfon eu swyddogion eu hunain i weinyddu eu cyfreithiau. Gallu meddyliol ydyw, wedi ei gyfaddasu i weithredu ar y meddwl, ac felly yn annhraethol uwch nag yr un arall. Gall y dyn wedi myned i eithafion caledwch wawdio a dirmygu cyfraith wladol: teimla, wedi i hono wneyd ei heithaf, nas gall gyffwrdd âg *ef ei hunan;* fel y dyn wedi cau ei hun yn yr ystafell ar ddiwrnod dryghinog, teimla nas gall y gwynt a'r gwlaw ddyfod ddim yn nês ato na'r muriau. Ond daw pelydr yr haul o hyd iddo trwy y ffenestr. Felly cyrhaedda moesoldeb pur, wedi ei wisgo â thynerwch mam, galon a theimlad ei phlentyn, pa le bynag y byddo.

Yn nwylaw y mamau y mae cymeriad moesol y genedl. Hwy sydd yn rhoddi rhyw gyfeiriad neu dueddiad penodol i'r meddwl: pethau bychain y fam sydd yn gwneyd y dyn yn ŵr boneddig yn ngwir ystyr y gair. Gall llawer edrych ar hyn fel peth dibwys; ond pe cymerem ddyn yn ei gysylltiad â'r byd yma yn unig, y mae iddo yn dra phwysig. Nid anfynych y ceir y llwyddiannus yn ddyledus am ei lwyddiant i ryw ddirmyg ar bethau isel a dderbyniodd oddiwrth ei fam. Y mae cymdeithas yn ei chylchoedd mwyaf pur a dewisol yn ei noddi ef, tra yr hwtia o'i chyffiniau yr ysgolaig a'r boneddwr mewn enw, ond a all dynu difyrwch o bethau isel a gwael. Y fam sydd yn cynnefino y plentyn â rhyw elfen, ac nis gall fyw yn gysurus mewn un wahanol. Nid rhaid iddi fyned i'r drafferth i ddyweyd llawer wrtho; dim ond *byw* ryw ffordd, a meddwl ei hunan am bethau a phersonau fel y dymunai iddo yntau wneyd, a daw i ddeall ei meddwl yn foreu iawn. Yr hyn a feddylia y fam o bersonau a feddylia yntau; a'r hyn a feddylia hi o hono ef ei hun, a feddylia yntau. Os drychfeddwl uchaf y fam am brydferthwch fydd cael ei geneth fach wedi ei gwisgo fel ei *wax doll,* eithriad i'r rheol a fydd hithau os bydd ganddi un uwch wedi tyfu i fyny. Ac os bydd y fam yn teimlo yn ddifrifol fod ei bachgen bach i fod yn ddyn mawr a defnyddiol, daw yntau heb yn wybod iddo i gyfranogi o'r un teimlad.

Cynnysgaethwyd y rhyw fenywaidd â llawer o fanteision tuag at i'w dylanwad ddisgyn ar y gwrthddrych yn ei lawn rym. Un ydyw medr i adnabod cymeriadau. Mae y fam yn enwedig felly gyda golwg ar ei phlant. Yn ei gwydd hi y daw y gwir gymeriad i'r golwg. Cenfydd yn eu chwareuon plentynaidd ragoriaethau a diffygion naturiol pob un. Yn y bachgen bach a fyn ennill y gamp wrth chwareu, gwel y dyn penderfynol ac ymroddgar; a chyferfydd â degau o ffyrdd bob wythnos i dynu allan ei benderfyniad a'i ymröad, a hyny gyda'r pethau mwyaf syml a dibwys ynddynt eu hunain. Ganddi hi o bawb y mae y gallu i ddwyn pethau mawrion a phell o'u blaen yn eu harddull priodol. Ac nid ydyw yn ddim mwy o drafferth iddi dreulio yr amser i foddio eu chwilfrydedd plentynaidd â hanesion o'r Bibl nag â phethau gweigion ac isel na wnant ond y niwed mwyaf iddynt hwy a hithau. Yr un faint o drafferth ydyw iddi eu difyru â'r blodau amryliw, yn y rhai y mae byd dibendraw o ryfeddodau, ag ydyw estyn iddynt y tegan oddiar y *shelf.* Ac wrth fyned â hwy allan gyda'r nos dawel a chlir, gall y fam wneyd teganau hyd yn

nôd o'r lloer a'r planedau, ynghyd ag arwain eu meddyliau at eu Crëawdwr!

Cawn lawer o enghreifftiau o nerth a dylanwad mam yn y Bibl. Ni chafodd Deborah yr un esiampl gryfach i ddangos ei dylanwad ar holl filoedd Israel na'r eiddo mam. Yn hanes y breninoedd cawn grybwylliad am eu mamau mewn cysysylltiad â'u cymeriadau. Er na ddywedir yn amlwg pa fath rai oeddynt, eto pa reswm a ellir roddi dros fod eu henwau yno o gwbl ond fod gan gymeriad y fam law uchel yn ffurfiad cymeriad y mab? Yr oedd yr ysgrifenydd Dwyfol fel yn cymeryd yn ganiatäol fod cymeriadau y meibion yn ddigon o esboniad ar eiddo y mamau. Rhai o'r breninoedd, megys Hezecïah a Josïah, er yn feibion i'r dynion mwyaf annuwiol, oeddynt yn hynod mewn duwioldeb. Nis gallasai pendefigion llysoedd eu tadau Ahaz ac Amon lai na meddu dylanwad mawr arnynt, ond gwelwn fod yr eiddo mam dduwiol yn gwrthweithio y cyfan. Am Josïah dywedir, tra yr oedd efe eto yn fachgen, iddo geisio Duw Dafydd ei dad. Ar ddrygioni Ahazïah rhoddir arbenigrwydd, a'r rheswm am hyny yw, "canys ei fam oedd ei gynghor ef i wneuthur drwg."

Nid oes yr un dylanwad ar wyneb y ddaear yn meddu cylch mor ëang â'r eiddo mam, ond crefydd ei hun. Nid yw yn gyfyngedig i'w phlentyn yn unig—nid oes iddo yr un terfyn gosodedig, ac nis gŵyr neb pa le y bydd ei ben draw. Mewn un ystyr, nid yw dylanwad Victoria fel brenes ond cyfyng. Ychydig o filldiroedd oddiwrth ei gorsedd mewn un cyfeiriad, nid yw ei chyfreithiau yn rhwymo i ufudd-dod; ond yn symudiad ei phlant i'r manau hyny, teimlant a dygant gyda hwy ei dylanwad bendithiol fel mam. Dywedir am Napoleon Buonaparte—y dyn a ddadymchwelodd freniniaethau, ac a wnaeth gyfandir Ewrop yn un môr o waed, ac mewn un dydd a grëodd filoedd o weddwon ac amddifaid, mai ei fam ef wrth ei ddifyru pan yn blentyn a fagodd ynddo hoffder at y cleddyf. A gallwn gredu hyn yn hawdd pan gofiwn iddo ef ei hunan ddyweyd wrth glywed fod ar Ffrainc eisieu milwyr, "Rhoddwch i ni famau dewr a gwladgarol, a bydd pobpeth yn dda." Esiampl nodedig o ëangder dylanwad mam yw hanes y Parch. John Newton. Amcan uchaf ei fam, er ei bod mewn sefyllfa isel a thlawd, oedd dwyn ei hunig blentyn i fyw i wneyd daioni. Ond cyn ei fod yn chwech oed, bu ei fam farw. Ymhen amser aeth yntau ar y môr; ac nid oedd yr un pechod mewn bri ymhlith ei gyfeillion, yn rhy ddrwg ganddo gymeryd rhan nodedig ynddo. Ond er pob peth nis gallasai gael gwared o gynghorion ei fam. O'r diwedd daeth yn gristion. Ac os ydyw yn gyfreithlawn priodoli pob peth a wnaed trwy offerynoliaeth Newton i ddylanwad ei fam, cyrhaedda ymhell iawn. Yr oedd yn un o'r pregethwyr a'r ysgrifenwyr crefyddol mwyaf defnyddiol a welodd Prydain erioed; ac efe a fu yn foddion tröedigaeth y Dr. Buchanan, yr hwn a aeth yn genadwr i India y Dwyrain. Llyfr bychan Dr. Buchanan a dynodd sylw Adoricam Judson at y genadaeth yn yr India. Y morwr dychweledig hefyd fu yn foddion tröedigaeth Thomas Scott yr Esboniwr oddiwrth Sosiniaeth. Ac i'r cyfeillgarwch a fodolai rhwng Newton a Cowper, y priodolir y naws grefyddol sydd yn rhedeg trwy gyfansoddiadau y bardd. Ac o'r amser cyntaf y gwelodd Newton Wilberforce hyd dröedigaeth yr olaf, sef pedair blynedd ar ddeg, cymerodd ef yn destun gweddi. Wilberforce a ddiddymodd yr *African*

*Slave Trade*, ac a fu y prif offeryn i ddwyn Prydain i'r sefyllfa ogoneddus y mae ynddi yn bresennol gyda golwg ar y caethion.

Y mae dylanwad mam yn parhâu amser maith. Bydd yr holl wrthddrychau oedd yn cylchynu dyn pan oedd ei feddwl yn dechreu ymagor, yn gorwedd yn ddyfnach yn ei feddwl na dim a'i cyferfydd yn niwedd ei oes. Yr hen fynyddoedd mawreddog oedd yn y golwg o'i ffenestr—ei rodfëydd yn yr ardd—y gwas a'r forwyn a arferent ei ddifyru,—ymhen blynyddoedd edrycha ar y cyfan gyda rhyw deimlad yn ymylu ar gysegredigrwydd. Ac er ei symud gan Ragluniaeth o'u golwg ac o'u cymdeithas, bydd yr effaith a ganlynant ar y meddwl o hyd yn aros; fel y gragen fechan a gipiwyd oddiar y traeth, pa le bynag y trosglwyddir hi, sŵn y môr a glywir ynddi. Ond os ydyw yr olygfa fud sydd yn cylchynu y meddwl tra mewn ystâd mor oddefol, yn meddu dylanwad i barhâu am amser maith, pa faint mwy y rhaid fod eiddo mam? Y mae hi yn ei ddilyn i bob man, gan mai dylanwad *meddwl* ydyw. Nid yn unig *yr oedd* ganddi ddylanwad cryf arno yn nyddiau mebyd, ond y mae gydag ef *eto*, er ei bod wedi myned i'r nefoedd. Yn mharhâd y dylanwad y gellir tynu y llinell rhwng y fam dduwiol a'r un wrthgyferbyniol. Yn angeu yr ydym yn darfod âg un mewn ystyr. Tra ar y ddaear medda y ddwy neillduolion mam. Mae gan y naill yr un galluoedd i lygru y meddwl ag sydd gan y llall i'w buro. Ond pan y bydd y fam annuwiol yn marw, bydd ei hawdurdod a'i dylanwad uniongyrchol ar feddwl ei phlentyn yn darfod. Er y bydd effaith ei byw ymysg ei phlant i raddau helaeth yn aros, goreu po gyntaf ganddynt gael tynu y llen dros ei chymeriad. Bydd rhyw niwl oer yn daenedig dros yr adgofion mwyaf pur a chysegredig. A phwy all ddyweyd nad yr hyn fydd yn gwneyd ei chosbedigaeth hithau yn ofnadwy yw ei bod yn canfod ei phlant yn dyfod ar ei hol, a hithau o hyd yn meddu teimladau a galluoedd mam, ond heb fodd i'w rhoddi mewn gweithrediad! Am y fam dduwiol gellir meddwl fod ei nefoedd hithau i raddau yn gynnwysedig mewn teimlo fod eto ryw dramwyfa ddirgelaidd rhyngddi a'i phlant. Gwelwyd esiamplau o blant drwg gan rieni crefyddol. Tra y byddai y fam yn fyw ni wrandawent ar ei chynghorion; ond wedi iddi farw, gwelir hwy bron yn ddieithriad yn gadael eu ffyrdd drygionus. Bob tro y rhydd y bachgen afradlawn gam newydd mewn drygioni, gellir darllen yn ei wedd,

"She haunts me still,
Though many a year has fled."

Y mae fel dylanwad y lleuad ar y môr mawr. Wrth sefyll ar ei làn, ac edrych arno yn dyfod, dòn ar ol tòn, gellid meddwl y bydd cyn hir wedi tori pob deddf; ond fry ni a welwn wyneb gwelw a thawel y lloer yn edrych arno, ac fel yn dyweyd yn ddystaw, "Hyd yma y deui, ac nid ymhellach." Wrth edrych ar y bachgen ieuanc yn llithro o'r naill bechod i'r llall, bydd ei gyfeillion yn dechreu meddwl y bydd cyn hir wedi tori pob deddf, a gosod pob gorchymyn dan ei draed. Ond ryw ddiwrnod saif o flaen ei feddwl wyneb gwelw a llygaid treiddgar ei fam, wedi ei gwisgo âg anfarwoldeb, a sibrwd rywbeth wrtho a ddysgasai iddo pan yn fachgen bach, cyn iddo adwaen twyll na brad y byd. Cawn gan Mrs. Stowe yn nghymeriadau St. Clare a Legree esiamplau o hyn. Ac er y gall mai ffugiol ydynt mewn enw, ceir cannoedd o ffeithiau yn profi

yr un peth. Dangosant yn amlwg fod gan y fam dduwiol ddylanwad annarluniadwy ar feddwl ei phlentyn; yr ysbryd noeth a pherffaith fel yn cynnal rhyw gymundeb â'r un sydd eto heb ei ollwng yn rhydd, a hyny heb gymhorth anmherffaith cyfrwng. Os bydd wedi gwneyd ei goreu ar y ddaear, y mae yn ammheus a all fod yn berffaith ddedwydd yn y nefoedd ei hunan tra y bydd rhai o'i dymuniadau ar eu rhan heb eu cyflawni. A pha fodd y gall fod yn fwy dedwydd wedi i holl gynneddfau y meddwl gyrhaedd y perffeithrwydd yr hiraethir cymaint am dano yma nag wrth gael rhan yn nygiad ymlaen yr hyn y dymunai gymaint am dano?

Clywir rhai merched yn cwyno fod eu cylch yn rhy gyfyng—y dylai y teitlau clasurol fod yn agored iddynt. Ond pan y mae Awdwr y Bibl yn dysgu gwersi pwysig i'r byd, y ffordd a gymer fynychaf yw dwyn allan gymeriadau yn *byw* y pethau hyny. A gall pob mam ddilyn ei esiampl heb dori dros derfynau y cylch tawel a drefnwyd iddi. Yn wir nid oes yr un wybodaeth yn rhy uchel, na'r un ddysgyblaeth yn rhy dost i'r meddwl, os bydd i ryw raddau yn ei gymhwyso i lenwi y cylch hwnw, ac i fod yn addurn iddo. Yr achos fod rhai mamau pan y daw eu plant yn ychydig o oed, yn colli pob awdurdod a dylanwad gwirioneddol arnynt yw, fod eu meddyliau heb eu diwyllio. Yr oedd yr un hâd yn cael ei roddi ymhob un o'r pedwar tir; ond mewn un yn unig y cafodd ddyfnder daear. Mae yr un fath gyda golwg ar famau. Mae gan bob mam ddefnydd dylanwad ar ei phlant yn blanedig yn ei meddwl, ond y fam ddiwylliedig yn unig sydd yn dwyn hyny allan i ymarferiad. Bydd gan y baban ryw ymwybyddiaeth yn ieuanc iawn pwy fydd yn alluog i'w gario o gwmpas. Os rhoddir ef i'w chwaer fechan, dengys anfoddlonrwydd yn y fan. Ceir ganddo rywbeth digon tebyg mewn ystyr foesol. Dealla yn gynt nag y meddylia llawer pwy sydd yn alluog i'w arwain trwy fywyd i anfarwoldeb.

Gwna edrychiad y tro oddiwrth un fam, pan y rhaid cael bygythion, a mwy na hyny, gan y llall. A chan fod yr olaf yn teimlo fod ufudd-dod a pharch yn ddyledus iddi yn gystal a'i chymydoges, ceir hi yn hòni *(assume)* rhywbeth y meddylia hi sydd yn debyg i'r dylanwad naturiol sydd yn ei hadau heb gael "dyfnder daear" yn ei meddwl. Y canlyniad yw fod y plant yn pellhâu oddiwrthi—yn cuddio pob peth rhagddi, a phan yn wynebu pethau mwyaf pwysig bywyd, llywodraethir eu holl symudiadau gan ddybenion hollol anhysbys iddi. Ond gwelir y fam sydd â'i meddwl wedi ei ddiwyllio a'i ëangu, yn gwneyd ei hun yn bob peth y bydd ei phlant yn ddymuno at feddu ymddiried ynddi. Hi o bawb sydd i wybod eu holl helyntion: nis gallant feddwl am guddio dim rhagddi. A phwy sydd mor gymhwys â mam, sydd ei hunan wedi cael profiad o'r byd, i'w harwain? Tra ar un llaw y cânt ei chydymdeimlad llwyraf, y mae ei dylanwad tyner yn ddigon i wrthweithio pob peth a all fod yn niwed iddynt.

Gwelir ambell fam â'i meddwl fel *book of reference* i'w phlant. Ymddyga ymhob man, ac ar bob amgylchiad, gyda thawelwch a hunanfeddiant—ei chymeriad moesol yn bur—a'i hysbryd yn cael ei lywodraethu gan Iesu Grist. Nis gall plant y fath un lai na'i galw yn ddedwydd.

MARGARET.

## YR IAWN.

"Hwn a osododd Duw yn Iawn."

Duw 'r cariad, ein Tad a'n Tŵr—dewisodd
Grist Iesu 'n Gyfryngwr;
Un oedd addas yn Ddyddiwr,
Ac anwyl iawn Ganol Wr.

Immanuel yw, mwy yn wledd—flasus
O felysaf rinwedd;
Gyda ni, Duw 'n gadwyn hedd,
Allor cymmod llu 'r camwedd.

Duw yn y berth oedd dân byw!—hynotach
Yn natur dynolryw:
Duw yn y cnawd, ein cân yw,
Ein cu blaid a'n cwbl ydyw.

Uwch Bethle'm caed anthemau—gwiw engyl
Cydgynghan myrddiynau;
Holl lu nef yn llawenhâu
I bêr groesawi 'r borau.

Bywiol ganai 'n blygeiniawl,—a llawen,
Y lliaws lu nefawl;
Synent pan gwelent, feib gwawl,
Dduw ei hun ar wedd ddynawl.

Anwylent destun arddunol—y gân
Geni y Rhyfeddol;
Dawn y nef i'n dwyn yn ôl,
Iawn y fodrwy anfeidrol.

Y gyfiawn gollfarn oedd arnom—y gwae
A'r gosb a haeddasom,
Dyfwriwyd draw 'r ddedfryd drom,
Un o'n trâs yn Iawn trosom.

Gofyn deddf gyfiawn a da—â'i aberth
Wynebai 'r ail Adda;
Ei fawrwerth a'n hadfera
O eigion blin ein dygn bla.

Ef fu 'n dyoddef, Oen diddig—adwyth du
Melldith deddf doredig;

Aeth Ef dan eithaf y dig,
Ef wnai Iawn, Ef yn unig.

Ef, drwy Iawn anfeidrol werth—ei haeddiant
Yw 'r dyhuddol bridwerth;
Atebodd maint ei aberth
I deml Nâf—dyma le 'i nerth.

Aberth diwall, cadarn allor—a phur
Offeiriad anhebgor,
Oll ynddo 'i hun llanwodd Iôr,
Fal drws pob nefol drysor.

Mor rhyfedd! y mawr Iehofah—yw 'r arch
A'r wir drugareddfa,
Y rinweddfawr wiw noddfa,
Y sylwedd oll—y sail dda.

Parod i'w ddydd, y pryd a ddaeth—i wneyd
Yn ol y fachnïaeth;
I angau dan rwymau 'r aeth,
A thalodd bridwerth helaeth.

Gwaedu mân gysgodau mwy—ni etyb
I natur y gofwy:
Y nôd sy ry ofnadwy;
I wneyd tâl ni ddaliant hwy.

Taro Craig â'r digter cryf—raid yn awr,
Duw 'r nef yw 'r Peryf:
"Tros orsedd, deffro gleddyf,
"It' deuodd waed—heddyw ŷf."

Geirw, wrdd deirw, lu diriaid—Basan,
Bwysent ar ei enaid;
Y cyrnig unicorniaid,
I'w erbyn fel gwenyn gaid!

O'i weddi a'i gri ar y groes,—hyd nef,
Dan ofid a thrymloes!
O f' enaid tlawd, faint y loes
Wnaeth Iawn i brynu 'th einioes!

Yr haul ni ddaliai 'r olwg—y teirawr
Y bu taro 'r Diddrwg:
Oedfa lèm y Dwyfol wg,
Mantellodd mewn tywyllwg.

"Eloi" 'r cri a siglai 'r crëawd—daear
Yn duo—mewn cryndawd;

Dialedd, pand rhyfeddawd,
Mainc y nef, ar Dduw mewn cnawd!

Gor-rwygwch, gedyrn greigiau—agorwch,
Magwyrydd y beddau;
Berwa, fôr, rhwng dy ddôrau;
Awr yw hon byth i'w mawrhâu.

Gwaethwyd ar ben Golgotha—holl allu
Ellyllon *Gehenna;*
Anafodd ein IEHOFAH
Effaith rhwysg y sarph a'i thra.

Ynghanol ing ei enaid—eiddunodd
Ddaioni i'w leiddiaid;
Mal Oen, dan law mileiniaid,
A'u rhwysg oll, yr Iesu gaid.

O'i ochain Ef daeth iechyd—niferoedd;
O'i farw daeth bywyd;
A'r ddraig fawr a ddrygai fyd,
Yn nwys angeu wnai sengyd.

Yn AMEN, y gair Gorphenwyd—llefodd
Pob llafur gyflawnwyd,
Trugaredd i'w gorsedd gwyd,
Nefoedd lân a foddlonwyd.

AMEN diweddlef *Lefi*—AMEN Duw,
AMEN deddf uchelfri,
AMEN wyd i'r prophwydi,
AMEN oll a'n AMEN ni.

Chwerw ing, a charchar angau—drwy 'i allu
Fe 'u drylliodd ein Meichiau;
Difodwyd ei ofidiau,
Duw a'r ddeddf wedi 'i ryddhâu.

Gwledd a thangnefedd yn awr—wnaed i ni
Mewn doniau bendithfawr;
Adwenodd haul Duwinwawr,
Trwy angau y Meichiau mawr.

A'i waed yr aeth, Awdwr hedd—wedi 'r lladd
Drwy y llèn i'w orsedd;
Mwy i eiriol mewn mawredd,
Brawd a phlaid gweiniaid llesg wedd.

Gwâniad ei ddifrâd ddwyfron—a'i arw gur,
Agorodd in' ffynnon;

Hyd fröydd hesp dyfroedd hon
Fywiol lifant fel afon.

Agorodd anfeidrol gariad—ei gudd
Ei dragwyddol fwriad;
Ar Galfari gwelaf Râd
Yn foroedd mewn llifeiriad.

Y gwaed hwn, llawn gysgod tano—a geir;
Gweryd bawb a gredo;
Tarawydd i ddystrywio
Na llaw barn ni ddaw lle bo.

Yn y braw pan darawawdd—Duw yr Aipht,
Gwaed yr oen gysgodawdd,
Yr angel a wagelawdd
Wânu neb yn nhai y nawdd.

Rhyw gysgod hynod oedd hyn—o guddiad
Tragwyddol credadyn;
Lle bo 'r gwaed, llwybraw gwed'yn
Llid ni faidd—llw Duw ni fyn.

R. Owen.

*Llundain.* *(Eryron Gwyllt Walia.)*

---

# WILLIAM THOMAS A HARRI VIII.

Wrth ymchwilio i hanesiaeth dynion a phethau yr oesoedd a aethant heibio, yr ydys yn dyfod ar draws llawer dyn, a llawer amgylchiad ac ymdrafodaeth dyeithr iawn i'r cyffredin—hyd yn nôd dynion o'n cenedl ni ein hunain, a fuont gynt yn tori cryn ffigiwr yn y deyrnas a'r byd, ac yn llenwi lleoedd oedd yn rhoi iddynt fantais i weithredu er troi tafol amgylchiadau politicaidd a chrefyddol eu hamseroedd i'r peth a derfynodd i ddwyn y deyrnas hon, a theyrnasoedd eraill, i'r hyn ydynt y dydd heddyw. Yr ydys yn tybio fod mwy o Gymry mewn swyddau gwladol yn nghyfnod helyntion trafferthus ein teyrnas—mewn cyfartalwch i faint y Dywysogaeth—nag o unrhyw genedl arall, y rhai a gyfodwyd i lenwi lleoedd o ymddiried "mewn llŷs a llàn," o ddechreuad ymrafaelion Harri VIII. â'r Pab hyd sefydliad teuluoedd Brunswick a Hanover ar orsedd Prydain. Y mae i'w ryfeddu y fath gymeriadau a ddefnyddiwyd gan, neu a oruwchreolodd Rhagluniaeth Ddwyfol, i ddwyn pethau oddiamgylch i'r agwedd ag y maent yn bresennol. Dyna fel yr ydym

yn gweled y bu mewn oesoedd eraill hefyd—Darius a Cyrus yn cael eu galw yn weision gan Dduw, pan y byddent yn foddion—er yn anfwriadol ganddynt hwy eu hunain—i ddwyn oddiamgylch ryw chwyldroad gwladol oedd yn wasanaethgar i lesiant eglwys Dduw. Mynych y mae cynddaredd dyn yn cael ei orfodi i'w foliannu Ef, a gweddill yn cael ei wahardd nes ei attal, fel tònau y môr rhag myned dros ei derfyn, gyda'r "Hyd yma yr äi, a dim ymhellach." Y mae yn rhyfedd fod y fath gymeriadau wrth ŷru yr ynfyd—fel Jehu—mewn zêl wladyddol, heb ŷru y cerbyd i ddinystr. Buasent yn gwneyd hyny yn ddïau, oni buasai fod Llaw anweledig yn dal yr awenau, ac yn gweithio yr oll "wrth gynghor ei ewyllys ei hun," gan wneyd "i bob peth gydweithio er daioni." Yr oedd yr offerynau yn gyffredin yn ddynion o ddysgeidiaeth dda, o synwyr cryf, ac o ewynau cedyrn, ond yn hollol ddibrofiad crefyddol—ac yn wir yn fynych o foesau ffiaidd llygredig. Dynion felly yn y deyrnas hon oedd gwŷr y llŷs a'r eglwys, gydag ychydig iawn o eithriadau;—dynion felly a godid i swyddau anrhydeddus, a dynion felly oedd yn fwyaf gwasanaethgar i ddwyn oddiamgylch amcanion llygredig Harri VIII.

Y mae llawer o'r dynion hyny o Gymru yn awr yn dra anadnabyddus. Yr ydym yn cyfarfod âg enwau Cymreig yn britho hanesion helyntion y teyrnasiadau hyny, yr hyn a gyfyd awydd ynom am wybod mwy am danynt—pwy oeddynt, a rhyw drefn o'u hanes. Bu prif wrthddrych y sylwadau hyn yn ŵr hynod o amlwg yn ei ddydd. Nis gallwn ddyweyd cangen o ba deulu yn Nghymru ydoedd, nac o ba le, er ein bod yn tueddu yn gryf i feddwl mai o Sir Faesyfed. Cymaint ag a ddywedir gan yr hen Anthony Wood yn ei *Athenæ Oxoniensis* ar hyn yw, fod William Thomas yn Gymro o enedigaeth, neu o leiaf o âch Cymreig; ac nid yw Williams, yn ei *Dictionary of Eminent Welshmen*, wedi cael mwy o fanylwch am dano. Cafodd ddysgeidiaeth gyfaddas i foneddwr yn yr oes hono, fe allai yn Rhydychain, er nad oes cwbl sicrwydd am hyny, pe byddai gallu gwybod yn rhywbeth o bwys. Ond y mae yn sicr y cafodd un o'r enw William Thomas ei raddio yn B.C.L.—Gwyryf y Gyfraith Wladol—yn Rhydychain yn 1529; ac nid oes genym le i ammheu mai y gŵr ag yr ydym yn sôn am dano ydoedd hwnw. Pa fodd bynag, nid oes dim yn cael ei wybod am dano ymhellach hyd y flwyddyn 1544—pymtheng mlynedd ar ol yr amseriad uchod, a dim ond deng mlynedd cyn ei farwolaeth; pryd, oblegid rhyw gysylltiadau dyrys y dygwyd ef iddynt, y bu gorfod iddo adael y deyrnas hon, ac ymfudo i Bologna yn Italy: a dyna lle yr oedd pan ddaeth y newydd o farwolaeth Harri VIII. i'w glustiau yn 1547—wedi bod bellach dair blynedd yno. Yr oedd y newydd hwnw yn cynniwair fel tân gwyllt trwy yr holl wlad Babaidd hono, gyda llawen floedd, fel y gellir meddwl, a Harri a'i weithrediadau yn destun beirniadaeth lem ymhob cyrchfa. Yr oedd hyn yn cael ei wneyd gyda mwy o erwindeb nag arferol mewn cyrchfa o foneddigion, lle yr oedd y Cymro yn bresennol. Cyffrôdd ei waed Cymröaidd; ac er ei fod mewn gwlad estronol, yn nhiriogaethau y Pab, ac o fewn ychydig i ffau y llew, efe a anturiodd dori peth ar y gynddaredd a ollyngid allan, trwy siarad yn helaeth mewn amddiffyniad i Harri—cymeriad yr hwn oedd, fel y dysgwylid, yn cael ei drin yn lled anfoesgar gan foneddigion Pabyddol Bologna. Wedi hyny efe a ffurfiodd yr ymddyddanion am-

ddiffynol hyny i fath o draethawd, mewn dull o ymddyddan, yr hwn a gyflwynodd i Pietro Aretino, y bardd Tuscanaidd enwog. Enw y llyfr hwnw yw, *The Pilgrim. A Dialogue on the Life and Actions of King Henry the Eight.* "Y Pererin—Ymddyddan ar Fywyd a Gweithrediadau y Brenin Harri yr Wythfed."

Y mae yr ymddyddan yn tybio i hyn gymeryd lle yn nhŷ masnachwr cyfoethog yn Bologna. Wedi rhyw siarad rhagarweiniol am natur yr hinsawdd yn Lloegr—cofier mai nid hanes gwibdeithiau i'r Cyfandir y flwyddyn ddiweddaf sydd genym yn traethu am dano, ond Cymro yn crwydro ac yn llechu yno ryw dri chant a phymtheg mlynedd yn ol—y mae yr ymddyddan yn troi at y newydd diweddaraf o Loegr, sef marwolaeth Harri y brenin. Yn naturiol iawn y llithrodd yr ymgomiad at ei deyrnasiad ag oedd y pryd hyny newydd derfynu, os gwir y newydd a glywid. Cymerodd un o'r cwmpeini arno brofi, gyda chryn hyawdledd areithyddol, mai gorthrymwr trachwantus a chreulawn oedd y diweddar benadur, a gweithir y cyhuddiad allan i ddim llai na phedwar ar ddeg o benau, wedi eu tynu yn drefnus iawn, y rhai sydd yn cyrhaedd dros fwy na thri tu dalen o'r gyfrol, ac yn cymeryd i mewn holl ymarweddiad llygredig a theyrnasiad gorthrymus Harri. Nid rhaid i ni eu hysgrifenu yma. Cymerir yn ganiatäol fod ein darllenwyr yn hollol adnabyddus â hanes y cyfnod hwnw; a rhaid eu cyfeirio at Lingard neu Hume, Sharon Turner neu Tytler, yn ol fel y byddo eu rhagfarn neu eu chwaeth yn eu tueddu. Y prif bwyntiau a haerid oedd, ddarfod i Harri VIII. fwrw ymaith ei wraig gyfreithlawn—modryb yr ymherawdwr—wedi iddo fyw gyda hi am ddeunaw mlynedd; a diddymu awdurdod yr Esgobaeth Babaidd yn ei deyrnas, oblegid i Clement VII. nacâu cyfiawnhâu yr ysgariaeth, gan gymeryd arno ei hun hawl ac awdurdod y Pab—ddarfod iddo dorfynyglu yr Esgob Fisher o Rochester, a Syr Thomas More, am na fynent gydsynio â'r fath ffieidd-dra—ddarfod iddo ddadymchwel y Mynachlogydd er mwyn trawsfeddiannu eu cyfoeth—a'i fod wedi tori yr addewid a wnaethai o faddeu i'r gwrthryfelwyr gogleddol, a "pheri i rifedi o'r rhai mwyaf pendefigaidd o honynt gael eu rhoddi i farwolaeth trwy amryw greulonderau." Ni a roddwn y nawfed cyhuddiad—yr hwn yw yr anhawddaf ei ateb—yn ngeiriau yr awdwr ei hun:—

"Ac nid ei wraig gyntaf: oni ddarfu iddo ddarnio, newid, a thorfynyglu tair neu bedair ychwaneg, fel ei geffyl yn chwennychu porfa newydd, i ddigoni chwantau anniwair ei ewyllys geleäidd? Gwnaeth i ddwy o'i wragedd ddyoddef marwolaeth, ac y mae dwy eto yn fyw." Ac yn ddiweddaf, chwanegir erlidigaeth Cardinal Pole, llofruddiad mam Pole a'i brawd, a thorfynygliad Duc Norfolk a'i fab. Dyma y cyhuddiadau oeddynt yn cael eu dwyn gan Babyddion Italy yn erbyn Harri VIII., ac yr ydym ni yn ystyried nad oeddynt yn lliwio yn rhy ddu. Y mae hanesion y cyfnod yn eu profi. Ond er eu herchylled, y mae y Cymro hwn yn sefyll ar ei draed, gan osod ei hun yn arwr i'w hamddiffyn, a hyny yn nrws Rhufain ei hun. Yr oedd cymeriad Harri yn cael ei ddeall yn well yn Italy nag yn y wlad hon. Yno yr oedd pawb yn cael dyweyd a fynent am dano ac yn ei erbyn; ond yma, yn y deynas hon, yr oedd perygl siarad llawer am dano, na dim yn ei erbyn. Yno yr arwr oedd y dyn a safai o'i blaid, tra yma y neb a safai yn ei erbyn

oedd yr arwr; canys yr oedd yr Arglwyddi a'r Cyffredin yn gaethion i'w allu, ac yn weision i'w lygredigaeth.

Y mae yr ateb i'r cyhuddiad cyntaf o anghyfreithlondeb yr ysgariaeth, yn sefydlu yn rhwydd iawn bob cwestiwn dyrys a gyfodai, gan fyned heibio i rai, a thori cylymau eraill, gyda yr ëofndra mwyaf digywilydd. Mae morwyndod Catherine yn cael myned drosto fel peth dibwys; ond cymerir gofal i awgrymu mai ffrwyth y briodas oedd y foneddiges *dyner* hono, Mari. O ran dim a ellir ei weled yn yr hanes, gallai y darllenydd farnu fod cynnrychiolydd y Pab, Campeggio, yr hwn a anfonwyd i brofi yr achos—wedi penderfynu o blaid yr ysgariaeth. Yr oedd Harri wedi bod am flynyddoedd yn ceisio yn ofer gan y Pab Clement VII. benderfynu yr achos yn ei ffafr ef; o'r diwedd cymerodd y gorchwyl i'w law ei hun; a chafwyd gan ryw esgobion o'i grëad ef ei hun gysegru Archesgob Caergaint heb ymgynghori â'r Pab, yn hollol er mwyn penderfynu yr achos fel y mynai efe.

Diddymiad yr awdurdod Babaidd yn Lloegr yw y cyhuddiad nesaf. Yr oeddynt hwy yn Italy yn cyhuddo y brenin o ddiddymu awdurdod Eglwys Rhufain, i'r dyben o gyflawni ei fwriad ei hun trwy briodi ei ail wraig, i'r hyn yr oedd Clement VII. yn nacâu cydsynio. Ond dywed William Thomas i'r doctoriaid a benderfynasant y pwnc ddechreu trwy gymeryd yr efengyl fel eu hunig reol, ac iddynt yn ebrwydd ganfod nad ellid cael unrhyw brawf Ysgrythyrol am awdurdod y Pab dros freninoedd ac ymherawdwyr—fod Pedr, Paul, Solomon, a Christ ei hun, yn gorchymyn ufudd-dod i freninoedd Paganaidd; a pha faint mwy y mae ufudd-dod yn ddyledus i frenin Cristionogol rhinweddol! ac nad ellid dysgwyl i Harri ymddangos ar ei brawf o flaen hen anifail aflan wedi ei godi o'r domen, fel Campeggio.

Rhoddir yma esiampl o gymysgiad rheswm a sothach—gwirioneddau a gwrachïaidd chwedlau—a ddefnyddiwyd yn y ddadl hon, lle y gwelir athrylith a ffraethder yr hen Gymro:—

"Crist, wedi iddo folltio pyrth y nefoedd, a bario y dôrau o'r tu fewn, a orchymynodd i Pedr gadw yr agoriadau yn ddiogel hyd ddydd y farn. Hyd yr amser hwnw, ni fynai efe i ddynion fyned i mewn yn gorfforol trwy y drws, eithr ehedeg dros y mur. Felly bu Pedr holl ddyddiau ei fywyd yn ceisio arwain yr holl gristionogion trwy fywiol ffydd, fel y dysgodd ei Feistr ef, ac nid trwy agor y drws; a chan hyny efe a guddiodd yr agoriadau yn ei dŷ yn Antiochia, lle y buont yn nghadw lawer flynyddoedd, heb i neb wybod pa le yr oeddynt. O'r diwedd, yn amser Phocas, ymherawdwr Caercystenyn, cafodd rhyw offeiriad tlawd hwynt; ac yr oedd yn rhyfeddu wrth y gwaith cywrain oedd arnynt (gan eu bod, fel yr oeddynt, o wneuthuriad Dwyfol). I foddio ei arglwydd, yr ymherawdwr, â'r fath beth mor brin, efe a aeth ac a anrhegodd ei Fawrhydi â hwynt; yntau, heb wybod pa fodd i'w defnyddio, a'u rhoddodd wedi'n i Pockyface (dylwn ddyweyd Boniface y Trydydd), gan yr hwn y dygwyd hwy gyntaf i Eglwys Rhufain. Ond mewn effaith, darfu i'r Boniface hwn, wrth geisio agoryd pyrth y nefoedd, fethu yn ei waith, a thrwy anhap, efe a aeth at byrth uffern, pryd, yn anofalus, y defnyddiodd efe yr agoriadau hyny; ac er syndod, efe a'u hagorodd yn ebrwydd *quia portæ inferni non prævalebunt eum*, yn y fath fodd fel y daeth y cythreuliaid allan trwy ychydig drafferth. Wedi iddynt dynu Boniface i mewn, cadwasant y pyrth mor llydan agored, fel y darfu iddynt hwy oll a ddilynasant Boniface yn y grêd Babaidd, feddwl am ddringo i'r nefoedd, a syrthio yno ar y ffordd. Yn olaf, i ddiweddu ar yr awdurdod Babaidd hon: nid yn unig canfuwyd fod y Pab yn gaubrophwyd, a thwyllwr a hudwr eneidiau dynion, ond hefyd mai efe oedd yr anghrist hwnw, yr hwn y mae Ioan yn ei ddarlunio mewn cynifer o ffugyrau yn y Dadguddiad, yn gymaint ag nad ellir esbonio anghrist yn amgen na gwrthwyneb i Grist. Ac y mae y Pab mor wrthwyneb i Grist gan Daniel, fel y mae y pwnc yn

*toto* amlwg; canys yn gymaint ag mai un gostyngedig, amyneddgar, diwair, tlawd, dihalog, ac ufudd oedd Crist, yn ceisio bob amser wneyd ewyllys ei Dad ac nid ei ewyllys ei hun, y mae y Pab yn hollol yn y gwrthwyneb, yn falch, diamynedd, barbaraidd, cyfoethog, anniwair, ac anufudd, heb geisio gwneyd dim o ewyllys Duw, eithr ei ewyllys ei hun yn unig, er gwaethaf yr holl fyd......Ac nid yn unig fe brofwyd fel hyn fod y Pab yn ngwrthwyneb i Grist yn ei weithrediadau, eithr hefyd yn ei athrawiaethau, a'i seremonïau, o'r dechreu i'r diwedd, rhy faith yn awr i'w henwi; ïe, ac nid yn unig y Pab sy'n fyw yn bresennol, ond hefyd yr oll a fuont yn cael eu cynnwys o dan yr enw hwnw, yn enwedig o amser Boniface y Trydydd hwnw ymlaen. Canys er i'r Pabau fod yn ochelgar mewn gweithrediadau cyhoeddus—rhai yn llai drygionus nag eraill; eto yn eu rhagrith mewnol yr oeddynt oll yn dilyn mam y diafol."

Ymhellach, o berthynas i Eglwys Rhufain, y mae William Thomas yn ei darlunio, yn ddiflew ei dafod, fel hyn:—

"Yr wyf yn dywedyd ei bod yn butain haerllug, yn odinebus, ac yn puteinio â thywysogion y ddaear, ac yn elyn penderfynol y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan, a'r eglwys gyfreithlawn, dyweddi Crist, &c. Felly mab y diafol yw y Pab, eich duw chwi ar y ddaear; yr hwn mewn puteindra â'ch mam-eglwys buteinllyd a genedlodd holl fastarddiaid y golledigaeth sy'n credu mewn maddeuant pechodau ynddo ef mewn anwybodaeth a rhyfyg."

Y mae ein hawdwr Cymröaidd yn myned ymlaen gyda'r cyhuddiadau o un i un. Awn heibio i'r amddiffyniad o drawsfeddiannu yr uwchafiaeth, ac yspeilio y mynachlogydd, gan nad ydynt ond y rhai a ddygir ymlaen yn gyffredin yn y ddadl â'r Pabyddion ynghylch hyn. Ond ni a ddyfynnodwn un dosran eto, i ddangos fel yr oedd William Thomas yn dyrnu yn drwm iawn y mynachlogydd a'r mynachod yn ei ffordd lawchwith ei hun:—

"Cafwyd ynddynt ragrith, llofruddiaethau, eilunaddoliaeth, gwyrthiau, sodomiaethau, godinebau, puteindra, balchder, ac nid saith, ond mwy na saith can' mil o bechodau marwol. Och! y mae fy nghalon yn gwneyd i'm holl aelodau grynu, yn waeth na'r cryd tridiau, pan gofiwyf am yr holl ffieidd-dra a gafwyd yno. O Arglwydd Dduw (a siarad yn dduwinyddol), beth a elli ateb i'r pum' dinas a ddinystriwyd gan dân o'r nef, pan brofir ger dy fron ddrygioni y rhai hyny a gynneliaist ti mor hir? Sylwer yn dda (meddaf) ar yr ychydig eiriau hyn, ac mi a ddywedaf i chwi. Cafwyd yn eu carcharau conglog gynifer o'n brodyr yn feirwon, fel ag yr oedd yn rhyfeddod; rhai wedi eu croeshoelio, a mwy o greulonderau nag a glywyd am danynt erioed; a rhai wedi eu newynu, am dori ar eu dystawrwydd coelgrefyddol, neu rywbeth dibwys felly; ac yn enwedig, arferwyd y fath greulondeb tuag at rai plant nad ellid ei adrodd â thafod dynol. Yr oedd rhai o'r meudwyod, o dan gochl cyffesiad, wedi adnabod yn gnawdol fwy na dau neu dri chant o foneddigesau, a benywod parchus, y rhai yr oedd eu henwau wedi eu rhestru trwy orchymyn, a ddangoswyd i'r Prwywyr; yn gymaint ag y darfu i rai o'r Prwywyr hyny ganfod eu gwragedd eu hunain yn rhestredig ymhlith y lleill. Och! pa beth a ddywedaf—nis gallai dawn Ptolemy, cof Pliny, nac ysgrif Augustine, pe byddent yn un dyn, ei wneyd yn awdwr digon medrus i fod y fath hanesydd gwarthruddol ag y mae y fath ffieidd-dra yn ei ofyn."

Holl sylwedd yr amddiffyniad i Harri yn cigyddio ac yn newid ei wragedd yn ol ei flys, yw adrodd rhyw hen chwedlau, dyben y rhai yw profi mai anhap ydoedd yn fwy na'i fai, ac ei fod yn fwy i'w dosturio wrtho na'i gondemnio. Ysgarwyd ei wraig gyntaf oblegid mai gweddw ei frawd ydoedd; a myn William Thomas i ni gredu fod yr ail yn euog o odineb; bu y drydedd fyw gydag ef y tymmor maith o ddeunaw mis; a'r bedwaredd, am yr hon y dywed—yn groes i bob ffaith—fod y brenin yn ei charu dros fesur, ond wedi byw gyda hi chwe' mis, fel ei wraig,

iddo ei rhoi heibio, yn groes i'w gydwybod, "pan ddeallodd ei bod yn wir yn wraig gŵr arall." Dyna yw yr hanes a roir am ei ymddygiad tuag at Ann o Cleves, yn erbyn yr hon y cymerodd Harri gasineb y mynyd cyntaf y gwelodd hi; a chynlluniodd esgus o'i ddyweddïad o'r blaen âg arall, i gael ymwared o honi, wedi yn gyntaf daflu digon o lychwindod ar ei chymeriad. Ni fedrai yr hen gyfaill William gael digon o haerllugrwydd i gyhuddo Catherine Howard—y bummed wraig—o odineb gweithredol; ond y mae yn boddloni ei hun â haeru ei bod yn arwain bywyd drygionus cyn priodi. Am y wraig ddiweddaf, Catherine Parr, gan iddi hi fod mor ffodus â goroesi Harri, ychydig oedd eisieu ei ddywedyd. Cyfrifai yr awdwr "fel un o'r llwyddiannau mwyaf arbenig a gafodd y brenin yn y byd hwn—ddarfod iddo, wedi cynifer o gyfnewidiadau, gael yr hap ogoneddus o gael marw yn mreichiau y fath ddyweddi ffyddlawn." Ond naill ai nid oedd efe yn gwybod, neu gwelodd yn gyfleus anghofio, ddarfod i Catherine Parr fod yn agos iawn ar fin cael ei marwolaethu, ar gyhuddiad o heresi, ac iddi yn brin ymachub, trwy y cyfrwystra mwyaf o berswadio Harri mai er mwyn ei ddiddyfnu ef, a throi ei feddwl oddiwrth ei afiechyd a'i boenau corfforol, y tynasai ddadl âg ef, ac nid oblegid gwahaniaeth ar bynciau duwinyddiaeth.

Erbyn hyn rhyfeddu yr ydym na buasai y chwil-lys wedi cael allan ein hawdwr, ac ymddwyn tuag ato yn ol yr hyn a dybiai Eglwys Rhufain ei fod yn ei haeddu yn gyfiawn. Ond efe ei hun a ddywed, "Cyn yr ymddyddan hwn yr oeddwn mor gyson Babydd ag undyn byw; ac yn awr, wedi i mi glywed y rhesymau lliosog hyn, yr wyf yn y fath ddyryswch fel na wn pa ffordd i ddyfod allan;" ac eto ymddengys yn penderfynu ymladd ei ffordd, ac amddiffyn Harri trwy y tew a'r teneu. Y mae y cwbl yn dangos i ba bellder yr ä dyn er amddiffyn achos drwg, os bydd rhagfarn yn gogwyddo i'r ochr hono.

Wedi hyny, os nad o'r blaen, bu William Thomas yn byw yn Padoua, lle y casglodd lawer o ddefnyddiau tuag at ei Eirlyfr a Grammadeg Italaidd, yr hwn a gyhoeddwyd o dan yr enw *Principal Rules of Italian Grammar.* Yn 1549 efe a ddychwelodd i Lundain am dymmor, lle yr ysgrifenodd hanes byr ond cryno o Italy—llyfr nodedig o gyfaddas i'w ddarllen, gan ei fod yn traethu ar sefyllfa llawer ac amrywiol weriniaethau, pa fodd y buont ac yr oeddynt yn cael eu llywodraethu. Argraffwyd hwn yn Llundain yn 1549, yn bedwarplyg, wedi ei gyflwyno i John, Iarll Warwic, mewn Epistol wedi ei amseru Medi 20, 1549.

Ei weithiau eraill oeddynt *Le Peregrynne,* a ysgrifenwyd yn Bolagna la Grassa. Y mae mewn MSS. yn y Llyfrfa Bodleyaidd.

Pan ddaeth adref i Loegr, gwnaed ef yn Ysgrifenydd Cynghor Edward VI. (Ebrill 19, 1549). Dywed Wood iddo gael ei wneyd yn Ysgrifenydd y Cynghor am ei hyddysgrwydd mawr mewn ieithoedd arferedig; ac ychwanega, iddo fel gwobr am ei ffyddlondeb yn ei swydd gael ei wobrwyo gan y Brenin â Phersoniaeth Llanandreas yn Sir Faesyfed, ac hefyd â Phrebendariaeth yn Caergaint. Ond ymddengys i ni fod rhywbeth arall yn symbylydd y dyrchafiaethau eglwysig hyn—sef ei waith yn amddiffyn ei dad Harri mor wrol—ac felly yn awr y mae yn cael ei wobrwyo yn helaeth—dim llai na'r hyn sy'n awr yn werth £3,000 yn y flwyddyn! Y mae Personiaeth Llanandreas yn bresennol yn werth £1300, yn ol y *Clergy List;* ac yr oedd y Brebendariaeth y pryd hyny "yn well na £34.'

Ymddengys rhywbeth yn hyn yn dra gwaradwyddus, oblegid nid ymddengys i William Thomas fod erioed mewn "urddau eglwysig." Ond "Hael fydd Hywel ar bwrs y wlad;" a hael iawn fu Hywel y tro hwn i William Thomas. Yn y modd hwn y mae cymaint o eiddo a roddwyd at wasanaeth crefydd, neu a ystyrir felly, wedi myned yn feddiant etifeddol i berchenogion ystadau yn aml yn y wlad hon. Yr oedd rhai gwŷr eglwysig rhagorol yn gofidio o herwydd y llygredigaeth hwn, yn enwedig gan nad oedd y Cymro yn ddyn o foesau, chwaethach yn ŵr crefyddol; a darfu i'r Esgob Ridley—y merthyr wedi hyny—siarad yn groew yn erbyn y cysegr-yspeiliad hwn, mewn llythyr amseredig o Fulham, Gorphenaf 23, 1551, lle y mae yn mynegu fod arno eisieu y Brebendariaeth i Bradford neu Grindal, y rhai oeddynt bregethwyr galluog, a merthyron wedi hyny. Yr oedd yn amlwg oddiwrth ddull Ridley yn ysgrifenu, nad oedd ganddo ond tyb wael am William Thomas. Efe a ddywed:—

"Ond och! syr, yr wyf wedi fy rhwystro, yr wyf yn ofni, trwy waith y cyfryw nad ydynt yn ofni Duw. Rhyw Meistr William Thomas, un o *glarcod* y Cynghor, a roes rywbryd yn ol y Cynghor yn fy mhen, i beri i mi ganiatâu i Layton—meddiannwr y Brebendariaeth y pryd hyny—gael gwneyd y Brebendariaeth iddo ef a'i etifeddion byth. Bu Duw yn gynnorthwy ac amddiffyn i mi, fel na chydsyniais i â'i gynlluniau annuwiol ef. Eto triniwyd fi y fath gan y Cynghor, fel y caniatëais mai pa bryd bynag yr elai yn wâg, na rown i mo honi heb hysbysu i Fawrhydi y Brenin, fel y gallai gydnabod y rhoddiad cyn ei chyflwyno. Yn awr y mae Layton wedi ymadael, a'r lle yn wâg; ac y mae rhai o'r Cynghor—trwy gais y dyn annuwiol hwn yn ddiammheu—wedi ysgrifenu ataf fi, i attal ei rhoi. Ac yn gymaint a'i fod yn anobeithio y cydsyniwn i byth i roi bywioliaeth pregethwr iddo ef, efe a fynodd lythyrau, wedi eu hysgrifenu gan ryw rai o'r Cynghor, fod ei Fawrhydi y Brenin wedi penderfynu ei rhoddi, i gyflenwi bwrdd ei Uchelder. Och, syr! y mae hyn yn beth trwm! Pan oedd Pabyddiaeth yn cael ei dysgu, nid oedd dim yn rhy fach i athrawon. Pan oedd yr Esgob yn rhoddi ei fywiolaethau i wallgofiaid, annysgedigion, annuwiolion, i berthynasau, am bleser neu wasanaeth, a pharch bydol eraill, yr oedd y cwbl yn cael ei ganiatâu yn burion y pryd hyny. Yn awr, pan y mae bywioliaeth dlawd yn cael ei rhoi i offeiriad enwog—dyn adnabyddus a phrofedig ei fod yn ddyn synwyrol a rhinweddol; a'r fath, fel ger bron Duw, nad wyf yn gwybod am neb heb le eto, ac heb ddarparu ar ei gyfer, mwy cymhwys i draddodi gair Duw o fewn holl Loegr: pan, meddaf, y mae bywioliaeth dlawd, yr hon a sefydlwyd i bregethwr, yn myned i gael ei rhoddi i'r fath ddyn, ag y gallai dyn annuwiol fel hyn gael llythyrau i'w attal, ac i roddi iddo y fath le. O! Meistr Cheke, y mae hyn yn ymddangos i mi yn beth trwm iawn i'w glywed! ........."

Gwelwn fod y pryd hyny rai yn codi eu llef yn erbyn y drygau eglwysig hyn, a'r rhai a fuasent yn dwyn y diwygiad allan i fwy o berffeithrwydd, oni buasai fod y fath ddynion digrefydd a diegwyddor â William Thomas wrth y llyw.

Tra yr oedd yn ngwasanaeth Edward VI,, efe a ysgrifenodd lyfr o'r enw *Common Place of State.* Yr oedd hwn yn cael ei fwriadu i wasanaeth ei Fawrhydi ieuanc, Edward, lle y traethir ar y priodoldeb o wahaniaethu gyda'r amseroedd, a phethau eraill. Cyhoeddwyd casgliad o'i holl weithiau yn 1767.

Wedi marwolaeth y Brenin Edward VI., ymddengys i William Thomas syrthio dan anfoddlonrwydd y Frenines Mari (Mari Waedlyd); pryd y cymerwyd ei leoedd oddiarno, ac y collodd bob gobaith mwy am godiad llëygyddol nac eglwysig. "Gan hyny," meddai Anthony Wood, "efe a fwriadodd ei llofruddio," sef y Frenines Mari. Y mae Wharton yn ei gyhuddo hefyd o geisio am fywyd Stephen Gardiner, Esgob Winchester. Pa fodd bynag, y mae yn sicr iddo gael ei anfon yn garcharor i'r

Tŵr, yn Llundain, Chwefror 20, 1553, gyda Winter a Throckmorton. Ar y 26ain o'r un mis, "gan fod yn gydwybodol ynddo ei hun," meddai Wood, "y byddai iddo ddyoddef marwolaeth waradwyddus, efe a geisiodd wneyd terfyn arno ei hunan, trwy wthio cyllell i'w gorff o dan ei fronau; ond ni phrofodd y clwyf yn farwol Ar y 9fed o Fai, 1554, efe a brofwyd ac a gondemiwyd yn Guildhall, Llundain; ac ar y 18fed o'r un mis efe a ddienyddiwyd yn Tyburn." Y mae Wood yn symio ei gymeriad fel hyn:—"Yr oedd yn ddyn o ysbryd poethlyd, tanllyd, ac wedi sugno i mewn egwyddorion damniol, trwy ei ymddyddanion mynych â Christopher Goodman—y gelyn gwyllt hwnw i lywodraeth menyw, ac un o fwy zêl wyrgam nag o wir grefydd. Efe a ddyoddefodd farwolaeth, fel y dywedwyd, yn Tyburn, trwy ei grogi, ei ddirdynu, a'i chwarteru, gan adael cymeriad ar ei ol, gan rai, o fod yn meddu talentau helaeth. Ond beth a ddaeth o'i chwarterau, nis gwn." Y mae Anthony Wood, ni a wyddom, yn hanesydd eithafol a rhagfarnllyd iawn, gan wneyd ei oreu yn wastad i ddwyfoleiddio y naill blaid ac i uffernoleiddio y llall; a chan mai yn erbyn William Thomas yr oedd wedi cymeryd, rhaid caniatâu ei fod yn pardduo cymaint ag a allai arno. Eithr y mae yn amlwg fod yr hen Gymro yn ŵr o allu a thalent, a chanddo ysbryd gwrol, hyf, a phenderfynol, ac felly ei fod yn eithaf offeryn i anturio ar unrhyw gynllun er dwyn ei amcanion oddiamgylch; ac y mae yn rhy amlwg, dybygid, nad oedd yn petruso llawer oddiar ba egwyddorion—cam neu gymhwys—y gwnai efe weithredu. Ond yn ngwyneb holl gynlluniau a bwriadau Pabyddion ffyrnig a gau-Brotestaniaid, da ydoedd fod yr Hwn oedd uwch na'r uwchaf yn gwylied, a thrwy y cyfan yn dwyn ei amcanion ei hun i ben, megys y gwelir heddyw.

---

# TREM AR YR AMSERAU.

Rhaid i ni, mewn ufudd-dod i gynghor awdurdodol llywyddion ein hargraffwasg, fod yn fyr iawn yn ein hadolygiad trimisol y tro hwn, yr hyn sydd i ni yn gryn brofedigaeth, gan fod amrywiaeth llïosog o bethau pwysig yn cyd-ymddangos o flaen ein trem.

Y mae penderfyniad y rhan fwyaf o Ymneillduwyr efengylaidd ein teyrnas i gadw coffadwriaeth anrhydeddus am y weithred fawr o hunanymwadiad a chydwybodolrwydd a gyflawnwyd yn ein gwlad ddau can' mlynedd yn ol gan y gwroniaid Anghydffurfiol, wedi cynnyrchu cymysgedd o deimladau a llïaws o ddadleuon. Dygwyddodd i rai Ymneillduwyr gor-zelog gymeryd yr achlysur i ymosod yn lled ddigywilydd ar offeiriaid efengylaidd, gan awgrymu y dylasent hwythau, er mwyn cydwybod, ymadael â'r Eglwys Wladol, megys y gwnaeth y Ddwy Fil. Parodd hyn i rai o'r Eglwyswyr ddigio yn aruthr, nid yn unig wrth yr ychydig bersonau a ymosodasant felly arnynt, ond wrth Ymneillduaeth ac Ymneillduwyr yn gyffredinol, ac wrth goffadwriaeth y Daucanmlwyddiant yn neillduol. Yn eu mysg y mae Canon Miller o Birmingham, gŵr da a phregethwr enwog, a chyfaill mawr i'r diweddar

J. Angel James, un a gyfrifid ymhlith y rhai mwyaf rhyddfrydig o glerigwyr, wedi cymeryd tramgwydd dirfawr, ac encilio oddiwrth y Fibl-Gymdeithas yn Birmingham, rhag ei gael ar yr un areithfwrdd a'r *Dissenters* haerllug! "Nid yw gwŷr mawrion ddoeth bob amser," ac nid yw y Canon Miller y tro hwn wedi arddangos y synwyr a'r pwyll y tybiasem yr oedd yn eu meddu. Ei gyfaill call-ach, y Parch. Samuel Minton, Eglwyswr dylanwadol iawn, mewn llythyr o'r eiddo, a ddengys y "ffordd dra rhagorol" a ganmolid gynt gan yr apostol Paul. Dywed ef nad yw yr Ymneillduwyr yn pallu cydweithredu âg Eglwyswyr mewn achosion da, serch fod miloedd o offeiriaid yn eu gwaradwyddo hwy fel hereticiaid a sismaticiaid; a pha-ham yr oedd yn rhaid i'r clerigwyr efengylaidd weithredu yn amgen? Cawn y Canon Miller ei hun yn ei ragymadrodd i'r gyfrol gyntaf o *Nichol's Series of Standard Divines* yn dywedyd, "Ar dröad allan y Puritaniaid, ar Ddydd St. Bartholomeus yn 1662, o dan Act anffodus a hunanleiddiol Unffurfiaeth, 'hwy a ddygasant allan gyda hwy oleuni ysbrydol Eglwys Loegr.'" Yn ddiau ynte, gweddus yw anrhydeddu coffadwriaeth y Tadau Anghydffurfiol ar achlysur y Daucanmlwyddiant. Da genym weled yr enwadau Cymreig oll, oddigerth y Wesleyaid, a rhai personau o honynt hwythau, yn dyfod allan mor barod ac mor wresog i godi i fyny goffa da yr hen Anghydffurfwyr, ac i gymeryd mantais ar y fath amser i wneuthur egnïon ymarferol yn mhlaid achos crefydd yn eu hamrywiol gylchoedd. Dysgwylid, fe allai, gan rai o'n darllenwyr gael erthygl ar yr Anghydffurfwyr yn y rhifyn hwn; eithr gan fod yn yr wythnosau hyn gymaint o sôn am danynt, a chyfeirio atynt, yn yr holl bapyrau a'r cylchgyhoeddiadau, yr ydym yn barnu mai da y gwnawn ni ohirio cyhoeddi ein herthygl ar hyn hyd ein rhifyn nesaf, er mwyn cadw a pharhâu y sylw a'r teimlad daionus a gynnyrchir, mae yn ddiammheu genym, gan y cyfarfodydd a gynnelir ar ac oddeutu dydd gŵyl Bar-tholomeus.

Y mae yr Arddangosfa Genedlaethol a hir ddysgwyliasid bellach yn ffaith. Yr oedd ei hagoriad yn olygfa ardderchog. Tywysogion, pen-defigion, a phobl, Prydeiniaid a thramoriaid, a gydymgynnullasant yn dyrfa fawr; ac, ymysg pethau eraill, dywedir fod effaith gynhyrfiol y gerddoriaeth yn annesgrifiadwy. Ond ynglŷn â'r holl rwysg, yr oedd teimlad o alar yn meddiannu llaweroedd wrth feddwl fod dyfeisiwr breninol drychfeddwl gorwych yr Arddangosiad yn gorwedd yn ddiwaith a diddychymyg yn ei fedd. Beïir yn lled gyffredinol ar anhawddgarwch allanol yr adeilad fawr; ond oddimewn y mae yn ymddangos yn hylaw a chyflëus iawn i osod allan y milfiloedd nwyddau a chywreinion o holl barthau y byd a arddangosir yno.

Mae yr Undebwyr wedi cael goruchafiaethau pwysig ar y Deheuwyr yn yr America. Er i'r diweddaf ennill rhai mân-frwydrau, nid oes obaith y gallant ddal i fyny lywodraeth yn y Dê am nemawr amser yn hŵy. Ond mae eu hysbryd yn ymddangos yn gwbl anhyblyg; haws eu tori na'u plygu. Dylai y Gogledd bellach wneuthur a chynnyg dyfais cymmod, a cheisio adennill y Dehau trwy ryw foddion heblaw concwest orthrechol. Yn y wlad hon y mae y miloedd gweithyddion cotwm yn dyoddef caledi mawr, eto yn amyneddus, o herwydd canlyniadau rhyfel America. Da genym weled fod calonau eu cyd-ddeiliaid yn cael eu troi atynt mewn cydymdeimlad a chynnorthwyon haelionus.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Some Specimens of the Poetry of the Ancient Welsh Bards. Translated into English, with Explanatory Notes on the Historical Passages, and a short Account of Men and Places mentioned by the Bards. By the Rev.* Evan Evans (Ieuan Brydydd Hir). *Reprinted from Dodleys Edition of* 1764. Llanidloes, John Pryse. Y fath resyn fod cymaint dyeithrwch rhwng yr oes hon a'r hen awenyddion. Yr ydym yn astudio hen ysgrifeniadau cenedloedd eraill, ac yn barod i gyttuno â'u hedmygwyr i'w canmawl hyd y cymylau; ac os dywed rhywun fod genym drysorau ein hunain mor werthfawr a hwythau, yr ydym yn gwrando ar y fath beth fel rhai yn breuddwydio. Ond y gwir yw, wedi'r cwbl, fod y Cymry yn genedl bellach er ys llawer dydd, ac wedi arfer meddwl a chyfansoddi er ys cryn amser cyn dechreu o'r cyfieithiadau o'r Saesoneg. Y mae llawer iawn o'u cynnyrchion wedi myned ar goll; y mae llawer eto y mae yn ddiammheu yn gystal ymron a bod ar goll, yn gladdedig mewn hen ysgriflyfrau y mae llwch llawer oes yn gorphwys arnynt; ac y mae ychydig wedi eu cyhoeddi. Ac o'r rhai sydd wedi eu cyhoeddi, gellir dyweyd am y rhan fwyaf o lawer o honynt nad ydynt yn nghyrhaedd y genedl. Y maent mewn cyflyfrau mawrion a drudfawr, wedi eu cyhoeddi ar gyfer y boneddwr a'r ysgolaig, ac nid mewn ffordd a fyddo yn demtasiwn i'r bobl yn gyffredinol i hiraethu am eu mwynhâu. Yr ydym yn byw yn oes y llyfrau rhad, y mae genym gyhoeddwyr anturiaethus, ac y mae genym ddynion galluog a dysgedig sydd yn awyddus i wasanaethu eu cenedl; paham na ddygid ger ein bron ysgrifeniadau gwerthfawr y cedyrn a fu wŷr enwog gynt ymysg ein cenedl mewn ffordd a fyddo yn gyrhaeddadwy i bobl ieuainc Cymru sydd yn sychedu am wybodaeth, ac mewn ffordd y gallont ymdeimlo â'u gwerth? Beth y mae yr Eisteddfodau yn ei wneyd? Y mae yma swn dirfawr, ac arian yn anhygoel yn cael eu gwastraffu. Ond ymha le y mae y cyfansoddiadau? Ac ymha le y gadewir yr hen drysorau yr ymffrostir ynddynt? Y mae y bobl heb wybod am danynt. Pe treulid ychydig o'r arian i gyhoeddi y pethau goreu yn yr Eisteddfodau mewn ffordd radlawn, ac i ddwyn ychydig o'r hen weithiau i gyrhaedd y bobl, gallem ddysgwyl rhyw lesâd. Ond fe allai mai ofer dysgwyl rhyw lawer yn y ffordd yma, ac mai cyhoeddwyr Cymru sydd yn debyg o allu gwneyd y gwasanaeth pwysicaf iddi yn y pethau hyn. Sut bynag, carem yn fawr weled y trysorau sydd genym o'r hen amseroedd yn cael eu gwneyd yn gyrhaeddadwy. Ai tybed nad y cynllun goreu fyddai argraffu yr hen ysgrifau fel y maent ar un golofn neu du dalen, a'u rhoddi mewn Cymraeg diweddar ar y golofn neu y tu dalen cyferbyniol? Gellid hefyd rhoddi cyfieithiad Saesoneg. Y mae yn resyn fod doethineb ac awen ein henafiaid yn guddiedig oddiwrthym. Y mae yn drueni fod pobl Cymru heb wybod fod ein tadau yn cloddio am wirionedd, yn meithrin rhinwedd, ac yn cymdeithasu â natur mewn ffordd uchel a phur pan oedd Ewrop i gyd dan y gaddug, a'u bod wedi cofnodi eu syniadau i ninnau. Mae yn wir fod llawer o sothach yn eu

hysgrifeniadau; ond y mae mor wir a hyny eu bod yn aml yn drymion gan ddoethineb ac yn gwreichioni gan athrylith. "The images are very bold and animated," ebe Esgob Percy, wedi gweled cyfieithiad o un o'r hen awdlau, "and poured forth with such rapidity, as argues an uncommon warmth of imagination in the bard, whose mind seems to have been so filled with his subject, and the several scenes of the war appear to have so crowded in upon him, that he has not leisure to mark the transitions with the cool accuracy which a feebler genius would have been careful to have done. It is one continued fiery torrent of poetic flame, which, like the eruptions of Etna, bears down all opposition." Ac mewn llythyr at y Prydydd Hir cawn Lewis Morris yn dyweyd, fe allai mewn brwdfrydedd sydd yn ffinio ar yr eithafol, ond mewn gŵr mor alluog ni ddymunem gweryla âg o,—"As for your sheltering under Horace's adage, I mind it as nothing. He was a stranger to our methods, handed down to us by his masters the druidical bards, who knew how to sing before Rome had a name. So never, hereafter, mention such moderns as Horace and Virgil, when you talk of British poetry. Llywarch Hen, Aneurin, and followers of the Druids, are our men; and nature our rule." Llawen oedd genym ni weled y gyfrol hon yn cael ei hail gyhoeddi. Nid oeddem erioed wedi dygwydd gweled argraffiad Dodsley. Y mae ei darllen wedi dyfnhâu yn fawr ein parch i goffadwriaeth yr hen feirdd. Dyma Arwyrain Gwalchmai i Owain Gwynedd. Y mae, erbyn ei deall, yn cynhyrfu'r galon fel awdlau Pindar neu gydgorau Eschylus.

Arddwyreaf hael o hil *Rodri*,
Ardwyad gorwlad, gwerlin teithi,
Teithiawg *Prydain*, twyth arfdwyth Owain,
Teyrnain ni grain, ni grawn rêi.
Teir lleng i daethant, liant lestri,
Teir praff prif lynges wy bres brofi,
Un o'r *Iwerddon*, arall arfogion
O'r *Llychlynigion*, llwrw hirion lli.
Ar drydedd dros fôr o *Norddmandi*,
Ar drafferth anferth, anfad iddi.
A dreig *Môn* mor ddrud i eissillyd yn aer,
A bu terfysc taer i haer holi,
A rhagddaw rhewys dwys dyfysci,
A rhewin a thrin a thranc Cymri,
Ar gad gad greudde, a'r gryd gryd graendde,
Ac am dal *Moelfre* mil fannieri,
A'r ladd ladd lachar, ar bar beri,
A ffwyr ffwyr ffyrfgawdd ar fawdd foddi,
A *Menai* heb drai o drallanw gwaedryar,
A lliw gwyar gwŷr yn heli:
A llurygawr glas, a gloes trychni,
A thrychion yn nhud rhag rheidrudd ri,
A dygyfor *Lloegr*, a dygyfrane a hi,
Ag ei dygyfwrw yn astrusi.
A dygyfod clod cleddyf difri,
Yn saith ugain iaith wy foli.

Neu yn nês atat, ddarllenydd mwyn,—

Mawrygaf yr hael o hiliogaeth *Rodri*,
Caer ei wlad, rhagorol ei gymeriad,
Gogoniant *Prydain*, y gwrol, y gwychfilwr *Owain*,
Tywysog na phentyra, na chwennycha olud.

Tair llynges a ddaeth, llestri yr eigion,
Tair llynges gref, o'r fath oreu, i ruthro arno.
Un o'r *Iwerddon*, arall yn llawn o wŷr arfog
O'r *Llychlyn*,* yn oegordd fawreddig ar y lli,
A'r drydedd dros y môr o *Normandi*,
Ar drafferth anferth, ond heb ateb un dyben.
A dreigiau *Môn* oeddynt mor ddewr yn yr ymgyrch,
Fel y bu terfysg ofnadwy ar eu rhuthriad,
Ac o flaen y tywysog yr oedd chwalfa aruthr,
Galanastra ac ymgyrch a milwyr yn cwympo,
A'r gad gad waedlyd, a'r gyflafan gyflafan ddychrynllyd,
Ac ar ben *Moelfre* mil o fanerau,
A'r lladd lladd erchyll, a chynddaredd y gwaywffyn,
A llid llid grymus mewn llawn wylltineb,
A *Menai* heb drai gan orlif gwaed,
A lliw gwaed gwŷr ar y môr heli:
A llurygau gleision, a loesion y trychineb,
Ac archolledigion o flaen y tywysog coch ei waywffon,
A Lloegr yn dygyfor, ac ymryson â hi,
Nes ei bwrw i hollol ddyryswch.
A theilwng glod y cleddyf dinystriol,
Mewn saith ugain iaith a faith fawrheir.

* Baltic.

Beth sydd dynerach na Dyhuddiant Elphin gan Taliesin?

"Elphin deg, sych dy ddeurudd,
Ni weryd bod yn rhy brudd;
Cyt tybiaist na chefaist fudd
Ni'th wna da gormod cystudd;
Nag ammau wyrthiau Dofydd,
Cyt bwyf bychan wyf gelfydd.
O foroedd ac o fynydd,
Ac o eigion afonydd,
Y daw Duw a da i ddedwydd," &c.

Y mae y cyfieithiad i'r Saesoneg gan I. Brydydd Hir yn dangos cydnabyddiaeth helaeth â'r hen ysgrifeniadau, ac yn cadw i fyny yn rhyfeddol rym ac ysbryd y darnau a ddewiswyd ganddo. Y mae ei draethawd Lladin ar y Beirdd *(Dissertatio de Bardis)* wedi ei argraffu yn y gyfrol hon, yn yr hwn y cawn gyfeiriadau ysgrifenwyr Groeg a Rhufain yn gystal a'n haneswyr boreuaf ein hunain at yr hen feirdd, pigion o'u prif weithiau gyda chyfieithiadau rhagorol i'r Lladin, a barn a theimlad yr awdwr am gynnyrchion gwerthfawr awenyddion ei genedl. Ychwanegir cryn nifer o lythyrau a anfonwyd ato gan Lewis Morris, W. Wynn, a'r Esgob Percy, gyda rhai darnau o farddoniaeth Saesoneg gan y Prydydd Hir, yn un o ba rai yn arbenig—*The Penitent Shepherd*—y gwelwn y bardd yn gwingo yn druenus yn y gadwyn a daflasai ei chwant at y ddiod feddwol am dano. Pa hyd y caiff melldith mor ddifäol a hon ysu ymaith hapusrwydd a defnyddioldeb ein dynion talentog? I ba beth y mae y golled hon! A pha hyd, yn enwedig, y dadleua neb dros gydymddwyn â'u hafreoleidd-dra *hwy*, fel pe byddai y ffaith fod dyn wedi derbyn athrylith gan Dduw—yr hyn a ddylai ddyfnhâu cysegredigaeth ei fywyd iddo—yn esgusodi ei waith yn beiddio ei fawredd mewn unrhyw ysgelerder? Y mae y gyfrol wedi ei golygu yn ofalus, a hyderwn y caiff dderbyniad caredig.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## HANES RHYDDID CREFYDDOL YN MHRYDAIN.

### O'R OESAU CYNTAF HYD FARWOLAETH HARRI YR WYTHFED.

Diau nad oes un fendith dymmorol a brisir yn uwch gan ddynion o feddyliau goleuedig, ac o deimladau anrhydeddus, na rhyddid i farnu a gweithredu mewn materion crefyddol yn ol argyhoeddiadau cydwybod. Rhyddid crefyddol!—onid hawlfraint naturiol pob dyn, a gobaith dysgleiriaf y ddaear ydyw? Eto y mae cyflawn a pherffaith ryddid crefyddol—rhyddid i ddysgu a gwrando athrawiaethau a gorchymynion dwyfol Cristionogaeth, heb un math o ymyriad anghyfreithlawn o eiddo y llywodraeth wladol,—y mae y cyfryw ryddid, meddwn, yn beth nad ŵyr y rhan fwyaf o wledydd y ddaear ddim am dano, ond yn unig drwy hanes neu ragddysgwyliad. Yn wir, nid yw Prydain, er cymaint ei goleuni, ac er amled ei rhagorfreintiau, ac er uched ei bost ynghylch rhyddid, ddim wedi cyrhaedd man uchaf ei gogoniant gyda golwg ar hyn eto. Ofer fydd i ni freuddwydio ein bod yn mwynhâu *cyflawn* ryddid crefyddol yn y deyrnas hon, tra y canfyddwn fod yma Eglwys Sefydledig drwy gyfraith yn parhâu mewn hanfodiad, oblegid y mae y pethau hyn yn dragywyddol anghymmodadwy â'u gilydd. Ac eto y mae genym achos neillduol i ddiolch i Dduw, a chymeryd cysur, am fod pethau, gyda golwg ar hyn, wedi cyrhaedd i'r fath sefyllfa ddymunol ag y canfyddir eu bod. Nid fel y mae arnom ni y mae wedi bod ar filoedd o'n tadau yn yr oesau gynt. Dyoddefasant hwy "ymdrech mawr o helbulon,"—cawsant brofedigaeth trwy watwar, a fflangellau, a charchar, ynghyd a dyoddefaint o bob math, oblegid eu hymlyniad wrth egwyddorion a broffesir genym ni, eu holafiaid, yn rhydd ac wyneb agored, heb fod yn rhaid i ni arswydo gwg na soriant yr awdurdodau gwladol mewn un modd. Mor werthfawr yn eu golwg hwy a fuasai y fath "oddefiad" ag a ganiatëir i ni yn hollol ddiwarafun, oddieithr gan bleidiau nad allant mwyach ond anfynych ein niweidio! Dylem yn wir deimlo yn llawen o herwydd ein rhyddid crefyddol; a dylem eto ei werthfawrogi yn fwy, yn gymaint a'i fod wedi costio mor ddrud i'n rhagflaenwyr gwrolfrydig a hunanymwadol. Nis meiddiwn fod yn ddiystyr o hono, canys *gwerth gwaed* ydyw!

Ein hamcan yn yr erthygl hon, ac erthyglau canlynol, fydd cyflwyno ger bron y darllenydd ryw frasgynllun o hanes rhyddid crefyddol yn Mhrydain o'r oesoedd boreuaf hyd yn awr, fel y canfydder pa mor fawr-

ion a fu llafur a dyoddefiadau saint y Goruchaf, o oes i oes, er sicrhâu iawnderau cydwybod yn wyneb trawshoniadau a chreulondeb yr awdurdodau gwladol.

Awn yn ôl i ddechreu mor bell â'r cyfnod ymha un y torodd gwawr Cristionogaeth gyntaf ar gyflwr trigolion yr ynys hon. Nid yw o bwys i ni yn bresennol amcanu gwybod gan bwy y dygwyd crefydd Mab Duw drosodd yma ar y cyntaf,—gan Paul yr Apostol, neu deulu Caradoc y Brython, neu rywrai eraill. Sicr ydyw i'r grefydd Gristionogol gael ei dwyn drosodd i fysg ein cyndadau rhyfelgar yn foreu iawn, ac iddi cyn terfyniad y canrif cyntaf wneuthur rhyw gymaint o'i hôl yn eu plith. Naturiol yw casglu y byddai i'r cyn-Gristionogion yn Mhrydain, fel mewn gwledydd eraill, orfod dyoddef cryn lawer mewn gwahanol ffyrdd o herwydd eu crefydd. Eto hysbysir ni fod y llywodraeth Rufeinig yn oddefgar o honynt; ac hyd yn nôd yn y drydedd ganrif, pan erlidid Cristionogion Gâl gyda ffyrnigrwydd mawr gan ymherawdwyr olynol, dywedir ddarfod i lawer gael noddfa glyd rhag y dymhestl danllyd o fewn i ororau Ynys Prydain. Dichon yr ystyriai yr ymherawdwyr, a'u hîslywyddion yma, fod ei sefyllfa neillduedig a'i phellder o Rufain yn peri nad oedd o gymaint pwys pa grefydd a ffynai ymysg y Brythoniaid. Pa fodd bynag am hyny, gallwn fod yn sicr fod gan yr Arglwydd law yn y mater. Efe o'i raddrugaredd a drefnai fod i Brydain, am dymmor o leiaf, fod yn nawddle i rai a erlidid o herwydd cyfiawnder mewn parthau eraill o'r byd. O'r diwedd, ymdorodd tymhestl ar ei glènydd hithau hefyd, a daeth Cristionogion Prydain, yn gystal ag eraill, yn wrthddrychau dialedd a chreulondeb bryntaf yr erlidwyr. Odditan lywodraeth Constantius, tad Cystenyn Fawr, ymddengys i oddefiad gael ei adfer eilwaith mewn modd doeth a theilwng. Pan esgynodd Cystenyn ei hun i orsedd Rhufain, efe a wnaeth arddeliad cyhoeddus o Gristionogaeth, ac a luniodd benderfyniad i'w gwneyd yn grefydd sefydledig yr ymherodraeth. Er nad oedd crefydd ysbrydol yn y pen draw yn ennill dim drwy y trefniad yma, eto eglur ydyw ddarfod i eglwysi Prydain fwynhâu helaethrwydd o ryddid crefyddol yn ystod yr hanner cyntaf o'r pedwerydd canrif.

Ar ol cadw meddiant o'r rhanau goreu o'r ynys am yn agos i bedwar canrif, ymadawodd y Rhufeiniaid o Brydain yn y flwyddyn 448. Ddwy flynedd wedi, daeth y Saxoniaid drosodd i gynnorthwyo trigolion y parth deheuol o'r ynys yn erbyn ymosodiadau ffyrnigwyllt y Pictiaid a'r Caledoniaid. Gan y teimlai y cynghreiriaid hyn hoffder neillduol at Brydain, troisant eu meddyliau at y gorchwyl o effeithio llwyr ddarostyngiad y Brythoniaid. Parhäodd yr ymdrech am gant a hanner o flynyddoedd. O'r diwedd llwyddasant yn eu hamcan, a chadarnhäwyd y llywodraeth Saxonaidd ymhob rhan o'r wlad. Yr oedd yn naturiol i'r gorchfygwyr gasâu y Brythoniaid o herwydd y gwrthwynebrwydd penderfynol a ddangosent yn erbyn eu rheolaeth hwy. Yr un modd hefyd y daeth eu crefydd i fod am hir amser yn wrthddrych ymosodiad ac erlidigaeth greulawn.

Tua diwedd y chweched canrif, dygwyddodd amgylchiadau a fuont ffafriol i ddwyn y grefydd Gristionogol, yn y ffurf lygredig oedd arni y pryd hwnw, i sylw cyhoeddus unwaith yn rhagor. Oddeutu y flwyddyn 597, darfu i Ethelbert, brenin Saxonaidd Kent, ymuno mewn priodas â

Bertha, merch Caribert, brenin Ffrainc, yr hwn a ofynai fod iddi gael cyflawn ryddid gyda golwg ar ei chrefydd, canys yr oedd wedi cofleidio Cristionogaeth. Cymerai y Pab Gregory fantais oddiwrth yr amgylchiadau hyn i wneyd ymgais at ledanu y ffydd yn Lloegr. Anturiodd anfon Augustine (Awstyn Fonach), a chydag ef hanner cant o fonachod, at y Brenin Ethelbert, i'w berswadio ef a'i bobl i gofleidio credo Rhufain. Dyma ddechreuad trefniant y bendefigaeth offeiriadol, pa un, yn yr oesoedd tywyll a aethant heibio, a weithredodd y fath allu neu ddylanwad dinystriol ar feddyliau, ac yn erbyn rhyddid y bobl. Daeth yn amlwg cyn hir mai nid tröedigaeth y Saxoniaid paganaidd i'r ffydd oedd unig amcan y cenadau hyn o Rufain. Galwai Augustine am ufudddod trylwyr i'r eglwys, awdurdod yr hon a arddangosid fel yn oruchaf mewn materion eglwysig. Nid oes le i ammheu fod mewn amryw barthau o'r wlad rai yn proffesu ffydd Crist, y rhai eto ni phlygasent eu gliniau i'r gallu Rhufeinig. Sefydlwyd Mynachlog i broffeswyr felly yn Mangor-îs-coed, lle yr ymgiliasant rhag erlidigaeth eu gelynion Saxonaidd. Gofynwyd i'r rhai hyn, megys i holl Gristionogion Prydain, gydnabod awdurdod y Pab yn ei holl ëangder; ond nis mynent hwy wneyd hyny; ac felly y gwnelai Dunod, llywydd y fynachlog, wrthod rhoddi ei gydsyniad, a hyny mewn modd ëon a phendant. Dywedir i Augustine ateb, gan ddywedyd, "Yn gymaint a'ch bod yn gwrthod heddwch â'ch brodyr, chwi gewch ryfel â'ch gelynion." Pa un a oedd gan yr archesgob ryw law yn nghyflawniad y weithred ysgeler ai peidio, nis gallwn ddyweyd; mae y ffaith yn amlwg, pa fodd bynag, ddarfod i ddeuddeg cant o fynachod Bangor-îs-coed gael eu rhoddi i farwolaeth, ymhen ychydig flynyddoedd ar ol hyny, mewn canlyniad i frwydr oedd wedi ei hachosi gan ymrafaelion crefyddol. Ond ni lwyddwyd drwy hyn i ddiwreiddio Cristionogaeth bur o blith y bobl. Trôdd llawer o'r ffyddloniaid eu hwynebau tua Chymru, lle y mwynhäent y mynyddoedd, a'r efengyl ogoneddus yn ei symledd ac yn nghyflawnder ei dyddanwch Dwyfol. Yn nghanol golygfeydd y dalaeth hon, oni lenwid eu meddylyliau â myfyrdodau sanctaidd am y Crëwr mawr, ac onid ysbrydolid hwynt â chariad anorchfygol at ryddid, ac at yr hyn oll sydd bur a nefol? Ond os oedd rhywrai fel hyn â'u bryd ar efrydu athrawiaethau mawrion y groes, gan ewyllysio ymgadw rhag halogedigaeth Paganiaeth ar y naill law, a rhwysgfawredd camarweiniol trefniant seremonïol o grefydd ar y llaw arall—yr oedd corff mawr y boblogaeth, ynghyd a'u llywodraethwyr, mewn dygn anwybodaeth a thrueni ysbrydol. Ymhen llai na chan' mlynedd wedi i Augustine gael ei wneuthur yn archesgob drwy benodiad y Pab, ymostyngodd y genedl gyda rhwyddineb i arglwyddiaeth offeiriadol newydd, yr hon oedd yn gyfartal mewn trahâusder i deyrnasiad y goelgrefydd a ffynai yn Mhrydain pan diriodd y Rhufeiniaid yma gyntaf. A dylasai y fath dra-arglwyddiaeth fod yn fwy annyoddefol i freninoedd a phobl, am ei fod yn cael ei weinyddu yn enw crefydd yr Un "addfwyn a gostyngedig o galon."

Ofer fyddai i ni sôn am ryddid crefyddol yn y fath amserau â'r rhai yr ydys yn awr yn cyfeirio atynt. Yr oedd hawl dynion i addoli a barnu yn ol eu hargyhoeddiadau personol yn cael edrych heibio iddi yn hollol. Yr oedd hyd yn nôd y wybodaeth am y fath hawl braidd wedi diflanu o'r golwg. Yr oedd meddyliau dynion mewn cadwynau. Delid hwynt gan

arswyd megys â gefynau o heiyrn. Dros yr holl wledydd yr oedd tywyllwch mwy ofnadwy na thywyllwch yr Aipht wedi ymdaenu. Daethai bygythion yr offeiriad i fod yn fwy arswydol na marwolaeth ei hun. Crynai breninoedd ar eu gorseddau rhag teirw (*bulls*) y Pab o Rufain, ac nid rhyfedd fod dynion o sefyllfäoedd mwy cyffredin yn barod i fyned i ddiddymdra rhag melldith yr eglwys, pa un a ystyrid fel yn meddu ar fath o hollalluogrwydd; canys yn eu tyb hwy yr oedd yn attal esgyniad gweddïau trueiniaid i'r làn, yn cau Paradwys, ac yn agor erchyll ddorau y carchar tragywyddol, gan ddwyn ar y rhai a ddisgynent dani bob drygfyd a gwae yn y ddau fyd.

Fel canlyniad naturiol i gyflwr diraddiol y meddwl cyhoeddus, daeth dylanwad a gallu urddasolion Eglwys Rhufain i effeithio er anghyfleusdra a niwed i lywyddion gwladol ymhob man. Ar ol iddynt unwaith gael y llaw uchaf, nid gorchwyl dibwys fuasai eu cadw danodd drachefn. Yr oedd yr offeiriaid wedi cael agoriad gwybodaeth i'w llaw eu hunain: a phwy a allasai ei gipio oddiarnynt? Elid drwy y ffurfiau o addoliad mewn iaith yr hon oedd yn farw. Nid oedd yr Ysgrythyrau eto wedi eu cyfieithu, ac ychydig o ddynion a allent ddarllen, a llai fyth ysgrifenu. Ymhen canrifoedd lawer ar ol hyn y daethpwyd i wybod am allu mawreddog yr argraffwasg—un o brif offerynau Rhagluniaeth y nef er dwyn goleuni a rhyddid i'r bobloedd. Amser braf oedd hwn i "ddirgelwch yr anwiredd," y soniai Paul am dano weithio ei ffordd ymlaen. Yr oedd gallu byddinoedd yn annigonol ar gyfer awdurdod y Babaeth. Yr oedd y goron a'r deyrnwïalen yn rhy wan mewn cymhariaeth i'r meitr. Er hyny yr oedd yn ymrysonfa rhyngddynt. Parhäodd i fod felly dros ganrifoedd lawer. Nid oddiar egwyddor, eithr yn hytrach oblegid uchelgais pleidgar, y daethai yr awdurdodau gwladol ac eglwysig i gilgwthio eu gilydd fel hyn. Er gwaethaf pob ymosodiad, daliodd y gallu eglwysig ei dir yn gadarn am lawer oes. Yr offeiriaid oeddynt y cyfreithwyr a'r prif weinidogion yn y llywodraeth. Gorfodid breninoedd cryfion y naill ar ol y llall i ystwytho yn wyneb awdurdod fastardaidd eu cydymgeisyddion am yr hawlfraint o gael teyrnasu. Hyd yn nôd mor bell ymlaen â diwedd y deuddegfed canrif, canfyddwn Harri II., ar ol gwrthwynebiad poenus a ffyrnig, yn gorfod ymblygu i'r llwch ger bron troedfainc un o oruchwylwyr y Pab. Yr oedd Harri ymhob modd yn dywysog haeddiannol o'r orsedd. Dechreuodd ei deyrnasiad drwy ddiwygio holl drefniadau gwallus llywodraethau ei ragflaenwyr. Galwai yn ôl bob rhoddion cyhoeddus yr oedd achos cwyno o'u herwydd, dinystriai bob rhyw hen freiniau pleidgarol, effeithiai welliadau pwysig yn ngweinyddiad cyfiawnder cyhoeddus, a sefydlai ryddid y trefydd drwy ddeddfweithredoedd y rhai hyd y dydd hwn ydynt yn seiliau i'n rhyddid cenedlaethol. Yr oedd yn ddedwydd yn y mwynhâd o serchiadau ei ddeiliaid, ac yn alluog o herwydd ëangder y tiriogaethau ychwanegol a fwynhâi efe ar y Cyfandir yn hawl ei dad a'i wraig, yr hon oedd etifeddes i gyfran dra helaeth o deyrnas Ffrainc. Gan hyny yr oedd ei ragolygiadau am lwyddiant a dedwyddwch dyfodol yn hynod galonogol a dysglaer. Ond dygwyd y cyfan i annhrefn a dinystr, mewn ffordd a ddengys ar unwaith pa mor druenus oedd ansawdd rhyddid crefyddol yn Mhrydain ar y pryd. Bu Harri mor anffodus a chodi yr anfad Thomas à Becket, o ganol dinodedd i fod yn ganghellydd y deyrnas. Ar ol hyn, pan y damwein-

iodd archesgobaeth Caergaint fyned yn wag, penderfynodd y brenin wneuthur Becket yn archesgob yno, am ei fod yn awyddus i sicrhâu ei wasanaeth i effeithio gwelliadau yn yr eglwys. Ond trôdd Becket yn fuan i wneyd defnydd o'r awdurdod newydd a gyflwynasid iddo i ddiraddio hawl y brenin, ac i ddyrchafu y gallu eglwysig uwchlaw eiddo y goron. Gwrthodai yr offeiriaid roddi ymostyngiad uniongyrchol i'r llywydd gwladol, ac yr oedd yn bwnc y dadleuid yn ei gylch pa un a allesid profi offeiriad mewn llys gwladol, nac ychwaith ei gosbi, hyd yn nôd am lofruddiaeth. Mewn trefn gan hyny i benderfynu terfynau priodol galluoedd gwladol ac eglwysig, galwodd Harri ynghyd gynghorfa gyffredinol, yn cynnwys pendefigion ac esgobion y deyrnas; ac yn Clarendon yr ymgyfarfuwyd. Yno pasiwyd y cyfreithiau a elwir "*The Constitutions of Clarendon,*" yr hyn a wneid yn ddiwrthwynebiad. Yn ol y cyfreithiau hyn, yr oedd yn rhaid cael caniatâd y brenin cyn y byddai i un ddeddfweithred Babaidd gymeryd effaith, neu i apeliadau i Rufain gael eu gwneuthur; ac yr oedd yr offeiriaid hefyd i gael eu profi am eu troseddau yn y llysoedd gwladol fel pobl eraill. Yr oedd hyn oll yn groes i opiniwn Becket, ac yn sarhäol i awdurdod drahâusfalch Rhufain. Yn ganlynol fe ddiddymodd y Pab Alexander III. holl gyfreithiau y gynghorfa uchod, yr hyn a barodd i'r brenin yntau deimlo yn chwerw a llidiog. Amddifadwyd Becket, o herwydd ei fod yn bleidiol i'r Pab, o'i holl urddas a'i etifeddiaethau. Ar hyn efe a aeth drosodd i Ffrainc, ac a ymddialodd ar y brenin drwy esgymuno ei weinidogion ef; o herwydd paham fe benderfynodd Harri wahardd pob math o gyfathrach âg esgobaeth Rhufain. Ond nid ellid myned ymlaen yn hir yn y ffordd hon. Gwelodd y pleidiau o bob tu mai doeth oedd iddynt ddyfod i well dealltwriaeth â'u gilydd. Adferwyd Becket i ffafr y brenin, ac adsefydlwyd ef yn ei archesgobaeth drachefn. Ond yr un oedd Becket o rantymher eto. O herwydd maint ei haerllugrwydd, ffromodd y brenin wrtho unwaith yn rhagor, a gwnaeth ddefnydd o ymadroddion a barai i'w weision gasglu mai ei ewyllys oedd fod i'r archesgob gael ei ddodi i farwolaeth. Yn ganlynol, oddiar dybiaeth y byddai eu gwaith yn foddhäol i'w fawrhydi, hwy a'i llofruddiasant yn y weithred o gyflawni defodau crefyddol ger bron yr allor. Arddangosai y brenin, pa fodd bynag, y galar a'r edifeirwch dyfnaf oblegid y weithred ysgeler hon, a chaniatäodd y Pab faddeuant iddo ar ei waith yn rhoddi digonol sicrhâd o'i ufudd-dod gostyngedig i'r Eglwys Sanctaidd rhagllaw.

Gresynol yn wir oedd agwedd grefyddol Prydain y pryd yma, a'r byd o amgylch hefyd a orweddai mewn drygioni. Yr oedd y syniad priodol am iawnderau dyn, fel perchenog deall a barn bron wedi ei lwyr golli oddiar y ddaear. Yn y cyfnod hwn yr oedd *rhyddid crefyddol*, ysywaeth, yn golygu *ymlidiad y Saraceniaid o Palestina*. Er ys talm codasid galarnad fod y Tir Sanctaidd yn meddiant anffyddiaid, ac yn sathrfa i elynion y groes. Yr oedd yr eglwys yn goddef camwri o'r nodwedd erchyllaf,—yr oedd bedd yr Un Croeshoeliedig yn cael ei halogi gan ddwylaw aflan dilynwyr y gau brophwyd. Byddai Cristionogaeth yn rhydd, pe gellid gwaredu Palestina rhag bod fel hyn yn sathrfa i'r Saracen a'r anffyddiad. A oedd yn bosibl i urddasolion yr eglwys, neu freninoedd y ddaear, feddwl am amcan pwysicach na hwn? Cefnogai athrylith feistrolgar Rhufain y croesgadau, a hyny yn egnïol, am y

gallai drwy hyny droi anianawd lywodraethol holl wledydd Crêd i gyfeiriad oedd yn wasanaethgar i gadarnhâd yr awdurdodau eglwysig. Yn y modd medrusaf, llwyddai i droi y cledd er cefnogi a dwyn ymlaen achosion yr eglwys. Ymgeisid at roddi nodwedd *sanctaidd* i'r gelfyddyd waedlyd; ymwisgai dïalgarwch uffernol yn niwyg cariad at y groes; a dyrchefid lluman crefydd y tangnefedd yn ngwasanaeth erchylldduw rhyfel. Dyma y drefn yn ol pa un y meddylid helaethu terfynau rhyddid a chrefydd ar y ddaear y pryd hwnw.

Ewyllys yr Eglwys Babaidd oedd difa hereticiaid pa le bynag y deuid o hyd iddynt. Ceir enghraifft nodedig o'i hanoddefgarwch cynhenid yn ystod teyrnasiad y penadur y soniwyd am dano yn barod, sef Harri II. Yn y flwyddyn 1160, cyrhaeddodd nifer o Gristionogion duwiolfrydig i'r deyrnas hon o Germany, dan arweiniad un o'r enw Gerard. Yr oedd efe, o ran nodwedd a syniad, yr un â'r fyddin ardderchog hono o gyffeswyr Cristionogol ag y mae iddynt goffadwriaeth mor hybarchus mewn hanesiaeth eglwysig, sef y Waldensiaid. Ni cheir yn un man gofnodion manwl o barthed i ymarweddiad a gweithrediadau y fyntai Gristionogol hon, ond hawdd gweled fod ganddynt gredo a ffurfaddoliad gwahanol i eiddo y trefniant llygredig o grefydd ag oedd yn ffynu yn Lloegr y pryd hwnw. Galwyd cynghorfa yn Rhydychain i brofi yr hereticiaid hyn. Dywedir i ddeg ar hugain o honynt gael eu condemnio. Cawsant eu nodi â haiarn poeth, eu ffrewyllu, a'u bwrw allan i'r meusydd yn y tymmor oer, pryd y gwaherddid i bawb, dan y perygl o gosbedigaeth drom, eu cynnorthwyo na'u gwaredu. Fel hyn y darfu am danynt yn y wlad i ba un yr oeddynt yn anffodus wedi dianc rhag cynddaredd erlidwyr creulawn. Nis gellir ammheu na buont, yn ystod y tymmor byr y caniatäwyd iddynt lonyddwch yn Mhrydain, yn ddiwyd i hau ymhlith y bobl egwyddorion crefydd bur; ond gyda pha fesur o lwyddiant nis gallwn ar hyn o bryd fod yn sicr. Mae yn eglur, pa fodd bynag, i egwyddorion cyffelyb, yn y canrif nesaf, gynnyrchu yr effeithiau rhyfeddaf, pan yn cael eu hanadlu allan o ysbryd mawreddog yr anfarwol Wicliffe. Daeth myntai arall o Gristionogion, o gyffelyb ffydd ac egwyddorion i'r rhai a nodwyd, drosodd i'r wlad hon yn amser y brenin Ioan; ac yr oedd eu tynghed hwy yn fwy gresynol fyth. Cawsant eu llosgi yn fyw. Ond yr oedd y ffoaduriaid crefyddol hyn wedi cael eu hanfon drosodd i Loegr, yn ol trefn Rhagluniaeth ddoeth y nef, i barotoi ychydig ar y ffordd gogyfer â dyfodiad amser gwell. Rhaid yw ddarfod i effeithiau cuddiedig, ond nerthol, gyfodi allan o'u tynghedannedwydd, gan droi allan yn y diwedd yn ffafriol iawn i ledaniad yr efengyl, ac i feithriniad syniadau rhyddfrydig ymhlith y bobl. Yn ddïau ni thywalltwyd erioed ddafn o waed y merthyron i'r llawr yn ofer. Effeithia bob amser er maethu hadau cysegredig gwirionedd a rhyddid. Geilw yn uchel ac yn hyawdl, os nad am ddïal ar yr erlidwyr, eto am waredigaeth a rhyddid i oesoedd a chenedlaethau dyfodol. Mor lïosog yw yr esiamplau sydd genym er cadarnhâu y ffaith fod "cynddaredd dyn" yn cael ei ddwyn dan orfodaeth i wasanaethu er ateb dybenion daionus yn nhrefn y llywodraeth Ddwyfol!

Yn y pedwerydd canrif ar ddeg, gellir dyweyd fod Eglwys Rhufain wedi cyrhaedd man uchaf ei gogoniant. Yr oedd dyddiau ei rhwysg penaf agos a bod drosodd. Ymddangosai fod ei seren yn barod i

ogwyddo tua ei machludiad. Ond canfyddid seren arall yn dechreu tanbeidio tua y gorwel draw *seren fore* ydoedd hon i sicrhâu y gwylwyr yma a thraw fod y dydd yn dyfod. Dros dymmor hir llewyrchai uwch ben Ynys Prydain gyda llewyrch clir a thanllyd. Yr ydym o angenrheidrwydd yn cyfeirio at y diwygiad gogoneddus drwy offerynoliaeth y gwrolfrydig John Wicliffe. Er mai yn Rhydychain y cafodd y dyn rhyfedd hwn ei addysgu, dygwyd ef rywfodd i gyfarfyddiad â gweithoedd ac â syniadau yr anfarwol Waldensiaid, drwy yr hyn y daeth i fod yn ddyn newydd. Aethai y gwirionedd Dwyfol i mewn i'w enaid, gan ei droi, ei oleuo, a'i danio âg awyddfryd angherddol i wneyd y byd gryn lawer yn well cyn iddo ymadael o hono. Yr oedd yn meddu argyhoeddiadau cryfion, ynghyda gwybodaeth helaeth, ac yr oedd y gwirionedd a dderbyniasai fel yn ffrystio am gael gollyngdod dros ei wefusau. Yr oedd ei wybodaeth yn allu, ac anmhosibl i ddyn o fywiogrwydd tanllyd fel efe oedd ymgadw rhag gwneyd defnydd da o hono. Nid dyn yn caru esmwythyd ydoedd ef, ac ni wnaed mo hono i drigo mewn congl, neu mewn cell fynachlogaidd. Yr oedd yn ddyn o ysbryd cyhoeddus,—yn ddyn ag yr oedd ei gydymdeimlad mor ëang a'r ddaear. Gwyddai fod y gwirionedd a fuasai yn offerynol i'w ryddhâu ef, yn rhywbeth a ddaliai berthynas âg eraill hefyd. Yr oedd yr adeg i raddau helaeth yn fanteisiol iddo gyflawni gwaith o bwys dros achos Cristionogaeth bur. Er nad oedd Iorwerth III. yn ddyn crefyddol, yr oedd yn graff a phenderfynol, a gwnaethai ymdrech effeithiol i leihâu gofynion yr esgobaeth Babaidd, ac i gwtogi awdurdod yr offeiriadaeth. Yr oedd gweithrediadau Wicliffe wedi tynu arno anfoddlonrwydd Rhufain, ac mewn canlyniad amddifadwyd ef o'r swydd a ddaliai yn Ngholeg Caergaint. Ond nid oedd ein harwr i gael ei ddodi i lawr yn y modd hwn. Yr oedd dedfryd daranllyd y Babaeth yn llwyr aneffeithiol i siglo ei feddwl ef; gan hyny, yn lle ymostwng i'r llawr yn wasaidd, daeth allan gyda chyhoeddiad grymus a elwid, "Amddiffyniad i'r Deyrnas yn wyneb archiad y Pab am warogaeth." Tynodd hyn sylw y llys; ac yn wobr am ei waith cyflwynodd y brenin iddo, yn y flwyddyn 1374, fywioliaeth Lutterworth, yn Swydd Leicester. Yn y lle hwn, gwnelai y defnydd gôreu o'i amser; ni chollai un cyfleusdra i gyhoedd fynegu ei syniadau rhyddfrydig, mewn gwrthwynebiad i gyfeiliornadau dinystriol a gorthrwm diderfyn yr Eglwys Babaidd. Tynai arno ei hun ŵg llaweroedd, ond yn ofer y ceisid ei ddarostwng na'i ddinystrio. Ei elynion a ofynent i Iorwerth III. weinyddu cosb arno; ond gan nad beth oedd yn nghalon y brenin daeth angeu ymlaen, ac felly fe gollodd ei Fawrhydi bob cyfleusdra i wneuthur da na drwg i Wicliffe, yr anrhydeddusaf a'r goreu o'i ddeiliaid.

Elai Wicliffe rhagddo yn hyf i ledanu gwybodaeth Ysgrythyrol, i alw ar ddynion i geisio iachawdwriaeth â'u holl galon, ac i ddynoethi twyll a drygioni y *Mendicant Friars* fel prif attegwyr y Babaeth yn Mhrydain. Cododd Rhagluniaeth iddo noddwr galluog, sef Duc Lancaster, yr hwn oedd yn rhaglaw y deyrnas ar y pryd. Yr oedd yn ffafriol i olygiadau y diwygiwr, ac amddiffynai ef rhag yr holl niweidiau a fwriedid yn ei erbyn. Deallai Wicliffe beth oedd hawliau y natur ddynol, a dadleuai yn wresog dros ryddid pob dyn i farnu drosto ei hun mewn materion crefyddol. Gwadai awdurdod offeiriaid yr Eglwys Bab-

aidd i ddysgu crefydd, yn unig drwy rinwedd eu swydd, a throai i warth eu honiadau ynghylch anffaeledigrwydd. "Megys," ebe efe, "yr oedd gwirionedd Duw gan Elias yn erbyn Ahab ac wyth cant a deg a deugain o brophwydi Baal, felly y gall ychydig ddynion tlodion ac o feddyliau egwan, mewn cymhariaeth i swyddwyr dysgedig, feddu y gwirionedd mewn gwrthwynebiad i'r esgobion a'r offeiriaid oll." Cyhoeddai yn ddiarswyd nad oedd gan y Pab un hawl i weinyddu ei awdurdod mewn teyrnasoedd estronol, ac mai efe oedd y "dyn pechod," "a mab y golledigaeth," am yr hwn y rhagfynegai Paul ei fod "megys Duw, yn eistedd yn nheml Dduw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw ydyw." Ac er prawf o'i haeriadau, y rhai a ledanid gan ei ddysgyblion, llawer o'r rhai oeddynt bregethwyr teithiol, efe a apeliai yn wastadol at yr Ysgrythyrau. O ran yr athrawiaethau a ddysgid ganddo, canfyddir ei fod ymhob peth hanfodol yn Brotestant trwyadl—yn Anghydffurfiwr hollol. Pe yn byw rhyw ddau canrif yn ddiweddarach, buasai ei olygiadau yn sicr o'i osod yn y dosbarthiadau hyny a hynodir gan yr enwau anrhydeddus uchod. Ei enwogrwydd penaf, pa fodd bynag, oedd y pris uchel a roddai ar ddysgeidiaeth yr Ysgrythyr Lân—yr anrhydedd a roddai i'r Llyfr Dwyfol, fel unig arweinydd y bobl mewn pethau ysbrydol, ar wahan ac yn groes i'r eglwys a'i hawdurdodau oll. Cyhoeddodd waith ar wirionedd yr Ysgrythyrau a elwir "Y Llwybr i Wybodaeth Berffaith," ymha un y geilw efe ar wŷr a gwragedd, ieuainc a hen, i ddiwyd astudio yr Ysgrythyrau, yn enwedig y Testament Newydd, "pa un," eb efe, "sydd yn llawn o awdurdod, ac a ddyry wybodaeth i'r anghall ar bob peth perthynol i iachawdwriaeth yn neillduol." Yn ddilynol efe a roes i'r wlad y cyfieithiad cyntaf erioed o'r Ysgrythyrau yn iaith y bobl. Diammheu i rai copïau gael eu lledanu, er nad oedd y gelfyddyd o argraffu eto mewn hanfodiad. Y cyfieithiad hwnw o'r Bibl oedd gorchestgamp penaf yr oes hono, a daeth gwaith Wicliffe i fod yn gynllun ac esiampl i gyfieithwyr yr oesau dilynol.

Codwyd gwaedd yn y cyfamser yn erbyn Wicliffe, canys nid posibl ydoedd goddef ymdrechion mor ëon â'r rhai hyn. Dygodd y Pab a'i oruchwylwyr y cyhuddiad o heresi yn ei erbyn, ac amcanwyd ei garcharu; ond y Duc o Lancaster a safai yn gefnogydd iddo, ac a'i gwaredodd. Gwysiwyd ef, pa fodd bynag, i ymddangos yn Llundain ger bron yr Esgob Courtney, ynghydag Archesgob Caergaint, ac yntau a ufuddhäodd, yn cael ei ddilyn gan ei noddwr urddasol y Duc. Ond daeth oddiyno heb dderbyn un niwed. Yn 1382 cawn iddo ymneillduo at ei gynnulleidfa i Lutterworth, lle y daliodd yn ffyddlawn i'w egwyddorion, gan wneuthur defnydd teilwng o'i amser a'i ysgrifell. Pan amcanodd Urban VI. godi arian a dynion yn y wlad hon, er myned i ryfel â'r Pab cydymgeisiol, ysgrifenodd ef yn erbyn yr annuwioldeb o gynhyrfu rhyfel yn achos dadl a godasai rhwng dau gau-offeiriad, a dywedai yn eglur am y Pab mai yr Anghrist ydoedd. Gwysiodd Urban ein harwr i Rufain i ateb am ei drosedd; ond y parlys a'i hanalluogodd ef i'r daith. Cafodd ail ergyd gan yr un anhwylder yn fuan, tra yn ei eglwys, lle hefyd y bu farw Rhagfyr 31, 1384. Yn y modd hwn diangodd rhag myned drwy ingoedd merthyrdod, tra y gadawodd ar ei ol nodweddiad a edmygir gan bob dyn o feddwl goleuedig hyd ddiwedd amser.

Yr oedd yr hyn a wnaethpwyd gan yr anfarwol Wicliffe, yn ffordd

rhyddid crefyddol, yn llawer ymhob rhyw fodd. Dyfais fawr yr eglwys drwy yr oesoedd ydoedd cadw y lleygion mewn anwybodaeth. Cyflawnid yr addoliad cyhoeddus mewn iaith na ddeallid gan y bobl. Pwy a allai ddyweyd nad oedd yr offeiriad yn ei le, âg yntau, fel y credid, yn derbyn ei wybodaeth o ffynnonell yr hon oedd yn anghyrhaeddadwy i'r werin? Mor resymol fuasai anghredu cenad o'r byd arall ag ammheu dyn dysgedig, yr hwn a honai fod ei wybodaeth yn deillio o fan na wyddai ei ddysgyblion synedig ddim oll yn ei gylch. Ond dyma rywbeth newydd yn dyfod i'r golwg! Dyma y gwirionedd cuddiedig yn cael ei ddwyn allan i oleuni dydd, ar ddu a gwyn, ac yn yr iaith a siaredid gan y bobl yn feunyddiol. Gan hyny yr oedd gwanhâd a marwhâd yn dyfod am y syniad am rywbeth dwfn, dirgeledig, ac ofnadwy, yr hwn syniad a fuasai yn dal y bobl o hyd mewn dychryn a chaethiwed. Deuai pob un a allai ddarllen cyfieithiad Wicliffe, neu a glywai i sicrwydd am dano, i deimlo fod yr hyn oedd o awdurdod oruchel mewn crefydd i ddyfod yn y man yn ddealladwy i bawb, heb gyfryngiaeth yr offeiriad. Ac yn awr dyma y meddylddrych gogoneddus am ryddid crefyddol yn dechreu ymddadblygu ger bron y genedl; ymweithiai yn y bobl ddymuniad ac ymhiraethiad am gael gweled, a gwybod, a deall, a barnu hefyd *drostynt eu hunain*. Dechreuai dynion deimlo fod pwysigrwydd yn perthyn iddynt, eu bod yn meddu deall a chydwybod, eu bod yn gyfrifol i Dduw am eu barnau crefyddol, ac mai safon y rhai hyn ydoedd y Bibl Sanctaidd. Yr oedd y drychfeddwl yn un gwir fendigedig; yr oedd swyn, a bywyd, a rhyddid yn perthyn iddo. Syrthiai yr oraclau dynol yn awr i anfri. Llefarai yr offeiriad fel o'r blaen; ond y bobl a ofynent bellach, "Ai lleferydd y Bibl—ai lleferydd Duw ydyw?"

Gyda llafur yr anfarwol Wicliffe, gellir dyweyd i gyfnod newydd ddechreu gyda golwg ar addysg boblogaidd. Tröai llawerodd o bobl allan y pryd hwnw i bregethu mewn marchnadoedd a hen fynwentydd, a gwnaent hyn heb genad na thrwydded gan neb. Cadarnhëir y ffaith ddyddorol hon tu hwnt i ammheuaeth, yn gymaint ag i ddeddf gael ei phasio yn 1382 yn erbyn yr arferiad "beryglus" yma. Lle y mwynhëir goleuni fe gerir rhyddid; ac ar ol cael yr ychydig lleiaf o ryddid, mor anorchfygol yw y duedd at weithgarwch ac egni crefyddol yn y rhai a oleuwyd drwy ras ac efengyl Duw! Yr oedd yr athrawiaethau newyddion yn cael eu cymeryd i fyny gydag eiddgarwch neillduol ymhob cyfeiriad. Rhoddasai yr addysg grefyddol a weinyddid gan Wicliffe dôn newydd hyd yn nôd i farddoniaeth yr amseroedd. Am dymmor, ymdaenai ysbryd gwrthoffeiriadol gyda chymaint cyflymdra nes bygwth dyfod yn dra chyffredinol drwy y deyrnas.

Ond yr oedd y llanw unwaith eto i redeg mewn cyfeiriad gwahanol. Ar ol ymadawiad Wicliffe, dechreuodd gwrthweithiad gymeryd lle. Hyd yn hyn nid oedd y niwed a dderbyniasai y gallu eglwysig yn un marwol. Yr oedd eto yn ddigon ofnadwy i allu attal lledaniad syniadau rhyddfrydig. Mynai yr eglwys i'r wladwriaeth arosod cyfreithiau yn erbyn pob heresi. Deuai y brenin a'r offeiriad i gyfarfyddiad â'u gilydd unwaith yn rhagor. Wedi i'r bobl ddechreu meddwl, ofnai y ddwyblaid, canys gwelent fod perygl. Cyn i Harri IV. esgyn i'r orsedd, yr hyn a wnelai fel traisfeddiannydd, tybid ei fod yn ffafriol i egwyddorion a daliadau dysgyblion Wicliffe, neu y Lollardiaid, fel yr arferid eu galw. Ond ar

ol iddo ddyfod yn frenin, daeth ei ddibyniaeth ar yr eglwys yn eglur ar unwaith. Yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad, fe basiwyd cyfraith ofnadwy,—cyfraith i losgi hereticiaid. Drwy y gyfraith ysgeler hon, galluogid yr esgobion i fyned yn erbyn pawb a geid yn pregethu, yn dal, yn dysgu, neu yn hyfforddi, yn gyhoedd neu ddirgel, neu wneyd neu ysgrifenu unrhyw lyfr, yn groes i'r ffydd gatholig, neu benderfyniad yr eglwys sanctaidd; yr un modd y rhai a gynnalient gonfenticlau, neu a gadwent ysgolion,—yr oedd y cyfryw bersonau i gael eu carcharu, cyhyd ag y barnai esgobion y bobl yn ddoeth, a'u dirwyo hefyd yn ol fel y cyfrifid haeddiant eu trosedd. Yr oedd cynnygion i gael eu gwneuthur i'r hereticiaid alw yn ôl ac ymwrthod â'u hopiniynau; ond ar eu gwaith yn gwrthod gwneyd hyn, yr oeddynt "i gael eu llosgi yn fyw yn ngolwg y bobl." Hon oedd yr enghraifft gyntaf ymha un y dianrhydeddwyd deddflyfrau Prydain â chyfraith i losgi bodau dynol am ddilyn argyhoeddiadau eu cydwybodau mewn materion crefyddol. Ac nis gorweddodd y gyfraith hon yn llythyren farw yn hir. Y cyntaf i ddyoddef dani ydoedd William Sawtree, yr hwn oedd yn beriglor St. Osith, yn Llundain. Ei bechod oedd gwadu traws-sylweddiad. Dyoddefodd yn mhresennoldeb yr archesgob ac eraill, ymhlith y rhai yr oedd chwech o esgobion. Ymogoneddai Sawtree yn nghroes Crist, a chyfnerthid ei enaid gan ei ras Ef, ac felly y dyoddefodd fflamau merthyrdod yn y flwyddyn 1400. Ar ol hyn yr oedd yr Anghydffurfwyr yn dyfod yn fwy gochelgar gyda'u pregethu, ond goleuent y wlad â'u hysgrifeniadau er gwaethaf pob cyfraith. Ymhlith traethodau y cyfnod, yr oedd un, "*The Lantern of Light,*" gan William Hardy, curad Barking, yn swydd Essex, yn dwyn tebygrwydd o ran grymusder i ysgrifeniadau Wicliffe ei hun. Yn ystod yr un teyrnasiad, gwnaed cyfreithiau eraill er chwanegu at boenau yr Anghydffurfwyr, a dygwyd amryw o wŷr enwocaf yr oes hono mewn canlyniad i helbulon mawrion, ac i farwolaeth anamserol a gwaradwyddus. Dirwynodd einioes Harri IV. i'w therfyn yn y flwyddyn 1413, a dilynwyd ef gan Harri V., yr hwn hefyd oedd elyn anghymmodlawn i'r Lollardiaid. Yn y teyrnasiad hwn, llwyddodd Archesgob Chicheley i gael gweithred i fod "yn gyfraith hyd byth," yr hon a drefnai fod i bwy bynag a *ddarllenai yr Ysgrythyrau* yn yr iaith Seisonig fforffedu tir, anifeiliaid, corff, bywyd, a meddiannau, ac felly i gael eu condemnio fel hereticiaid i Dduw, gelynion i'r goron, a bradwyr ysgeler yn erbyn y wlad!

Un o brif arwyr rhyddid crefyddol yn y cyfnod dan sylw ydoedd y bythglodfawr Arglwydd Cobham. Yr oedd efe yn enwog am ei deyrngarwch, ac yn un o'r dynion mwyaf poblogaidd yn y deyrnas. Yr oedd yn noddwr haelfrydig i bregethwyr yr efengyl, ac y mae yn wybyddus iddo wario symiau mawr o arian yn bwrpasol i ledanu ysgrifeniadau Wicliffe. O'r diwedd cyffrôdd llidiogrwydd yr Archesgob Arundel fel yr aeth at y brenin i gwyno o herwydd heresi ei arglwyddiaeth. Cydsyniodd Henry i anfon am dano ac ymresymu âg ef. Cynghorwyd Cobham i ymddarostwng; eithr efe, gan wneuthur proffes o ddidwylledd ei deyrngarwch, a fynegodd nas gallai ufuddhâu i'r Pab, nac ymddiried i'w ysbrydolrwydd, "yn gymaint," ebe efe, "a'm bod yn gwybod oddiwrth yr Ysgrythyrau mai efe yw yr Anghrist, mab y golledigaeth, gwrthwynebydd Duw, a'r ffieidd-dra a saif yn y lle sanctaidd!" Gan mai penadur

coelgrefyddol oedd Harri, ac nās gwyddai efe yr Ysgrythyrau, rhoes ef i fyny yn ebrwydd i Arundel a'i gynghreiriaid gwaedwyllt ac anghrefyddol. Y canlyniad fu i Cobham gael ei ddal a'i gondemnio i farwolaeth. Anfonwyd ef i'r Tŵr; ond llwyddodd rywfodd i ddianc oddiyno, a daeth trwodd i Gymru, lle y bu yn guddiedig am yspaid pedair blynedd o amser. Yma daliwyd ef gan Arglwydd Powys, ac fe'i dygwyd unwaith yn rhagor i'r brifddinas. Penderfynwyd ei dynghed yn lled fuan; llusgwyd ef gyda phob arwydd o sarhâd a barbareidd-dra coelgrefyddol i *St. Giles's fields*, lle y crogwyd ef wrth gadwyni, ac y cafodd ei losgi i farwolaeth fel bradwr a heretic. Dywedir i'r Anghydffurfiwr enwog hwn farw gyda y gwroldeb a'r gorfoledd mwyaf, gan annog y bobl i ddilyn y cyfarwyddiadau a roddodd Duw iddynt yn yr Ysgrythyrau.

Ond ni ddiangodd Arundel heb rywbeth tebyg i gyfiawn farn Duw, o herwydd pan yn traddodi y ddedfryd yn erbyn Arglwydd Cobham tarawyd ef â chlefyd marwol. Dilynwyd ef yn yr archesgobaeth gan Henry Chicheley, yr hwn hefyd oedd ormeswr ofnadwy a chreulawn. Y Deon Milner a'i geilw, "*The fire-brand of the age in which he lived.*" Efe a barodd i'r Brenin Harri fyned i ryfel â Ffrainc. Gwnaeth hefyd fwy na neb yn erbyn y Lollardiaid, a bu yn ymyl llwyddo i ddileu pob ôlion o dduwioldeb o'r tir. Y pryd hwnw ni roddid dim heddwch na seibiant i broffeswyr gwir grefydd yn Lloegr. Teimlid oddiwrth ei fywiogrwydd gwaedlyd yn neillduol yn esgobaeth Caint. Llwyddodd i gael cyfraith greulonach yn erbyn y rhai a ddarllenent yr Ysgrythyrau yn yr iaith Seisonig nag un oedd mewn hanfodiad o'r blaen. Daliwyd llaweroedd, a dodwyd hwynt i farwolaeth greulawn; ffôdd niferi hefyd i Germany, Bohemia, Ffrainc, Yspaen, Portugal, ac hefyd i Scotland a Chymru. Ymhlith merthyron y cyfnod hwnw yr ydoedd William Taylor, yr hwn a gondemniwyd i farw wrth yr ystanc am ysgrifenu *na ddylid offrymu gweddïau ond i Dduw yn unig*. Yn ei hanesiaeth, gesyd Fox ger ein bron enwau oddeutu *chwech ugain* o Anghydffurfwyr yn Norfolk a Suffolk, amryw o ba rai a syrthiasant yn ebyrth i gynddaredd yr esgobion. Ac nid oedd arbediad ychwaith i oedran na gradd. Yr oedd Duc Gloucester yn fab i Harri IV., yn frawd i Harri V., ac o ganlyniad yn ewythr i'r brenin ieuanc Harri VI.; eto am ei fod yn ffafrio athrawiaeth y Lollardiaid, diofrydwyd ef gan greulondeb esgobyddol i ddyoddef gwarthrudd a dinystr. Cyhuddwyd ei briod Eleanor i ddechreu ger bron yr Archesgob o amryw droseddau, megys "swyngyfaredd, heresi, a bradwriaeth." Arbedwyd ei bywyd, ond cafodd ei chaethiwo yn Nghastell Caer hyd ddydd ei marwolaeth. Bu farw Chicheley yn y flwyddyn 1445, a dilynwyd ef gan John Stafford, yr hwn oedd brelad o gyffelyb duedd ac ysbryd. Wedi hyn, dodwyd y Duc o Gloucester yn ngharchar Bury St. Edmunds, lle y galwyd senedd, ac y penderfynwyd ei lofruddio yr un noswaith. Cyfrifid euogrwydd y weithred ysgeler hon i Cardinal Beaufort, Esgob Caerwynt (*Winchester*). Dygwyd Reginald Pecock, yr hwn a fuasai yn gaplan i'r Duc, i brawf yn fuan ar ol hyn; ac o herwydd na fynai ymwrthod â'i opiniynau, taflwyd yntau i garchar, lle y dywedir iddo gael ei farwolaethu mewn modd dirgel trwy frad ei elynion.

Yn ystod teyrnasiadau Harri VI., Iorwerth IV., Iorwerth V., a Richard III., sef o'r flwyddyn 1422 hyd 1485, yr ydoedd yn gyfnod tywyll iawn

ar achos rhyddid crefyddol yn Mhrydain. Arferid pob math o orthrwm a chreulondeb tuag at y rhai a feiddient wneyd arddeliad cyhoeddus o egwyddorion pur y gwirionedd. Nis gellir meddwl am y gweithredoedd o drais ysgeler a gyflawnid er boddio uchelfrydedd annuwiol yr esgobion a'r gwŷr mawr heb i'n teimladau ferwi ynom gan soriant. Y dymhestl oedd unig nodded y Lollardiaid druain. Nid elai un teyrnasiad yn y cyfnod garw heibio heb i rywrai gael eu dwyn at yr ystanc i brofi angeu o herwydd gair Duw a thystiolaeth Iesu Grist.

Eto hyd yn nôd yn y cyfnod tywyll a phrofedigaethus hwn, yr oedd Rhagluniaeth y nef yn parotöi gogyfer â dyfodiad amserau gwell. Un amgylchiad mawr i ddyfod dan ein sylw yma oedd gosod i fyny beirianwaith ardderchog yr argraffwasg. Darganfyddwyd y gelfyddyd o argraffu i ddechreu yn Haerlem, oddeutu y flwyddyn 1430. Ymhen deng mlynedd wedi hyny derbyniodd yn Nantz welliadau o bwys, ac yn 1450 fe argraffwyd y Bibl yn yr iaith Ladinaidd, amgylchiad a roes ddyrnod angeuol i Babyddiaeth yn Ewrop. Yn 1470 dygodd William Caxton yr argraffwasg i mewn i'r deyrnas hon. Yn ddioed dechreuwyd lledanu yr Ysgrythyrau, ac yn eu goleuni gwelwai a chrynai twylloffeiriadaeth. Gan faint yr arswyd a syrthiasai arnynt, anfonodd goruchwylwyr Rhufain oddiyma at y Pab i alw sylw at y niweidiau a dderbyniai eu hachos hwy yn ddilynol i ledaniad yr Ysgrythyrau. Cwynent, yn ol mynegiad Esgob Kennet, "nas gallai ei Sancteiddrwydd fod yn anwybodus o'r effeithiau a gynnyrchasid drwy y ddyfais hon;" o herwydd yn awr dechreuai dynion ymholi ynghylch ffydd a daliadau presennol yr eglwys, ac edrychent pa mor bell yr oedd crefydd wedi ymadael oddiwrth ei sefydliad cyntefig. Cynghorent hyd yn nôd y lleygion i ddarllen yr Ysgrythyrau, ac i weddïo yn eu hiaith eu hunain. Awgrymid, os goddefid y pethau hyn, y gallai y bobl gyffredin ddyfod i gredu o'r diwedd nad oedd anghen am wasanaeth yr offeiriaid; oblegid os unwaith y darbwyllid dynion i gredu y gallent fyned at Dduw drostynt eu hunain, ac yr esgynai gweddïau a offrymid mewn iaith gyffredin i'r nef, yn gystal â gweddïau Lladinaidd, yna beth a ddeuai o awdurdod y *mass*, a pha mor ddinystriol y gallai hyn brofi i bob math o urddau eglwysig!

Yma fe welir fod elfenau hanfodol rhyddid crefyddol yn nerthol weithio ymhlith y bobl yn y cyfnod dan sylw; ond nid oedd yr amser wedi dyfod eto i ddwyn allan farn i fuddugoliaeth. Yn ystod y deng mlynedd ar hugain olaf o'r pymthegfed canrif, yr oedd Lloegr mewn cyflwr o derfysg prudd ac arswydol. Yr oedd tylwythau Lancaster a York mewn ymrysonfa ofnadwy am y freniniaeth,—yr oedd Rhyfeloedd y Rhosynau yn peri i'r deyrnas siglo drwyddi draw, hyd nes o'r diwedd y cwympódd Rhisiart III. ar faes Bosworth, ac y coronwyd yno, yn swn bloeddiadau y fuddugoliaeth, yr enwocaf o'r Tuduriaid, i fod yn frenin ar yr holl deyrnas yn ei le ef. Yr oedd y penadur hwn—Harri VII.—yn dywysog cadarn, ac fel gwladlywydd yn meddu athrylith ddewr a meistrolgar. Ond ni ddeallai egwyddorion rhyddid crefyddol yn ddigon trwyadl i wneyd yn iawn yn wyneb yr amgylchiadau yr oedd efe ynddynt. Trwy gamarweiniad Morton, Archesgob Caergaint, efe a ddaeth i fod yn greulonach tuag at y Lollardiaid na braidd neb o'i ragflaenwyr. Ennillwyd un peth mawr, pa fodd bynag, yn ystod y teyrnasiad hwn; oblegid fe gadarnhäwyd y gallu breninol yn Lloegr yn y

fath fodd, nes ei fod yn fwy dylanwadol i wrthsefyll honiadau a gofynion uchelgeisiol y Babaeth Rufeinig nag y buasai erioed cyn hyny. Deuai y ffaith o hyn yn amlwg iawn yn ystod teyrnasiad ei fab Harri VIII., yr hwn a esgynodd i'r orsedd ar farwolaeth ei dad yn y flwyddyn 1509. Ar y cyntaf yr oedd efe yn Babydd o'r nodwedd mwyaf zelog; ond o'r diwedd trôdd i gweryla â'r Pab, ymryddhäodd odditan ei awdurdod, a chyhoeddodd ei hunan, a'i deyrnas hefyd, yn annibynol ar yr esgobaeth sanctaidd. Yr oedd y penadur hwn, fel y gŵyr pawb, yn ddyn hynod wag, diegwyddor, a chreulawn. Er hyny fe'i defnyddiwyd gan Ragluniaeth y nef i fod yn offeryn pwysig er effeithio Diwygiad, nad ellir dadgan ei ganlyniadau yn Mhrydain. Yn yr amgylchiad hwn, fel mewn lluoedd o rai eraill, yr oedd gwaelder y prif ysgogydd yn tueddu i wneuthur yn fwy amlwg ryfeddodau y Bôd anweledig hwnw sydd yn gweithio pob peth yn ol cynghor ei ewyllys ei hun. Anghenfil o frenin oedd Harri; ac y mae yn berffaith eglur ei fod yn gweithredu dan ddylanwad y cymhellion mwyaf gresynus wrth gweryla â'r Pab; eto drwy y cwbl, peth gogoneddus ydoedd i'r wlad hon gael ei rhyddhâu oddiwrth awdurdod gaethiwus a gormesol Rhufain. Yr oedd yn rhywbeth mawr i ymffrostio o'i blegid, fod yn Ewrop un wlad o leiaf lle yr oedd yr awdurdod yma wedi ei ddarnio a'i fwrw o'r neilldu. Mae yn wir i wrthweithiad yn ffafr yr uchafiaeth Pabaidd gymeryd lle yn Mhrydain yn ystod teyrnasiad Mari; ond yr oedd cariad y bobl tuag at annibyniaeth eglwysig ar y naill law, a'u dirmyg o drawsarglwyddiaeth ysbrydol Rhufain ar y llaw arall, yn parhâu drwy bob cynhyrfiadau, ac yn y diwedd yr egwyddorion hyn a orfuant.

Ychydig flynyddau cyn i Harri osod ei hun yn oruchaf ben i'r Eglwys yn y deyrnas hon, yr oedd Luther wedi gwneyd ei ymddangosiad yn Germany, gan gondemnio y Pab fel "y dyn pechod," a hòni am yr eglwys yr oedd efe yn ben arni mai "trefniant Anghrist," ac mai "dirgelwch yr anwiredd" ydoedd. Yr oedd ei wrolder, ynghyda mawredd ei egnïadau yn peri i holl Ewrop synu. Yn y man daeth y llysoedd a'r prifysgolion oll i gymeryd rhan yn yr ymrysonfa fawr. Teimlai brenin Lloegr hefyd, gan faint ei ymffrost, awydd cryf am wneyd rhywbeth yn erbyn yr "heretic" Germanaidd. Ysgrifenwyd traethawd yn unol â'i ewyllys ef, fel y tybir, gan Syr Thomas More, a'r dysgedig Erasmus, er amddiffyniad i "saith Sacrament yr Eglwys," a rhoddes Harri ei enw wrtho fel ei awdwr. Yr offeiriaid a ganmolent y gwaith fel cyfansoddiad heb ei gyffelyb; ond Luther a wnaeth arno ymosodiad difäol, gan roddi y driniaeth fwyaf chwerw i'w fawrhydi y brenin. Ni chollodd Harri ei wobr pa fodd bynag, canys ar yr 11eg o Hydref, 1521, anrhydeddwyd ef gan y Pab â'r teitl o "Amddiffynydd y Ffydd," yr hwn deitl a arferir yn barhâus fel un o dlysau dysgleiriaf y goron Brydeinig. Effeithiodd hyn er peri cyffro mawr drwy yr holl deyrnas, a'r canlyniad fu i lawer benderfynu chwilio y Bibl drostynt eu hunain, a gwneyd prawf teg ar deilyngdod honiadau Rhufain. Ymhlith y rhai hyn yr oedd yr anfarwol William Tyndale. Ar ol iddo gael ei fwrw allan o Athrofa Rhydychain am ddysgu yr athrawiaeth newydd i'w gydefrydwyr, efe a ddywedodd ar un achlysur y byddai iddo cyn nemawr o flynyddoedd, os arbedid ei einioes, wneyd i fechgyn ac arddwyr wybod mwy am yr Ysgrythyrau nag a wyddai yr offeiriaid y pryd hwnw. Cadwodd

Tyndale ei air, oblegid yn y flwyddyn 1523, yn cael ei gynnorthwyo gan Lundeiniwr enwog o'r enw Humphrey Monmouth, efe a aeth drosodd i'r Cyfandir i dalu ymweliad â Luther, ac a ymsefydlodd yn Antwerp, lle y cyhoeddodd efe y Testament Newydd yn yr iaith Saesoneg. Erbyn y flwyddyn 1527 yr oedd wedi cwblhâu ei gyfieithiad o'r Ysgrythyrau. Prynwyd i fyny yr argraffiad cyntaf, yr hwn oedd yn anmherffaith, gan Esgob Tonstal, gyda y dysgwyliad o allu ei lwyr ddinystrio; ond drwy hyn cafwyd arian ddigon i gwblhâu argraffiad newydd, ac un rhagorach, pa un wedi hyny a gyhoeddwyd i'r byd. Y fath oedd yr awydd am ei bwreasu, ynghyda chyflymder ei ledaniad, fel y tybid yn addas cael gwaharddiad breninol er attal pobl i brynu a darllen y cyfieithiadau. Trwy bob gwrthwynebiad, rhagddo yr elai gair yr Arglwydd, gan gael gogonedd. Ond llwyddodd y preladiaid Seisonig, drwy gyflogi adyn o'r enw Henry Philips at y pwrpas, i roddi terfyn ar einioes y llafurus a'r gwladgarol William Tyndale. Dyoddefodd garchariad am ddeunaw mis; wedi hyny yn y flwyddyn 1536, cafodd yn gyntaf ei lindagu, ac yna ei losgi yn Nghastell Antwerp. Yr oedd ei weddi olaf yn deilwng o'r dyn ac o'i broffes; efe a ddywedai, "O Arglwydd, agor lygaid brenin Lloegr." Ond os merthyrwyd Tyndale, yr oedd gair ein Duw ni yn ddyogel. Mae yn wir i lawer copi o hono gael ei drosglwyddo i'r fflamau y pryd hwnw, ond yr oedd wedi hyny ragor o gopïau allan o gyrhaedd pob niwed. Pe buasid yn llwyddo i ddifa argraffiad cyflawn o hono oddieithr rhyw gopi neu ddau, gallesid drwy y gelfyddyd o argraffu liosogi y rhai hyn mewn ychydig wythnosau neu fisoedd i filoedd lawer o gopïau.

Yr oedd yr amser yn awr gerllaw pryd y goddefid i bawb ddarllen a chwilio yr Ysgrythyrau yn Lloegr. Trwy gyfres o gyfreithiau a basiwyd yn y blynyddoedd 1533 a 1534, fe ddaeth Eglwys Loegr i fod yn rhydd oddiwrth bob rhwymau i dalu ufudd-dod i esgobaeth Rhufain. O'r diwedd, yn 1538, sef ymhen oddeutu dwy flynedd wedi marwolaeth Tyndale, wele y brenin Harri, trwy ddylanwad Thomas Arglwydd Cromwell, yr hwn a benodasid gan ei Fawrhydi i fod yn rhaglaw eglwysig, yn penderfynu rhoddi cefnogaeth i gyhoeddiad yr argraffiad o'r Ysgrythyrau a ddygid allan ar y pryd gan yr hyglod Miles Coverdale. Cyflwynid y Bibl i'r brenin gan Arglwydd Cromwell ei hun; yntau ar hyn a roddes allan warant er caniatâu i'w holl ddeiliaid ddarllen yr Ysgrythyrau yn eu tai eu hunain heb un gwarafuniad na pherygl. Ysgrifenodd Cranmer yr archesgob, yr hwn er ys talm a arweiniasid i gofleidio athrawiaethau Luther, lythyr i ddiolch i Arglwydd Cromwell, yn yr hwn y dadganai ei orfoledd o herwydd fod dydd o ddiwygiad mor ogoneddus wedi gwawrio ar Loegr, a bod goleuni gair Duw yn llewyrchu drosti heb un cwmwl.

Ac eto y fath oedd anwybodaeth ac ysbryd dallbleidiol y dynion hyn fel na chaniatäent i'r deiliaid yr hawlfraint o gael barnu drostynt eu hunain mewn materion crefyddol. Pan ddaeth y bobl i ddechreu rhodio yn y goleuni y buont hwy yn ei groesawu, ac i ddewis y llwybrau a dorasid allan iddynt, cawsant yn fuan eu hattal a'u herlid fel pe buasent yn ddrwgweithredwyr o'r mwyaf. Arosodwyd cyfreithiau celyd er sicrhâu cydffurfiad barn gyda golwg ar y credo sefydledig, er fod hwnw, ar y pryd y cyfeirir ato, yn cynnwys amryw o gyfeiliornadau mwyaf dy-

chrynllyd a dinystriol yr Eglwys Babaidd. I raddau pell, parhäodd y brenin i fod yn Babydd drwy ei holl fywyd. Credai o hyd yn "mhresennoldeb gwirioneddol Crist yn y sacrament," neu mewn geiriau eraill, yn athrawiaeth y traws-sylweddiad. Nid oedd y neb a wadai hyn i ddysgwyl cael un ffafr oddiar ei law ef. Tywalltwyd llawer o waed cyfiawn, o achos fod dynion goleuedig yn ymwrthod â'r opiniwn yma o eiddo y brenin. Cyhuddwyd duwinydd enwog o'r enw John Lambert ar y pen hwn. Yn ofer y ceisiai Cranmer ei argyhoeddi ei fod yn camfarnu. Apeliodd at y brenin, a dygwyd ef i brawf yn Westminster. Yr oedd Harri ei hun yn bresennol; a phan ofynwyd iddo pa un a fynai—bywyd ynte marwolaeth—atebodd Lambert, gyda phob addfwynder a thawelwch, ei fod yn cyflwyno ei enaid i Dduw, ac yn gadael ei gorff i hynawsedd y brenin. Yna darllenodd Arglwydd Cromwell y ddedfryd farwol, gan ei gyhoeddi yn heretic anfeddyginiaethol, a'i gondemnio i gael ei losgi yn Smithfield, yr hyn hefyd a wnaed yn fuan, mewn dull hynod o farbaraidd. Trengodd mewn arteithiau ofnadwy, gan lefain allan, "Neb ond Crist! neb ond Crist!"

Fel goruchaf ben yr Eglwys yn Lloegr, gorchymynodd Harri fod i nifer o "Erthyglau Crefydd" gael eu tynu allan o'r newydd, y rhai yn ebrwydd a gymeradwywyd gan y Senedd. Gwnaed deddf hefyd er "Diddymu Amrywiaeth Barn gyda golwg ar nifer o Erthyglau perthynol i'r Grefydd Gristionogol," a derbyniodd yr ardystiad breninol Mehefin 28ain, 1539. Yr erthygl gyntaf ar y rhestr ydoedd er cadarnhâd i athrawiaeth wallgof y traws-sylweddiad, a'r gosb am siarad neu ysgrifenu yn erbyn hon ydoedd llosgi i farwolaeth. Y fath o ran tuedd ac ysbryd ydoedd y ddeddf gyntaf o Unffurfiaeth a wnaed yn y ganrif hono yn Lloegr. Anfonwyd "*commissions*" at yr archesgobion a'r esgobion oll, fel y byddai iddynt osod mewn grym y ddeddf, pa un a adwaenid ymhlith y bobl bellach, fel y *ddeddf waedlyd*. Rhoddodd Shaxton a Latimer eu hesgobaethau i fyny, a thaflwyd hwynt i garchar. "O fewn ychydig amser," megys y sylwa Burnet, "rhoddwyd pum' cant o bersonau yn ngharchar o herwydd eu gwaith yn troseddu y ddeddf hon; ond drwy gyfryngiad Cromwell a Cranmer, cawsant wedi hyny eu pardynu." Yr oedd Pabyddiaeth yn awr fel am gael y llaw uchaf yn hollol eto. Llafuriai Harri, mewn cysylltiad â'r esgobion y rhai a gefnogent Babyddiaeth i ddwyn Cranmer a Cromwell i warth a dinystr. Collasai Cromwell ffafr y brenin am ddarfod iddo ei annog i ymbriodi âg Anne o Cleves, yr hon nid oedd ei Fawrhydi mewn un modd yn ei hoffi. Rhoddodd Harri ef i fyny o ganlyniad i gynddaredd ei elynion. Dygent yn ei erbyn gyhuddiadau o heresi a bradwriaeth. Torwyd ymaith ei ben, Gorph. 28ain, yn y flwyddyn 1540. Yr oedd y Testament Newydd yn yr iaith Ladinaidd ganddo yn ei gôf, a dywedir ei fod ar yr arteithglwyd yn gweddïo ar Dduw yn enw Crist. Un o ddynion goreu yr oes hono oedd Arglwydd Cromwell, a dïau i achos rhyddid a diwygiad crefyddol dderbyn dyrnod trwm yn amgylchiad ei farwolaeth ef. Deuddydd yn ddiweddarach cyhuddid Dr. Barnes, Mr. Gerard, a Mr. Jerome, o heresi, a chondemniwyd hwynt i gael eu llosgi. Dygid tri eraill i'r dienyddle yn Smithfield am wadu uchafiaeth y brenin, ac addef uchafiaeth y Pab. Rhwymwyd Protestant a Phabydd ynghyd, a llusgid hwynt felly at y pawl, yr hyn a ennynai lidiogrwydd y blaid Babyddol hyd yr

eithaf. Daliai y Diwygwyr i broffesu eu hymlyniad wrth yr Ysgrythyrau, ac ymddygent drwy y cyfan fel ffyddlawn ferthyron i Grist.

Ond rhagddo yr elai achos y Diwygiad er gwaethaf pob peth. Un peth a wnaed yn ei ffafr y pryd yma ydoedd cyhoeddi mynegiad o athrawiaethau Cristionogol, yr hwn fynegiad oedd wedi ei gywiro, medd yr hanes, gan y brenin ei hun. Er y cynnwysai lïaws o'r ffoleddau Pabaidd, heblaw athrawiaeth traws-sylweddiad, yr oedd o ddefnydd er dwyn ymlaen .wirionedd efengylaidd, yn gymaint a'i fod yn apelio beunydd am gadarnhâd at yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Yn unol âg ewyllys y brenin hefyd, yn 1541 rhoddid chwech o Fiblau wrth gadwyni yn eglwys St. Paul, fel y gallai pawb a deimlai yr awydd ymgynnull yno i wrando darlleniad gair Duw. Yn 1544 drachefn, parodd ei Fawrhydi i weddïau at wasanaeth addoliad cyhoeddus gael eu cyfieithu i'r Saesoneg. Cyffröwyd gelynion yr efengyl unwaith eto i wneyd ymdrech penderfynol er attal ymdaith goleuni a rhyddid crefyddol. Llwyddasant i greuloni meddwl y brenin penrhydd ac anwadal hwn yn erbyn rhai o brif gyfeillion y gwirionedd ymhellach. Yr Arglwyddes Anne Askew oedd yr un gyntaf a wnaethpwyd yn nôd i'w dïalgarwch gwaedlyd. Yr oedd y bendefiges hon yn un o anwylion Catherine, sef y chweched a'r hawddgaraf o'r breninesau a fu gan Harri. Hanes prudd nodedig yw hanes dyoddefiadau yr Arglwyddes anrhydeddus hon, ac adlewyrcha fythol waradwydd ar nodweddiad yr Esgob Bonner, a'r Arglwydd Ganghellydd, Wriothesley. Cafodd ei merthyru yn Mehefin, 1546. Llwyddodd Esgob Gardiner i gael gan y brenin lawnodi erthyglau o achwyniad yn erbyn y frenines ei hun! Ond siomwyd y prelad annynol yn ei ymgais melldigedig hwn. Bu Cranmer hefyd mor ffodus â dianc rhag cynddaredd ei elynion y pryd hwn, er fod y brenin wedi rhoddi ei gydsyniad unwaith i'w ddal a'i ddinystrio.

Yr oedd y gwaith da yn myned rhagddo hefyd yn yr Alban, fel mewn parthau eraill o Brydain. Yr oedd ysgrifeniadau y Diwygwyr wedi cael eu lledanu yn y wlad hono, ac wedi cynnyrchu effeithiau mawrion. Ymhlith y rhai a ddychwelwyd i'r iawn yr ydoedd Patrick Hamilton yr hwn oedd berthynas agos i'r brenin. Aeth drosodd i Germany er mwyn ymweled â Luther, ac wrth ddyfod adref pregethai yr efengyl gydag egni canmoladwy. Ond cwympodd yn ysglyfaeth i falais a phenboethni Pabaidd, a bu farw yn ferthyr dros Grist yn y flwyddyn 1541. Dygwyd eraill i brawf am eu hegwyddorion crefyddol, y rhai a seliasant y gwirionedd a broffesid ganddynt â'u gwaed, ymhlith pa rai yr oedd yr enwog George Wishart, yr hwn yn y flwyddyn 1545 a ddygodd ei dystiolaeth i efengyl bur ein Harglwydd drwy farw yn nghanol y fflamau.

Gwysiwyd Harri VIII. i ymddangos gerbron Barnydd yr holl ddaear Ionawr 28, 1547. Trwyddo ef yr oedd Dwyfol Ragluniaeth wedi cwblhâu lliaws o ddybenion doeth a thrugarog, ac iddi hi yn unig yr ydym yn cyflwyno ein mawrygiad a'n ciodforedd. Trinir nodweddiad Harri gan rai ysgrifenwyr gyda y gerwindeb mwyaf diarbed, ac eraill a ymddygant dipyn yn fwy cymedrol. Ymhlith y dosbarth olaf o ysgrifenwyr y saif Dr. Fuller. Eto efe a ddywed am y penadur hwn, "Ymddengys holl rinweddau a drygau ei holl ragflaenoriaid fel yn cael eu llawn gynnrychioli ynddo ef, o ran rhyw a graddau,—dysgeidiaeth, doethineb, gwroldeb, ardderchogrwydd, creulondeb, ariangarwch, llidiog-

rwydd, a thrachwant." Parodd dori penau *dwy* o'i freninesau; rhoes lythyrau ysgar i *ddwy* eraill; bu *un* farw; ac am y *chweched*, cafodd hono y fraint o'i oroesi ef. Er nas gallwn edrych yn ôl at y teyrnasiad hwn heb lawer o ddychryn a phoen, eto canfyddwn achos clodfori y Nefoedd am y bendithion mawrion a ganlyn, y rhai a sicrhäwyd i'n teyrnas y pryd hwnw, sef yn gyntaf, dymchweliad y gallu Pabaidd; yn ail, sefydliad awdurdod oruchel y Senedd; ac yn drydydd, adferiad yr Ysgrythyrau sanctaidd i'r bobl. Yn y chwyldröadau mawrion a gymerasant le yn ei ddyddiau ef, y cyfan o'r rhai a gydweithient er daioni yn y pen draw i achos goleuni, a gwareiddiad, a rhyddid Cristionogol yn y deyrnas hon, fe wêl y cristion a'r gwir athronydd weithrediadau amlwg llaw yr Hwn sydd yn rheoli amgylchiadau dynion a phendefigaethau yn ol ei gynlluniau Dwyfol a thragywyddol ei hun.

---

# DINYSTR SODOMA A GOMORRA.

"Cyfodasai yr haul ar y ddaear pan ddaeth Lot i Soar. Yna yr Arglwydd a wlawiodd ar Sodoma a Gomorra frwmstan a thân oddiwrth yr Arglwydd allan o'r nefoedd."

GENESIS xix. 23, 24.

YR hwn a fynai wneuthur salm gryno am Dduw yn ei weithredoedd, mae yn rhaid i hwnw ganu, fel y Salmydd breninol gynt, "am drugaredd a barn." Mae yn anghenrheidiol i ni edrych ar y naill a'r llall; o herwydd os awn i feddwl yn unig am Dduw yn trugarhâu, ni a ŵyrwn i diriogaeth rhyfyg; ac os syniwn am dano yn unig fel un a gosba bechod, ni a grwydrwn i derfynau anobaith. Ond wrth iawn farnu am dano fel "Duw cyfiawn *ac* Achubydd," gallwn ddysgwyl am "ras i'w wasanaethu wrth ei fodd," sef, ar un llaw, ei wasanaethu "gyda gwylder a pharchedig ofn, oblegid ein Duw ni sydd dân ysol," ac ar y llaw arall ei wasanaethu mewn llawenydd, gan mai "Tad y trugareddau, a Duw pob dyddanwch," ydyw. Y cyfuniad neu y cydgyfarfyddiad hwn o "ddaioni a thoster Duw," sydd berthynol yn unig i'r ddaear hon. Mae "yr holl deulu yn y nefoedd" mor ddiogel, fel y maent uwchlaw ofni dialedd; ac y mae pawb sydd yn uffern mor druenus, fel y maent islaw gobeithio am drugaredd. Mawr gariad Duw, a dim ond hyny, sydd yn llanw y nefoedd, a'i ddigofaint hyd yr eithaf sydd yn cyfansoddi uffern. Ond yn y byd rhyfedd yr ydym ni ynddo hyd yn hyn, gellir dywedyd fod y Jehofah yn gweithredu i fesur yn ei lid ac yn ei drugaredd. Mae yn ymddangos trwy yr holl oesoedd i ddynolryw fel Duw sydd yn ddig o herwydd pechod, ac eto yn hirymarôus wrth bechadur. Bu amser, mae yn wir, pan nad oedd lle i drugaredd nac i farn breswylio gyda dyn ar y ddaear. Am yr adeg fèr y bu dyn yn sefyll mewn diniweidrwydd, nid oedd

ynddo ddim yn galw am farn i'w geryddu, ac nid ydoedd ychwaith mewn un anghen am drugaredd i'w ymgeleddu. Eithr gydag iddo syrthio i bechod, dyma "lais yr Arglwydd Dduw" yn dywedyd mewn barn, "Melldigedig fydd y ddaear o'th achos di; pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli." Ond nid hyny oedd y cwbl. Dyma hefyd "lef ddystaw fain" trugaredd yn dadgan am Had y wraig i ysigo pen y sarph. Ac o hyny hyd yn awr y mae trugaredd a barn yn aros yn y byd hwn, ac i'w canfod ar unwaith yn ngorchwyliaethau Duw tuag at ddynion. Trugaredd, mae yn ddïau, sydd yn cael mwyaf o le, ac yn gwneyd mwyaf o waith, ymhlith trigolion y ddaear; ond tra y mae trugaredd yn gwenu ar bechadur, y mae o hyd farn yn rhywfodd a rhywle yn gwgu ar bechod. Ar rai prydiau y mae'r Llywydd Goruchaf wedi ei ddangos ei hun yn y ffordd amlycaf, ac yn y modd mwyaf ofnadwy, yn "Duw a farna ar y ddaear;" eithr hyd yn nôd ar brydiau felly, yr oedd enfys yn gwregysu y cwmwl du, yn arwydd nad anghofiodd Duw drugarhâu. Mae ein testun presennol yn ein harwain at un o'r arddangosiadau mwyaf arswydlawn o farn Duw a welodd y byd yma erioed: yr Arglwydd yn gwlawio tân a brwmstan o'r nefoedd ar ddinasoedd y gwastadedd. Ond yn nghanol y fath "ddamnio â dymchweliad," dyma drugaredd hefyd yn ymwthio i mewn. Wele Lot yn myned yn ddiangol i Soar, a hyny, medd yr hanesydd ysbrydoledig, "am dosturio o'r Arglwydd wrtho ef."

Nid ein hamcan yw olrhain yn rheolaidd yr hanes am y dystryw dwys henafol yn ei holl amgylchiadau, eithr ni a sefydlwn ein sylwadau ar y gyfran fer, ond pwysig, o'r hanes a ddyfynodwyd genym yn y dechre, a'r hon sydd, fel y gwelir, yn llawn o addysg ymarferol a thra pherthynol. Yma y gwelwn ddinystr yn dyfod ar weithredwyr anwiredd—y dinystr hwnw yn disgyn arnynt heb ei ddysgwyl—a'r duwiol yn nydd dinystr yn ddiangol.

Wele y dinystr echryslawn a goffeir: "Yr Arglwydd a wlawiodd ar Sodoma a Gomorra frwmstan a thân oddiwrth yr Arglwydd allan o'r nefoedd. Felly," medd y geiriau canlynol, "y dinystriodd efe yr holl ddinasoedd hyny, a'r holl wastadedd, a holl drigolion y dinasoedd, a chnwd y ddaear."

Yr oedd yn rhaid fod euogrwydd annhraethol ynglŷn âg anwiriaid y dinasoedd hyny, yn tynu y fath farn arnynt. Er eu bod yn byw mewn llanerch oedd, meddir, "fel gardd yr Arglwydd," o ran prydferthwch a ffrwythlondeb, ac felly yn dywedyd yn uchel am ddaioni Duw, a chyfoeth ei ragluniaeth, a'u rhwymedigaethau hwythau i'w addoli a'i wasanaethu,—nid oedd holl ragoriaeth eu tir, a'r digonedd bara a gynnyrchai, yn gweini i ddim ond i borthi eu seguryd, eu balchder, a'u "hanniwair ymarweddiad." Yr oedd Abraham, tad y ffyddloniaid, yn byw nid ymhell oddiwrthynt, ac wedi bod mewn un amgylchiad yn achubydd iddynt rhag eu gelynion; ac mae yn ddiammheu fod ei oleuni ef yn llewyrchu mor ddysglaer, yn yr oes dywell hono, fel y gallasai trigolion y gwastadedd weled ei weithredoedd da, a thrwy hyny gael eu harwain i ogoneddu Duw Abraham. Ac yr oedd y golwg ar y cannoedd o "hyfforddus weision" a ddysgid ganddo ef yn "ffordd yr Arglwydd" yn fath o bregeth fyw, yr hon a ddylasai argyhoeddi annuwioldeb Sodom. Yr oedd "Lot gyfiawn" hefyd yn trigo yn eu mysg; ac er fod ei arosiad

gyda hwy yn anfantais fawr i'w grefydd bersonol ef, yr oedd canfod ei esiampl dduwiol, a chlywed ei gynghorion a'i rybuddion ffyddlawn, yn fantais a ffafr neillduol iddynt hwy. Ond yr oedd hyn oll yn ofer iddynt, ac uwchuwch yr oedd gwaedd eu pechodau yn dyrchafu i'r nefoedd.

O'r diwedd, dyma eu "hanghyfreithlawn weithredoedd" wedi cyrhaedd i bwynt nad oedd bosibl eu dyoddef yn hŵy; rhaid yn awr oedd dangos fod Duw yn y nefoedd yn casâu pechod, ac yn alluog i dalu y pwyth i'w elynion. Bellach, wele y dydd dial wedi dyfod, ac yn ebrwydd dyma y dymhestl o dân a brwmstan yn eu gorchfygu yn dragywydd ac yn eu hanfon i ffordd. Nid oedd modd dianc. Wele dân Duw yn eu cyfarfod ymhob heol, yn eu gorddiwes ymhob tŷ a phob ystafell, ac yn eu difa yn y fan. Ac yr oedd Cyfiawnder Dwyfol yn methu dyoddef i'r ysmotyn hwnw o'r byd oedd wedi ei halogi gan y fath bechaduriaid anfad, gael ei adael i aros yn ngolwg haul y nefoedd. Ar un ergyd dyna y dinasyddion a'r dinasoedd yn cael eu dymchwel oddiar wyneb y ddaear; ac y mae y Môr Marw hyd heddyw yn aros yn gofnod aruthrol i'r hollfyd o'r dinystr aruthrol.

Mae yn gymhwys ymofyn beth a ddywedwn ni wrth hyn, neu yn hytrach, beth a ddywed hyn wrthym ni. Fel amgylchiad ynddo ei hun, mae dinystr Sodoma a Gomorra wedi myned heibio er yn agos i bedair mil o flynyddoedd; ond fel adroddiad yn ngair Duw, mae y dinystr hwn yn aros mewn grym mynegol o hyd, yn gyhoeddiad breninol o ddigofaint y Llywodraethwr mawr yn erbyn pechaduriaid anedifeiriol ymhob oes. Fe ddywed Pedr fod yr anwiriaid llosgedig hyn "wedi eu gosod yn esiampl i'r rhai a fyddent annuwiol." Mewn cyfeiriad at ddymchweliad Sodom y llefarai y Salmydd y geiriau brawychus hyny, "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus;" a'r unrhyw gyfeiriad a geir hefyd yn y darluniad o uffern fel "llyn yn llosgi o dân a brwmstan." Edrychwn ac ymogelwn rhag mai dyna "ran ein phiol" ni!

Ychydig yr oedd pobl Sodoma yn feddwl, wrth ymroddi i'w pleserau annuwiol, mai gwneyd eu hunain yn fwyfwy crin yr oeddynt i'w hysu gan y tân a'r brwmstan. Nid yw y pechadur heddyw, wrth fyw "yn ol ei galedrwydd a'i galon ddiedifeiriol," yn gwneuthur dim ond "trysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw." Fe fyn Barnydd yr holl ddaear wneuthur barn, costied hyny a gostio i droseddwyr ei gyfraith. Mae purdeb natur Duw yn peri iddo ffieiddio pob math ar bechod, ac y mae anrhydedd, ïe, a daioni ei lywodraeth, yn gofyn iddo gosbi pechod. Peth pruddaidd yw edrych ar garcharau, a meddwl am ddynion yn cael eu caethiwo ynddynt; eto mae yn dda i ni ein bod yn byw mewn gwlad y mae carcharau ynddi, ac onidê ni buasem yn ddiogel yn ein tai. Er mai mangre ofnadwy yw uffern, mae yn weddus ac yn dda fod y fath le yn llywodraeth y Brenin Mawr. Mae gofal y Duw Goruchaf am les goreu ei holl grëadigaeth fawr, yn ei rwymo i garcharu yn "uffern obry" yr holl eneidiau sydd wedi cyrhaedd addfedrwydd mewn pechod. Os yw yr enaid yn hoffi gwneuthur pechod, ymbaratöed ynte i dderbyn cyflog pechod. "Os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch." Onid arbedodd Duw bechaduriaid Sodoma a Gomorra yn y cynfyd, pa fodd y dianc y rhai

sydd yn ymgaledu yn ei erbyn ef yn wyneb mawredd goleuni a breintiau crefyddol y dyddiau diweddaf hyn?

Dichon y byddai llawer yn ein gwlad, y rhai sydd yn wrandäwyr cyson o'r efengyl, yn barod i feddwl y gwnaem yn annheg iawn wrth eu gosod hwy, nas gellir eu cyhuddo o bechodau cyhoeddus ac ysgeler, ar yr un tir â chyfryw droseddwyr âg ydoedd yr hen Sodomiaid. Ond os ydynt hwy, yn nghanol y fath helaethrwydd o foddion gras, heb alw ar enw yr Arglwydd, ac heb gredu yn efengyl Crist, y gwir yw eu bod, er pob moesoldeb allanol, yn fwy euog yn nghyfrif y Nefoedd na'r hen genedl a losgwyd â thân a brwmstan. Yr oedd yr Iachawdwr yn dywedyd wrth y rhai a welsent ei weithredoedd nerthol, ac a glywsent ei eiriau grasusol, ac eto a barhäent yn eu hanghrediniaeth, y byddai yn "esmwythach i dir Sodom yn nydd y farn" nag iddynt hwy! Mae gair Crist, a'i weision, a'i ordinhadau, yn ein mysg ninnau; ïe gallwn ddyweyd i ni ei weled Ef ei hunan mewn modd arbenig gyda ni yn ngras ei Ysbryd. A ydym yn adnabod "amser ein hymweliad?" Mae y rhai yn awr na fynant ddyfod at Grist fel y caffont fywyd, yn fwy eu heuogrwydd, ac yn agored i drymach cosb, na hwynt-hwy yn Sodom gynt. Y dyn sydd yn byw yn hinsawdd efengyl gras Duw, ac yn esgeuluso iachawdwriaeth er mwyn myned ar ol byd a chnawd, mae ar hwnw yn gorwedd bechod na wyddai "tywysogion Sodoma, a phobl Gomorra" ddim am dano. Gwell fil o weithiau a fuasai i ni gael ein dyfetha yn llosgiad Sodom na myned i'r farn yn Gymry wedi gwrthod Crist. Peth ofnadwy fydd ei gael Ef, yr unig Gyfryngwr drosom, yn Ddialydd arnom!

Yr oedd a fynai Mab Duw, fel y mae yn amlwg oddiwrth y geiriad yn yr hanes, â dinystr Sodoma a Gomorra. Sylwer ar y modd y lleferir: "Yr Arglwydd a wlawiodd—frwmstan a thân, oddiwrth yr Arglwydd allan o'r nefoedd." Beth a feddylir wrth fod yr Arglwydd yn gwlawio oddiwrth yr Arglwydd? Yr Arglwydd ar y ddaear yn gwlawio oddiwrth yr Arglwydd o'r nefoedd: yr Arglwydd, Mab Duw, yr hwn oedd yn awr wedi disgyn i'r ddaear fel "Angel yr Arglwydd," ac, yn ol dull dyn, wedi gweled â'i lygaid fawr ddrygioni dinasyddion y gwastadedd—efe yn gwlawio, neu yn galw am wlawio, ar Sodoma a Gomorra, frwmstan a thân, oddiwrth yr Arglwydd, y Tad, o'r nefoedd: dyna y golygiad neu yr esboniad, yn ddïau. Mae hyn ynddo ei hunan yn dywedyd mai rhaid yn wir oedd gweinyddu y farn ddychrynllyd y pryd hyny. Yr Arglwydd, y Gair, yr hwn oedd wedi ymgyfammodi i ddyfod yn Waredwr i ddynion, ac oedd, yn nghyflawnder yr amser, i wisgo eu natur, a marw yn aberth dros bechod—yr oedd Efe yn gweled yma fod yr amser i drugarhâu wrth bechaduriaid y gwastadedd wedi myned heibio. Yr ydym yn ei gael ef, mae yn wir, megys yn myned yn araf ac annyben iawn at y gwaith o'u dinystrio. Nid yw efe yn rhedeg at y fath orchwyl. O na! y mae fel pe byddai yn sefyll yn ôl cyhyd âg y gallo, gan aros am enyd ar y ffordd gyda ei gyfaill Abraham. Ond nid oedd modd estyn arbediad ymhellach i rai mor lwythog o ffieidd-dra. Pan yr oedd Mab Duw yn goddef, ïe yn rhoddi cefnogiad, i Abraham eiriol dros Sodoma, yr oedd gwŷr Sodom eu hunain ar y fynyd hono, yn hen ac yn ieuainc, yn bàrio eu drws olaf o ddiangfa. Yr oedd Lot, o wir garedigrwydd, wedi llettya y ddau angel yn ddiarwybod; ond dyma y Sod-

comiaid, o wir ddrygioni, yn sarhâu ac yn herio y cenadon nefol. Wele, fy Nhad cyfiawn, medd Jehofah'r Mab, nid oes genyf yn awr ddim i'w wneuthur ond rhoddi i fyny y fath annuwiaid rhyfygus i'w hysu â thân dy ddigofaint; yn ddïau, ni lanhëir yr anwiredd hyn hyd oni byddant feirw! Ac felly dyma y *sulphur* tanllyd yn disgyn, ac yn eu "dyfetha hwynt oll." Mewn modd mwy arbenig eto, Crist yr Arglwydd sydd yn cyhoeddi ac yn sicrhâu damnedigaeth yr anedifeiriol dan yr efengyl; iddo ef y rhoddwyd "pob barn." Hyn yn anad unpeth a fydd yn selio anobaith yr enaid euog: cael ei hunan yn wrthddrych "llid yr Oen." Y mae Duw, yma yn y byd hwn, "yn ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol." Dylai yr annuwiol, gan hyny, ofni a chrynu; ond eto nid rhaid iddo fod yn ddiobaith; fe all gael Cyfryngwr i'w heddychu â Duw. Ond cuddir gobaith oddiwrtho yn oes oesoedd os unwaith y caiff efe y Cyfryngwr ei hun yn ddigllawn wrtho. Gellir heddyw lechu rhag llid Duw yn nghlwyfau yr Oen; ond nis gellir cael lloches yn unlle byth rhag llid yr Oen ei hunan. Yn marn y dydd mawr, dyna a gyfrifir gan dyrfa yr aswy law fel eithaf eu trueni: gwynebu y Barnwr wedi ei wrthod yn Waredwr—sefyll yn golledig o flaen mainc yr Hwn a wnaeth gymaint "fel na chollid pwy bynag a gredai ynddo ef"—a chlywed o'i enau y ddedfryd, Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig i'r tân! O Iesu mawr, tyn ni trwy rinwedd a dylanwad dy groes atat dy hun, ac yna ni a gawn hyder ddydd y farn!

WELE DDINYSTR Y DINASOEDD HYN YN DYFOD YN DDISYMWTH AC ANNYSGWYLIADWY: "Cyfodasai yr haul ar y ddaear pan ddaeth Lot i Soar. Yna yr Arglwydd a wlawiodd ar Sodoma a Gomorra."

Mae yn debygol na bu dynion erioed yn gosod y dydd drwg ymhellach oddiwrthynt nag yr oedd pobl dinasoedd y gwastadedd ar yr oriau uniongyrchol o flaen eu dinystr. Yr oedd bore eu diwrnod diweddaf yn dyfod i mewn yn ddystaw a thawel, heb ddaeargryn na thymhestl na chorwynt yn rhagarwyddo dystryw. Ni welid cymylau duon uwchben, nac argoel tywydd garw o gwbl, a llawer llai debygrwydd am ystorm o dân a brwmstan. "Cyfodasai yr haul ar y ddaear." Fe dybygid oddiwrth yr ymadrodd hwn fod y bore yma yn cael ei hynodi gan degwch a dysgleirder arbenig. "Cyfodasai yr haul," nid yn unig uwchben y terfyngylch ar y pryd yr oedd i'w ddysgwyl, ond "ar y ddaear," fel yr oedd adlewyrchiad ei belydr i'w weled a'i deimlo mewn modd neillduol. Nid allwn ni yn y wlad hon ddychymygu am brydferthwch golygfeydd y fath fore, yn y fath hinsawdd, ac ar y fath dir. Mae teithwyr yn ngwledydd y Dwyrain yn dywedyd wrthym mai yno yn fwy nag unlle y gwelir perffeithrwydd tegwch tywyniad haul; ac nid oedd yn y Dwyrain dir mwy paradwysaidd na gwastadedd Sodom cyn y dymchweliad. Yr oedd yn felus hyd yn nôd i lygaid y bobl ddiras hyn weled haul y bore yn goreuro â'i lewyrch y fath olygfa hyfryd. Wele natur wedi gwisgo yr holl wlad â'i mantell wech o amryw liwiau, y defaid a'r ychen yn pori yn hapus ar y meusydd, a'r adar yn llanw yr awyr â'u peroriaeth. Pwy a fuasai yn meddwl fod achos ofni ymweliad dinystriol Duw y nefoedd yn nghanol sirioldeb y fath fore teg! Gallesid dysgwyl mai ar hanner nos, pan yr oedd tywyllni pruddaidd wedi ymdaenu dros y ddaear, a thrymgwsg wedi syrthio ar ddynion, y daethai y farn echrydus. Ond, wele, ar y diwrnod a godasai mor brâf, pan nad oedd

dim o'r nefoedd uchod, nac o'r ddaear isod, yn rhoddi un awgrym o felldith ar y pechaduriaid hyn, dyma eu "dialedd yn dyfod megys corwynt," a gwasgfa a chaledi yn wir yn disgyn arnynt. Mewn moment, ar darawiad llygad, dyna yr haul yn duo, y dydd yn troi yn nos, cawodau o frwmstan a thân yn disgyn, yn gwneuthur y tai a'r holl dir yn eirias wenfflam, ac yn llosgi yn fyw yr holl drigolion! "Mor ddisymwth yr aethant yn anghyfannedd! pallasant a darfuant gan ofn."

Yn hyn eto y maent yn ddrych parhâus o ddiwedd y rhai oll nis gwasanaethant Dduw. "Canys pan ddywedant, Tangnefedd a diogelwch, yna y mae dinystr disymwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog, ac ni ddiangant hwy ddim." "Gŵr a geryddir yn fynych, ac a galedo ei wàr, a ddryllir yn ddisymwth, fel na byddo meddyginiaeth." Gwelwyd y brenin Belsassar yn ei wledd fawr gyda ei fil o dywysogion a'i wragedd a'i ordderchadon, yn moliannu y duwiau mud meirwon, ac yn halogi llestri teml y bywiol a'r gwir Dduw. Ond yn nghanol yr holl fleddest, "yr awr hono bysedd llaw dyn a ddaethant allan, ac a ysgrifenasant ar gyfer y canwyllbren ar galchiad pared llys y brenin, Ti a bwyswyd yn y cloriannau, ac a'th gaed yn brin!" Ac yn "y noson hono y lladdwyd Belsassar." Yr oedd y gŵr goludog yn y ddammeg yn edrych gyda chalon lawen ar y chwanegiad a estynasai cynauaf ffrwythlawn at ei gyfoeth, ac yn penderfynu ymroi bellach i fwynhâu yr ystôr oedd yn addaw dal allan am lawer o flynyddoedd; ond "y nos hono y gofynwyd ei enaid oddiwrtho." Nid yw pechadur un fymryn diogelach o ran ei fater rhyngddo a'r Nefoedd, serch fod y cwbl o'i amgylch fel yn gwenu arno. Gall dyn fod yn esmwyth arno gyda golwg ar ei sefyllfa allanol, ac eto fod llid yr Hollalluog yn croni uwch ei ben ac ar ddisgyn arno. Nid yw fod yr annuwiol yma yn ŵr ieuanc heinyf yn mlodau ei nerth, na'r annuwiol acw yn nghryfder canol oed, heb deimlo yn ei gyfansoddiad afiechyd o un math, yn ddigon o sicrhâd na bydd angeu wedi ei ddal, ac uffern wedi ei dderbyn, cyn pen ychydig ddyddiau. Heb feddwl, yn hollol ddiddysgwyl, y mae pechaduriaid yn syrthio i ddystryw. Dacw rywun yn aros trwy y blynyddoedd ar wrandaw yn unig, heb ufuddhâu i'r gwirionedd; a dacw un arall yn gorphwys ar broffes yn unig, heb rym duwioldeb; pa fodd y mae'r naill a'r llall yn gallu dystewi y gydwybod yn y fath gyflwr peryglus? Meithrin rhyw hyder y maent fod dydd marwolaeth yn rhywle ymhell oddiwrthynt, a gweithio ar hyny, gan addaw ymofyn o ddifrif am heddwch â Duw ryw amser a ddaw. O dwyll calon dyn! yn ol pob tebyg, fe fydd y diwedd yn eu dal yn anmharod. Mae lle i ofni mai yn nghanol yr oedi, pan yn llawn prysurdeb gyda gorchwylion daearol, ac yn tynu cynlluniau am flynyddoedd eto ymlaen, y ceir hwy yn disgyn i fyd arall, gan ochain, "Y cynauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym yn gadwedig!" O na byddem "yn llawn o rym gan Ysbryd yr Arglwydd," i waeddi ar y rhai yma yn nghyrhaedd y digofaint sydd ar ddyfod, "Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonau!"

Er fod y dinystr wedi dyfod fel hyn ar bobl Sodoma a Gomorra heb ei ddysgwyl, ni ddaeth heb eu bod hwy, megys y nodwyd eisoes, yn llawn addfed iddo. Yn gyffelyb y bu yn wastad gyda phob enaid colledig. Nid oedd y pechadur diofal yn meddwl ei fod yn myned i ddys-

tryw, ac eto efe a ddisgynodd yno yn hollol naturiol; wedi cyflawni yr ydoedd fesur ei anwiredd. Yn debyg i lestr pridd a roed i nofio ar y dyfroedd: fe'i caed yn gogwyddo ac yn troi o'r naill ochr i'r llall, gan gymeryd y dwfr i mewn bob yn ychydig ac ychydig, ac wrth drymhâu yn myned yn îs îs, nes cyn hir mae y llestr yn llawn, ac yna nis gall ond suddo i'r gwaelod. Byr waith oedd llosgi Sodom, ond gwaith oes ei phobl oedd galw am y llosgiad, a'i dynu i lawr arnynt. Wedi i'r gwynt ystormus ar ryw noswaith chwythu yn ei nerth, fe welwyd erbyn y bore fod derwen fawr yn y goedwig wedi ei diwreiddio a'i thaflu i'r llawr. Pa fodd y cafodd y gwynt y llaw uchaf ar y dderwen mewn un noson? O! yr oedd hi yn addfedu yn raddol at ei chwymp er ys deng mlynedd. Yr oedd haciau dyfnion anfeddyginiaethol arni er ys hyny o amser, neu y pryd hwnw y dechreuodd merddwfr groni mewn rhyw hollt ynddi, ac oddiyno yr oedd gwywdra yn gweithio ei ffordd yn ddystaw tua chalon yr hen dderwen. Yr oedd hi yn gwaethygu fwyfwy bob blwyddyn, nes o'r diwedd fod y gwynt gydag agos un ergyd yn gallu ei chael i lawr. Iaith anedifeirwch a rhyfyg yr anghredadyn yw, "Pa le y mae Duw y farn? Pa le y mae gair yr Arglwydd? deued bellach." Y mae genyf, medd efe, ryw bleserau yr wyf yn eu dilyn er ys llawer blwyddyn; a phaham y rhaid i mi yn awr newid fy ffordd? Yr wyf yn dal yr un fath, heb wybod dim am yr anghysur a'r trueni a fygythir arnom weithiau.—Nac wyt, druan ŵr, ddim yn dal yr un fath! mae yna ryw bydredd angeuol yn ymdaenu o hyd trwy ddirgeloedd y galon. Dim ond i gorwynt yr Arglwydd ddyfod allan mewn digter, a thi a gwympi ar unwaith, heb allu o honot gyfodi byth. Taer weddïwn am "wirionedd oddimewn." Tyned yr Arglwydd y galon gareg o'n cnawd, ac onidê hi a'n sudda wrth ei phwysau ei hun i lawr hyd yn uffern!

Wele wasanaethwr Duw yn ddiangol yn nydd y dinystr mawr: "Cyfodasai yr haul ar y ddaear pan ddaeth Lot i Soar," ac wedi ei gael ef yno yn ddiogel, "yna yr Arglwydd a wlawiodd ar Sodoma a Gomorra frwmstan a thân;"—yna, ac nid yn gynt.

Yr oedd un dyn duwiol i'w gael yn Sodom. Fe dybygid mai annoeth iawn y gwnaeth Lot wrth fyned i drigo ymysg y cyfryw bobl. Cafodd ei arwain yno i ddechreu gan olwg yn unig ar fantais fydol; ond drwg a chwerw mewn llawer modd a fu y canlyniad iddo. Ac eto yr oedd goruwchreolaeth Rhagluniaeth yn amlwg iawn mewn cysylltiad â'i breswyliad yno. Trwy hyny fe ddangoswyd i'r holl oesoedd y pris mawr a rydd yr Arglwydd Ior ar ffyddlondeb i'w enw yn nghanol cenedlaeth ŵyrog a throfaus—y sylw caredig a wna y Duw sanctaidd ar burdeb calon yn gweithio allan mewn anghydffurfiad â'r lliaws sydd yn gwneuthur drwg. Pan dröwyd dinasoedd Sodoma a Gomorra yn lludw, Duw "a waredodd Lot gyfiawn. Mae yn wir ei fod ef ei hunan, rywfodd, yn hwyrfrydig, hyd yn nôd yn y diwedd, i droi allan o Sodom; ond darfu i angelion Duw arfer rhyw orthrech rasol, ymaflyd yn ei law, ac yn nwylaw ei wraig a'i ddwy ferch, gan fynu eu cael allan yn deg o'r ddinas. Ac wedi hyny, rhoed iddo y siars effrous, "Dianc am dy einioes; nac edrych ar dy ol, ac na saf yn yr holl wastadedd." Yn ol dy ddymuniad, ti a gei Soar yn fan i'th gadw yn fyw; ac nid yw y ffordd ymhell i fyned iddi; ond, "brysia, dianc yno!" Mae y tân a'r brwmstan ar ddisgyn; ond ni fedr calon dy Dduw adael i ddafn ddyfod i lawr

nes dy gael di yno. O werth dyn duwiol yn ngolwg yr Arglwydd! O y fath fantais i dref a gwlad ydyw fod gan Dduw ei saint yn cyfanneddu yno! Yr oedd mynydau olaf Sodom yn cael eu rhifo wrth gamrau Lot yn croesi i Soar. Dacw efe yn myned! y gŵr y bu pobl Sodoma, mae yn ddïau, yn gwawdio llawer arno—yn ei gyfrif yn grëadur pengam, mympwyol, a rhy rodresgar i gymeryd ei fyd yn llawen gyda phobl eraill—ac yn dymuno lawer gwaith, dybygid, am iddo ef gyda ei wyneb hir, sanctaidd, fyned i rywle ymhell oddiwrthynt,—dacw hwy yn awr yn cael gwared llwyr o hono; ond y mae hyny yn costio eu bywyd hwy! Ha, watwarwyr Sodom, chwi a roech y byd yn union bellach am fod yn nghyflwr eich hen gymydog diystyr, Lot! Gwae chwi am fod gweddïwr Duw yn cefnu arnoch! unwaith y rhoddo efe ei droed o'r tu fewn i ddinas fechan Soar, bydd y cwbl drosodd gyda chwi a'ch dinas am byth! Elw mawr, a phenaf peth, yw duwioldeb. Yr oedd gan y Goruchaf berl o uchel bris wedi syrthio rywfodd i ganol y pentwr sofl yn Sodoma; eithr yr oedd ei ddysgleirdeb, hyd yn nôd yn y fan hono, yn tynu sylw ei Berchen ato; a chyn gosod y sofl ar dân, y mae efe yn mynu ei èm gwerthfawr i guddfa ddiogel.

Ond ni a allwn edrych ar waith Lot yn dianc o Sodom i Soar yn fath o ddarlun neu-gysgod o bechadur yn ffoi at Grist i'w achub rhag digofaint yn dragywydd. Mewn ystyr ysbrydol, y mae pawb o honom yn breswylwyr dinas Duw, neu yn drigolion dinas dystryw—yn ddinasyddion Sïon neu yn bobl Sodom. Y mae pob un annuwiol yn byw mewn lle a nododd Duw i'w ddyfetha. Ti fab neu ferch sydd allan o Grist, yn Sodoma y ganwyd di, ac yno, yn ninas y felldith, yr wyt wedi aros hyd yr awr hon. Er y gallai dy fod o ran dy fuchedd yn weddeiddiach na llawer o'th gydnabod, eto, onis ganwyd di drachefn, un o deulu Sodom ydwyt—un o bobl y ddinas y mae ystorm o frwmstan a thân yn crogi uwch ei phen. Yr ydoedd wedi dyfod yn gyfryw adeg ar Lot a'i deulu y pryd hwn fel yr oedd raid iddynt ddianc o Sodom, neu gymeryd eu "dyfetha yn anwiredd y ddinas." Anwyl ddarllenyddion, os yn Sodom y mae neb o honoch yn ewyllysio byw, bydd yn rhaid eich dyfetha gyda Sodom. Os pethau y byd yw eich pethau, os pobl y byd yw eich pobl, rhaid ryw ddydd eich "damnio gyda y byd." Os, gan hyny, na fynech fyned dan ddigofaint Duw gyda phlant yr anufudd-dod, "deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch." Fe ddichon fod yr haul eto yn tywynu arnoch—iechyd yn llewyrchu yn eich llygaid, ac yn paentio ei addurn ar eich gruddiau, a chysur teuluaidd yn chware yn llon o'ch amgylch; ond y gwir er hyny yw,

"Tân sy 'n d'od ar ddinas dystryw."

Diengwch am eich einioes. Mae noddfa yn agos i ffoi iddi; ac nid un fechan, fel Soar gynt, mo honi; ac mae'r ffordd iddi yn awr yn rhydd.

Yr oedd graslonrwydd a galluogrwydd Duw yn wir amlwg yn achubiaeth Lot rhag y dinystr: ei rybuddio mor serchog, ei ddenu allan mewn pryd o Sodoma, a chadw y tân a'r brwmstan draw o Soar, yr hon oedd yn agos i'r dinasoedd a losgwyd, ac a fuasai yn cael ei dystrywio gyda y dinasoedd eraill ond fel yr oedd eisieu i Lot gael lle diddos ynddi. Ond er mai Duw yn unig oedd yno yn y golwg fel Gwaredwr, ni chafodd Lot ei waredu heb ei gydsyniad a'i ymegnïad ef ei hun.

Gallasai angel Duw ei gipio ef i fyny yn gorfforol, a'i gario trwy yr awyr, a'i osod i lawr yn Soar; eithr nid felly y cyfrifodd yn weddus wneuthur. Yr oedd Lot ei hun i ddianc yno am ei einioes. Gwyddom ninnau fod Duw pob gras wedi gofalu am le clyd a chadarn i guddio bywyd pechadur euog: "yr Arglwydd ein cyfiawnder—efe yw yr Iawn!"

"Dyma fan yn ymyl Duwdod,
I bechadur wneyd ei nyth,
A Chyfiawnder pur y nefoedd
Yn siriol wenu arno byth."

Ond na feddylied un enaid yr ä Ysbryd Duw âg ef yno mewn cwsg a diofalwch. Dianc am yr einioes yw dyfod at Grist; mae yr holl enaid yn fyw yn y gorchwyl; ac efe à gofia byth am y fath symudiad. O! y mae holl breswylwyr dinas Duw yn falch o'u cartref; ond nid iddynt hwy y mae diolch am fyned o honynt i mewn iddi i ddechreu. Clywch hwy yn canu ar ei huchel fanau: Nid ofnwn, doed a ddêl. Dyrysed masnach, tored ariandai, dymchweler llywodraethau, "syfled iechyd, syfled bywyd," eled llong naturiaeth yn ddrylliau, llosged y ddaear, a syrthied y ser,—nid ofnwn. "Dinas gadarn sydd i ni; Duw a esyd iachawdwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur!" Ië, ïe! hawdd y gellwch ddyweyd yn dda am ddinas y mae Duw yn ei phalasau yn cael ei adwaen yn amddiffynfa; ond dywedwch pa fodd yr aethoch chwi iddi gyntaf; ai yn hamddenol, wrth eich pleser, y troisoch i mewn? O, na! mater bywyd oedd yn y chware; ni a welsom Sodom yn myned ar dân; ac O! mor dda oedd genym ddeall fod y fath loches â dinas Duw yn ymyl i ni ffoi iddi; ac yma bellach yr ydym am aros yn dragywydd.

Y mae pob peth yn galw ar y rhai sydd eto yn ôl, yn nghyrhaedd y gawod,—

"O ddinas dystryw, brysiwch, ffowch!
Ar y gwastadedd nac ymdrowch;
I sanctaidd fynydd Sïon,
O ddynion, pam na ddowch?"

Atebed y gydwybod y gofyniad—pam na ddowch? Bobl ieuainc, a ellwch chwi fod yn rhy fuan yn ddiangol o gyrhaedd y maglau, y tân, a'r brwmstan?—pam na ddowch? Chwi sydd mewn oedran, ai aros yr ydych i'r dinystr ddyfod ar eich gwarthaf cyn hwylio o Sodom?—pam na ddowch? Beth, a gaiff crëaduriaid direswm fod yn ddoethach na chwi? Mae yr anifail ar y maes, pan y mae ystorm yn ymyl, yn anesmwytho, ac yn ymofyn am gysgod; mae yr iar, ymhell cyn yr hwyr, yn neillduo i'w chlwyd, i lechu erbyn y delo'r nos; mae'r wennol fach, ac adar eraill, oddiar ryw ymdeimlo fod gauaf yn agosâu, yn ymfudo yn brydlawn tua hinsawdd mwy cysurus. Ond dyma berchenogion eneidiau anfarwol, er eu rhybuddio yn fynych i ffoi rhag y llid a fydd, yn aros yn ddiofal yn ei gyrhaedd! "Galarnad yw hwn, a galarnad a fydd." Os bydd neb o ddarllenwyr a gwrandäwyr gair Duw, ar ol marw, yn uffern yn codi eu golygon, bydd hyny, nid am na ddywedwyd wrthynt am eu perygl—nid am na chlywsant am le i ffoi iddo—nid am na chymhellwyd hwynt ymhob modd i ddianc mewn pryd: na! bydd cydwybod oddimewn, a chyfiawnder Duw oddiallan, yn cyd-ddywedyd, "Tydi a beraist hyn i ti dy hun!" Myned i ddystryw o wlad efengyl,

—dyma foddi yn ymyl yr arch. Ymysg yr holl adroddiadau torcalonus mewn cysylltiad â dylliad alaethus y *Royal Charter* dair blynedd yn ol, un o'r rhai mwyaf cynhyrfiol oedd yr hanes am y gŵr ieuanc o Sir Fôn, ac o Foelfre, y lle y drylliwyd y llong fawr. Aethai efe er ys nifer o flynyddau i Australia, a llwyddodd yno i ennill digon i fyw yn gysurus am weddill ei oes; ac yr oedd yn awr yn dychwelyd adref at ei rieni a'i gyfeillion. Mae yn rhaid fod ei lawenydd yn fawr pan gafodd, ar ei ddychweliad, y golwg cyntaf ar Ynys Môn. Ond o fewn hanner milldir i'w hen gartref, efe a suddodd i'r dyfnfor! Adroddir fod ei dad, oddiar ddeall fod yno lestr fawr mewn perygl, wedi dyfod at y graig oedd uwchben y môr, i geisio rhoddi rhyw law o gymhorth, od oedd bosibl, i'r trueiniaid; a phwy a welai efe yno yn ymdrech â'r dymhestl ond ei fab ei hun! "Fy machgen i!" dolefai y tad gyda syndod pryderus. "Fy nhad!" gwaeddai y mab oedd ar foddi; a dyna yr hen ŵr yn estyn ei law i helpio ei fab i'r làn. Ond pan yr oedd efe ar ymaflyd ynddo, dyna dòn erchyll yn dyfod, ac yn taraw y mab erbyn y graig, ac yna yn ei gario ymlaen i'r môr, nid i ddychwel adref byth mwyach. Pwy a all ddesgrifio teimladau y tad wrth fyned yn ôl i'w dŷ! Pe clywsai fod ei fachgen wedi boddi yn agos i Australia bell, neu yn rhywle ar ganol y fordaith, ni buasai baich ei ofid ond ysgafn mewn cymhariaeth; ond boddi yn ngolwg cartref—yn ymyl y làn—o flaen llygaid ei dad, a newydd fod yn siarad âg ef—rhaid fod ei ofid yn annhraethol. Colli enaid o Gymru, beth yw hyny? boddi i golledigaeth yn ymyl y làn. Ond heddyw gallwn ddywedyd yn hyf wrth bechaduriaid andwyol ynddynt eu hunain, Ni raid eich colli yn wir! Yn yr olwg ar longddrylliad cyflwr natur, mae yma Un cadarn i achub yn gwaeddi, "Ynof fi y mae dy gymhorth!" Pa le yr wyt ti, enaid llwfr, sydd yn teimlo dy hun ar suddo, ac yn ofni mai y dyfnder a fydd dy drigfan yn y diwedd? Clyw! mae dy Dad o'r nef yn estyn ei law hollalluog tuag atat, ac y mae hono yn ddigon hir i'th gyrhaedd ymha le bynag yr wyt; estyn dithau dy law, a dywed, O Dduw yr Achubwr, arwain fi i graig sydd uwch na mi! Nid all yr un dòn byth, boed hi gymaint â mynyddau'r byd, ysgaru rhwng llaw Ceidwad â'r enaid a fynai gael ei achub ganddo. Efe a ddichon achub hyd yr eithaf. Cymer afael, fy enaid, yn y gobaith a osodir o'th flaen.

Y rhai sydd wedi cychwyn allan o Sodoma mewn proffes, dyma y gocheliad difrifol sydd i'w wasgu arnynt hwy: "Nac edrych ar dy ol; na saf yn yr holl wastadedd; cofiwch wraig Lot." Hi a gychwynodd gyda ei phriod o ddinas dystryw, ond collwyd hi cyn cyrhaedd man o ddiogelwch. Pan yr oedd ei thraed yn cyfeirio tua Soar, yr oedd ei chalon yn aros yn Sodoma; ac mewn dibrisdod o orchymyn Duw, "hi a edrychodd drach ei chefn—a hi a aeth yn golofn halen!" Ymofyned holl broffeswyr crefydd a ydyw eu serch wedi ei gyfodi oddiar y pethau sydd ar y ddaear. Ni chollir byth yr enaid sydd yn glynu wrth Grist o gariad ato. Cofied perthynasau i bobl dduwiol mai nid digon yw iddynt ddyfod gyda hwy i wrandaw yr efengyl, nac ychwaith i'w phroffesu; nid oes dim a'u diogela "yn nydd digofaint yr Arglwydd" ond bod gyda hwy yn Nghrist. Brysiwn, diengwn yno—yno—yn Nghrist! yno yn unig y ceir bywyd tragywyddol. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi."

# GAIR O HYFFORDDIANT I'R LLENOR IEUANC.

GOFYNIAD a roddir i ni yn aml ydyw, "Pa gyfarwyddyd a roddwch i mi i ddyfod yn llênor?" Mae nifer fawr o'r gwŷr ieuainc yn dra awyddus i ddyfod yn alluog i ohebu yn achlysurol i'n papyrau newyddion a'n misolion, a nifer lïosog yn ymgeisio am wobrau yn ein Cyfarfodydd Cystadleuol a'n Heisteddfodau. Yr ydym yn llawenhâu wrth feddwl am hyn, ac yn ystyried y ffaith yn arwydd cryf o iachusrwydd moesol y genedl; a byddai yn hyfrydwch mawr genym allu rhoddi gair o hyfforddiant a chalondid i'n cyfeillion ieuainc yn eu hymdrechion canmoladwy. Beth fyddai yn fwy gresynus na gweled "dyffryn clodfawr Clwyd" yn cael ei adael yn aflêr ac anniwylliedig, yn ochain dan faich o chwyn a brwyn, yn lle dwyn ŷd a gwair at borthi y dyn a'r anifail? Rhywbeth yn debyg a mwy truenus fyddai cymydogaeth o ddynion diddysg a dilafur am wybodaeth. Byddai ardal felly yn annheilwng o wlad Gristionogol. O bob peth anniwylliedig, meddwl anniwylliedig ydyw y mwyaf truenus. Yn awr, pe deuai gŵr ieuanc o ddeunaw i ugain oed atom, a dywedyd, "Y mae genyf awydd mawr i ddyfod yn ŵr ieuanc gwybodus, darllengar, a defnyddiol, yn fy oes a'm cymydogaeth, ac os yw yn ddichonadwy, yn llênor. Yr wyf wedi treulio deunaw mlynedd heb wneyd dim o'r bron tuag at gyrhaedd hyny. A yw yn werth i mi feddwl am gyrhaedd yr amcan, ac os yw, a roddwch chwi rai cyfarwyddiadau i mi tuag at fyned ymlaen?" Byddai yn anhawdd peidio hoffi gŵr ieuanc o'r ysbryd yna, oni fyddai? Y mae yn cyfaddef ei anwybodaeth, ac yn llawn awydd am wellhâd. Yr ydym yn meddwl y dywedem wrtho yn gyntaf fod yn resyn mawr fod y blynyddoedd aethant heibio wedi eu treulio yn ddifudd, ond os ydyw yn benderfynol am wneyd y goreu o'r dyfodol, y gall wneyd pethau mawrion cyn myned yn benfrith, os caiff fyw hyd hyny; o herwydd y mae genym engreifftiau o rai wedi dyfod yn rhagorolion y ddaear oeddynt yn analluog i ddarllen cyn bod yn ugain oed; a'r peth a wna un, gall arall ei wneyd. Ac wedi ei galonogi i gychwyn, rhoddem y cynghorion goreu a allem iddo gyrhaedd yr hyn yr ymgeisiai am dano. Caniatäer i ni, gan hyny, am y tro, ddefnyddio ychydig o du dalenau y TRAETHODYDD i'r perwyl hwn. Tra y ceir ynddo wleddoedd meddyliol i'r gwŷr cryfion, y deallgar a'r athronyddol, na chwyner am i ni osod ar ei fwrdd ddysglaid "i rai bach" mewn dysg a llênyddiaeth; canys fe welir gwir fawredd yn wastad yn ymostwng i gynnorthwyo gwendid a bychander.

Y cynghor cyntaf a roddem i'r dyn ieuanc gostyngedig ac awyddus a ddygwyd ger bron, a fyddai ar iddo drefnu cynllun syml o'i ragfwriadau. Pan êl dyn i adeiladu tŷ neu ryw waith o bwys, y peth cyntaf a wna ydyw tynu cynllun o'r gwaith, fel nad oes ganddo wrth adeiladu y drafferth o gynllunio ac adeiladu ar yr un pryd. Y peth cyntaf yn nghynllun y gŵr ieuanc ydyw trefnu ei amser, pa nifer o oriau a all roddi bob dydd at ei efrydiaeth, yna pa gymaint o amser at y gwahanol gangenau

o'r efrydiaeth. Gwneler hyn yn bwyllog, ac ysgrifener ef mewn llyfr, a pheidier cyfnewid y cynllun hyd nes y byddys yn sicr o fod wedi cael ei well.

A'r cynghor nesaf a roddem iddo fyddai "glynu wrth ddarllen," a meddwl ac ystyried llawer ar yr hyn a ddarllenai. Yr aflwydd mawr ar lïaws o fechgyn Cymru ydyw eu bod yn myned i ddysgu eraill cyn bod wedi dysgu dim braidd arnynt eu hunain. Mae yr awydd a'r llosgfa am weled yr enw yn argraffedig yn y papyr newydd a'r cyhoeddiad misol mor fawr, nes y rhaid cael dechre ysgrifenu i'r wasg cyn deall gwahaniaeth rhwng arddodiad a chysylltiad, na iawn sillebu enw y dref y maent yn byw ynddi. Glŷn wrth ddarllen, gyfaill ieuanc, a myn ddeall yr hyn yr wyt yn ddarllen. Y mae darllen un gyfrol yn ofalus yn fwy buddiol na darllen can' cyfrol yn frysiog a difeddwl. Pechod parod yr ieuanc ydyw rhedeg dros y llyfr, a meddwl ond darllen cyfrol drwyddi —y rhagymadrodd a'r cyfan—fod yn rhaid y ceir lles drwy hyny. Paid a siomi dy hunan, gyfaill tirion, y mae arfer dy hunan i'r bai hwn yn dy wneyd yn anobeithiol byth y deui yn llênor gwerth son am danat. Gofaler hefyd pa lyfrau i'w darllen. Peidier a meddwl mai y llyfr y ceir difyrwch mawr wrth fyned drwyddo ydyw y llyfr mwyaf buddiol bob amser. Y mae llyfrau i ddifyru, a llyfrau i goethi a hyfforddi y meddwl. Gellir cael rhyw ŵr cymhwys agos ymhob ardal i gynghori pa lyfr i'w ddarllen. Os bydd y gyfrol yn eiddo y darllenydd, ysgrifener nodiadau wrth fyned ymlaen. Byddai Southey yn rhoddi ychydig ddalenau gwynion yn niwedd y llyfr er mwyn ysgrifenu ei nodiadau ar y gyfrol ynddynt. Mae Todd yn ei "Arweinydd yr Efrydydd," yn rhoddi cyfarwyddiadau rhagorol ar hyn. Cymhorth mawr ydyw cael cyfaill i gydddarllen yr un llyfr ac i ymddyddan am ei gynnwysiad. Pan y mae un yn methu gweled meddwl yr awdwr, ond odid y gall y llall ei gynnorthwyo o'r dyrysni; ac wrth gydymddyddan am wahanol faterion y gyfrol, argreffir ei chynnwysiad ar y côf. "Haiarn a hoga haiarn, felly gŵr wyneb ei gyfaill." Tra llesol hefyd ydyw darllen adolygiadau da ar y llyfrau a ddarllenir; y maent yn aml yn galw ein sylw at bethau yr aed heibio iddynt, fe allai, a phethau mor ddyddorol â dim yn y gyfrol. Mae adolygiad medrus, fel yr efail gnau, yn tori y plisgyn, ac yn ein hanrhegu â'r cnewyllyn. "One great use of a review," meddai Sidney Smith, "is to make men wise in ten pages, who have no appetite for a hundred pages; to condense nourishment, to work with pulp and essence, and to guard the stomach from idle burden and unmeaning bulk."

I'r gŵr ieuanc heb gael llawer o ysgol ddyddiol, cynghorem iddo astudio ychydig ar rifyddiaeth. Nid oes braidd yr un sefyllfa y gall fyned iddi na chenfydd anghen am wybodaeth o rifyddiaeth, ac y mae y gangen hon o ddysgeidiaeth mor syml fel y gallai gŵr ieuanc fyned lawer iawn ymlaen ynddi mewn blwyddyn, ond iddo neillduo hanner awr bob dydd at ei hastudio. Ac wrth ddechreu, gofaler am ddysgu allan y *Multiplication Table* yn drwyadl. "Pa ddyben," meddai rhai o'n darllenwyr, "son am bethau plentynaidd fel yna? fe ŵyr pawb fod eisieu dysgu'r tabl." Gŵyr, fe ŵyr llawer fod yn anghenrheidiol ei ddysgu; ond ai nid yw yn wirionedd fod nifer mawr o wŷr ieuainc sydd yn teimlo eu bod yn dipyn o ysgoleigion eto yn analluog i ateb faint yw 11 gwaith 11? fel yr ymgeisydd hwnw am y swydd o ysgrifenydd y plwyf, pan yr

aed i'w brofi mewn rhifyddiaeth, a atebodd mai *eleventy-eleven*. Wedi dysgu y tabl yn drwyadl, gellir dyweyd fod y wers bwysicaf yn y gangen hon o ddysgeidiaeth wedi ei dysgu.

Peth pwysig arall i ymgyrhaedd ato ydyw llawysgrifen dda; ac arfer ydyw yr unig ffordd i ddyfod yn feistr ar y gelfyddyd. Un bai mawr mewn ysgrifenwyr ieuainc ydyw ysgrifenu yn rhy gyflym a diofal. Hyd nes dysger yn dda, ysgrifener mor araf, mor daclus, a hawdd i'w ddeall, ag y byddo modd. Gellir bod yn sicr y deuir i ysgrifenu yn ddigon cyflym cyn pen hir. Pan yr ystyrir pa beth mor hawdd i'w ddysgu ydyw ysgrifenu, y mae yn syndod annhraethol fod cynifer o ddynion eto yn Nghymru, ïe rhai a gyfrifir yn ddynion parchus a gwybodus, yn analluog i ysgrifenu hyd yn nôd eu henwau. "Nid allaf fi ddim ond rhoi croes," ydyw addefiad tair rhan o bedair o'n gweithwyr a'n crefftwyr. Gwyddom am un fu yn gorfod rhoi dangoseb am ei gyflog yn wythnosol am flynyddau lawer, heb erioed geisio gwneyd mwy na ×. O'r diwedd gofynwyd iddo geisio gwneyd rhyw lun o enw. "Gadewch i mi hyd wythnos i heddyw, a chymeraf o hyn hyd y pryd hyny i ddysgu," meddai yntau. Felly y bu, a'r canlyniad ydoedd erbyn y Sadwrn canlynol ei fod yn alluog i ysgrifenu dwy lythyren ei enw mor gywrain fel y gallesid tyngu adnabyddiaeth o honynt ymhlith mil, ac o hyny hyd yn awr y mae yn myned ymlaen yn rhagorol gyda'r gelfyddyd.

"Athroniaeth llythyrenau—*ysgrifen*,
Dysg ryfedd yw 'n ddïau;
Ynddi cawn i'n llawn wellâu,
Dduwdod y celfyddydau."

Y gris nesaf ydyw grammadeg. Cawsom yr anrhydedd o fod am beth amser yn un o wŷr cyfrinach "llys yr olygiaeth," a'r hyn a'n siomodd fwyaf o bob peth ydoedd gweled càn lleied o'r gohebwyr oeddynt yn alluog i ysgrifenu Cymraeg gweddol gywir. Nid ydym yn meddwl y cyfeiliornem pe dywedem mai prin un o bob deuddeg o'r gohebiaethau a dderbynid a fyddent wedi eu hysgrifenu yn ddigon cywir i'w rhoddi yn nwylaw y cysodydd, heb i'r golygydd "gywiro y gwallau." Byddwn rai gweithiau yn ammheu a ddylid dim gwrthdystio yn erbyn cyhoeddi gohebiaethau ysgrifenwyr anghywir mewn sillebiaeth. Ond yr ydym yn sicr o hyn, tra y ca gohebwyr diddysg fel hyn dderbyniad, mai ychydig o honynt a änt i'r drafferth i ddysgu ysgrifenu yn rammadegol. Hefyd, ai nid camgymeriad mawr—cefnogiad i gwacyddiaeth a *sham*—ydyw gwobrwyo mewn eisteddfodau heb fod y cyfansoddiadau wedi eu hysgrifenu yn gywir o'r hyn lleiaf. Yr ydym yn ofni fod gormod o hyn wedi bod, ac yn bod eto. Wedi i'r gŵr ieuanc astudio un o'n grammàdegau Cymreig, hoffem ei weled yn dechreu gydag un Seisonig. Gyda Grammadeg Seisonig a Geiriadur Seisonig a Chymraeg, gallai yn fuan ddyfod yn feistr ar y Saesòneg. Ni raid myned i'r drafferth i brofi dymunoldeb hyn, o herwydd y mae y Cymry a'r Saeson wedi dyfod i gysylltiad mor agos â'u gilydd, fel y mae o'r pwys mwyaf i bob gŵr ieuanc o Gymro feddu gwybodaeth o'r Saesoneg. Un ffordd ragorol i gyrhaedd yr amcan hwn ydyw dysgu yr un bennod o'r Bibl allan yn y ddwy iaith. Ymarferer hefyd â chyfieithu darnau o'r Saesoneg i'r Gymraeg. Canfyddir hyn ar y dechreu yn orchwyl anhawdd a diflas,

ond fel y cynnefiner, daw yn hawdd a phleserus. Ymarferiad rhagorol hefyd ydyw darllen allan, neu yn uchel, fel y dywedir, rhyw ychydig yn ddyddiol, mewn trefn i'r tafod ymgynefino â'r llythyrenau, y *sh* a'r *z*, a llythyrenau eraill y teimla y Cymro anhawsdra yn eu swnio yn briodol. Os gellir cael cyfaill yn deall cynaniad y Saesoneg i wrando ar yr ymgeisydd, gwnaer pob ymdrech i sicrhâu ei wasanaeth, ac erfynier arno i fod yn onest a didderbyn wyneb i nodi allan y gwallau. Ac wedi y noder gwall yn nghynaniad unrhyw air neu lythyren, gofaler am beidio anghofio y wers, a syrthio i'r un pwll eilwaith. Mae llyfrau *Phonetic* Pitman yn dra gwerthfawr tuag at ddysgu cynaniad y Saesoneg, ac y maent yn dra rhadlawn. Rhag ofn ein bod yn gadael y pwnc o ddysgu Saesoneg yn rhy fyrbwyll, gadawer i ni eto adgofio y gwerth dirfawr i bob Cymro ieuanc yn enwedig fod yn alluog i siarad ac ysgrifenu Saesoneg. Wedi iddo gyrhaedd hyn, mae y byd o'i flaen i ddyfod yn rhywbeth gwell na "gwas gweision ei frodyr." Pa sawl un o'n cenedl anwyl a gollodd swydd ennillgar ac anrhydeddus drwy ei anwybodaeth o'r Saesoneg? Nid ydym heb wybod y gellir, mae yn wir, ddyfod yn feddiannol ar ystôr ëang o wybodaeth heb adnabyddiaeth o unrhyw iaith ond y Gymraeg, ond nid dyna ein pwynt yn y fan hon, eithr y bydd adnabyddiaeth o'r Saesonaeg yn gynnorthwy dirfawr i ychwanegu at ein gwybodaeth, ac yn fantais annhraethol i lwyddo yn ein galwedigaethau tymmorol.

Cangen arall o efrydiaeth y dylai pob gŵr ieuanc ymgyrhaedd ati ydyw Daearyddiaeth a Hanesyddiaeth: hanes ei wlad a'i genedl ei hun yn gyntaf, yna hanes gwledydd a chenedloedd eraill. Yr olaf a ddysgir yn gyntaf yn rhy aml. Yr ydym yn cofio i ni unwaith fod mewn ysgol yn clywed y plant yn cael eu holi am afonydd. Cafwyd atebion lled gyflawn am y Danube, y Nilus, y Mississippi, &c., ond yr unig afon y gwyddent am dani yn ein gwlad ni ydoedd afon Llundain (Thames). Nid oeddynt yn gwybod dim am y Mersey, yr Hafren, y Ddyfrdwy, nac yn wir yr afon enwog oedd yn ymddolenu o fewn chwe' milldir i ddrws yr ysgoldŷ. Dechreuer gartref gyda y pethau bychain yn ein hymyl, a byddys yn llawer mwy parod i ddeall hanes gwrthddrychau pellenig. Yr un modd gyda Hanesyddiaeth. Dechreuer gyda hanes y Cymry, ac fe eir yn naturiol oddiyno at hanes cenedloedd eraill. Digrif ydyw clywed y bachgen o Gymro yn gwybod llawer iawn am wrhydri milwrol Alexander Fawr, Cæsar, Napoleon, Washington, Wellington, a Garibaldi, ac heb allu ateb yr un gofyniad yn hanes Caradoc, Llewelyn, Owain Glyndwr, ac amryw eraill o'n henafiaid oeddynt yn gedyrn mewn rhyfel. Gyfeillion ieuainc, darllenwch ychwaneg ar Hanes Cymru gan Carnhuanawc; Drych y Prif Oesoedd; Darlithiau O. Jones ar Hanes y Cymry, &c.; ac wedi y darllenoch am y gorchestion a gyflawnwyd gan eich henafiaid, fe fydd Cymru a Chymraeg yn fwy anwyl genych nag erioed.

Arwydd dda ydyw gweled dyn ieuanc yn hoff o fywgraffiadau enwogion; yr ydym yma yn gallu cymdeithasu gyda chewri yr oesau a aethant heibio. Son a wneir am swyn y ffugchwedl *(novel)*; beth yw hyny i'w gymharu â'r pleser a geir yn hanes bywydau gwirioneddol duwinyddion, athronyddion, arwyr, ac awdwyr? Gwelir mewn lliaws o fywgraffiadau yr anhawsderau a orchfygwyd gan eu gwrthddrychau, a'r llwydd-

iant yn y diwedd a goronodd eu hymdrechiadau. Cynhyrfa hyn feddwl y gŵr ieuanc i ymdebygoli iddynt yn yr hyn oedd yn rhagorol; a chenfydd nad oes yr un ffordd freiniol i gyrhaedd enwogrwydd—mai y diwyd, y llafurus, a'r penderfynol, yn unig sydd wedi llwyddo ymhob gwlad ac oes. Yr ydym yn cymeryd yn ganiatäol fod ein darllenwyr ieuainc yn astudio Hanesyddiaeth a Daearyddiaeth y Bibl. Ond dywedir am ieuenctyd Cymru mai dyma y lle y maent fwyaf ar ol gydag efrydiaeth Fiblaidd. Clywsom ddywedyd yn fynych fod y Cymry yn gwybod llawer iawn am athrawiaethau y Bibl, eithr ychydig iawn am ei hanesyddiaeth a'i fywgraffyddiaeth. Coder y muriau lle y maent yn wan; gellir gwneyd hyny heb esgeuluso y rhan arall. Mae Cymdeithas y Traethodau Crefyddol wedi cyhoeddi cyfrol fechan ragorol ar *Ddaearyddiaeth y Bibl.* Byddai yn anhawdd cael cyfrol fwy cynnwysfawr am ei phris. Ai tybed fod ein Hysgolion Sabbothol, a'n Cymdeithasau Llênyddol, yn talu y sylw dyledus i'r gangen hon o efrydiaeth?

Gellid enwi amryw gangenau eraill, megys Seryddiaeth, Fferylliaeth, Daeareg, Cerddoriaeth, &c., y dylai pob llênor ieuanc ymgydnabyddu â hwy mor bell a chael cipdrem i'w hegwyddorion. Nid ydym yn dysgwyl i'r un un astudio yr oll yn fanwl, ond gwnaed ymgais i beidio bod yn hollol ddyeithr iddynt.

Wedi i'r gŵr ieuanc ddysgu ysgrifenu yn lled gywir, dechreued bellach gyfansoddi. Darllened yn fanwl yr erthyglau goreu yn y cyhoeddiadau cyfnodol, a sylwed yn graff ar y pethau mewn llyfrau eraill sydd yn taraw ar ei feddwl fel darnau rhagorol. Yna caued y llyfr argraffedig, a cheisied ysgrifenu yn ei ddull ef ei hun yr un syniadau ag a ddarllenodd. Wrth gymharu ei waith ei hun â'r cynllun dechreuol, gall gael llawer o addysg, adnabod ei ddiffyg, a diwygio. Ceisied eto wneyd traethodyn bychan gwreiddiol. Od oes ganddo gyfaill beirniadol yn agos, dangosed ei waith iddo, a derbynied yn ddiolchgar bob sylw adolygol a chynghor tuag at wellâu. Cadwed ei draethawd o'r neilldu am rai wythnosau, os nad misoedd, cyn edrych arno eilwaith. Bydd erbyn hyny yn addas i feirniadu mewn gwaed oer ar ei waith ei hun; a braidd na chymerem ein llw, er cystled yr oedd ei ysgrif yn ymddangos o flaen ei lygaid pan y daeth o'i law i ddechre, y gwel efe ynddi yn awr lawer gair ag eisieu ei gyfnewid, a brawddeg yn gofyn am ei hadgyweirio, os nad syniad yn galw am ei osod allan mewn modd cywirach. Na fydded iddo yn ebrwydd feddwl am i'w waith newyddiannol fod mewn argraff. Cyfeiriasom eisoes at yr ysfa awduriaethol sydd yn cynhyrfu cymaint o'n bechgynos, fel nad oes dim a wna y tro iddynt ond gohebu i'r cylchgyhoeddiadau, a hyny cyn arfogi eu mheddwl, nac, yn wir, farfogi eu hwyneb. Mae pob peth eto yn newydd iddynt hwy, a thybiant, yn eu cyflwr o ddiniweidrwydd dedwydd, fod yr hyn sydd yn ddarganfyddiadau newyddion iddynt hwy eu hunain, yn bethau hollol newydd i'r byd yn gyffredinol, ac felly y gwnaent gymwynas i ddynolryw wrth ysgrifenu a cheisio cael cyhoeddi hyny o wybodaeth sydd newydd ddringo i'w hymenyddiau ieuainc. Mae hen ffraethddywediadau ac ysteriau a gyhoeddwyd lawer gwaith yn ein misolion er ys deng mlynedd ar hugain, pan y tarawant wrthynt mewn llyfran Seisonig dimai, yn effeithio yn rymus arnynt, a dywedant, Dyma beth newydd; a rhaid ceisio cyfieithu y darnyn, a'i anfon yn ddioed i Mr. Golygydd truan, fel

anrheg o werth iddo; a siomedig a digofus iawn a fydd "darllenydd cyson eich cyhoeddiad clodwiw" os na bydd y gwaith ardderchog yn argraffedig yn y "rhifyn nesaf." Mae y rhan fwyaf o'n cyhoeddiadau misol yn gylchgronau enwadol; ac y mae pethau o bwys perthynol i'r enwad, heb son am y lliaws materion eraill, yn gofyn am lawer o le bob mis, fel nas gellir hebgor gofod i hogiau anaddfed dreio eu llaw fel ysgrifenwyr. Dylai fod gan bob ysgrifenydd yn ein cyfnodolion fater o bwys i'w gyflwyno i sylw, neu ynte ryw ddull gwreiddiol ac adeiladol o ysgrifenu ar faterion cyffredin. Wele, pa fodd yr âf byth yn llênor cyhoeddus, medd cyfaill ieuanc, os anghefnogir fel hyn bob ymgais gohebol o'r eiddof? Gan bwyll, frawd ieuanc, dywedyd yr oeddem nad wyt i feddwl yn *ebrwydd* am i'th waith fod mewn print. Ysgrifena, a chadw dy ysgrif, dywedem, a darllena, a meddylia, ac adfeddylia, ac yna adysgrifena; a phob yn dipyn, yr ydym yn hyderu y deui yn ysgrifenydd da ac yn awdwr llwyddiannus. Cyn cynnyg traethawd o'r eiddot i'r wasg, ysgrifena hanes y dygwyddiad pwysicaf a gymerodd le yn dy gymydogaeth. Mae y newyddiadur yn estyn dwylaw agored i hanesion dyddorol; ac y mae y cyhoeddiad enwadol yn groesawgar iawn i newyddion yr enwad; o bosibl, y cyhoeddir allan o law dy adroddiad hanesyddol, os bydd yn fyr, yn eglur, ac at y pwrpas. A bydd hyn yn rhoddi i ti galondid i geisio at waith mwy eto. Cyn myned ymhellach, gad i ni dy dynghedu, gyfaill mwyn, na byddo i ti byth anfon i'w gyhoeddi ddim ag a dueddo i friwo teimladau personol, a darostwng cymeriadau penodol. Nid oes dim, ysywaeth, yn fwy poblogaidd ymysg dosbarthiadau iselaf ein gwlad nag ystoraeon enllibaidd ac ymosodiadau personol, yn enwedig ar wŷr cyhoeddus; a drwg iawn oedd genym weled rhai o'r newyddiaduron Cymreig, yn lle ymroddi i godi chwaeth y genedl, yn ymostwng i foddhâu archwaeth isel, fudr, enllibgar, ysgarthion cymdeithas, gan gefnogi dynionach diegwyddor i saethu at enwau da a fydd byth mewn coffadwriaeth, pan y bydd enwau eu hymosodwyr yn bydredd drewedig. Da genym weled yn y misoedd diweddaf, pa fodd bynag, gryn ddiwygiad yn hynyma. Nis gallwn gredu y gwna neb cyhoeddwyr a golygwyr cyfrifol a pharchus roddi eu papyrau a'u cyhoeddiadau yn llawrdyrnu i bob hogyn drwg a wnelo ŵr gwellt o'r neb a'i hanfoddlono i daflu ei ffust arno. Yn awr, amyneddus gyfaill, cymerwn yn ganiatäol fod ysgrif o'th gyfansoddiad, traethawd ar bwnc nid dibwys, wedi ymddangos yn dy gylchgyhoeddiad dewisedig. Yr wyt, yn ddïau, wedi cadw copi o'r ohebiaeth, er mwyn cael ei chymharu —lythyren am lythyren—fel yr ymddengys mewn argraff; a phaid a rhyfeddu os bydd "*Mr. Gol.*" wedi cneifio ychydig ar yr ysgrif—newid gair yma a llythyren acw, a thynu yr ysgrifbin ar draws ambell "air llanw." Dyna i ti eto addysg dda.

Wedi y cwbl, dyma ddirgelwch llwyddiant pob dyn: "Ymhob LLAFUR y mae elw." "Y mae llew ar y ffordd," meddai y diog. "Os oes," meddai y penderfynol, "fe gaiff fyned oddiyno er mwyn i mi allu myned ymlaen yn ddirwystr." Drwy ymarfer âg ysgrifenu, dysgir meddwl. Gellir darllen mwy na mwy heb feddwl ond y nesaf peth i ddim, ond nid ellir ysgrifenu tu dalen heb roddi y meddwl ar waith. Dichon mai bai mwyaf y Cymro yw ansefydlogrwydd. Y mae arno eisieu rhagori mewn chwech neu saith o gangenau ag y cymer oes i

ragori mewn un o honynt. Heddyw y mae am fod yn brif-fardd ei oes, yfory yn Garnhuanawc o hanesydd, drennydd yn Handel o gerddor, dradwy yn John Elias o areithydd, y dydd canlynol yn Newton o seryddwr, yna yn Doctor Owen o dduwinydd; ac wedi myned drwy y rhestr, yna penderfyna fod yn Hugh Miller o ddaearwyddwr. Cofier beth ddywed Pope y bardd—

"Ychydig ddysg, peth tra pheryglus yw,
Dwfn yfer neu na phrofer ei ddwfr byw;
Llymeityn bach a'n meddwa yn ddi-drefn,
Ond drachtio 'n helaeth sobra ni drachefn."

Pwy mor goegaidd â'r bâswybodus a'r crachysgolaig? Pwy mor wagsaw â'r gŵr sydd yn darllen gwynebddalenau a chynnwysiadau llyfrau, ac ambell ddalen yma ac acw, ond byth yr un gyfrol drwyddi yn ofalus? Peidier a'n camddeall; nid ydym yma yn dyweyd yn erbyn ymgyrhaedd am wybodaeth gyffredinol, ond ein hamcan ydyw cael y gŵr ieuanc i sefydlu ar ryw gangen neillduol fel ei *brif* gyfeiriad. Os ydyw am fod yn fardd, purion; gadawed i bob efrydiaeth arall fod yn iswasanaethgar i'r awen. Peidied a dysgwyl bod yn Homer o fardd ac yn Newton o seryddwr hefyd. Nid yw duwies enwogrwydd eto yn ddigon hael i roddi llawryf bardd a seryddwr i'r un person. Dalier at yr un cyfeiriad; y mae gobaith felly ddyfod yn rhywbeth. Pan oedd y diweddar Arglwydd Campbell yn cychwyn yn llencyn dinod o'r Alban i'r brifddinas, adroddir ei fod yn dyweyd wrth ei gyd-deithwyr, "Dyma Arglwydd Ganghellydd Prydain Fawr yn myned yn ei gerbyd." Chwarddai ei gyd-deithwyr am ei wagymffrost. Ond yr oedd yr Albanwr ieuanc yn meddwl y peth a ddywedai. Gosododd y nôd o flaen llygaid ei feddwl, a chadwodd ei gyfeiriad yn sefydlog tuag at y cyfryw nes y cyrhaeddodd ei ddymuniad.

Yr ydym yn cymeryd yn ganiatäol fod pob llênor ieuanc o'n darllenwyr yn aelod ffyddlawn o gymdeithas lênyddol, os oes y fath gymdeithas yn ei ardal; ac os nad oes, dylai wneyd pob ymdrech i gychwyn un, o herwydd er holl ddiffygion ein cymdeithasau llênyddol, rhaid addef eu bod wedi effeithio yn dra llesol ar Gymru. Nid oes dim gwell am greu awydd am ragori na dyfod i gysylltiad â rhai eraill o'r un anian, a cheir hyn yn y gymdeithas lênyddol. Ni ddygwyddodd i ni erioed, yn ein hymfudiadau, fod yn perthyn i gymdeithas lênyddol liosog, ond eto rhaid i ni dystio fod y cymdeithasau distadl y cawsom y fraint o uno â hwy wedi gwneyd lles dirfawr i liaws o wŷr ieuainc a allem enwi—a rhai o honynt sydd erbyn hyn yn gawri ar faesydd llênyddiaeth. Yr ydym fel hyn yn gydwybodol yn awyddus i weled sefydliad o'r natur yma ymhob ardal trwy Gymru, a blaenoriaid ein cynnulleidfaoedd yn rhoddi pob cefnogaeth a chyfarwyddyd iddynt. Pan ymuna y gŵr ieuanc â'r cyfryw gymdeithas, dylai benderfynu gwneyd ei hun yn ddefnyddiol ynddi. Mae aelod diog, yn gystal ag aelod hunanol, yn fwy o rwystr nag o gynnorthwy. Beth sydd yn fwy digalon pan fydd y pwnc yn cael ei drafod na gweled dim ond dau neu dri allan o bob deuddeg yn cymeryd rhan yn yr ymddyddan? Peidied neb a chymeryd esgus nad oes ganddo ddawn i siarad, o herwydd os bydd yn deall y pwnc dan sylw, nid oes lawer o anhawsdra i egluro y meddwl. Os yw y gymdeith-

as yn cael ei chario ymlaen yn rheolaidd, bydd y pynciau yr ymdrinir â hwy wedi eu hysbysu yn y cyfarfod blaenorol, a dyledswydd pob aelod ydyw chwilio ei oreu arnynt. Yr achos fod y gŵr ieuanc yn analluog i siarad ar y pwnc ydyw ei fod heb feddwl a chwilio i'r mater, o herwydd wedi iddo unwaith feistroli y pwnc, deg i un na chynhyrfir ef i siarad arno.

Mae arnom awydd eto i wasgu yn ocheliad,—Gofaler am beidio dechreu unrhyw orchwyl heb lwyr benderfyniad i gwblhâu hyd eithaf y gallu. Adwaenom ddynion o dalentau dysglaer, ond sydd wedi arfer rhedeg o'r naill beth i'r llall mor ansefydlog fel mai ofer dysgwyl iddynt byth gwblhâu un cyfanwaith gwerth son am dano. "Ansafadwy ydwyt fel dwfr; ni ragori di." Un peth ar unwaith, meddwn, a chymerer digon o amser i'w gwblhâu. Cofier mai yn araf araf y mae gweithiau o athrylith yn cael eu cwblhâu. Bu Goldsmith ddwy neu dair blynedd yn cyfansoddi ei "Làn Anghyfannedd," dernyn na theimlai rhai a fynent gael eu cydnabod yn perthyn i urdd beirdd Cymru yn orchest ysgrifenu ei gyhyd mewn undydd-unnos. Ieuenctyd hawddgar! cofiwch mai nid yn hŷd y bryddest, yr awdl, neu y traethawd, y mae y pwysigrwydd, ond yn yr ansawdd. Gwell genym ni am "Gathl yr Eos" Blackwell nag am yr awdl fwyaf hirwyntog o'i eiddo. Gallem ddyweyd yr un modd am ddarnau byrion o waith Ieuan Glàn Geirionydd, Dafydd Ddu, ac eraill o'n beirdd. "Y mae yr hyn sydd yn werth ei wneyd o gwbl yn werth ei wneyd oreu y gallom."

Pa fodd y mae deunaw o bob ugain o fechgyn ieuainc Cymru yn treulio eu horiau hamddenol? Y mae lliaws o honynt yn noswylio chwech o'r gloch y prydnawn. Y maent wedi cyrhaedd adref, bwyta, ymolchi, &c., cyn saith. Pa beth sydd ganddynt dan sylw am y tair awr ddilynol? Gwyddom fod amryw o honynt yn gweithio yn galed drwy y dydd. Ond ai ni fyddai myned at y llyfr a'r efrydiaeth yn "newid gwaith," yr hyn, meddai yr hen ddiareb, "sydd gystal a gorphwyso." Pe bae y dyn ieuanc yn rhoddi ond dwy awr allan o bob pedair awr ar hugain at ryw gangen neillduol o efrydiaeth, pwy all ddyweyd pa faint fyddai ei gynnydd gydag ychydig gyfarwyddyd mewn ychydig flynyddoedd? Ai tybed fod ein gweinidogion a'n gwŷr cyhoeddus yn meddwl digon am hyn? Ofnwn nad ydynt, a bod ieuenctyd Cymru mewn llawer ardal yn cael eu gadael "i gymeryd eu siawns!" Bydd yn dda genym os rhydd yr ychydig nodiadau syml hyn swmbwl i ambell ŵr ieuanc i ymgyrhaedd at wybodaeth, ac i ambell Rabbi wneyd ychwaneg tuag at roddi help llaw i'r cyfryw.

# Y DAUCANMLWYDDIAD.

[1. DOCUMENTS RELATING TO THE SETTLEMENT OF THE CHURCH OF ENGLAND BY THE ACT OF UNIFORMITY OF 1662.

2. THE STORY OF THE EJECTMENT; *a Lecture delivered at Willis's Rooms, St. James's, April* 8*th*, 1862, *for the Central United Bartholomew Committee, by the Rev.* THOMAS MCCRIE, D.D.

3. FIDELITY TO CONSCIENCE; *a Lecture delivered at Willis's Rooms, St. James's, April* 22*nd*, 1862, *by the Rev.* A. MCLAREN, B.A.

4. NONCONFORMITY IN 1662 AND 1862; *a Lecture delivered at Willis's Rooms, St. James's, May* 6*th*, 1862, *by the Rev.* R. W. DALE, M.A.

5. THE DESIGN AND EFFECTS OF THE ACT OF UNIFORMITY; *a Lecture delivered at Willis's Rooms, St. James's, by the Rev.* ROBERT HALLEY, D.D.

6. THE FIRST PROTEST,—*Tract Series of the Central Bartholomew Committee.*

7. THE SAVOY CONFERENCE,—*Ditto.*

8. THE ACT OF UNIFORMITY,—*Ditto.*

9. THE FAREWELL SUNDAY,—*Ditto.*

10. THE EFFECTS OF THE EJECTMENT,—*Ditto.*

11. ON THE PRAYER BOOK,—*Ditto.*

12. ON CLERICAL SUBSCRIPTION,—*Ditto.*

13. BARTHOLOMEW DAY 1662; *a Lecture by* JAMES HAMILTON, D.D.

14. HOW DID THEY GET THERE? *Or the Nonconforming Ministers of* 1662. *By the Rev.* GEORGE VENABLES, S.C.L., F.R.A.S.

15. I'LL TELL YOU; *an Answer to How did they get there? By the Rev.* ROBERT VAUGHAN, D.D.

MI DD'WEDA I CHWI: *yr uchod wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg, trwy genad yr Awdwr.* Bethesda: R. Jones.

16. Y DYDD HWNW, *neu y* 2000 *Gweinidogion a dröwyd allan o'r Eglwys Sefydledig ar Ddydd Gŵyl Bartholomeus*, 1662, *ar gyffelybrwydd* Drama, *gan* GWILYM HIRAETHOG.]

AMSEROEDD rhyfedd, terfysglyd, tymhestlog, ystyrfawr, oedd eiddo y dynion enwog y gelwir ein sylw at y flwyddyn hon fel daucanmlwyddiad yr amlygiad nodedig a roddasant o nerth eu cydwybod a grym eu hunanymwadiad. Nid rhyw lawer o gyfnodau pwysig sydd gan hanesyddiaeth i'w croniclo. Yr ydym yn aml yn cael yr ystori yn rhyw ymlusgo ymlaen yn arafaidd a hwyrdrwm, heb gyffwrdd â nemawr ddim sydd o fawr o arwyddocâd, na chofnodi yr un ffaith sydd wedi gadael ei hargraff ar yr oesoedd. Y mae yr holl ddaear yn eistedd ac yn llonydd. Nid oes dim i'w gael ond cyd-ddilyniad rhes hirfaith o flynyddoedd sydd yn

dynwared eu gilydd mor berffaith fel nad oes dim tebyg i ddrychfeddwl newydd yn yr hen gylch hyfryd o fwyta ac yfed a chysgu, siarad a dadleu ac ymrafaelio, priodi, geni, a marw, yn ymrithio o flaen meddwl y byd mewn canrifoedd. Ond ar ambell adeg yr ydym yn cael y ddynoliaeth fel yn ymddeffro, yn ysgwyd oddiwrthi gwsg oesoedd, yn ymddyrchafu i gyffyrddiad â'r egwyddorion bywiol, ac yn gwneyd rhywbeth. Y rhai hyn yw cyfnodau pwysig y byd. Nid oes eisieu iddynt ddygwydd yn aml; ond pan ddeuant, y maent yn sicr o adael eu marc ar eu hol. Ni raid i chwi synu os gwelwch eu bod yn myned o dan wraidd hen ragfarnau oeddynt wedi cymeryd eu lle ar y ddaear fel pe buasent yn rhan o honi. Mae yr haul yn codi, ac mae yn bur debyg y rhaid i'r nos a'r breuddwydion fyned o'r golwg; rhaid i'r "ddallhuan" hefyd, "wrthi ei hunan, yn llwyniorwg pen y tŷ," ddystewi bellach. Y mae ffrwd o feddylgarwch, fel bywyd newydd, yn llifo trwy ysbryd y bobl; ac nid yw yn rhyfedd, pan y maent yn ymdeimlo â gwerth gwirionedd, rhyddid, a chyfiawnder, os yw gorseddfeinciau geudeb, caethiwed, a thrais, yn cael eu dymchwelyd. Amser felly oedd eiddo yr hen Anghydffurfwyr. Cawsant y fraint o ymladd brwydr galed iawn yn mhlaid hawliau pwysicaf dyn; ac er i'w gelynion gael yr hyfrydwch o ddangos eu malais tuag atynt mewn llawer dull a llawer modd, eto yr ydym ni, wrth edrych ar yr ymgyrch o bellder digonol i beidio cael ein syfrdanu gan ei thwrf na'n dallu gan fwg y magnelau, yn gweled eu bod, yn yr ystyr uchel, wedi cario y dydd, ac wedi ennill buddugoliaeth a bery yn glodfawr wedi i amser ddarfod. Nid ydym yn teimlo angen am un esgusawd dros alw dy sylw, ddarllenydd hynaws, at y cedyrn hyn a fuont wŷr enwog gynt. Y mae y gwersi a ddarllenasant i'r byd mor fawrion, ac mor annhraethol bwysig, fel y mae yn gweddu i ni bob dau can' mlynedd o leiaf, os nad ychydig yn amlach, geisio galw sylw atynt, a gwneyd ymdrech i'w hargraffu ar galon y cyffredin. Pell oddiwrthym fyddo meddwl am beri tramgwydd i ddosbarth o'n darllenwyr sydd, fe allai, yn cymeryd golwg gwahanol i ni ar y pethau hyn. Nid oes arnom eisieu dadenhuddo yr hen farwydos a chynneu teimladau drwg. Ar yr un pryd, ni ddylem betruso dadgan ein cydymdeimlad âg egwyddorion yr Anghydffurfwyr, egwyddorion y mae eu cartref yn ngwaed ein calon ninnau, oblegid fod llawer y mae genym barch iddynt yn teimlo fod y chwedl yn ddiflas. Yr ydym ninnau i fesur mawr yn etifeddion yr un dirmyg ag a ddyoddefent hwythau. Ni phetrusir yn Nghymru ein galw fel Anghydffurfwyr yn "hereticiaid," "sismaticiaid," "canlynwyr Corah, Dathan, ac Abiram," a lliaws o enwau prydferth a brawdol eraill o'r un ysbryd. Gwyddom yn dda nad oes gan lawer o'n cyfeillion yn y Sefydliad ddim help i hyn, a'u bod yn ffieiddio yr ynfydrwydd a'r chwerwder sydd yn peri defnyddio y fath ymadroddion. Ond gan nad oes fawr ardal yn ein gwlad lle nad oes rhywun yn siarad am danom yn y wedd yma, ac yn cymeryd yn ganiatäol oddiwrth ein dystawrwydd a'n goddefgarwch nad oes genym ddim i'w ddyweyd yn ei erbyn, nid anmhriodol fyddai cymeryd y cyfle hwn i ddadgan ein hegwyddorion. Nid ydym yn deall paham y rhaid i ni aros byth yn ddystaw tra y mae dynion yn ein gwlad o feddyliau tlodion a rhagfarnau cryfion yn defnyddio pob cyfle i'n dirmygu ni a'n tadau, ac i geisio gwenwyno meddwl y bobl yn ein herbyn fel cnafiaid diegwyddor a

sismaticiaid terfysglyd. Wedi y cwbl, yr ydym yn meddwl fod genym ninnau fel ein tadau hawl i gadw cydwybod, ac i weithredu yn ei hol, ac nad yw yn ormod i ni ar amgylchiad fel hwn wneyd dadganiad o'n hargyhoeddiadau, a rhoddi y rheswm am danynt. Y mae y fath beth â gwirionedd yn bod, ac oni bae ein bod yn teimlo mai o blaid hwnw yr ydym yn sefyll, ni fuasai yn werth genym ymaflyd yn ein hysgrifell. Ac fe allai y ceir mantais i weled ei brydferthwch ac i deimlo ei ddylanwad yn yr ymchwiliad hwn.

"Truth, like a torch, the more it 's shook, it shines."

Ysgydwch y *dorch* ynte, os oes ychwaneg o oleuni i'w gael. Yr ydym yn meddwl hefyd nad oes un achos i onestrwydd 1862 fyned i'r drafferth i gydymdeimlo â thrawsder 1662. Yn hytrach diarddeled bob perthynas âg ef, a gadawer ef yn felldith ac yn ddrewdod hyd ddiwedd amser. Ar yr un pryd, os oes gan 1662 ryw addysg i'w roddi mewn cydwybodolrwydd a chyfiawnder, fel yr ydym ni braidd yn meddwl fod, ni fyddai yn un diraddiad ar 1862, er mor goeth a goleuedig ydyw, ymostwng i'w dderbyn.

Sut y bu hi? Mae ein darllenwyr yn gwybod am Charles I. Hyd yn ddiweddar iawn, yr oedd llawer yn ein gwlad yn gorfod darllen gwasanaeth pwysig bob blwyddyn, ar y degfed ar hugain o Ionawr, sydd yn ei gydnabod yn *ferthyr,* ac yn llefaru am dano mewn geiriau y byddai yn chwith genym 'glywed eu defnyddio am neb llai na'r Arglwydd Iesu Grist ei hunan. Buasai yn llawer mwy na digon darllen y fath wasanaeth ar ol brenin *cyfiawn* a *da;* ond y mae yn rhy hwyr yn y dydd i neb geisio ein perswadio fod Charles druan nac yn gyfiawn nac yn dda. Ni phrisiai efe flewyn am ryddid ac iawnderau ei ddeiliaid. Ystyriai ei fod wedi ei eni i deyrnasu arnynt, ac fod hyny yn cynnwys fod ganddo hawl Ddwyfol i'w defnyddio ymhob peth i wasanaethu arno ef a'i amcanion. Tra meiddiai, gorthrymai hwynt â llaw uchel; a phan ddangosent na fynent ymostwng yn dawel dan iau mor haiarnaidd, ni phetrusai fabwysiadu y triciau mwyaf isel er mwyn eu twyllo i gydymffurfio â'i ewyllys. Nid oedd ganddo ddim doethineb i drin arian nac i drin dynion. Yr unig syniad yn ei feddwl ef oedd ei fod yn frenin, ac y gallai wastraffu fel brenin, ac fel brenin fod yn rhyfyg yn neb feiddio cwestiyno ei amcanion. Yr ydoedd ar ryw ystyriaethau yn ddyn digon call; ond yr oedd ei weithredoedd yn gyffredin yn ffol dros ben.

"Who never said a silly thing,
And never did a wise one."

Nid oedd dim pall ar ei addewidion, ond ni feddyliai byth am eu cyflawni. Tra y gallodd fe orthrymodd y bobl, ac ni phetrusai droseddu y cyfreithiau yr ydoedd dan lw i Dduw a dynion i'w gweinyddu, a'u cadw yn gysegredig. Ac wrth wneuthur hyn oll, fe ddywedai gelwyddau yn ddirif, ac yr ydoedd twyllo mor naturiol iddo âg anadlu. Ond yn anffodus iddo ef, yr ydoedd y dynion yr oedd ganddo i ymwneyd â hwynt o rywogaeth dra gwahanol iddo. Yr oedd y Diwygiad wedi taenu yn eu plith wybodaeth led helaeth erbyn hyn o wirioneddau mawrion yr efengyl—gwirioneddau tra yn dysgu yr ymostyngiad llwyraf i awdurdod cyfraith, a'r anrhydedd mwyaf parchedig i'r awdurdodau goruchel, ydynt

ar yr un pryd, wrth ëangu y meddwl a chryfhâu y gydwybod, yn gwneyd dynion yn lled beryglus i'r dyn sydd yn rhith teyrnasu arnynt yn ol deddfau y wlad, yn ymgais am "falu eu hwynebau" trwy orthrymder a thrais a thwyll. Gwyddoch beth fu y diwedd. Trech gwlad nag arglwydd. Galwyd arno i ymddangos o flaen y frawdle i gael ei farnu yn ol y deddfau y cafodd ei goroni i'w hamddiffyn, a chafodd ei gollfarnu i'w ddïenyddio am orthrwm a brad. Y mae rhywbeth yn arddunol iawn yn yr olygfa; y mae teimlad y bobl am fawrhydi cyfraith y fath, fel nad yw yn ormod dwyn y pen coronog i'w brofi am ei droseddu; ac wedi ei farnu yn euog, nad yw yn ormod gweinyddu y gosb arno ger bron yr haul, fel rhyw ddrwgweithredwr arall. Buasai yn dda genym pe buasent yn ymattal cyn myned mor bell; buasai hyny yn well yn y pen draw i'r achos mawr a amddiffynent: ac er fod Charles yn ddiammheu wedi cyfiawn haeddu y driniaeth galed a gafodd, eto erbyn hyn buasai yn dda genym pe buasent yn ymattal yn nghanol barn ac yn cofio trugaredd. Ond ar yr un pryd rhaid i ni addef fod eu profedigaeth yn annhraethol lem; rhaid i ni addef hefyd fod y dynion hyny yn ddynion o onestrwydd a rhinwedd diammheuol, a'u bod yn cyflawni y weithred bwysig hon gan gredu mai felly yn unig y gellid achub y wlad o safn dinystr. Ymffurfiasant yn werinlywodraeth, a gwnaethant enw Prydain, o fod yn wawd, yn ofnadwy ymysg y cenedloedd. "Ni chododd ein gwlad erioed, er pan yr ymddyrchafodd o'r eigion," ebe ysgrifenydd grymus diweddar, "mor uchel uwchlaw y cenedloedd amgylchynol. Yr oedd cydymgais Holland, balchder Spaen, a thraha Ffrainc, yn cael eu gwthio yn ôl âg un bys bob un; ac eto yr oedd y gwledydd hyny yn fwy galluog nag y buasent erioed. Yr oedd cleddyf Cromwell yn cael ei ragflaenu gan y *mace* yn llaw Milton, y dyn hwnw, yr hwn, wedi i Oliver roddi ei gyfrif i fyny, a agorodd o flaen ein myfyrdod borth Paradwys. Ac yr oedd rhai o amgylch nad oeddynt annheilwng i fyned i fewn gydag ef. O fewn cylch un canrif ar bymtheg, nid ellwch gyfrif ar y ddaear i gyd gynifer o ddynion doeth a theilwng ag a allasech ganfod gyda'u gilydd ar yr un dydd hwnw, pan ddangosodd Lloegr ei gwir fawredd, ac y penderfynodd y cwestiwn, PA UN FWYAF, AI UN AI MILIWN? Yr oedd cewri yn y dyddiau hyny, ond cewri yn ofni Duw, ac nid yn ymladd yn ei erbyn."

Y mae wedi bod yn ffasiwn dirmygu y dynion hyn fel cnafiaid rhagrithiol, y rhai, dan gochl crefydd a chydwybod i Dduw, a wasanaethent yn unig i'w huchelgais eu hunain. Y mae y Llyfr Gweddi Cyffredin wedi eu gwarthnodi fel "dynion ysgeler a gwaedlyd," a'r haid o adar aflan a ddaeth i ehedfan o amgylch y llys yn amser yr Adferiad, wedi gollwng eu budreddi ar eu coffadwriaeth, fel, os nad ydynt yn hollol ffiaidd yn ein golwg, mai nid ar eu caseion y mae y bai. Ond fel y mae goreu modd, yr ydym wedi cael cryn fantais erbyn hyn i farnu drosom ein hunain. Ac fel y mae goreu modd hefyd, y mae y deyrnas yn gyffredin yn barnu drosti ei hun. "Lle yr oedd yn ddall, y mae yn awr yn gweled." Y mae y meddwl cyffredin erbyn hyn wedi myned dan gryn gyfnewidiad. Mae yn ddiammheu nad oedd y Puritaniaid yn berffaith. Ond, wedi y cwbl, yr oeddynt yn bobl onest a chydwybodol, ac felly, yn wir, i'r fath raddau, nes gwneuthur daioni yn ddeddf yr oes; ac wedi caniatâu mor helaeth ag y mynwch ar gyfer yr eithriadau, rhaid addef na welodd Prydain, er pan mae yr haul yn tywynu arni, ddynion mwy

teilwng na'r Puritaniaid. Yr oedd yna ddifrifwch yn eu hysbryd nad oedd yn bosibl i'w dirmygwyr ddychymygu am dano. Yr oedd eu hymarweddiad yn y nefoedd; yr oedd eu henwau yn ysgrifenedig ar gofrestrau dinas Duw; ac yr oedd yn amcan ganddynt ymhob peth, ac er pob gwrthwynebiad, i ymddwyn yn y fath fodd fel ag i sicrhâu cymeradwyaeth Brenin y breninoedd. Gellwch feddwl mor annheilwng yn ngolwg gwŷr felly fuasai ymostwng i wenieithio i ddynion am eu bod mewn awdurdod; ac mor ddiysgog y safent, pa un bynag ai yn ystafell y cynghor ai ar faes y gwaed, o blaid cyfiawnder a rhyddid. Y maent yn teimlo eu bod hwy yn ymdrechu o blaid achos y mae yn rhaid iddo lwyddo, am mai achos yr Anfeidrol ydyw. Y maent wedi tyngu llw o ffyddlondeb i ddeddfau gorseddfainc a erys yn ddigryn pan fydd holl orseddfeinciau trais wedi eu dinystrio; ac y maent oblegid hyny yn teimlo eu bod yn cael nerth o dragywyddoldeb i wrthsefyll eu gorthrymwyr. Mae yn debyg mai yr enw mwyaf amlwg yn eu plith ydoedd Oliver Cromwell. Nid oedd Oliver heb ei wendidau. Ond dyn ofnadwy ydoedd! Wedi ei osod gan ei gydwladwyr mewn lle mawr,—senedd y Titaniaid yn gosod y cadarnaf ei galon a'r cryfaf ei fraich yn eu plith i fod yn Llywydd arnynt!—fe ymroddodd enaid a chalon i wneyd cyfiawnder â'i ddyledswyddau. Camgymeriad dybryd, Charles druan, oedd i ti wrando ar ysbryd cul Laud, a rhwystro y dyn yna, gyda'i gefnder John Hampden, pan, yn anobeithiol am ymwared oddiwrth faich annyoddefol dy orthrwm, yr oeddent hwy, a llawer gyda hwynt, ar ymfudo o'r deyrnas, gan ddilyn esiampl y lliaws duwiolion oeddynt wedi gorfod gwneyd hyny o'u blaen, i ymofyn yn rhywle am y rhyddid i feddwl ac anadlu a waherddid iddynt adref. Ti ryfygaist orfodi yr ysbryd cryf a pheryglus oedd o dy amgylch yn y wlad i ymwasgu yn nês nês atat; ti anturiaist osod arno gaethiwed ar ol caethiwed, heb feddwl fod ei nerth yn cryfhâu, a'i enbydrwydd yn cynnyddu bob dydd; ac o'r diwedd, pan oeddit ti yn dychymygu dy fod wedi ei lwyr ddiffoddi trwy ei gladdu dan y ddaear, y mae o'r fan hono yn cynhyrfu daeargryn sydd yn troi dy holl amcanion hoff yn chwalfa anadferadwy. Ond y mae hen air doeth yn dyweyd am y neb y myn y duwiau ei ddinystrio, eu bod yn gyntaf yn ei ynfydu; ac y mae awdurdod anffaeledig yn ein dysgu fod "balchder yn myned o flaen dinystr, ac uchder ysbryd o flaen cwymp."

Pa fodd bynag, un o'r pethau blaenaf yn ngofal y Werinlywodraeth oedd gwneyd ymchwiliad i ansawdd crefydd yn y wlad, ac ymgais am ei chodi i ystâd uwch mewn purdeb ac effeithiolrwydd. Yn 1654 fe benodwyd yn y Cynghor ar Gyfeisteddfod o ddeunaw ar hugain o bersonau, naw o ba rai oeddynt leygwyr, i fod yn brofwyr, "i arholi a chymeradwyo pawb a gyflwynid, a enwid, a ddewisid, neu a apwyntid i unrhyw fywioliaeth neu weinidogaeth yn Lloegr neu Gymru." Yr oedd rhai o'r Profwyr hyn yn Bresbyteriaid, cryn nifer yn Annibynwyr, ac ychydig yn Fedyddwyr. Yr oedd unrhyw bump yn ddigon i gymeradwyo un, ond nid allasai unrhyw nifer islaw naw wrthod un fel yn anghymhwys. Yn ychwanegol at hyn fe benodwyd ar ddirprwywyr i bob gwlad, yn benaf lleygwyr, gydag awdurdod i ddiswyddo gweinidogion ac ysgolfeistriaid anfucheddol, anwybodus, ac analluog; ond caniatëid digon o amser iddynt ymadael, a rhoddid y bummed o'u cyflogau drachefn tuag at eu cynnal. Yr oedd yna ordeiniad arall hefyd, yn trefnu fod ym-

rwymiad o ffyddlondeb i'r llywodraeth newydd yn cael ei gymeryd, yn gyntaf gan yr holl swyddogion gwladol a milwraidd, ac wedi hyny gan bawb oeddynt mewn swyddau yn y Prifysgolion; ac yn olaf, penderfynwyd ymhellach nad oedd yr un gweinidog i fwynhâu yr un fywioliaeth yn yr Eglwys, heb iddo, o fewn chwe' mis, ymgymeryd â'r ymrwymiad yn gyhoeddus yn y gynnulleidfa. Fe allai y teimlai rhai fod y deddfau hyn yn lled gaeth i'w cario allan â llaw gref dan y fath amgylchiadau. Ond wedi y cwbl, y mae yn anmhosibl i bawb beidio cymeradwyo eu hamcan. Yr oedd y bobl hyn am wneyd eu goreu i ddyrchafu y wlad mewn cyfiawnder, ac fel dynion doeth yr oeddent yn gweled ar unwaith nad oedd yn bosibl gwneyd hyny heb ddyrchafu ei dysgawdwyr. Yr oedd y "fywioliaeth" yn eu golwg hwy yn rhywbeth heblaw bywioliaeth; a lle nad oedd ei gwaith mawr a phwysig yn cael ei gyflawni, nid oedd ond cellwair âg eneidiau y bobl i adael y fath ddynion yn eu lleoedd. Ac am hyny ni phetrusent wrthod ymgeiswyr annheilwng, a diswyddo y rhai ag oeddent eisoes wedi eu derbyn, ond a'u profent eu hunain, trwy anwybodaeth ac anfuchedd, yn annheilwng o'r fath le; ac yr oedd yn eithaf priodol iddynt alw oddiar law y gweddill hefyd am addewid o ffyddlondeb i'r llywodraeth oedd yn eu gadael yn eu swydd, ac yn eu cydnabod am eu llafur. Effaith naturiol y mesurau hyn oedd diswyddiad nifer lled fawr o'r Clerigwyr plwyfol, a phenodid gweinidogion eraill, perthynol i'r Presbyteriaid, yr Annibynwyr, ac eraill, i gymeryd eu lle.

Yn awr, y mae llawer o feïo gan ein cyfeillion yn y Sefydliad oblegid yr amgylchiadau hyn. Haerir fod Cromwell a'r Presbyteriaid wedi cymeryd y mater i'w llaw eu hunain a throi allan filoedd—("chwech neu saith mil," medd Venables, yn ol yr hen haeriad)—o offeiriad duwiol a llafurus o'u bywioliaethau, gan arddangos yr un trais ag a gondemniwn yn niswyddiad yr Anghydffurfwyr yn 1662; ïe, meddant, gan arddangos trais mwy, oblegid yr oedd y clerigwyr a ddiswyddwyd gan Cromwell, &c., yn yr Eglwys o'r dechreuad, a chanddynt hawl naturiol i'w bywioliaethau, tra nad oedd y lleill ond crwydriaid a ddaethant yno trwy ormes i drawsfeddiannu eiddo pobl eraill. Y mae genym ychydig eiriau i'w dyweyd ar hyn cyn myned ymhellach.

1. Yr ydym yn maentumio fod gan y Puritaniaid, yn ol apwyntiad y llywodraeth ar y pryd, hawl berffaith i'r bywioliaethau a fwynhëid ganddynt. Nid yw ond ofer son am Eglwys Wladol Lloegr yn ei ffurf bresennol, fel yr eglwys sydd wedi aros yn y deyrnas hon er dyddiau yr Apostolion. O ran hyny, y mae gan unrhyw gorff crefyddol sydd yn "cyfattal y Pen" yn y dyddiau hyn, lawn gystal hawl ag sydd gan yr Eglwys Sefydledig i hòni eu perthynas â Christionogion cyntefig y deyrnas, ac â dynion da pob oes o hyny hyd yn awr oedd yn dal y "gwirionedd megys y mae yn yr Iesu." Ac nid yw *Eglwys Wladol*, mewn unrhyw oes, ond crëadur y llywodraeth. Y llywodraeth sydd yn talu tuag at ei chynnal, a'r llywodraeth yn unig sydd yn meddu hawl i'w llywodraethu. Y mae offeiriaid Eglwys Loegr trwy eu cenedlaethau yn cydnabod hyny, ac yn tyngu i'r brenin fel yr hwn y mae pob awdurdod ysbrydol ac eglwysig, yn gystal a thymmorol a gwladol, yn ei law. Y brenin gan hyny,—hyny yw, y gallu llywodraethol—yn Mhrydain, y brenin a'r bobl,—sydd yn meddu yr hawl i sefydlu ac i gydnabod yr hyn sydd i fod yn Eglwys y Wladwriaeth. Y mae y cwestiwn "Pa fodd y daeth-

ant yno," ebe Dr. McCrie, "yn cynnwys y dybiaeth, geudeb hollol pa un nid allwn yn awr aros i'w dynoethi, fod Eglwys Loegr yn rhywbeth sydd yn bodoli, ac erioed wedi bodoli, ar wahân oddiwrth ac yn annibynol ar bobl Lloegr,—rhywbeth allan o ba un y gallont oll ymadael, ac eto ei adael yn hanfodiaeth cyflawn ac annibynol,—rhywbeth wedi ei wneyd i fyny o breladiaeth a seremonïau, heb allu cyfnewid, ac heb eisieu diwygiad."* Ond nid yw ond ofer dysgwyl i bobl Prydain gymeryd golwg mor arddansoddol ar y pwnc. Y mae yr Eglwys Wladol yn beth sydd yn derbyn ei hanfod oddiwrth y bobl, ac o anghenrheidrwydd yn newid fel y maent hwythau yn newid. Ni raid i ni egluro nad am eglwys Dduw, fel y cyfryw, yr ydym yn dywedyd. Y mae hono yn ei phurdeb ysbrydol, fel teml y Presennoldeb Dwyfol ar y ddaear, yn aros yr un; a haws i'r nef a'r ddaear fyned heibio, nag iddi hi, yn nirgelwch mawr ei bywyd, a chuddiad ei chryfder, gyfnewid byth. Ond y mae ein darllenwyr yn gwybod yn burion mai anfynych iawn, yn hanes yr oesoedd, yr ydym i ymofyn am hono yn yr Eglwys Wladol. A pha beth ydoedd ffurf Eglwys Wladol Lloegr yr amser dan sylw, pan ddywed y clerigwyr esgobyddol fod Cromwell a'r Presbyteriaid wedi gwneyd y fath ddirfawr gam â hwynt? *Nid Esgobyddiaeth.* Cyn dyddiau Harri VIII., Pabyddiaeth oedd y grefydd wladol. Yn ei ddyddiau ef fe wnaed cyfnewidiad. Rhywbeth-na-wyddoch-pa-beth ydoedd. Yn amser Edward, Protestaniaeth; yn amser Mary, Pabyddiaeth drachefn; yn amser Elizabeth, Protestaniaeth eilwaith; ac felly dan deyrnasiad Iago a Charles I., hyd amser y Senedd Hir. Ond yr oedd yna allu ar waith er dyddiau Elizabeth, ag oedd yn rhwym, cyn pen nemawr, o ysgwyd Esgobyddiaeth o'r deyrngadair. Yr oedd hwnw yn cael ei feithrin yn mynwesau y dynion goreu yn y wlad, trwy draha y pen coronog a'r esgobion, a'u gormes ar gydwybodau y bobl. Yr ydym yn cael Hooper, yn moreuddydd y diwygiad, yn codi ei lef yn erbyn y gwisgoedd offeiriadol, ac yn gommedd cymeryd ei gysegru yn esgob yn y gwisgoedd a ddarparesid at yr amgylchiad. Yr oedd ganddo ef enaid uwchlaw gwenwisg. "Mewn athrawiaeth," ebe awdwr y Merthyrdraith, yr "oedd yn ddifrifol, mewn llafar yn hyawdl, mewn llafur yn ddiflino." Pregethai yn llym yn erbyn llygredigaethau yr offeiriaid yn gystal a'r bobl, a rhoddai arbenigrwydd neillduol ar ryddid cydwybod. "Gwnânt hwy y cyfreithiau a fynont i'r corff," meddai; "am y gadawont y gydwybod yn rhydd. Am alluoedd y ddaear, nid yw yn anwybyddus i'r rhai sydd wedi darllen a sylwi ar yr Ysgrythyrau, nad oes dim a fyno eu swyddogaeth hwy â gwneyd deddfau i lywodraethu cydwybod eu deiliaid mewn crefydd. * * Mae teyrnas Crist yn ysbrydol. Nid all na Phab na Brenin lywodraethu yn hon. Crist yn unig yw llywodraethydd ei eglwys, a'i hunig Ddeddfroddwr." Ond yr oedd yr awdurdod yn drech na Hooper. Wedi iddynt ei garcharu am yspaid yn y Fleet, a bygwth ei ferthyru, fe ymostyngodd iddynt ei gysegru fel y gwelent yn dda. Ond mae yn dda genym ei weled yn dal ei dir yn fwy diysgog pan ddaeth profedigaeth fwy i'w gyfarfod yn nyddiau Mary, pryd y merthyrwyd ef yn Gloucester. Fe gyflawnwyd ei brophwydoliaeth, pan yr ydoedd flynyddoedd cyn hyny yn gadael Zurich, ac y cymerai Bullinger gerfydd ei law, gan ddywedyd, "Pan

* "*The Story of the Ejectment,*" *page* 18.

gymeraf fwyaf o boen, yna y cewch glywed am danaf fy mod wedi fy llosgi yn lludw." Mae yn debyg mai yn ngwrthdystiad Hooper yn erbyn gormesu y gydwybod, a'r gwisgoedd a'r seremonïau ffol a choelgrefyddol oedd yn yr Eglwys y dyddiau hyny, yr ydym yn cael dechreuad Puritaniaeth Prydain. Cafodd y merthyr enwog y fraint o ollwng mesen i lawr, a feithrinwyd yn nghanol ystormydd heb eu bath, ac a gododd i fyny yn dderwen, y mae ei nerth a'i gogoniant yn fendith i ddynolryw.

Mae ymdrech ar ol ymdrech yn cymeryd lle i sicrhâu unffurfiaeth yn y pethau y mae yr awdurdodau yn gosod eu calon arnynt, ac y mae rhywrai yn barhâus yn sefyll yn gryf dros hawliau cydwybod a symledd yr efengyl. Yr oedd yr Archesgob Parker yn cydymdeimlo yn hollol â'i feistres freninol, Elizabeth, yn mhwnc pwysig y gwisgoedd; ac yr ydym yn ei gael yn gwneyd ei oreu i gael gan Grindal, Esgob Llundain, orfodi yr holl weinidogion o fewn ei esgobaeth i gydymffurfio, er ei fod yn gwybod fod y gŵr duwiol hwnw yn hollol wrthwynebol i bob peth tebyg i drais, ac yn wrthwynebol hollol i'r gwisgoedd. Cyn pen nemawr mae y dymhestl yn dyfod. Dacw holl weinidogion Llundain wedi eu galw ynghyd i balas Lambeth, a'r cwestiwn yn cael ei roddi iddynt,—A ddefnyddient hwy y gwisgoedd a ordeinid gan y gyfraith, ac a gydymffurfient yn y fan? Yr oedd y rhai a wrthodent i gael eu diswyddo, ac ymhen tri mis i gael eu hamddifadu o'u bywioliaethau. Y mae un a thriugain o'r cant yn cymeryd eu dychrynu, ac yn cydymffurfio; ond y mae yna ddau ar bymtheg ar hugain yn gwrthod er pobpeth, ac yn cael eu diswyddo,—a'r dau ar bymtheg ar hugain hyny, fel yr addefai eu gorthrymwyr, oeddynt y pregethwyr goreu a mwyaf galluog yn y ddinas.* Y mae amryw o'r Eglwysi yn cael eu cau; ond pa wahaniaeth yw hyny os ydyw mympwy y llywodraeth yn cael yr oruchafiaeth? O'r diwedd yr ydym yn cael y Puritaniaid yn blino ar bethau fel yr oeddynt, ac yn 1566 yn dyfod i'r penderfyniad i ymneillduo oddiwrth yr Eglwys, ac i ymgynnull, fel y caffent gyfleusdra, mewn tai annedd, a manau eraill, i wasanaethu Duw yn ol eu cydwybodau.† O hyny allan yr ydym yn cael y Puritaniaid yn bobl yn preswylio eu hunain ar wahân oddiwrth yr Eglwys, er mai hwy oeddynt wir ddilynwyr yr hen ddiwygwyr. Nid pwnc y gwisgoedd yn unig oedd yn eu gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd. Yr oedd yna bethau eraill mwy pwysig. Ystyrient fod yr uchafiaeth a honid gan yr esgobion ar yr henuriaid fel urdd uwch, ynghyd a'u honiad o'r unig hawl i ordeinio, dysgyblu, a llywodraethu yn yr Eglwys, yn anysgrythyrol, ac yn tueddu i beri niwed iddynt hwy eu hunain, a thrais annyoddefol ar eu brodyr. Cwynent hefyd, am yr un rhesymau, oblegid yr haid swyddogion oedd yn yr Eglwysi Cadeiriol; galarent oblegid y diffyg dysgyblaeth oedd yn yr Eglwys; dymunent gael mwy o ryddid mewn gweddïau, &c., nag a ganiatëid yn y Llyfr Gweddi Cyffredin; anghymeradwyent ddarllen yr Apocrypha yn yr Eglwysi; ac er mor dda yw yr Homiliau, barnent na ddylai yr un dyn gael ei ordeinio heb fod yn abl ei hunan i bregethu ac esbonio yr Ysgrythyrau; edrychent ar amlblwyfiaeth, &c., yn cael ei achosi gan nawdd y frenines, yr esgobion, a'r noddwyr lleyg, ac ystyrient y dylid dinystrio y cyfryw, ac apwyntio gweinidogion yn ol dewisiad y bobl; condemnient yr holl wyliau ar y naill

* *Strype's "Life of Parker,"* p. 215. † *Ib.*, p. 241.

law, a halogiad y sabbath ar y llaw arall, fel mor anysgrythyrol â'u gilydd; cerddoriaeth offerynol, llun y groes yn y bedydd, tadau a mamau bedydd yn lle y rhieni, bedydd esgob, penlinio wrth y cymun, ymgrymu wrth yr enw Iesu, &c.; yr oedd yr holl bethau hyn yn anghymeradwy ganddynt. Y mae Puritaniaeth, mor foreu â hyn yn ei hanes, yn dangos yr un nodweddion âg a'i hynodent yn nyddiau ei nerth. Mae Elizabeth yn taranu yn enbyd wedi clywed fod y bobl hyn yn gommedd ymostwng i'w deddfau; a phan oeddynt wedi dyfod at eu gilydd, Meh. 19, 1567, i le o'r enw Plumber's Hall, lle y bwriadent gynnal gwasanaeth, a chyfranogi o Swper yr Arglwydd gyda'u gilydd am y tro cyntaf, y mae yr heddgeidwaid yn dyfod arnynt, ac yn eu chwalu, gan gymeryd amryw yn garcharorion; amddiffynent eu hunain yn alluog drannoeth o flaen yr esgob a maer Llundain; ond anfonwyd pedwar ar hugain o wŷr a saith o wragedd i'r Bridewell, lle y dyoddefasant galedi blwyddyn o garchariad.*

Yn 1572, yr ydym yn cael y Puritaniaid yn cymeryd cam arall sydd yn peri i ni synu at eu beiddgarwch. Y maent yn anobeithio am ddim diwygiad yn yr Eglwys, ac am hyny nid oes dim i'w wneyd ond ymgadarnhâu ac ymsefydlu eu hunain goreu y gallant. Ymgyfarfu amryw o weinidogion o Lundain a'r gymydogaeth, a phenderfynasant ymffurfio yn Henaduriaeth, i'w chynnal yn mhentref Wandsworth, tua phum' milldir o Lundain. Tachwedd 20, daeth ugain o weinidogion ynghyd, a dewiswyd un ar ddeg o henuriaid i fod yn aelodau o'r cynghor. Dyma yr Eglwys Henaduriaethol gyntaf a ffurfiwyd yn Lloegr.† Yr oedd Elizabeth, a'r esgobion, a llys yr *High Commission*, yn cyffroi yn erwin; ond llwyddodd Henaduriaeth Wandsworth am yspaid i ysgoi eu cynddaredd, a ffurfiwyd Henaduriaethau eraill yn y gwledydd cymydogaethol. Nid oedd y frenines yn hoffi byd fel hyn. Y mae yn dadgan wrth Grindal, olynydd Parker yn yr archesgobaeth, "ei bod hi yn cael ei blino gan nifer y pregethwyr, ac yn ei rybuddio i roddi attalfa arnynt, gan ddywedyd *fod yn dda i'r Eglwys gael ychydig o bregethwyr, ac y gallai tri neu bedwar fod yn ddigon i wlad;* ac fod darllen yr homiliau i'r bobl yn ddigon."‡ Ond ni waeth peidio. Pan y mae cydwybod pobl wedi ei deffro yn ngwasanaeth Duw, nid yw yn bosibl eu llethu. Er i Canute wahardd y tònau i nesâu at ei draed breninol, mae y tònau rywfodd yn ddigon hyfion i wneyd, canys y maent yn ufuddhâu i ddeddf oedd mewn bod cyn i Canute gael ei eni, ac a fydd mewn grym, nid yn unig yn Southampton, ond hefyd trwy holl grëadigaeth Duw, am gryn amser wedi iddo ef a'r rhai sydd yn gwenieithio iddo, fyned o'r golwg.

Yn 1583, daw Whitgift yn y gadair archesgobyddol; gŵr wrth fodd calon Elizabeth, ac yn barod i fynu, trwy drais, ufudd-dod i'r egwyddorion y methasai yn ei ysgrifeniadau dadleuol yn erbyn Cartwright sefydlu eu huchafiaeth. Fe dynodd i fyny dair erthygl, gan gyhoeddi nad oedd caniatâd i neb bregethu na gwneyd unrhyw wasanaeth eglwysig heb eu llawnodi. 1. Uchafiaeth y frenines ar bawb, ac ymhob achosion, gwladol ac eglwysig. 2. Nad oes dim yn y Llyfr Gweddi Cyffredin a'r Ordeiniad yn groes i air Duw, ac y defnyddiant y cyfryw, ac nid yr un

* *Dr. Hetherington's "History of the Westminster Assembly," p.* 34. † *Neal, Vol.* I., *p.* 198. ‡ *Strype's "Life of Grindal," p.* 221.

arall. 3. Cydsyniad hollol â'r Deugain Erthygl ond un.* Ni fuasai y Puritaniaid yn teimlo dim gwrthwynebiad i gydnabod uchafiaeth gwladol y frenines, ond ni fynent gydnabod ei huchafiaeth eglwysig. Nid allent ychwaith ymostwng i'r ail. Am y trydydd, ni theimlent unrhyw wrthwynebiad i'w gymeryd; ond yr oedd y *cwbl* yn cael eu gwasgu arnynt yn anhyblyg. Mewn ychydig amser, fe ddiswyddwyd amryw gannoedd o'r gweinidogion goreu yn Mhrydain am wrthod llawnodi. Arfogir llys yr Uchel Ddirprwyaeth â galluoedd newyddion i wasgu arnynt. Ac er i'r Senedd geisio dadleu dros y Puritaniaid, yr oedd y frenines yn drech na'r cwbl. Eto mae y Puritaniaid yn dal eu ffordd. Yn 1586, y maent yn cyhoeddi Llyfr Dysgyblaeth, er cyfarwyddyd iddynt yn eu llafur gweinidogaethol, &c., a llawnodwyd hwn gan dros bum' cant o'r gweinidogion duwiolaf a mwyaf ffyddlawn yn y deyrnas; ac eto dywed Neal nad oedd y rhai hyn ond rhan fechan o'r rhai yr oedd dychryn diswyddiad yn crogi arnynt yr amser hyny, y rhai a wnaent i fyny ddim llai na'r drydedd ran o holl weinidogion Lloegr. Yn 1588, dyma egwyddor newydd o rym ofnadwy yn erbyn y Puritaniaid yn cael ei chyhoeddi. Mae Dr. Bancroft, caplan Whitgift, yn cyhoeddi y *jus divinum*, awdurdod Ddwyfol yr esgobion fel urdd uwchraddol ar yr holl weinidogion eraill; mae ganddynt awdurdod i lywodraethu yr Eglwys wedi ei derbyn yn uniongyrchol oddiwrth Dduw.† Y mae y ddysg newydd hon yn taro pawb â syndod, ac hyd yn nôd â dychryn. Mae Whitgift ei hun yn petruso ymaflyd mewn offeryn mor beryglus, ac yn dyweyd ei fod yn hytrach yn dymuno, nac yn credu, fod yr athrawiaeth yn wir. Ymhen rhyw ddwy genedlaeth, pa fodd bynag, y mae Laud yn ddigon rhyfygus i ymaflyd yn yr heresi beryglus hon, a pheri trychineb ofnadwy trwyddi.

Cyn marw Elizabeth, yr oedd yr uchel eglwyswyr yn lled ddystaw, am na wyddent yn iawn ar ba ochr y safai Iago. Ofnent braidd, gan ei fod yn dyfod o Scotland, y buasai yn blaid i'r Puritaniaid. Ond erbyn i'r amser ddyfod, mawr iawn oedd eu llawenydd—"Dim esgob, dim brenin," ebe ei fawrhydi, a rhaid i'r Puritaniaid ddystewi. Nid oedd cynnadledd Hampton Court ond ffug; yr oedd y mater wedi ei benderfynu cyn dyfod yno. Dyma ni wedi cael "Solomon" i'r orseddfainc; ni gawn drefn ar bobpeth bellach. "Yn ddiammheu," ebe yr Archesgob Whitgift, "yr oedd ei fawrhydi yn llefaru trwy gynnorthwy uniongyrchol Ysbryd Duw." A thystiai Bancroft, "ar ei liniau, fod ei galon yn toddi o'i fewn gan lawenydd, a phrysurai i gydnabod yr Hollalluog Dduw am y drugaredd arbenig a dderbyniasent o'i law yn rhoddi iddynt y fath frenin, yr hwn na buasai ei fath, dybiai ef, er dyddiau Crist."‡ Aiff yr erlidigaeth ymlaen yn hyfryd bellach, heb neb i'w llesteirio, na dim i beri iddi arafu. Ond er mor angerddol y fflamau, mae y berth heb ei difa; ïe, yn nghanol y tân, y mae yn gwenu yn ei gwyrddlesni, ac y mae perlau y gwlith yn dysgleirio ar ei dail. Yn 1616, y mae Mr. Henry Jacob wedi dychwelyd o Leyden, lle y diangasai rhag yr erlidigaeth, a lle y daethai yn gydnabyddus â Mr. Robinson, gweinidog eglwys Gynnulleidfäol, ac y mabwysiadodd ei drefn. Y mae yn dyweyd ei olygiadau

* *Neal's "History of the Puritans," Vol.* I., *pp.* 260—263. † "*Life of Whitgift,*" *p.* 292. ‡ "*Hampton Court Conference,*" *pp.* 93, 94.

wrth nifer o'r Puritaniaid, a chan nad oedd obaith cael dim diwygiad yn yr Eglwys, y maent yn ymneillduo oddiwrthi, ac yn ymffurfio yn eglwys Gynnulleidfäol neu Annibynol,'gan ddewis Mr. Jacob yn weinidog iddynt. Dyma ddechreuad Annibyniaeth yn Mhrydain.* Mae eu brodyr eraill yn parhâu yn eu ffyddlondeb i Grist, ac yn cynnyddu yn feunyddiol mewn nerth. Nid yw "Solomon" yntau, a'i gyfeillion, yn segur. Yn 1618, dyma y Llyfr Chwareuon—*The King's Book of Sports*—yn cael ei gyhoeddi. Y mae wedi ei gyfansoddi gan esgob,—Esgob Moreton (ni fynem ar un cyfrif yspeilio y gwir barchedig dad yn Nuw o'r clod o ysgrifenu y fath orchestwaith),—ac y mae yn cael ei wneyd a'i gyhoeddi wrth gyfarwyddyd y brenin. Yr ydym yn cofio i ni glywed, pan yn bur ieuanc, am un hen gyfaill ag yr oedd ganddo feddwl mawr am berffeithrwydd rhyfedd y dyddiau hyn yn yr "*arts and sciences*," a'r holl welliadau; nid oedd, yn wir, yn coledd nemawr betrusdod mai yn ein dyddiau ni y ganwyd doethineb. "Beth ydych chwi yn feddwl am Solomon, hwn a hwn?" ebe cymydog iddo. "Pw!" meddai yntau, "Solomon, Solomon! pe buasai Solomon yn fyw yn y dyddiau hyn ni fuasai ond ffwl!" Pa fodd bynag, nid yw ei ddoethineb ond tlawd yn ymyl yr eiddo Solomon Prydain. Yr oedd y Puritaniaid yn cadw dydd yr Arglwydd yn rhy sanctaidd. Yr oeddynt rywfodd yn ddigon diniwed i wrando ar hen lyfr tra pharchedig oedd yn dyweyd fod yr Hwn na theimlent fod gwerth yn eu bywyd ond fel cyfleusdra i'w wasanaethu, wedi gorchymyn, "Cofia y dydd sabbath i'w sancteiddio ef; na wna ynddo ddim gwaith," &c.; ac yr oeddynt hwy yn gosod rhyw bris rhyfedd ar y dydd sanctaidd hwnw fel adeg gorphwysfa i gorff ac enaid yn ngwasanaeth yr Arglwydd, ac fel blaenbrawf i'r "cadw sabbath sydd eto yn ol i bobl Dduw." Ond y mae y brenin yn meddwl eu bod yn camgymeryd; ac i wrthweithio y drwg, y mae y llyfr rhinweddol hwn yn cael ei gyhoeddi. Ei amcan yw dysgu nifer o gampau i'r bobl i'w chwareu ar ddydd yr Arglwydd; dawnsio, saethu â bwa, neidio, &c. Y mae crefydd yn tueddu i wneyd dynion yn rhy feddylgar ac yn rhy sanctaidd i amcanion gormesdeyrn, ac am hyny rhaid ymdrechu gwneyd ffyliaid a dynion llygredig o honynt, er mwyn eu cadw mewn gwaseidd-dra a'u gwnelont yn haws eu trin. Y mae pobl sanctaidd "hawl Ddwyfol" yr esgobion yn cefnogi yr ysgogiad â'u holl galon. Rhaid i ni gofio nad oes a fyno yr hawl Ddwyfol â dim o amcan gwir lafur gweinidogaethol, ac y mae yn foddlawn iawn i'r bobl, wrth y miliynau, fyned i drueni; nid yw hyny o ddim pwys; yr hyn sydd yn bwysig ydyw yr arian a'r awdurdod sydd yn perthyn iddi.

Yn 1633, yr ydym yn cael Laud yn perswadio Charles I. i adferu y Llyfr Chwareuon i'r mawredd yr ydoedd, trwy ryw anffawd, wedi ei amddifadu o hono. Mae y "Merthyr" sanctaidd yn gwneyd yn ddiattreg; mae yr esgobion yn cael eu cyfarwyddo i fynu iddo gael ei ddarllen yn holl eglwysi eu hesgobaethau, a hyny ar y sabbath, fel y gallo y bobl fyned allan o foddion gras i chwareu y campau. Fe barodd hyn ofid mawr i'r dynion duwiol oedd yn yr eglwysi. Gwrthododd llawer ufuddhâu, a diswyddwyd hwynt. Eraill wedi darllen y llyfr, a ddarllenent y pedwerydd gorchymyn, gan ychwanegu, "Dyma gyfraith Duw; nid yw

* *Neal, Vol. I., pp.* 461, 462.

y llall ond archiad dyn." Er y cwbl nid rhyw lawer o fendith a fu ar lafur y Merthyr sanctaidd a'r Esgobion parchedig i gael gan y bobl wneyd sabbothau Duw yn sathrfa ac yn ddirmyg. Yn y cyfamser yr oedd yr ymrafael rhwng Charles a'r Senedd yn cael ei gario ymlaen. Yr oedd nifer fawr o'r seneddwyr hyny wedi eu hyfforddi, trwy amgylchiadau yr amseroedd, mewn difrifwch a doethineb ag oedd yn eu gwneyd yn ddynion cryfion iawn. Llefarent yn gryf yn Nhŷ y Cyffredin yn erbyn athrawiaethau Arminaidd a holl orthrwm y blaid Breladaidd; ac nid oedd ddeilen ar eu tafod pan yn condemnio y ffyrdd anghyfreithlawn a ddefnyddiai y brenin i godi arian, ac ymddygiadau gorthrymus y rhai a ddefnyddid i wneyd hyny. Gohiriwyd y senedd, a gwaharddai y brenin trwy gyhoeddiad *(proclamation)*, i neb son am senedd arall. O! Charles, yr wyt yn rhodio ar farwor Vesuvius, ac y mae mynwes y ddaear yn chwyddo gan ocheneidiau dan dy draed; gwyn fyd na ddeallit dy berygl! Ni alwyd yr un senedd arall am ddeuddeng mlynedd. Y mae Laud yn y cyfamser yn trymhâu y baich trwy arosod seremonïau newyddion ac ynfyd sydd yn peri i lïaws ymneillduo o'r Eglwys, ac y mae yn erlid y Puritaniaid gyda chreulondeb adnewyddol. Condemnir Alexander Leighton i gael tori ei glustiau ymaith, a hollti ei drwyn, a'i warthnodi ar ei rudd, a sefyll felly yn y pilori, ac yna i gael ei fwrw i garchar nes talu dirwy oedd ymhell uwchlaw ei allu, yr hyn oedd yn gystal â charchariad parhâus. Bu raid i Burton, Prynne, a Bostwick, ddyoddef creulonderau cyffelyb. Dywed Whitelocke (t.d. 22) fod yr esgobion, yn nyfarniad yr olaf, yn gwadu eu bod hwy wedi derbyn eu hawl oddiwrth y brenin. Sism ofnadwy ydoedd hon; yr oedd yn dda iddynt fod dipyn yn ddystaw yn ei chylch. Mae gormes yn myned ymlaen gyda rhwysg sydd yn sathru pob peth dan ei draed. Mae gan y brenin dreth y mae yn ei galw yn arian llongau, i'w defnyddio, fel y proffesid, i wneyd llongau rhyfel; ond amcenid y dreth hon, fel yr addefa Clarendon ei hun, nid yn unig at wasanaeth y llynges, ond "i fod yn ffynnon ac yn ystorfa heb waelod iddi, ac yn gyflenwad tragywyddol ar gyfer pob achosion." Gommeddai llawer ei thalu, ac yr ydym yn cael Hampden, heblaw gommedd ei thalu yn 1639, yn mynu cael prawf cyfreithiol ar gyfreithlondeb y dreth. Dygwyd yr achos ger bron y deuddeg barnwr yn yr *Exchequer Chamber*. Canfyddent ar unwaith fod y gyfraith o blaid Hampden, ond yr oeddynt oll yn dal eu swydd o law y brenin; rhoddodd saith eu barn fod y dreth yn gyfreithlawn, petrusai un, a dadganai pedwar ei bod yn anghyfreithlawn.* Ennillodd y brenin y gyfraith, ond ennillodd Hampden a rhyddid yr achos, a bu yn foddion trwy y deyrnas i ychwanegu eu nerth. Yr oedd "hawl Ddwyfol" Bancroft wedi cymeryd y fath afael ar ysbryd Laud, fel yr ydoedd ganddo ef a'r esgobion erbyn hyn awdurdod helaeth a pheryglus iawn, nid yn unig mewn pethau eglwysig, ond mewn achosion gwladol hefyd. Ac ni phetrusent ddefnyddio yr awdurdod yma hyd yr eithaf. Cynhyrfai yr Archesgob y brenin i geisio arosod ar Eglwys Bresbyteraidd a phobl Scotland, yr holl grug o ddefodau a seremonïau Preladaidd, trwy ba rai yr oeddynt wedi gyru pobl Lloegr hyd derfynau eithaf eu goddefgarwch. Ond yr oedd wedi myned yn rhy hwyr. Yr oedd pobl Scotland wedi

* *Whitelocke*, p. 24.

dyfod i benderfyniad eu hunain ar faterion o'r fath er ys llawer dydd, a chododd lliaws o'r pendefigion, ymron yr oll o'r dosbarth canol, yr holl weinidogion, ac yn agos holl gorff y bobl, a ffurfiasant gyfammod cenedlaethol difrifol yn mhlaid eu rhyddid crefyddol, gan benderfynu sefyll hyd yr eithaf ac aberthu pobpeth yn hytrach na dyoddef gormes cydwybod. Amcanai y brenin eu gorfodi trwy nerth; ond er gwneyd darpariadau helaeth, ciliodd yn ôl wedi hyny rhag y fath ymgyrch peryglus, a ffurfiwyd math o heddwch rhyngddynt. Ond yr oedd yr anturiaeth ynfyd hon wedi costio llawer o arian iddo, ac yr oedd ei drysorfa erbyn hyn yn wag. Rhaid galw y Senedd, er cased ydyw, oblegid nid oes gobaith heb hyny am adgyflenwad.

Ebrill 13, 1640, ymgyfarfu y Senedd, wedi yspaid o ddeuddeng mlynadd, yn y rhai yr oedd Charles a Laud yn cael gwneyd yr hyn oedd dda yn eu golwg. Gofynai y brenin am arian; hawlient hwythau gael ymwared o'u beichiau cyn pleidleisio yr adgyflenwad. Gohiriodd y brenin y Senedd drachefn mewn digofaint, a bwriodd y prif aelodau i garchar. Cododd arian wedi hyny, a gwnaeth ail ymosodiad ar Scotland. Yr oedd gohebiaeth erbyn hyn yn cael ei chario ymlaen rhwng y prif wladgarwyr Seisonig â phobl Scotland, a sicrhëid hwynt pe deuent ymlaen i Loegr, yr edrychid arnynt fel gwaredwyr. Croesasant y terfyn, gorchfygasant gorff cryf o filwyr oedd ar eu ffordd i groesi y Tyne, cymerasant Newcastle, a daethant ymlaen i Loegr. Yr oedd y glandeg, y brenin, erbyn hyn wedi dychrynu, ac apwyntiodd ddirprwywyr i ddyfod i delerau â'r Ysgotiaid yn Ripon. Penderfynwyd ar yspeidiad o ddau fis, y fyddin Ysgotaidd yn y cyfamser i gael ei chynnal ar draul y brenin, a thrafodiad yr heddwch i gael ei symud i Lundain. Yr oedd yn rhaid galw y Senedd bellach i roddi terfyn ar yr ymryson yma. Yr oedd yr holl wlad erbyn hyn yn ymdeimlo â'i pherygl, a dychwelwyd mwyafrif helaeth o bleidwyr rhyddid. Cyfarfu y Senedd Tach. 3, 1640. Dyma y "Senedd Hir." Dynion heb eu bath mewn unrhyw oes oedd y rhai hyn, ac yr oeddynt yn awr oll yn benderfynol i wneyd yr hyn a allent tuag at waredu eu gwlad o'r trueni mawr yr ydoedd yn gruddfan dano. Yn union wedi iddynt eistedd, ffurfiasant bedwar cyfeisteddfod, i fwrw golwg ar yr achosion oedd yn galw am eu sylw, cyn eu dwyn ger bron y Senedd;—un i ystyried eu blinderau crefyddol, un arall i ystyried helyntion Scotland a'r Iwerddon, un arall i ystyried eu beichiau gwladol, ac un arall i fwrw golwg ar Babyddiaeth a'r bradwriaethau Pabaidd. Dadganasant fod canonau y *Convocation* a gynnaliasid yn ddiweddar, yn anghyfreithlawn, ac nad oeddynt yn rhwymol. Ffurfiwyd cyhuddgwyn yn erbyn Laud, eu prif awdwr, fel un oedd ar waith gyda'r amcan bradwrus o ddymchwelyd crefydd a deddfau ei wlad. Tynwyd i fyny ei gyhuddiad mewn pedair ar ddeg o erthyglau, y rhai a anfonwyd i Dŷ yr Arglwyddi; a chan y caed fod y cwbl yn gywir, anfonwyd ef i'r Tŵr. Ymwared da! Trinwyd Strafford yr un fath, oblegid caed allan oddiwrth eu llythyrâu fod Laud a Strafford wrth wraidd yr holl fesurau gorthrymus y cwynent o'u plegid am y deuddeng mlynedd a aethai heibio. Ymdrechent hyd yr oedd yn bosibl wneuthur adferiad am y cam a ddyoddefasid, rhyddhâu y rhai a garcharesid yn anghyfiawn, &c. Ar gynnygiad Mr. Pym, ymunodd yr holl dŷ mewn ymrwymiad amddiffynol er diogelu eu rhyddid a'r grefydd Brotestanaidd. Llawnodwyd yr ymrwymiad hwn gan holl Dŷ

y Cyffredin, Mai 3, 1641, a thrannoeth gan yr holl Arglwyddi yn y Senedd, oddieithr dau. Argraffwyd yr ymrwymiad hwn, a gyrwyd ef trwy y deyrnas, a phasiwyd penderfyniad yn Nhŷ y Cyffredin yn dadgan nad oedd pwy bynag a ommeddai ei lawnodi yn addas i ddal swydd yn yr Eglwys na'r Wladwriaeth. Mae y cymylau yn dychwelyd ar ol y gwlaw. Yn union dyma ysgrif yn pasio i ddileu llys yr *High Commission*, ac yn fuan iawn dacw y *Star Chamber* yn myned ar ei ol. Cadarnhäwyd y mesurau hyn gan y brenin. Ië, gwell cilio yn ôl, Canute! mae y llanw yn dyfod i mewn! Mae y dynion hyn yn rhyfeddol o hunanfeddiannol, ac ar yr un pryd yn benderfynol i'r eithaf. Y mae eu penderfyniad, a'u hymwybodolrwydd o'u cryfder, yn peri iddynt deimlo y gallant fforddio bod yn dawel. Heblaw hyny y maent wedi dysgu llawer o wersi pwysig trwy y pethau a ddyoddefasant.

"Without haste, without rest,
Bind the motto to your breast."

Dacw hwy yn dyfod eto at bwnc yr Esgobion, ac yn wir yn parotöi erthyglau y cyhuddgwyn. Ond mae y brenin yn gweled nad all drin y dynion yna yn hŵy. Y mae Phaeton yn methu dal yr awenau yn ngherbyd yr haul, ac y mae pethau yn bygwth myned i ddyryswch. Y mae Charles yn gweled fod presennoldeb y fyddin Ysgotaidd yn y deyrnas yn nerth i'r gwladgarwyr, a chan gymeryd arno fyned i orphen yr heddwch, y mae yn myned i geisio perswadio yr Ysgotiaid i droi gydag ef yn erbyn y Senedd. Y mae y Senedd ar y pryd yn aros yn ohiriedig, er fod y cyfeisteddfodau yn gweithio eto. Daeth y brenin yn ôl i ymryson drachefn â'r Senedd, yr hon oedd yn awr, ar ol canfod *plot* ar ol *plot* o eiddo ei fawrhydi wedi troi allan yn aflwyddiannus, wedi ei chynhyrfu i ryw ystâd uchel iawn o benderfyniad i sefyll o blaid yr iawnderau yr amcenid eu hamddifadu o honynt. Yr oedd yna Gyfeisteddfod ar waith er ys peth amser yn "tynu allan o holl flinderau y wlad y fath wrthdystiad ag a fyddai yn arddangosiad ffyddlawn a bywiog i'w fawrhydi o ystâd druenus y deyrnas." Y gwrthdystiad hwn, o ddau cant a chwech o erthyglau, a ddarllenwyd yn Nhŷ y Cyffredin, Tachwedd 22, 1641; ac wedi dadl o dri y prydnawn hyd dri y boreu, cafodd ei basio gan fwyafrif o un ar ddeg. Yn fuan wedi ei anfon i'r brenin, fe'i hargraffwyd, ac fe'i lledanwyd trwy y deyrnas. Bellach mae y brenin a'r deyrnas ar wahân. Yn nesaf, rhaid myned at helynt yr esgobion. Ond y mae y gwŷr da hyn yn ceisio attal y prawf trwy anfon i fewn wrthdystiad. Penderfynasant beidio myned i Dŷ yr Arglwyddi, a chyhoeddasant fod beth bynag a wnelid yn eu habsennoldeb yn ofer. Nid allasent feddwl am ddim oedd yn fwy anffodus. Cyhuddwyd hwynt ar unwaith o weithredu mewn ffordd oedd yn ddinystriol i seneddau, ac o hòni y nacäol yn y ddeddfwriaeth, yr hyn na pherthynai ond i'r brenin yn unig. Gwnaed cyhuddiad newydd ar y tir hwn, ac anfonwyd deg o honynt i'r Tŵr. Yr oedd y brenin yn methu cynnwys ei ddigofaint, a phenderfynai dalu y pwyth. Anfonai y Cyfreithiwr Cyffredin i gyhuddo pump o'r prif aelodau o deyrnfradwriaeth; a chan nad anfonai y Tŷ hwynt i garchar, daeth y brenin i waered, a thorf o wŷr arfog gydag ef, i'w cymeryd ei hunan. Ond yr oeddynt hwy allan—"yr adar wedi ehedeg,"—chwedl ei fawrhydi. Cododd y sarhâd yma derfysg ofnadwy. Gohiriwyd y Sen-

edd am wythnos, amddiffynai dinaswyr Llundain y "pum' aelod," a chynnygient godi y *trained bands* i amddiffyn y Senedd. Yn lle aros yno, a cheisio meddyginiaethu y drwg, y mae y brenin yn ymadael i Hampton Court, oddiyno i Windsor, ac oddiyno i York. Yn ei absennoldeb, mae yr ysgrif er symud yr esgobion o Dŷ yr Arglwyddi, "fel na fagler hwy gan swyddogaeth wladol," yn cael ei phasio trwy fwyafrif mawr, ac yn derbyn yr awdurdod freninol trwy ddirprwyaeth.

Bellach, mae y rhyfel cartrefol yn dechre, a thrychineb mawr yn dyfod ar y deyrnas. Nid oes neb yn barod i amddiffyn lliaws o'r pethau a gymerodd le yn yr ymgyrch hwn, hyd yn nôd yn ochr y Senedd. Nid oes ddadl nad oedd gan y bobl yr achos goreu i ymladd drosto—achos cydwybod a rhyddid; ond pan y mae yn rhaid myned i ymladd am y pethau hyn, mae yn rhaid i ryfel ac ysbryd rhyfel yr amser hwnw gael eu ffordd. Nid ydym mewn un modd yn ewyllysio yn ddrwg i'r lladron penffordd, ac ni ddymunem wneuthur dim i aflonyddu ar eu rhyddid a'u cysuron; ond os yw yn amlwg ddigon eu bod hwy yn meddwl ein niweidio ni, nid yw yn ormod i ni ein hamddiffyn ein hunain, er peri gradd o siomedigaeth iddynt hwy; ac os aiff pethau mor bell, nid yw yn ormod i ni gymeryd eu bywyd, os dyna yr unig ffordd i achub ein bywyd ein hun. Nid yw rhyddid yn ymddangos yn hawddgar iawn, mae yn wir, pan y mae yn fflamio yn llygaid ac yn dysgleirio ar gleddyfau pobl sydd wedi penderfynu na fynant eu gorthrymu yn hŵy; ac nid yw yn ddymunol mewn un modd dilyn ei chamrau pan y mae yn meddwi ei chleddyf â gwaed, yn gorchuddio meusydd â chelaneddau, ac yn bloeddio yn nghanol llawer o bethau y mae lliaws o adgofion hyfryd yn clysdyru o'u hamgylch, "Dymchwelwch, dymchwelwch, dymchwelwch, hyd oni ddelo yr Hwn y mae yn gyfiawn iddo." Ond wedi y cwbl, yn nghanol rhyw helyntion ofnadwy fel yna y mae ein breintiau gwerthfawrocaf wedi eu sicrhâu; ac yr ydym yn annheilwng o'n tadau ac o'n breintiau hefyd, os awn i gondemnio y digofaint oedd yn anocheladwy wrth sicrhâu i ni yr etifeddiaeth sydd fwy ei gwerth na'r ddaear. Mae y Senedd yn cael cydymdeimlad Scotland o'i thu, canys y mae yr ymdrech o blaid rhyddid gwladol a chrefyddol. Mae y Gymanfa Gyffredinol yn Edinburgh yn derbyn llythyr oddiwrth amryw o'r duwinyddion Seisonig yn amlygu "mai dymuniad y rhai mwyaf duwiol a chyfrifol yn eu mysg oedd cael llywodraeth Bresbyteraidd wedi ei sefydlu yn eu plith, yr hon y mae y fath sail iddi yn ngair Duw, ac mewn rheswm crefyddol, ac fod iddynt gyttuno â hwy mewn cael un Gyffes Ffydd, un Cyfarwyddyd Gwasanaeth, un Holwyddoreg, ac un ffurf o lywodraeth."* Yr oedd nifer mawr o honynt eisoes yn Bresbyteriaid, wedi cael eu harwain i hyny gan amgylchiadau; ac y mae yn dra naturiol mewn pobl nad oeddynt wedi ystyried fod crefydd i fod ar wahân oddiwrth y llywodraeth, ac mewn pobl oeddynt, yn enwedig, wedi dyoddef y fath galedi blin oddiwrth Esgobyddiaeth, hiraethu am gael Presbyteriaeth yn grefydd y Wladwriaeth. Fe gawsai y dynion difrifol ag oeddynt yn sychedu am ryddid i lafurio, wedi hyny wneyd yr hyn a allent yn ngwasanaeth eu Meistr, heb neb i'w llesteirio, a'u bygwth, a'u cosbi. Mae y Senedd, mae yn amlwg, yn gogwyddo yn yr un cyfeiriad. Yn

* *Hetherington, p.* 88. "*Acts of General Assembly,*" 1642.

mis Medi y flwyddyn hon yr ydym yn cael y ddau Dŷ yn pasio deddf a elwir "Deddf er llwyr ddileu a symud ymaith bob archesgobion, esgobion, eu canghellwyr, a'u dirprwywyr, &c.,"—yn trefnu "na fydd ar ol Tach. 5ed, 1643, yr un archesgob, &c., ac y bydd holl urddasolion a swyddogion yr eglwysi cadeiriol wedi eu symud ymaith, eu titlau a'u swyddogaeth wedi darfod, a'u cyflogau yn dychwelyd i'r brenin; ac fod eiddo yr eglwysi cadeiriol yn cael ei roddi yn ngofal ymddiriedolwyr, y rhai a dalant gyflog i'w diweddar feddiannwyr, a chyda'r gweddill a gynnaliant weinidogion fo yn pregethu, lle bo anghen, yn y trefydd ac yn y wlad."* Dyma y breladaeth ar ben. Mae y Llyfr Chwareuon hefyd, oedd mor anwyl ganddi, yn cael ei fwrw allan. Gelwir gweinidogion anfedrus ac anfucheddol i brawf, ac adferir y dynion da a droisid allan am ommedd cydymffurfio â mympwyon, ac ymostwng i ormes Charles a Laud.

Teimlid anghen am Gymanfa o Weinidogion ac eraill i ystyried achosion crefyddol, ac i roddi cyfarwyddyd i'r Senedd beth a ellid wneyd tuag at sefydlu llywodraeth a ffurfwasanaeth Eglwys Loegr, a thuag at amddiffyn ei hathrawiaeth, yn wyneb camgyhuddiadau a chamddeongliadau. Gwrthodai y brenin gymeryd dim rhan yn hyn, ac am hyny nid oedd dim i'w wneyd ond i'r Senedd gymeryd y mater i'w llaw ei hun, a phasio y peth yn ordeiniad. Felly y ffurfiwyd Cymanfa enwog Westminster. Yr oedd y breladaeth wedi ei dinystrio er ys naw mis yn ol; ac yn y cyfamser nid ellir dyweyd fod un math o lywodraeth eglwysig yn y deyrnas; ac y mae Cymanfa Westminster yn gynnadledd o dduwinyddion a dynion cymhwys eraill, wedi eu hapwyntio gan ddau Dŷ y Senedd, i ystyried pa ffurflywodraeth a ddewisid yn ei lle. Wedi llawer o ystyriaeth bwyllog, penderfynwyd cyttuno â Chymanfa Gyffredinol Scotland i fabwysiadu "Y Cyfammod a'r Cynghrair Difrifol." Cyfammod pwysig iawn ydyw hwn. Buasai yn dda genym pe buasai genym ofod i roddi cyfieithiad o hono. Y mae yn ymrwymiad difrifol i ymdrechu, trwy ras Duw, i amddiffyn y grefydd ddiwygiedig yn Eglwys Scotland mewn athrawiaeth, gwasanaeth, dysgyblaeth, a llywodraeth,—i ddiwygio crefydd yn Lloegr a'r Iwerddon mewn athrawiaeth, gwasanaeth, dysgyblaeth, a llywodraeth, yn ol gair Duw, ac esiampl yr eglwysi diwygiedig goreu,—ac i ddwyn eglwysi Duw yn y tair teyrnas i'r undeb a'r cydffurfiaeth agosaf o ran crefydd, Cyffes Ffydd, ffurflywodraeth eglwysig, &c., fel y byddo i ni a'n hiliogaeth ar ein hol fyw fel brodyr, mewn ffydd a chariad, ac yr ymhyfrydo yr Arglwydd breswylio yn ein plith." Y maent yn ymrwymo hefyd i wrthsefyll Pabyddiaeth, Esgobyddiaeth, coelgrefydd, cyfeiliornadau, llygredigaeth, a phob peth sydd yn groes i burdeb yr efengyl; a thra y maent am amddiffyn y brenin o ran ei berson a'i awdurdod, y maent hefyd yn sier o ofalu am hawliau a breintiau y Senedd, a rhyddid y deyrnas. Gelwir ef "Y Cynghrair a'r Cyfammod difrifol, er diwygio ac amddiffyn crefydd, anrhydedd a dedwyddwch y brenin, a heddwch a diogelwch y tair teyrnas, Scotland, Lloegr, a'r Iwerddon; a gyttunwyd arnynt gan Ddirprwywyr o Senedd a Chymanfa y Duwinyddion yn Lloegr, a Dirprwywyr o'r Gynnadledd Wladol a'r Gymanfa Gyffredinol yn Scotland; a gymeradwywyd gan

* *Neal, Vol.* II., *pp.* 150, 151.

Gymanfa Gyffredinol Eglwys Scotland, a chan ddau Dŷ y Senedd a Chymanfa y Duwinyddion yn Lloegr, ac a gymerwyd ac a lawnodwyd ganddynt yn y flwyddyn 1643; ac wedi hyny, trwy yr un awdurdod, a gymerwyd ac a lawnodwyd gan bob gradd yn Scotland a Lloegr yr un flwyddyn, ac a gadarnhäwyd trwy weithred yn Senedd Scotland yn y flwyddyn 1644."* Mae y brenin yn anfon cyhoeddiad allan o Rydychain nad ydyw hwn ond ymgynghreiriad bradwrus yn ei erbyn ef a chrefydd sefydledig y deyrnas, ac yn gorchymyn yn gaeth i'w ddeiliaid beidio ei gymeryd. Ond ni waeth heb. Y mae y Senedd a'r bobl yn glŷnu wrth eu penderfyniad, a Phresbyteriaeth sydd yn cael ei sefydlu yn grefydd y wladwriaeth. Yn 1649, y mae y brenin yn cael ei ddienyddio. Yn fuan wedi hyny, y mae Cymanfa Westminster, yr hon oedd wedi bod mewn bodolaeth bellach er ys tua phum' mlynedd a hanner, yn cael ei chyfnewid i fod yn gyfeisteddfod i brofi ac arholi gweinidogion, ac yn parhâu i gynnal cyfarfodydd i'r amcan hwnw hyd fis Mawrth 1652, pan wasgarodd Cromwell y Senedd Hir, gan yr hon yr oedd y cyfeisteddfod hwnw wedi ei apwyntio. Yn 1654, yr ydym yn cael Cromwell yn sefydlu y Profwyr y soniasom am danynt, ac yn cymeryd mesurau cryfion er sicrhâu gweinidogaeth effeithiol i'r bobl.

Yr ydym wedi bod yn lled faith gyda'r rhan yma o'n hymchwiliad; a'n rheswm am hyny ydyw, ein bod yn teimlo yn awyddus i'n darllenwyr gael syniad clir am godiad a chynnydd Puritaniaeth, am yr amgylchiadau dan ba rai yr ymladdwyd brwydr rhyddid yn ein gwlad, ac yn enwedig am sefyllfa pethau pan y gosodwyd y gweinidogion Puritanaidd yn y bywioliaethau eglwysig. Yr oedd *Esgobyddiaeth wedi ei diddymu yn llwyr fel crefydd wladol* gan yr unig allu sydd yn meddu hawl i hyny, sef y *llywodraeth;* yr oedd yr un gallu wedi gosod *Presbyteriaeth* yn ei lle; a'r gallu hwn a *osododd y Puritaniaid yn eu bywioliaethau eglwysig.* Dyna y pa fodd y daethant yno.†

2. Yr ydym yn cwestiyno yn fawr y dull y siaredir am y gweinidogion esgobyddol a dröwyd allan. "Gan Eglwyswyr Seisonig yr eilfed ganrif ar bymtheg," ebe y *Saturday Review,* "fe edrychid ar eu Heglwys fel yr un â'r Eglwys Gyffredinol drwy yr holl oesoedd. Meddai gysegredigaeth traddodiad parchedig; yr ydoedd yn gysylltiedig yn eu meddwl â'r holl ddysgeidiaeth a'r holl sancteiddrwydd a ddangosasai yr Eglwys erioed i'r byd. Hi ddaeth iddynt hwy fel trefn sefydledig, wedi ei seilio ar awdurdod allanol. Gofynai oddiar law ei gweinidogion ymgysegriad galluoedd uchaf eu henaid a'u meddwl, a derbyniai yr hyn a ofynai."‡ Mae yn debyg fod yr ysgrifenydd hwn yn dysgwyl y buasai ei ddarllenwyr yn cymeryd eu dallu i'w anwybodaeth neu ei anonestrwydd hanesyddol, gan feiddgarwch ei haeriad. Ond y mae yn camgymeryd. Gall plant weled trwy beth fel yma. Mae yn debyg fod gan y clerigwyr hyny

* *Hetherington, p.* 128.

† "Y Senedd Hir am dymmor," ebe Dr. Halley, "ae wedi hyny y Ddiffyniaeth, oedd yr unig ben ag oedd yn bosibl i Eglwys Loegr gael. Yr oedd Cromwell, yn eglwysyddol, yr hyn a fuasai Harri yr Wythfed o'i flaen, yn ben yr Eglwys Seisonig; a chan fod Harri yn orthrymwr creulawn, Edward yn blentyn diamddiffyn, Elizabeth yn ddynes a fynai ei ffordd, Iago yn goegyn culfeddwl, a Charles yn dwyllwr diymddiried, fe'm tueddir i feddwl fod Cromwell yn well pen na'r un ag yr oedd Eglwys Loegr, hyd ei amser ef, wedi ei gael o gwbl."—"*The Design and Effects of the Act of Uniformity,*" *p.* 114.

‡ "*Saturday Review" for July* 26, 1862.

ryw syniad am yr Eglwys wladol fel hen sefydliad; ond y gwerth oedd yn hyny oedd y *gallu* a roddai yn eu llaw, ac nid y fantais i wasanaethu Duw. Yr ydoedd yn cael yr hyn a ofynai! Yr ydym wedi gweled i raddau *beth* ydoedd yn gael. Laud a'i frodyr yn dysgu y bobl i ddefnyddio dydd yr Arglwydd i chwareu ac nid i addoli, yn defnyddio eu holl dalent i ymgais am awdurdod wladol ac arglwyddiaeth ar gydwybodau dynion, gan adael addysgiaeth eu praidd i fyned lle yr elo. Os mynwch weled cysegredigaeth eu galluoedd uchaf at wasanaeth yr Eglwys, edrychwch arnynt yn ddefosiynol yn darllen am y campau o'r pulpudau a godwyd i bregethu sancteiddrwydd, a "thad ei bobl" yn myned allan o'r allor i gadw y cyfrif. Fe ddywedir fod amryw o'r gwŷr parchedig yn analluog i ddarllen; ond y mae yn hynod effeithiol meddwl am yr ymdrech a wnaent i sillebu allan ychydig o feddwl Llyfr bendigedig y Chware, beth bynag a ddaw o'r Llyfr Gweddi. Y mae y fynwent yn llawn bywyd pan ddechreuir y *game*, er fod yr Eglwys yn amser y gwasanaeth yn llawn marwolaeth. Os oes yna ryw rai yn gwahaniaethu oddiwrth y meibion ffyddlawn hyn i'r Eglwys, gyrir hwynt allan o'u bywioliaethau, holltir eu trwynau, torir ymaith eu clustiau, gwarthnodir hwynt, a lluchir hwynt i garcharau. "Yr wyf yn gwybod," meddai Baxter, "fod rhai dynion yn y byd a fynant i ni gredu na thröwyd nemawr neb ond dynion teilwng a dysgedig allan, a hyny am eu ffyddlondeb i'r brenin ac i'r esgobion. Ond y mae yr oes hon wedi dysgu i'r byd càn lleied o grediniaeth sydd i'w roddi i'r fath ddynion. Yr wyf dan rwymau i ddywedyd fod o leiaf chwech am bob un, os nad ychwaneg (yn yr holl Siroedd yr wyf fi yn gydnabyddus â hwy); o'r rhai a ddiarddelwyd, wedi eu profi, trwy lwon tystion, yn analluog neu yn anfucheddol, neu bob un o'r ddau; yr oeddynt yn euog o feddwdod a llwon, &c., a'r rhai hyny ag oeddynt yn bregethwyr galluog a duwiol, a fwriwyd allan yn unig oblegid y rhyfel neu yn achos eu barnau politicaidd, ac yr oeddynt yn ychydig iawn. Yr wyf yn gwybod y gwna hyn anfoddloni y blaid hono; ond y mae yn wir."* "Yr oedd llawer o'u troseddau mor aflan," ebe Fuller yr hanesydd, ei hunan yn perthyn i'r Eglwys, "fel y mae yn warth eu hadrodd." Yr oedd llawer o'r gweinidogion hyn yn rhyfeddol o lygredig, rhai yn cadw tafarnau, llawer yn feddwon ac yn hapchwareuwyr, a llawer yn analluog i ddarllen. O flaen pwyllgor Mr. White, yn ei ymchwiliad i ansawdd y weinidogaeth yn yr Eglwys, yr ydym yn cael rhyw ddadguddiedigaethau rhyfedd wedi eu gwneyd. Cyhoeddodd y gŵr hwnw gant o achosion gwaradwyddus oedd yn galw ar y cyfeisteddfod i ddiswyddo clerigwyr. Dyma ychydig engreifftiau: "Yr oedd Mr. Terry, Curad Smerden, wedi bod mor ddiofal yn ei alwedigaeth, fel pan ddeuai y gynnulleidfa ynghyd ar ddydd yr Arglwydd, ei fod ef yn absennol, heb neb yn gwybod ymha le. Wedi bod uwch ben y bedd yn rhy feddw i ddarllen y gwasanaeth claddu. Yn arfer myned i dafarnau isel ac annhrwyddedig, lle y gorchfygid ef yn gymaint gan feddwdod, fel y ceid ef yn gorwedd yn y baw ar yr heol, ac yn cael ei gynnorthwyo i'w dŷ gan ddau o ddynion—yn dorwr heddwch y Brenin trwy guro eraill, yn wŷr ac yn wragedd, a hyny hyd yn nôd wrth ddrws yr Eglwys. Yr hyn oll a ellir ei brofi trwy lw tystion parchus yn y plwyf." Hanner

* *Baxter's "Life and Times."*

cant o'r plwyfolion wedi llawnodi yr ardystiad hwn. Y mae y Parchedig Edward Barbett, Vicar Chislet, heblaw iddo fod am hanner blwyddyn yn y carchar fel methdalwr oblegid afradlonedd, "yn gelwyddwr cyffredin, yn dyngwr nodedig, yn draethwr serthedd ffiaidd ac anweddus, yn arfer geiriau nad ydynt gymhwys i'w traethu gan un dyn diwair, nac i gael eu gwrando gan un dyn cristionogol—yn arwain bywyd trythyll, ac yn haeru nad yw priodas ond seremoni arwynebol, dim ond mwngial yr offeiriad." Yr oedd un periglor "yn hapchwareuydd mawr, ac yn gyrchwr gwastadol i dafarnau, lle yr erys i yfed a chwareu, weithiau dair, ac weithiau bedair o nosweithiau cyfain." Hyn oll yn nechreu yr ymchwiliad yn 1640; ac y mae oddeutu ugain o amgylchiadau fel hyn yn dyfod i'r golwg ar unwaith mewn un Sîr, a hono yn un o'r rhai goreu. Beth am yr holl Siroedd eraill, a chofio fod eu nifer yn ddeuddeg a deugain! Y clerigwyr anfucheddol yn ychydig *eithriadau* yn wir! Ai dyma dy dduwiau di, O *Saturday Review?* Ai dyma dy gyfeillion ysplenydd o'r ail ganrif ar bymtheg oeddynt yn rhoddi i'r Eglwys yr hyn yr ydoedd yn ei ofyn! Ac nid yw y *nifer* a roddir yn gywir. "O chwech i saith mil" ydyw y cyfrif a gymerir yn gyffredin. Hyd yn nôd pe byddai y cyfrif yma yn gywir, y mae llawer i'w ddyweyd o blaid y diswyddiad:—1. Yr oedd chwech o bob saith, yn ol Baxter, yn anghymhwys, o ran anwybodaeth neu lygredigaeth, i'r swydd gysegredig. 2. Yr oedd y gweddill yn proffesu gwrthwynebiad penderfynol i'r Llywodraeth. 3. Mae y diswyddiadau hyn yn ymestyn dros gyfnod o ugain mlynedd. 4. Gadewid iddynt y bummed ran o'u cyflogau wedi hyny, yn ol apwyntiad y Llywodraeth, tuag at eu cynnaliaeth. 5. Nid allech ddysgwyl fod y Puritaniaid ymhell uwchlaw eu hoes mewn goddefgarwch. Yr oeddynt wedi eu dysgu mewn ysgol ofnadwy, yn y gorthrwm a ddyoddefasant pan yn ddinaswyr ufudd a ffyddlawn; ac yr oedd yn naturiol iddynt gadw eu llaw yn drom ar eu gorthrymwyr wedi iddynt ddyfod i awdurdod eu hunain, yn enwedig yn yr adeg pan oedd tymmorau ystormus y cyfnewidiad heb ymdawelu yn eu mynwesau. Ond *nid yw* y cyfrif yn gywir. "Yr wyf yn anturio sicrhâu," ebe Dr. Vaughan, "nad oedd y clerigwyr plwyfol oedd yn cael eu gorfodi yn barhâus i ymadael o bulpudau yr Eglwys Sefydledig, yn ystod yr ugain mlynedd o flaen 1660, yn ddim mwy nag oddeutu mil. Yr wyf yn profi y gosodiad hwn fel hyn: Yn 1660, fel y dywed Mr. Venables, pasiwyd Act yn frysiog, yr hon oedd yn gofyn, Fod i bob gweinidog o Eglwys Loegr, yr hwn a dröwyd allan o'i fywioliaeth, a'r hwn nad oedd yn cyfiawnhâu llofruddio y brenin, neu yn gwrthwynebu bedydd babanod, gael ei adferu i'w fywioliaeth ar y 25ain o Ragfyr. Y mae Mr. Venables yn myned ymlaen ac yn dyweyd mai y canlyniad ydoedd 'Fod llawer o gannoedd o honynt wedi eu hadferu i'w bywioliaethau cyntefig.' Y mae Baxter, wrth gyfeirio at y clerigwyr a adferwyd felly, ac mewn cysylltiad nas gallai leihâu eu nifer, yn dyweyd eu bod yn llawer o gannoedd. Y mae y gweinidogion Presbyteraidd, mewn papyr a gyfeiriwyd at y Preladiaid yn 1661, a elwid 'Deiseb am Heddwch,' yr hwn a ddyfynid gan Mr. Venables, yn dyweyd eu bod yn rhai cannoedd. Os ystyriwn hwy rhwng pump a chwe' chant, y mae hyny yn llawn cymaint ag a allwn gymeryd; ond yn ol deddfau marwolaeth y pryd hyny, fel y cyfrifwyd gan fwy nag un o'n prif gyfrifwyr, nid oedd y nifer allai fod yn

fyw yn 1660, os oedd yr holl nifer wedi eu diarddel er 1640, yn ddim mwy nag oddeutu un fil. Yr wyf yn tybied, pa fodd bynag, fod cymaint arall â hyny wedi eu diswyddo; ond y gwirionedd yw, y mae genym reswm i gredu fod eu hanner yn llawn wedi myned yn ôl drachefn. Y mae yn ddigon hysbys fod llawer wedi gwneyd hyny. Nid yw haeriadau noeth rhai trwyadl bleidiol o fath Gauden neu Bramhall, ar yr achos hwn, o ddim gwerth; ac nid yw Walker, ar gwestiwn y nifer, yn gwneyd fawr ychwaneg nag ail adrodd eu haeriadau."*

3. Nid ydym yn sicr nad yw Cromwell yn cael ei drin yn rhy galed gan y ddwy ochr yn y mater yma. Gyda golwg ar gyhuddiadau y clerigwyr, y mae yn gweddu i ni gofio fod y Senedd a'r Presbyteriaid yn gweithio yn egnïol tuag at bwyso y weinidogaeth cyn i'r awenau ddyfod i'w law ef, ac nad oedd ei Brofwyr ef ond yn cario allan yr un amcan ag oedd gan y lleill o'u blaen. Yr oedd Esgobyddiaeth wedi ei dileu er ys blynyddoedd cyn iddo ef ddyfod i'r golwg, gan ddau Dŷ y Senedd a'r Brenin (oblegid *efe* a lawnododd yr ysgrif). Ac am y ffyddlondeb a ofynid i'r Llywodraeth gan Cromwell oddiar law rhai mewn swyddau dani, beth a allasai fod yn fwy rhesymol? Yr oedd y llywodraeth hono yn llywodraeth mor wirioneddol â'r un fu erioed ar ein gwlad. Yn wir, beth oedd yn y Gwrthryfel Mawr, ys dywed Macaulay, nad ydoedd hefyd yn y Chwyldröad yn amser William? Ac eto "mae yr un personau ag sydd ar y pummed o Dachwedd yn diolch i Dduw 'am iddo dywys yn rhyfeddol ei was Gwilym, a'i ddwyn yn ddiogel i Loegr, i'n cadw rhag diweddar ymgais ein gelynion i'n difuddio o'n crefydd a'n cyfreithiau,' ar y degfed ar hugain o Ionawr yn gallu ofni rhag y bydd gwaed y Merthyr Breninol yn cael ei ofyn oddiar eu llaw hwy neu eu plant."† Yr oedd llywodraeth y Weriniaeth, ar bob cyfrif, yn llywodraeth y wlad mor wirioneddol â'r eiddo William. Ac a fuasai yn rhesymol am fynyd dysgwyl iddo ef dderbyn dynion i swyddau o elw ac ymddiried mawr dan y Goron, tra y proffesent yr elyniaeth fwyaf at ei berson a'i lywodraeth, ac y gwrthodent roddi cymaint ag addewid o ffyddlondeb cyffredin? A fuasai Napoleon III. yn gwneyd hyny? Yn wir, a fuasai unrhyw lywodraeth yn rhywle yn gwneyd y fath beth? Mae yn ddrwg genym fod rhai dynion da wedi dyoddef ychydig oblegid hyn; ond yr ydoedd yn anocheladwy. Drachefn, am gwynion y Presbyteriaid yn erbyn Cromwell, yr ydym ni yn edrych arnynt, yn hytrach, fel anrhydedd iddo. Yr oeddynt hwy yn teimlo yn flin na fuasai yn cario allan Bresbyteriaeth Cymanfa Westminster gyda llaw uwch fel crefydd y llywodraeth, ac yn eiddigeddu braidd am ei fod yn noddi yr enwadau eraill. Mae yn wir fod Cromwell yn Annibynwr ei hun; ond y mae mor wir a hyny ei fod, o ran ëangrwydd meddwl a chalon, yn tra rhagori ar bawb oedd o'i amgylch. Pen y Wyddfa ydoedd, yn edrych i lawr nid yn unig ar y mân fryniau, ond ar y mynyddoedd uchel hefyd, ac yn gweled dros eu penau ëangder mawr y wlad. Yr oedd efe yn ymwybodol o bwysigrwydd yr adeg yr oedd yn byw ynddi; a phan oeddynt gyda'r egwyddorion sylfaenol am bethau eraill, yr oedd ganddo lygaid i weled a chalon i deimlo fod amcan i wneuthur daioni gan fwy nag un enwad o Gristionogion, ac y gallai ganiatâu iddynt eu rhyddid, ac amddiffyn y llywodraeth, fel eu gilydd.

* "*Mi Dd'weda i chwi*," tu dal. 9. † "*Essays*," *Vol.* I., *p.* 20.

Os yw y llywodraeth i noddi crefydd oll, y mae yn deg iddi ei noddi yn y fath fodd fel y gallo mwy nag un ran o'r frawdoliaeth fawr gyfranogi o'i nawdd, ac nid pentyru ar un blaid ryw gyfoeth aneirif, a hyny ar draul gwrthod cydnabod y lleill i gyd, ie, ar draul eu beichio mor drwm tuag at gynnal y blaid nad ydynt hwy yn gallu swnio eu Shibboleth, ac na fynant dderbyn eu gwasanaeth. Gwell fyth, mae yn ddiammheu, fyddai gadael y cwbl ar yr un tir a'u gilydd, fel y gallont oll wneyd eu goreu, yn y ffordd a ordeiniodd Brenin yr eglwys ei hunan, tuag at ddwyn ymlaen ei achos mawr ar y ddaear. Ond gan fod gan lywodraeth Cromwell nawdd eglwysig i'w gweinyddu, yr oedd yn gwneyd y peth goreu a ellid, trwy ei hestyn i ddynion teilwng yn ddiwahaniaeth. Yr oedd y gweinidogion gan mwyaf, mae yn wir, yn Bresbyteriaid, oblegid yr oedd Presbyteriaeth yn 1648 wedi ei gwneyd gan y Senedd yn grefydd wladol y deyrnas. Ond yr oedd llawer o'r clerigwyr Esgobyddol hefyd yn parhâu yn eu swydd, megys Sanderson, Bull, Pocock, Thomas Fuller, ac eraill; ac er na oddefid iddynt *ddarllen* y Llyfr Gweddi, caent *adrodd* faint a fynent o hono yn y gwasanaeth. Yr oedd Dr. Owen yn Is-ganghellydd Prifathrofa Rhydychain, a Dr. Goodwin yn Athraw Coleg Magdalen yn yr un lle; y ddau yn Annibynwyr. "Yr oedd Cromwell, mewn gwirionedd," ebe Hallam, "o dueddfryd rhyddgarol; ac ni bu ar y cyfan, hwyrach, dymmor mor hirbarhäol, yn yr hwn y dyoddefodd y Pabyddion eu hunain càn lleied o aflonyddwch â than ei weinyddiaeth ef. Y mae yn eithaf adnabyddus iddo ganiatâu i'r Iuddewon ymsefydlu yn Lloegr wedi iddynt gael eu cau allan am yspaid o dri chàn mlynedd, a hyny er gwaethaf gwrthwynebiad Eglwyswyr a chyfreithwyr rhagfarnllyd."* Drachefn: "Y mae rhywbeth yn haerllug mewn awdwyr Eglwysyddol i achwyn, fel y gwnant yn awr ac eilwaith, o herwydd yr erlidigaeth a ddyoddefent yn y cyfnod hwn, pan gofiom pa beth oedd ymddygiad yr esgobion yn flaenorol, a pha beth a fu wedi hyny. Nid wyf yn gallu gwybod ddarfod i *un* aelod o Eglwys Loegr gael ei garcharu dan y Werinlywodraeth, oddieithr ar ryw achos gwladyddol; sicr yw nad oedd y carcharau yn llawnion o honynt." Ac ebai Esgob Kennett, "Y mae yn sicr fod yr Amddiffynydd yn bleidiol i ryddid a goddefiad i'r graddau helaethaf i bob plaid, mor bell ag y byddai yn gyson â heddwch a diogelwch ei berson a'i lywodraeth; ac yr oedd hyd yn nôd ei ragfarn yn erbyn y blaid Esgobyddol yn fwy am eu bod yn Freninwyr, nag am eu bod yn aelodau o'r hen Eglwys ddaionus."†

Ond er pobpeth, nid yw amgylchiadau y deyrnas yn gysurus iawn. Yr oedd yna lawer math o ddysgwyliadau, a lliaws o honynt yn anmhosibl, wedi eu ffurfio ar sefydliad y llywodraeth newydd. Yr oedd yna lawer "pen" yn dal yn rhyfeddol o gryf am ei "opiniwn," fel yr oedd yr Amddiffynydd weithiau yn gorfod cymeryd yr achos i'w law ei hun, rhag i'r cerbyd, tra yr oedd y penau hyny yn ymguro yn erbyn eu gilydd, fyned dros y graig, Ond yr oedd yn llawn ddigon o orchwyl yn aml, hyd yn nôd i law gref Oliver, ddal yr awenau. Cyn marw y mae, wrth weled fel yr oedd pethau yn myned, yn dyweyd gyda thristwch y mae yn anhawdd i ni ei amgyffred, "Hwy a ddadwnant eto yr hyn oll a

* "*Const. Hist. of England,*" *Vol.* II., *pp.* 428, 429. † *Cited by Neal, Vol.* IV., *p.* 125.

wnaethom, a dygant y deyrnas hon yn fuan i'r un cyflwr truenus ag yr oedd ynddo o'r blaen." Medi 3ydd, 1658, bu farw. Fe gwympodd tywysog a gŵr mawr y dydd hwnw yn Israel! O! Richard, nid yw o ddim dyben i *ti* geisio llywodraethu y wladwriaeth derfysglyd yna; yr ydoedd yn llawn ddigon o orchwyl i'r gŵr mawr, dy dad, yr hwn oedd un o'r ysbrydoedd cryfion nad yw Duw yn eu hanfon ond anaml mewn canrifoedd, i wneuthur gwasanaeth pwysig drosto yn y byd. Y mae Monk a'r Breninwyr yn ymgadarnhâu ac yn parotoi y ffordd i adfer y Tywysog Charles, a'i osod ar yr orseddfainc. Y mae y Presbyteriaid hefyd yn meddwl, ond cael Charles i'r orsedd, y caent bobpeth a ddymunent. Hwynt-hwy sydd yn gwneyd y mwyafrif mawr yn y Senedd pan y mae yn cael ei wahodd yn ôl. Och fi, mor fyr eu golwg yw meibion dynion! Yr oedd yna rhyw ddyn dall, sut bynag, a elwid John Milton, yn gweled ychydig i'r dyfodol. Yr oedd efe fel Calchas yn yr Iliad.

"Ος ᾔδη τά τ' ἐόντα, τά τ' ἐσσομενα, πρό τ' ἐόντα—

yn adnabod yr hyn sydd, yr hyn a fydd, a'r hyn a aeth heibio. "Gwae chwi," meddai, "Bresbyteriaid yn enwedig, os bydd i neb o hiliogaeth Charles byth adfeddu teyrnwialen Lloegr! Credwch fi, chwi gewch dalu yr holl gôst."*

Y maent hwy, pa fodd bynag, yn meddwl yn wahanol. Mae yn ddiammheu eu bod yn ddynion meddylgar a chraff; ond y maent yn awr, fel y mae dynion da weithiau, yn enwedig wedi syrthio i ddwylaw cnafiaid, yn ymddwyn yn ffol. Y maent yn taflu eu cwbl ar ffyddlondeb y crëadur mwyaf annheilwng ar yr holl ddaear i gael ei anrhydeddu â'u hymddiried. Ond onid yw wedi cymeryd a llawnodi y Cyfammod a'r Cynghrair Difrifol yn Spey yn 1651, ac wedi hyny pan goronwyd ef gan bobl Scotland yn Scoon, yn 1652? Ac onid yw wedi rhoddi pob math o addewidion daionus i ni yn Breda, àc wedi dywedyd yn ei ddadganiad cyhoeddus oddiyno i'r deyrnas hon, "Yr ydym yn cyhoeddi rhyddid i gydwybodau tyner; ac na fydd i'r un dyn gael ei aflonyddu na'i alw i gwestiwn am wahaniaeth barn mewn achosion crefyddol, y rhai nad ydynt yn aflonyddu ar heddwch y deyrnas?"† Ydyw, y mae ei "enau yn llyfnach nag ymenyn, a rhyfel yn ei galon; tynerach oedd ei eiriau nag olew, a hwynt yn gleddyfau noethion."‡ Fel Mr. Ammheuwr yn y "Dydd Hwnw" gan *Hiraethog*, buasai genym ninnau fwy o ymddiried ynddo "pe buasai y tywysog yn fwy cyndyn i addaw a thyngu. Y mae yr hwn sydd yn rhydd iawn ganddo addaw a thyngu, yn rhwydd iawn ganddo dori ei addewidion, a diystyru ei lŵon drachefn, yn o gyffredin."|| Pa fodd bynag y mae Charles yn cael ei adferu, ac y mae y Presbyteriaid wrth eu bodd. Onid oedd y pedwar gweinidog a fu gydag ef yn Breda, trwy ddyfais gywrain y rhagrithiwr breninol yn gorchymyn eu gosod mewn ystafell, lle, heb ei weled, y gallent ei glywed, wedi ei glywed ar ei liniau yn diolch ei fod yn "frenin cyfammodol," ac yn gofyn am ras i fod yn ostyngedig ac yn faddeugar? Mae y brenin yn cael ei dderbyn gyda rhwysg mawr, gan ugain mil o bobl, y rhai ar feirch, ac ar draed, oeddynt wedi myned i'w gyfarfod; mae y ffyrdd yn

* "*A Defence of the People of England.*' † "*Documents,*" *p.* 3. ‡ Psalm lv. 21.
|| Tu dal. 12.

cael eu gorchuddio â blodau, y clychau yn canu, yr heolydd yn cael eu haddurno â *tapestry*, ffynnonau yn rhedeg gan win; arglwyddi a phendefigion wedi eu gwisgo mewn aur, ac arian, a melfed; udgyrn, a cherddoriaeth, &c.* Yn nghanol yr orymdaith ysplenydd, chwi a welwch ddeuddeg o wŷr difrifol a hybarch, wedi eu gwisgo mewn gynau Genevaidd. Gweinidogion Presbyteraidd Llundain ydynt; ac yr ydych yn teimlo y cwestiwn ar flaen eich tafod, Beth a wnei di yma, Elias? Ond y maent hwy yn edrych yn hapus ar orfoledd y diwrnod fel llwyddiant eu hamcan hoff eu hunain; a phrin y maent yn abl i gynnwys eu llawenydd, pan mae yr hybarch Mr. Jackson, yr hynaf o honynt, yn myned at y brenin ac yn cyflwyno Bibl iddo, ac yntau, canys fe fedr wneyd peth felly, yn ei dderbyn yn raslawn, gan ddadgan y caiff fod yn rheol ei ymarweddiad. "Ar adferiad Charles II. i orsedd ei henafiaid," ebe Dr. Halley, "nid oedd neb yn ei groesawu yn fwy calonog, nac yn fwy trystfawr, na'r Presbyteriaid Seisonig. Ar y 29ain o Fai, anrhydeddid ei esgyniad yn y bore yn yr Eglwysi trwy bregethau hirion, ac yn y prydnawn yn y marchnadleoedd, trwy gwrw cryf a *claret!* Yr oedd yn Frenin Cyfammodol. Yr oedd wedi cydnabod yn gyhoeddus bechod ei dad yn priodi ei fam, yr hon oedd Babyddes. Cyffesasai bechodau ei ieuenctyd, gan eu priodoli i'r addysg ddrwg a dderbyniasai gan ei rieni. Yr ydoedd wedi gwrando, gydag addfwynder a gras priodol, ar bregeth hir iawn, a digon anhawdd ei dyoddef, a bregethasid o'i flaen, ac iddo, gan Lywydd Cymanfa Ysgotland, ar ei goroniad yn Scoon. Ai nid efe oedd y dyn i ymddiried yr Eglwys i'w ofal?"†

"C'wfaner banerau, a thanier magnelau,
  A seinied tafodau holl glychau ein gwlad;
Wel, llenwch y gwydrau hyd at yr ymylau,
  Cydyfwn, a rhoddwn i'r brenin fawrhâd!

Cynneuer banffaglau ar benau 'r mynyddau,
  A saethed y fflamau hyd entrych y nef;
A thwrf ein llawenydd a rwygo 'r wybrenydd,—
  Byw byth fyddo 'r brenin fo 'n llais yn un llef!"‡

Mae yr holl glerigwyr a droisid allan yn cael eu hadferu i'w bywioliaethau trwy Act Seneddol; ac am adferiad ei brenin y mae y deyrnas i gyd yn feddw gan lawenydd. Mae y Puritaniaid yn dechreu pryderu, mae yn wir, wrth weled pethau yn myned ymlaen fel y maent. Ond mae y brenin yn gwrando yn raslawn arnynt; y mae yn mis Hydref yn cyhoeddi Dadganiad ymha un y mae yn cydnabod swyddogaeth Presbyter, ac yn peri iddynt obeithio am le yn llywodraethiad yr Eglwys. Y mae yn cynnyg cael diwygio y Ffurfwasanaeth gan nifer cyfartal o dduwinyddion Presbyteraidd ac Esgobyddol. Mae y Presbyteriaid wrth eu bodd eto. Apwyntir Calamy, Reynolds, Ash, Baxter, Spurstow, Wallis, Bates, Manton, Case, a rhai eraill, i fod yn gaplaniaid i'w Fawrhydi.|| Derbyniodd Dr. Reynolds esgobaeth Norwich. Mae y Brenin Cyfammodol yn sicr yn meddwl am gadw ei addewidion; ac onid oeddym ni yn iawn yn mynu ei adferu? Yn mis Tachwedd y flwyddyn hon,

* "*Evelyn's Diary,*" I., *p.* 355. † "*The Design and Effects of the Act of Uniformity,*" *p.* 125. ‡ "Y Dydd Hwnw," tu dal. 27. "*Ods fish*" hefyd, Mr. Hiraethog,—fe fuasai Waller, druan, yn synu eich bod yn gwneyd cystal bardd o hono. || "*Reliquiæ Baxterianæ,*" *pp.* 229—232.

yr ydym yn cael y Senedd yn cyfarfod wedi gohiriad; ond mae yn amlwg iawn fod ei hysbryd yn rhyfeddol o chwerw yn erbyn y Puritaniaid. Y maent yn pasio Act, y llyfrgwn dirmygedig! fod i gyrff Cromwell, Ireton, Bradshaw, a Pride, gael eu codi o'u beddau, a'u crogi mewn cadwyni. Ac y mae yr Act i roddi grym cyfraith i Ddadganiad y Brenin yn mis Hydref yn syrthio i lawr ar yr ail ddarlleniad. Mae yr esgobion erbyn hyn yn gwbl ymwybyddus o'u nerth, ac yn teimlo eisoes fod y fflangell yn eu llaw. Pa fodd bynag, fe wneir rhyw rith o gadw addewid y brenin am gynnadledd; ac ar y 25ain o Fawrth, 1661, fe roddir allan warant y brenin yn apwyntio Cynnadledd Savoy, ac yn penodi deuddeg o bob ochr i gyfarfod eu gilydd, "i ymgynghori uwch ben, ac i adolygu y Llyfr Gweddi Cyffredin, gan gymharu y cyfryw â'r ffurfiau o wasanaeth henaf a ddefnyddiwyd yn yr Eglwys, yn yr amseroedd boreuaf a phuraf; ac i'r amcan yna, i ymgynnull ac i ddyfod ynghyd o bryd i bryd, ac ar adegau penodol, yn ystod y pedwar mis dyfodol, yn nhŷ y meistr yn y Savoy, yn y Strand, yn Swydd Middlesex,—i gymeryd i'ch ystyriaeth ddwys a difrifol, y gwahanol gyfarwyddiadau a rheolau, ffurfiau o weddiau, a phethau sydd yn gynnwysedig yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, ac i gydymgynghori gyda golwg arnynt, a'r gwahanol wrthresymau a'r eithriadau a godir yn awr yn erbyn y cyfryw. Ac os bydd eisieu, i wneyd y fath gyfnewidiadau, a chywiriadau, a gwelliadau rhesymol ac angenrheidiol ag a gyttunir arnynt genych chwi, yr archesgob, yr esgobion, y doctoriaid, a'r personau a enwyd (y gelwir arnoch, ac yr awdurdodir chwi i gyfarfod ac ymgynghori), fel yn anghenrheidiol a doeth, er rhoddi boddlonrwydd i gydwybodau tyner, ac adferu a pharhâu heddwch ac undeb yn yr eglwysi o dan ein nawdd a'n llywodraeth," &c.* Penodwyd naw o bob ochr i gynnorthwyo y rhai hyn, ac i gymeryd eu lle pan nad allent fod yn bresennol. Dyma rywbeth. Gwarant freninol yn ein galw ynghyd, y dynion goreu wedi eu penodi, amcan y gynnadledd yn cael ei osod ger bron yn y ffordd decaf sydd yn bosibl, a phedwar mis o amser yn cael ei roddi tuag at wneyd y gwaith. Oni wnaethom ni yn dda adferu ei Fawrhydi i orsedd ei henafiaid? Ni gawn sefydlu pethau yn awr mewn cyd-ddealltwriaeth mor dda fel na fydd perygl i ni bellach syrthio i brofedigaeth, ac fe fydd y plant sydd heb eu geni yn bendithio ein Cynnadledd! Llawenhêwch, frodyr diniwed! nid ydych eto yn deall mai chwareu â chwi y mae eich Brenin Cyfammodol, ac nad yw yr holl drefniadau mawrion hyn yn ddim ond ffug. Y mae y mater, pe byddech yn deall, wedi ei benderfynu er ys dyddiau. Gadewir i chwi ymladd, a siarad, ac ysgrifenu a phobpeth, dros y pedwar mis yna, os bydd hyny yn eich boddio; ond y mae y gagendor sydd rhyngoch â'ch gwrthwynebwyr yn anmhosibl ei lenwi. Ni syfla y mynydd hanner modfedd, ac os na fyn Mahomet fyned ato ef, hwy fyddant byth heb gyfarfod.

Ewch i fewn ar y 15fed o Ebrill i ystafell y Gynnadledd. Y maent wedi dyfod at eu gilydd am y tro cyntaf. Ar un ochr, dyna yr hen esgobion, ydynt wedi gorfyw eu holl helynion, ac adgofion blynyddoedd lawer o ymryson, a cholli'r dydd, a thlodi, a dirmyg, a dinodedd, wedi ceroni o amgylch eu calonau. A ydych chwi yn meddwl fod rhywbeth

* "*The King's Warrant*"—"*Documents,*" *pp.* 108, 189.

tebyg i ildio i'w ddarllen ar y gwynebau uchel, trahâus, a sarug yna, yn enwedig pan y mae eisoes y fath gyd-ddealltwriaeth rhyngddynt â'i Fawrhydi y Brenin Cyfammodol? Na, y mae ysbryd Laud wedi adgyfodi ymhob mynwes o honynt, ac y maent yn teimlo brys am weled yr adeg yn dyfod y cânt dywallt eu llid ar eu gwrthwynebwyr. O'r ochr arall, yr ydych yn gweled y "dyhirod hyny," fel y dywed Clarendon y byddent arferol o'u galw, ag oeddynt wedi peri y fath helbulon i'w gwrthwynebwyr. Y maent yna; Baxter, Calamy, Manton, Reynolds, Bates, &c.; bobl anwyl, y fath ddynion! Y maent wedi astudio y pwnc yn drwyadl. Y mae pob gosodiad, a phob gwrthddadl, a phob eglurhâd, yn berffaith glir yn eu meddwl, ac y maent yn barod i'w cadarnhâu â mynyddoedd o resymau, a'u hegluro a'u hamddiffyn, os bydd eisieu, trwy ddysgeidiaeth anhyspyddadwy. Pe buasai Cynnadledd Savoy y peth y proffesai ei bod, fe fuasai yn eithaf rhesymol i gyfeillion y gwirionedd lawenhâu o'i phlegid fel cyfleusdra gwerthfawr i adfer heddwch a theimladau da rhwng y pleidiau. Ond mae yn amlwg ddigon fod yr holl achos wedi ei benderfynu ymlaen llaw; mae yr esgobion yn benderfynol o ddal eu tir fel y mynydd ei hunan, heb gymaint a meddwl am ildio dim i gydwybod y Puritaniaid. Yr oeddynt hwythau yn dyfod yno yn eu diniweidrwydd, gan feddwl mai Cynnadledd ydoedd i fod, ac fod y naill ochr mor awyddus â'r llall i ddyfod i gyd-ddealltwriaeth. Yr oeddynt hefyd yn teimlo yn gryf yn yr ystyriaeth nad oeddynt hwy mewn un modd yn ymgais at wasgu eu golygiadau eu hunain ar yr esgobion, ac felly sicrhâu cydffurfiaeth cyffredinol yn ol eu meddwl hwy; yr oeddynt yn foddlawn i'r esgobion wneyd fel y mynent, ond yn unig fod iddynt hwy gael eu rhyddhâu oddiwrth faich a deimlent yn rhy drwm ar eu cydwybod. Ac felly yr ymresyment, gan ddadleu o blaid rhyddid cydwybod a heddwch yr Eglwys. Ond nid yw yr holl ymdrech o ddim pwrpas. Yr ydych yn gryfion, mae yn wir, dònau mawrion, ond yr ydych yn ymguro yn erbyn y graig.

Yr oedd yr esgobion newydd eu hadferu i'w hen urddas, a theimlent yn dra dyrchafedig oblegid hyny. Teimlent yn ormod o ddarostyngiad arnynt ymostwng *i siarad*, fel y buasai yn weddus, â'r pregethwyr oeddynt heb eu cymhwyso i'w gwaith "trwy gyffyrddiad gyfriniol Preladiaeth." "Yr hyn a'u hanfoddlonai yn fwy na phobpeth," ebe Baxter, "oedd y rhyddid â pha un y llefarwn wrthynt—fy mod yn llefaru wrthynt hwy *fel pe buasem yn gydradd*." Nid oedd dim yn yr un o'r dynion hyny sydd wedi eu codi i olwg y byd; yn wir y maent *yn cael eu cofio* am eu bod wedi dyfod i gyffyrddiad yn yr amgylchiadau hyn â'r dynion enwog yr ydym yn awr yn anrhydeddu eu coffadwriaeth; ac eto y maent yn chwitho yn rhyfeddol fod Baxter, yr hwn, fel y sylwai un Esgob,* oedd gryn lawer yn fwy goleuedig na'r rhai hyn, "y buasai yn ddigon o fawredd ar unrhyw oes gynnyrchu ei fath," a "phe buasai yn byw yn yr oesoedd boreuaf y buasid yn ei ystyried yn un o'r tadau,"—yn llefaru wrthynt fel pe buasai yn gydradd â hwy. Yr oedd y safle a gymerent yn y cyfarfod hwn yn hollol annheilwng o Gynnadledd. "Yr ydym ni," meddant, "yn hollol foddlawn ar y ffurfwasanaeth a'r trefniadau fel y maent; os oes arnoch chwi eisieu rhyw gyfnewidiadau, nodwch hwynt,

* Dr. Wilkins.

a dygwch eich rhesymau." A mwy, galwent arnynt i wneyd hyny ar unwaith ac mewn ysgrifen, fel y gwelent yr oll oedd arnynt eisieu. Nid oedd dim tebyg i "ystyried a chydymgynghori," ac ymgais i ddyfod i gyd-ddealltwriaeth, mewn peth fel yna. Eisteddent, yn wir, ar y fainc fel barnwyr, a gadawent holl faich y ddadl ar ysgwyddau y lleill. Yr oedd yn amlwg eu bod wedi penderfynu ar eu cynllun o weithredu,—gadael i'r Puritaniaid siarad ac ysgrifenu faint a fynent, a'u cael i ddwyn eu holl gwynion ymlaen yn un cruglwyth mawr, fel y gallent dreulio yr amser heb wneyd dim, a throi arnynt a'u dal i fyny i anghymeradwyaeth yn y diwedd, fel rhai yn ceisio am bethau ag yr oedd yn anmhosibl eu caniatâu iddynt, ac fel rhai nad ellid eu boddloni ond trwy lwyr ddymchwelyd yr holl drefniadau a'r holl wasanaeth yr oeddynt hwy yn gosod y fath werth arnynt fel pethau a ddaethant i lawr iddynt yn barchedig gan gysegredigaeth oesoedd lawer. "Yr oedd Sheldon," ebe Esgob Burnet, "yn gweled yn dda beth fyddai effaith eu gorfodi i wneuthur eu holl geisiadau ar unwaith; cododd eu rhif gri uchel yn eu herbyn fel dynion nad ellid byth eu boddloni." Ac eto pe buasai dymuniad gonest yn y Gynnadledd i ddiwygio y Llyfr Gweddi, fe fuasai cwynion y Puritaniaid yn ei erbyn o werth mawr iawn. Yn wir y maent mor rhesymol, fel yr ydym yn synu fod neb yn dadleu yn eu herbyn, ac fod Eglwys o Brotestaniaeth Efengylaidd Eglwys Loegr yn gallu cydddwyn cyhyd â'r pethau yr oedd ein tadau yn cwyno mor fawr o'u plegid. O'n rhan ni, yr ydym yn meddwl fod y Puritaniaid yn camgymeryd pan, yn eu gorawydd am gael yr esgobion i ryw delerau, y safent ar ryddid cydwybod mewn pethau dibwys; gallasent gymeryd tir cryfach a dadleu anmhriodoldeb y pethau ynddynt eu hunain, ac oddiar hyny, y gorthrwm a'r anghyfiawnder dyblyg o orfodi dynion difrifol a sanctaidd i gydymffurfio â hwynt yn erbyn eu cydwybod. Ond yr oedd hyn yn dyfod yn benaf oddiwrth Baxter, yr hwn a gymerai y rhan drymaf o'r baich arno, a'r hwn prin y gallwn ei ystyried ymhob peth yn cynnrychioli Puritaniaid y deyrnas. Pa fodd bynag, gâd i ni osod ger dy fron, ddarllenydd mwyn, y prif gwynion a ddygid ymlaen ganddynt yn erbyn y Llyfr Gweddi Cyffredin.

Ystyrient y dylai y gweddïau, &c., yn y ffurfwasanaeth, fod yn rhydd oddiwrth bobpeth sydd yn *ammheus* neu yn *anmhenderfynol* ymysg dynion duwiol, dysgedig, ac uniongred, yn gymaint ag mai amcan y cyfryw ydyw cael pawb i gyttuno yn ngwasanaeth Duw, ac fod cyfyngu cymundeb eglwysig at bethau o'r fath ymhob oes wedi bod yn achos o sism ac ymraniad. Yr oedd y diwygwyr gynt, pan yn trefnu y ffurfwasanaeth, yn gwneyd mor ychydig o gyfnewidiadau ag y gallent ar eiddo Eglwys Rhufain, er mwyn ennill y Pabyddion; ai ni fyddai yn ddoeth yn wyneb yr amgylchiadau hyn, ac oddiar yr un teimlad da, ei drefnu yn y fath fodd fel ag i gadw i fewn y nifer fawr o ddynion duwiol sydd yn methu ei dderbyn, fel y cadarnhäer yr achos mawr yn erbyn y gelyn cyffredin? Na ddylid cadw y Garawys fel ympryd crefyddol, gan nad yw gwaith Crist yn ymprydio ddeugain niwrnod a deugain nos ddim i'w ddynwared genym ni mwy na'i wyrthiau. Fod cadw dyddiau y seintiau fel gwyliau crefyddol, heb sail iddo yn y Bibl, ac y gellid eu hesgeuluso. Fod dawn gweddi yn ras y mae Crist yn ei roddi i'w eglwys er adeiladaeth, ac i'w ddefnyddio er ei lles yn ol ei gwahanol amgylchiadau, a dymunid

na threfnid gorfodi y fath gydymffurfiad â'r gwasanaeth ag a gauo allan yn llwyr yr arferiad o'r dawn hwn. Y dylid diwygio yr hen gyfieithiad o'r Ysgrythyrau a ddefnyddir trwy yr holl wasanaeth lle y mae yn amlwg wallus neu anmherffaith. Dymunid na ddarllenid dim yn y llithiau ond Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd, Dymunent newid y gair offeiriad am y gair gweinidog, a dydd Sul am ddydd yr Arglwydd. Teimlent wrthwynebiad mawr i gael eu gorfodi i wisgo y wenwisg, i ddefnyddio arwydd y groes yn y bedydd, ac i benlinio wrth dderbyn Swper yr Arglwydd, yn gymaint ag y gallai fod y pethau hyny yn gysylltiedig yn meddwl y bobl â phethau sydd yn hollol groes i burdeb a symlrwydd yr efengyl. Wedi y geiriau "Gwared ni rhag y drwg" yn ngweddi yr Arglwydd, ystyrient y dylid ychwanegu y geiriau pwysig eraill a ddefnyddia ein Hiachawdwr, "Canys eiddot ti yw y deyrnas, a'r gallu, a'r gogoniant, yn oes oesoedd;" ac y gallai y byddai yn dda peidio gorfodi defnyddio y weddi hon mor fynych yn y gwasanaeth boreuol a phrydnawnol. Mae y "Gogoniant i'r Tad," &c., yn cael ei ddefnyddio yn aml wyth, ac weithiau ddeng waith, mewn gwasanaeth; barnent fod hyny yn anfuddiol. Yn Ngwasanaeth y Bedydd y mae son am dadau bedydd a mamau bedydd, ond dim am rieni y bedyddiedig; ystyrient hwy mai y rhieni sydd i ddwyn y plentyn ymlaen, ac mai yn eu hawl hwy y mae yn cael ei fedyddio, ac mai hwy yn unig sydd i ymgyfammodi drosto. Pa fodd y gallai fod dwfr "wedi ei sancteiddio, trwy fedydd Iesu Grist yn afon Iorddonen, er dirgel olchedigaeth pechodau?"* Yn y weddi cyn bedydd dywedir, "Sancteiddia'r dwfr hwn er dirgel olchedigaeth pechodau," &c.; ac wedi y bedydd y mae y gweinidog i ddywedyd, "Mawr ddiolchwn i ti, drugarocaf Dad, ryngu bodd i ti adeni y dyn bychan hwn â'th Ysbryd Glân, ei dderbyn yn blentyn i ti dy hun trwy fabwys, a'i gorffori i'th Lân Eglwys." Beth sydd yma ond ailenedigaeth yn medydd? Y mae yn bosibl yn sicr i'r Ysbryd Glân wneuthur y cyfnewidiad grasol ar galon plentyn pan y mae yn cael ei fedyddio; ond y mae cymeryd yn ganiatäol mor ddibetrus â hyn ei fod bob amser *yn* gwneyd hyny, yn enwedig gan ein bod yn gwybod yn dda fod miloedd lawer wedi eu bedyddio, yn byw yn hollol wahanol i bobl wedi eu haileni,—yn rhwym o fod yn gamgymeriad, ac yn gamgymeriad rhyfeddol o beryglus. Mae y gair yn y Catecism yn cynnwys yr un cyfeiliornad, "Pan y'm gwnaethpwyd yn aelod o Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd." Buasent hwy yn ystyried yn fwy priodol dyweyd, "Pan y'm derbyniwyd yn weledig i nifer aelodau Crist, plant Duw, ac etifeddion teyrnas nefoedd." Yn niwedd gwasanaeth bedydd dywedir, "Rhaid i chwi edrych dwyn y plentyn hwn at yr Esgob i'w gonffirmio ganddo, càn gynted ag y medro ddywedyd y Credo, Gweddi yr Arglwydd, a'r Dengair Deddf, yn yr iaith gyffredin, ac yr addysgir ymhellach yn Nghatecism yr Eglwys a osodwyd allan ar fedr hyny." Ystyrient hwythau nad oedd gallu adrodd y pethau hyn ar gof yn ddigon o gymhwysder i blentyn dderbyn conffirmasiwn, gan fod amryw yn alluog i wneyd hyny yn bump neu chwe' mlwydd oed, er iddynt fod yn analluog i ddeall beth oedd ymgymeryd â gwasanaeth Duw oddiar rwymedigaeth bersonol; a dymunent na chonffirmid neb ond yn

* Gwasanaeth y Bedydd.

ol Dadganiad y Brenin, "Fod conffirmasiwn i gael ei weinyddu yn briodol a difrifol trwy hysbysiad, ac yn ol cydsyniad gweinidog y lle." Yn y gwasanaeth hwnw, cyn i'r esgob ddodi ei law ar y plant, dywed, "Hollalluog a byth-fywiol Dduw, yr hwn fu wiw genyt adgenedlu dy weision hyn trwy ddwfr a'r Ysbryd Glân, ac a roddaist iddynt faddeuant o'u holl bechodau," &c. A ydyw yn bosibl i unrhyw esgob gredu fod yr holl blant a gonffirmir ganddo wedi eu haileni a chael maddeuant o'u pechodau? Ac wedi dodi ei law arnynt, y mae yn dywedyd, "Yr ydym yn gwneuthur ein gostyngedig erfynion atat dros dy weision hyn, y rhai, yn ol esiampl dy sanctaidd apostolion, y gosodasom yr awrhon ein dwylaw arnynt, i'w sicrhâu hwy, trwy yr arwydd hwn o'th ymgeledd a'th radlawn ddaioni tuag atynt." Dymunid na chymerid esiampl yr apostolion i arddodi dwylaw mewn conffirmasiwn, oblegid na wnaent hwy hyny yn y fath amgylchiad, ac hefyd am fod Erthyglau Eglwys Loegr yn ei alw yn beth sydd wedi dyfod i fod "o lygredig ddilyn yr apostolion."* Ac fel y gallesid dysgwyl, gwrthwynebent yn gryf ddefnyddio y fath eiriau peryglus yn y gwasanaeth hwn. Mae yn debyg mai ychydig iawn o'r rhai a gonffirmir sydd *yn meddwl dim* yn ei gylch; ond pe dygwyddai i fachgen neu eneth feddwl rhywbeth, y mae tuedd uniongyrchol yn y peth i wneyd niwed echrydus iddynt. "Dyma fi wedi fy aileni, wedi cael maddeu fy mhechodau, ac wedi fy sicrhâu gan y gŵr uchaf ei urddas yn yr Eglwys o ymgeledd a rhadlawn ddaioni Duw tuag ataf,"—a hyn oll yn annibynol ar agwedd yr enaid yna ger bron yr Un Mawr, yn annibynol ar ei fod hyd yn nôd heb wneyd yr un ymdrech i adael ei bechodau, ac i gymeryd gafael yn y bywyd tragywyddol! Yn Ymweliad y Claf, y mae y gweinidog i "gynhyrfu y dyn clwyfus i wneuthur cyffes hysbysol o'i bechodau, os efe a glyw ei gydwybod mewn cythrwfl gan un achos pwysfawr. Ar ol y gyffes hono y gollwng yr offeiriad ef (os efe yn ostyngedig ac yn ffyddlawn a'i dymuna) yn y wedd hon: Ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a adawodd feddiant i'w Eglwys i ollwng pob pechadur a fyddo gwir edifeiriol, ac yn credu ynddo ef, o'i fawr drugaredd a faddeuo i ti dy gamweddau; a thrwy ei awdurdod ef, a ganiatäwyd i mi, y'th ollyngaf o'th holl bechodau, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen." Rhaid gwneyd hyn i bawb yn ddiwahaniaeth, pa un bynag a fyddo y gweinidog yn cael lle i feddwl eu bod yn credu yn Nghrist ai peidio; ac y mae yn cyhoeddi y gollyngdod hwn yn ei enw ei hun, "Yr ydwyf yn dy ollwng o'th holl bechodau!" Rhaid gweinyddu cymun i'r claf, os bydd yn dewis hyny, pa un bynag a fyddo mewn ystâd briodol i'w dderbyn ai peidio. Nid oes dim yn cael ei adael at ddoethineb a difrifwch y gweinidog ei hun mewn amgylchiadau fel hyn. Yn Ngwasanaeth Claddedigaeth y Marw, rhaid i'r gweinidog ddyweyd, "Yn gymaint â rhyngu bodd i'r Goruchaf Dduw, o'i fawr drugaredd, gymeryd ato ei hun enaid ein hanwyl frawd yma a ymadawodd â'r byd, gan hyny yr ŷm ni yn rhoddi ei gorff ef i'r ddaear —mewn gwir ddiogel obaith o'r adgyfodiad i fywyd tragywyddol, trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Drachefn, "Yr ydym yn mawr ddiolch i ti, fod yn wiw genyt waredu ein brawd hwn allan o drueni y byd pechadurus hwn," &c. A thrachefn, "Nyni yn ostyngedig a attolygwn i ti,

* Erthygl XXV.

O Dad, ein cyfodi ni o angeu pechod i fuchedd cyfiawnder; fel y bo i ni wedi ymado â'r fuchedd hon, orphwys ynddo Ef, megys y mae ein gobaith fod ein brawd hwn, &c." Nid yw yn weddus mewn un modd ddefnyddio geiriau fel hyn ond am y rhai a fyddo yn ddiammheuol dduwiol; ond eto rhaid eu darllen am bawb yn ddiwahaniaeth; rhaid diolch i'r Arglwydd am gymeryd ato ei hun, ac i orphwys ynddo ef, ddynion y mae tystiolaeth ymhob calon yn y claddedigaeth, os yw Bibl Duw yn wir, mai diwedd y rhai a wnant eu gweithredoedd hwy yw dystryw! Onid yw yn ofnadwy gwneyd claddedigaeth y marw yn ffug ac yn chwareufa? ac onid yw yn fwy ofnadwy fyth os ydyw clerigwyr o ddifrif yn darllen pethau fel yna uwchben bedd y rhai y gwyddant na roisant erioed yn eu bywyd yr un arwydd o edifeirwch? Onid yw hyn o anghenrheidrwydd yn peri i'r bobl fod yn ddiofal am eu mater mawr? canys cânt fyned i'r nefoedd ar ol marw, sut bynag y dewisont fyw. Dymunai y Puritaniaid hefyd ar fod rhyw ofal yn cael ei ddangos dros fod yr efengyl yn cael ei phregethu mewn purdeb a difrifwch yn y gwahanol Eglwysydd, fel y byddai ymdrech yn cael ei wneyd i ddwyn ei chenadwri fawr i gyffyrddiad â chydwybodau y gwrandäwyr.*

Mae yn wir fod yr esgobion yn gwneyd rhyw fath o atebiad i'r pethau hyn; ond sylwedd y cwbl ydyw na fynant mewn un modd gyfarfod y Puritaniaid mewn dim o'r pethau yr oeddynt hwy yn gydwybodol yn eu hanghymeradwyo. Fel y gallech ddysgwyl oddiwrth y personau, yngystal ag oddiwrth y pwnc, y mae cadernid mawr yr ymresymu gan y Puritaniaid; ond pa ddyben ymresymu â'r bobl y mae yr awdurdod ganddynt?

"Ti ŵr gwan, taw â'r gwir!"

Y mae yr esgobion yn gweled y gallant fforddio diystyru eu gwrthwynebwyr. "Mae y dynion a ffieiddiwch yn gymaint yn ddynion duwiol," ebe Baxter; "y maent yn cael llawer o gymundeb â Duw." "Pw, pw, ar y cymundeb yma â Duw," ebe doctor parchedig yn y Gynnadledd. "Yr ydwyf yn erfyn arnoch beidio bwrw ymaith gynifer o'ch brodyr yn y genedl, yn unig am betruso ynghylch seremonïau a elwch yn ddibwys," meddai Baxter, ar ryw ymddyddan arall. "Sylwch," ebe Sterne, Esgob Carlisle, gan droi at ei gyfeillion clerigol, "ni ddywed *yn y deyrnas*, rhag iddo gydnabod brenin." "Dyma yr oll," meddai Baxter, "a glywais i y prelad teilwng hwnw yn ddyweyd o gwbl." Wel, wedi iddo roddi dadganiad i'r fath ddrychfeddwl gogoneddus â hwna, yr ydoedd yn weddus iddo dewi, gan mai dyn marwol ydoedd, rhag iddo trwy ryw ddamwain ddyweyd dim a fuasai yn annheilwng o'r fath ddoethineb! Pan oedd Bates yn llefaru rywbryd, dywedai y gellid, yn ol yr egwyddorion y dadleuent hwy drostynt, ddwyn i fewn y dwfr sanctaidd, y canwyllau, a seremonïau Pabaidd eraill. "Gellid," meddai Dr. Gunning; "ac yr ydwyf yn meddwl y dylem gael ychwaneg o'r fath seremonïau, ac nid llai." A phan awgrymai Baxter, wrth weled y ffordd yr elent ymlaen, eu bod yn amcanu ei ddystewi ef a'i frodyr, cyhuddid ef yn ddigllawn o geisio eu gwneyd hwy yn adgas fel erlidwyr creulawn. "O fewn

* "*The Exceptions against the Book of Common Prayer, drawn up by Reynolds, Wallis, Calamy, Newcomen, Bates, Clarke, Jacomb, &c.*—"*Documents,*" *pp.* 111—146.

ychydig wythnosau," ychwanega, "Yr oedd Dr. Morley wedi fy nystewi *i*."*

Ni wnaeth y Gynnadledd hon ddim lles. Ni wnaeth ond lledu y gagendor yn fwy. Yr oedd y *Convocation* yn eistedd y dyddiau hyny, a chymerwyd y Llyfr Gweddi dan sylw yno. Gwnaed tua chwe' chant o fân gyfnewidiadau, ond dim un i gyfarfod âg anhawsderau y Puritaniaid. Yn hytrach, amcanent i'w wneyd yn fwy caeth fyth. "Yn awr," ebe yr Archesgob Sheldon, "gan ein bod yn gwybod eu meddyliau, ni a'u gwnawn yn gnafiaid i gyd, os cydymffurfiant." Ac y mae Esgob Burnet yn addef "yr ymddangosai mai holl amcan yr esgobion oedd, nid yn unig peidio gwneyd yr un cyfnewidiad er eu mwyn, ond gwneyd telerau cydymffurfiad yn fwy caeth nag oeddynt cyn y rhyfel. Rhoddwyd ychwaneg o lithiau o'r Apocrypha i fewn, yn unig er mwyn gwneyd y gwasanaeth yn fwy adgas i'r Puritaniaid. Dywedir fod un doctor parchedig, neu wir barchedig, wedi rhedeg allan i'r heol, gan waeddi mewn buddugoliaeth, "Yr ydym wedi ei chario hi am Bel a'r Ddraig!" Sut yr oedd modd i'r gŵr defosiynol beidio llawenhâu!

"A wnaethoch chwi lawer o gyfnewidiadau?" ebe'r brenin, yn y "Dydd Hwnw."

"*Sheldon.* Tua chwe' chant.
*Bren.* *Ods fish!* Wel, y mae y llyfr chwe' chan' gwaith gwell nag o'r blaen!
*Sheldon.* Y mae yn well at ein pwrpas ni ar hyn o bryd, beth bynag.
*Bren.* O ïe, a roisoch chwi Stori Bel i mewn?
*Sheldon.* Do.
*Bren.* O'r goreu; a Susana?
*Sheldon.* Ië, a Susana hefyd.
*Bren.* Da iawn; a Thobit a'i gi?
*Sheldon.* Wel, naddo yn wir.
*Bren.* Gresyn garw na buasai yr hen gi i mewn."†

Gresyn anghyffredin; fe fuasai *mor* adeiladol! Mewn ymddyddan blaenorol yn y gwaith hwn, y mae ei Fawrhydi yn dyweyd,

"Ië, rho'wch y Ddraig a Bel i'w dychrynu,
A stori Susana nes taro nhw i synu,
A Thobit a'i gi ar eu sodlau nhw 'n glos,
I'w hanos gyda hyny."

Ond nid yw yn ddigon gommedd y Puritaniaid o'r un o'r diwygiadau y gofynent am danynt, a threfnu y gwasanaeth, &c., yn y fath fodd fel ag i'w wneyd yn fwy anghymeradwy fath ganddynt; y mae yn rhaid cael Act Seneddol hefyd yn gwneyd telerau cydymffurfiad yn gaethach eto, ac yn gwneyd yn anmhosibl i'r un dyn ddal bywioliaeth eglwysig heb ddadgan ei fod yn ddifrifol ac o galon yn cymeradwyo yr iau gaeth a ddodir ar ei ysgwyddau. Rhyfedd mor wahanol ydyw yr ysbryd a gynnyrchir gan yr ymwybyddiaeth o'r nawdd wladol i'r ysbryd a gynnyrchir gan gariad yr efengyl! Y mae yr olaf yn ëangu ac yn puro y galon, ac yn ein dysgu i gydnabod fel brodyr bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb. Y mae y frawdoliaeth sanctaidd yn ëangach nag y meddyliwn; ac yr ydym yn llawenhâu wrth edrych arni, ac yn gweled yn ei hagwedd bresennol ryw adlewyrchiad o ogoniant

* "*Savoy Conference*," p. 11. † Tu dal. 53.

y dydd cyflawn, pan fydd y goleuni sydd yn awr yn goreuro penau y mynyddoedd wedi gorchuddio yr holl ddaear; ac weithiau yn enwedig, yr ydych yn y brawdgarwch sanctaidd yna yn cael eich galluogi i gynnwys rhyw ymdeimlad dedwydd o'r gwynfyd sydd yn ein haros yn Ninas Duw, pan fydd y brodyr oll wedi cydgyfarfod yn nhŷ eu Tad, yn gweled lygad yn llygad, calon y naill yn curo mewn cynghanedd â chalon y llall, a'r oll mewn cynghanedd dragywyddol â chalon Duw. Y mae llawer rhyngom â chyrhaedd hyny yn awr, mae yn wir; ond y mae mor wir a hyny fod llawer o'r achos o'r diffyg i'w briodoli i'r anoddefgarwch a gynnyrchir yn y fynwes gan ein cariad at ein mympwyon mewn pethau dibwys, ac y mae yn ddiammheuol fod y drwg hwn yn cael ei chwyddo yn ddirfawr gan nawdd y llywodraeth wladol. Y mae y blaid sydd â'r llywodraeth wrth ei chefn, yn galw ar y llywodraeth i wneyd ei mympwyon hi yn ddeddfau, ac yn defnyddio y weinyddiaeth i gario allan gydymffurfiad manwl â hwynt. Dyma y blaid anffaeledig; paham? wel, mae ganddi awdurdod y llywodraeth o'i phlaid. Os na *ddewiswch* chwi gydymffurfio â ni, y mae genym ni fodd i'ch *gorfodi* i wneyd. Nid yw o un dyben ymresymu, na son am hawl dynion i farnu drostynt eu hunain. Y mae rhyw ysbrydoedd uchel wedi chwilio ac wedi cael gafael ar y gwirionedd, ac fel y maent hwy wedi meddwl y mae yn *rhaid* i chwithau feddwl. Nid yw ond ofer i chwi ddyweyd fod dynion eraill mwy, sancteiddiach, ëangach, a dyfnach eu gwybodaeth a'u dysg, wedi dyfod i benderfyniad gwahanol; ac nid yw ond ynfydrwydd i chwi ddyweyd nad ellwch chwi gael eich meddwl i ymgymeryd yn esmwyth â'r barnau a osodir arnoch, ac fod pob dyn i ffurfio ei farnau drosto ei hun, ac i ymateb cydwybod ddirwystr yn y pethau hyny yn gystal ag mewn pethau eraill. Edrychir ar eich gwaith hyd yn nôd yn petruso fel anffyddlondeb i'r llywodraeth, a gwrthryfel yn erbyn Duw. Ac am hyny rhaid dwyn eich bywioliaeth oddiarnoch, eich hysgymuno, eich taflu i ffau y llewod neu i'r ffwrn dân. Y mae yn amlwg iawn fod nawdd y llywodraeth bob amser yn gryfder arbenig i'r balchder a'r anffaeledigrwydd ffol sydd wrth wraidd yr anoddefgarwch hwn. Y mae yn ddrwg genym orfod addef fod llawer o ddynion da yn y gwahanol amseroedd wedi eu cipio ymlaen yn llifddwfr yr amgylchiadau yr oeddynt ynddynt, i gyflawni gweithredoedd o anoddefgarwch nad oes dim a ylch ymaith eu hystaen oddiar eu cymeriad. Ac wrth weled nad ydynt mewn profedigaeth i ymddyrysu gyda phethau o'r fath pan yn ddinawdd, ond eu bod yn gyffredin yr amser hwnw yn ymroddi i lafur ffyddlawn gyda y pethau mawrion, fel y gweddai i weision Duw,—yr ydym ni yn teimlo yn bur gryf oblegid hyn hefyd, yn gystal ag oddiar ystyriaethau pwysig eraill, na ddylai yr un ffurf o grefydd gael ei mabwysiadu fel crefydd y llywodraeth. Y mae yn gweddu i'r llywodraeth wladol fod yn grefyddol, mae yn wir; ond ei gorchwyl arbenig hi yw gofalu am achosion eraill; ac fe ofala teyrnas Dduw am dani ei hun, ïe, fe ddaw ymlaen yn annhraethol well pan y gadewir hi i gariad a ffyddlondeb ei deiliaid, na phan y mae y llywodraeth wladol yn ei maglu â'i nawdd ac yn ei thlodi â'i chynnysgaeth.

Pa fodd bynag, ni ddangoswyd erioed y fath gulni gwaradwyddus, y fath orthwm, a'r fath benderfyniad i ymddïal, a hyny tuag at nifer lïosog o'r dynion goreu a fu yn yr Eglwys erioed, ag a ddangoswyd yn ngwneuthuriad Act yr Unffurfiaeth sydd yn awr ger ein bron. Dyma

hi: "Act er Unffurfiaeth Gweddïau Cyhoeddus a Gweinyddiad Sacramentau a Defodau a Seremonïau eraill; ac er sefydlu ffurf gwneuthuriad, ordeiniad, a chysegriad Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid, yn Eglwys Lloegr." Mae yn debyg y buasai ein darllenwyr yn caru gweled gweithred mor hynod, eithr nid allwn ar hyn o bryd ond rhoddi crynodeb o honi. Rhaid i bob gweinidog ymhob Eglwys neu Gapel cadeiriol, athrofäol, neu blwyfol, neu rywle arall lle y cynnelir gwasanaeth cyhoeddus, yn Lloegr a Chymru, arfer a chydymffurfio â'r Llyfr Gweddi Cyffredin. I sicrhâu hyn, trefnir ymhellach fod pob gweinidog sydd yn awr yn dal unrhyw fywioliaeth eglwysig o fewn y deyrnas, ar ryw Sabbath cyn gŵyl St. Bartholoméus, 1662, ddarllen yn yr Eglwys, y Capel, neu lle bynag y bo yn gweinidogaethu, yn gyhoeddus ac yn ddifrifol, y weddi foreuol a phrydnawnol a apwyntir i'w darllen gan ac yn ol y Llyfr Gweddi Cyffredin; ac wedi gwneyd hyny, rhaid iddo yn gyhoeddus, ger bron y gynnulleidfa a fo yn bresennol, ddadgan ei gydsyniad hollol â'r Llyfr yn y geiriau hyn, "Yr ydwyf fi, A.B., yn declario yma fy niffuant gydsyniad a'm cymmodlonedd i'r pethau oll, a phobpeth cynnwysedig a gorchymynedig yn a chan y llyfr a elwir 'Llyfr Gweddi Cyffredin, a Gweinyddiad y Sacramentau, a Chynneddfau a Seremonïau eraill yr Eglwys, yn ol arfer Eglwys Loegr, gyda'r Sallwyr neu Salmau Dafydd, wedi eu nodi megys ag y maent i'w canu neu i'w dywedyd mewn Eglwysydd, a'r ffurf neu ddull o wneuthur, urddo, a chysegru Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid.'" A phwy bynag ni wnelo hyny, oddieithr fod rhyw rwystr ar y ffordd a gydnabyddir ac a gymeradwyir gan Esgob y lle, a phwy bynag ni wnelo o fewn un mis wedi i'r rhwystr hwnw gael ei symud, y mae i gael "ei ddifuddio *ipso facto* o'i holl ddyrchafiadau ysbrydol," ac y mae yr hwn y mae y fywioliaeth ganddo, i'w rhoddi i arall, "megys pe bae yr hwn, neu y rhai a gamweddant neu a esgeulusant felly, wedi marw." Rhaid llawnodi dadganiad o ffyddlondeb i'r brenin hefyd, a hyny mewn geiriau sydd yn dangos nad ydyw yn gyfreithlawn ar un cyfrif yn y byd gymeryd arfau yn ei erbyn. Y mae yr un tanysgrifiad yn eu rhwymo i gydymffurfio â ffurfwasanaeth Eglwys Loegr fel y mae yn awr wedi ei sefydlu trwy gyfraith; ac "i ddeclario" nad ydynt yn ystyried fod un rhwymedigaeth arnynt i gadw eu llw i'r *Solemn League and Covenant*, ac fod y llw hwnw yn un anghyfreithlawn, &c. Y mae yn rhaid hefyd i bob un a fo yn dal unrhyw fywioliaeth ar ŵyl Bartholoméus fod wedi derbyn ordeiniad esgobol, onidê y mae, ar y cyfrif yna, yn cael ei amddifadu o'r cwbl. Ac os meiddia rhywun weinyddu yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd, heb gael ei ordeinio gan Esgob, y mae i "fforffedio am bob trosedd swm can' punt, y naill hanner i fawredd y brenin, a'r hanner arall i'w ranu rhwng tlodion y plwyf" a'r person neu y personau a fo yn ddigon ffyddlawn i wneyd yr erlyniad. Rhaid dadgan cydsyniad hollol â'r Erthyglau hefyd. Ac os bydd i rywun a fo yn cael ei wahardd trwy y Ddeddf hon i bregethu, wneyd hyny tra y bo dan waharddiad, y mae i "ddyoddef am bob cyfryw drosedd, garchar tri mis yn y carchar cyffredin, heb na mâch na mainpris." Y mae y Ddeddf fendigedig hon yn gwneyd darpariaeth ar gyfer Cymru hefyd, fel na byddo i'r Dywysogaeth golli y bendithion gwerthfawr y mae yn eu gwlawio mor ddibrin ar y deyrnas i gyd! Y mae "Esgobion Henffordd, Dewi, Llanelwy, Bangor, a Llandaf, a'u Gwrth-

ddrychiaid, i ddefnyddio yn eu plith eu hunain, er iechyd enaid y preiddiau a orchymynwyd dan eu gofal yn Nghymru, gyfieithu y Llyfr a gydglymir â'r Act hon yn gywir ac yn gyfrdo i iaith y Brutaniaid, sef y Cymry," a'i brintio a'i gyhoeddi y fath fodd fel y gallo yr Act ddyfod i rym yn Nghymru erbyn Calanmai, 1665.

Pasiwyd yr Act Mai 19eg, 1662. Yr oeddynt wedi meddwl unwaith am iddi ddyfod i rym ar ddydd gŵyl Mihangel; ond gwelwyd, gyda meddylgarwch oedd yn deilwng o achos gwell, y byddai y gweinidogion wedi derbyn eu cyflog am y flwyddyn cyn hyny; a phenderfynwyd newid yr adeg i Awst 24, fel y gallent gael y fraint o fwynhâu penbleth y dynion cydwybodol yn fwy, pan, heblaw gorfod wynebu ar dlodi yn y dyfodol, y dygid oddiarnynt yr arian yr oeddynt yn ddiammheu wedi byw llawer arnynt, neu mewn dysgwyliad o honynt, y flwyddyn hono. Gwnaed pob ymdrech gan y gweinidogion a'u cyfeillion i leddfu rhywfaint ar y mesurau llymdost a ddarperid ar eu cyfer; ond, fel y gallesid dysgwyl, yn gwbl ofer. Yr oedd y cydffurfiaeth a wesgid arnynt erbyn hyn, ys sylwa Baxter, yn ddeng waith trymach nag o'r blaen. "Llawer gwaith," meddai, "yr attolygasom arnynt ddangos cymaint o ofal dros eneidiau dynion, anrhydedd Lloegr, a'r grefydd Brotestanaidd, fel, heb unrhyw anghenrheidrwydd yn y byd, na ddirwasgent anudoniaeth arnynt,—fel na chaffo y Pabyddion hyny i'w fwrw yn eu dannedd, a galw y Protestaniaid yn anudonwyr. Aml y profasom iddynt nad oedd eu hachos a'u llwyddiant yn galw am y fath beth. Ond nid oedd y cwbl ond tywallt olew ar y fflamau, ac yn peri i ni feddwl am yr anghenfil yn Milan a wnaeth i'w elyn wadu Duw i achub ei fywyd, cyn iddo ei archolli, fel y gallai lofruddio corff ac enaid ar un tarawiad. Ymddangosai fel pe'i hystyrid yr un peth anghenrheidiol, nad oedd yr un rheswm yn ei erbyn i'w wrando, fod y Presbyteriaid i gael eu gorfodi i gyflawni yr hyn a ystyrient hwy yn anudoniaeth cyhoeddus, neu gael eu bwrw allan o ymddiried a swydd, mewn eglwys a gwladwriaeth.—Ymddial gwych, a theilwng o'r rhai a'i gweithredent!"*

Mor fach oedd rhagwelediad y bobl hyn! Pe buasai ganddynt rywfaint o feddwl, gallasent weled ar unwaith i ba beth y buasai peth fel yna yn arwain. Os oeddynt yn wir gyfeillion i'r Eglwys, ac yn gofalu am lwyddiant teyrnas Crist yn y wlad, gallasent feddwl, "Pa les a ddeillia i ni trwy ddystewi nifer mor fawr o ddynion mor gryfion, mor sanctaidd, mor apostolaidd? Yn wir a ydyw yn bosibl i ni eu dystewi er pobpeth? Tybed nad yw y dynion yna o'r un ysbryd â'r gwŷr yn yr Actau, a ddywedent, 'Ai cyfiawn yw ger bron Duw, wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw, bernwch chwi? Canys nid allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom.'† Ac os mynant bregethu er pobpeth, tybed na fydd hyny yn achos o wendid dirfawr i ni, ac yn peri i galon y bobl ymddyeithro oddiwrthym?" Ond ni wrandewir ar ddim o'r ystyriaethau yna. Mewn amgylchiad fel hyn, fe fuasai Eglwys Rhufain yn gallach o lawer yn ei chenedlaeth. Y mae hi yn ëang yn ei hysbryd, ac mor ofalus i ddiogelu nerth iddi ei hun, fel y mae yn gwylio gyda llygad eiddigus iawn rhag i ddim mymryn o egni fyned yn ofer. "Cesglwch y briwfwyd gweddill fel na choller dim!"

* "*Reliquiæ Baxterianæ*," p. 387. † *Act* iv. 19, 20.

Hi a ofala am y penboethiaid a'r breuddwydwyr fel y dynion dysgedig a'r athronyddion, ac a gorffora i'w chynllun mawr ei hun o weithredu yr holl weithgarwch sydd o fewn gallu ei haelodau i gyd. Mor wahanol ydyw Eglwys Loegr. Y mae hi yn gul ac yn gaeth, ac yn cau allan o'i chymundeb y dynion goreu, nid am eu bod yn gwadu y pethau sylfaenol, ond am na fynant ymostwng i'w phethau dibwys, neu am fod tân Duw yn llosgi yn rhy danbaid o'u mewn i oddef cydymffurfiad manwl âg arferion y mae eu hysbryd yn rhew ar eu calon. Y canlyniad ydyw, yr agwedd bresennol sydd ar Brydain! *

Pa fodd bynag fe gostiodd y penderfyniad y daethant iddo ymdrech meddwl mawr i'r Puritaniaid. Ddarllenydd! y mae yna frwydr yn cael ei hymladd y dyddiau yna mewn llawer mynwes, sydd yn enwocach o lawer yn nghroniclau y byd tragywyddol na brwydrau enwocaf y byd. Y mae yr angelion o amgylch gweision Duw yn dal eu hanadl gan bryder sut y mae y fantol yn debyg o droi. Ar un llaw, *Cydnabod fod yn anghyfreithlawn ar un cyfrif i ddeiliaid godi yn erbyn eu brenin*, yr hyn iddynt hwy, wedi eu profiad efo Charles I., ydoedd yn dra ammheus, a'r hyn yn wir y darfu i'r holl deyrnas ychydig o flynyddoedd wedi hyn ymddwyn yn gwbl wahanol iddo gydag Iago; rhaid cydnabod y brenin hefyd *yn ben mewn pethau eglwysig ac ysbrydol*, tra y credent hwythau nad oedd pen yn yr ystyr yna ond Crist ei hun. Rhaid llawnodi dadganiad difrifol *o'u hollol gymeradwyaeth o'r Llyfr Gweddi Cyffredin*, tra y maent hwythau yn gydwybodol yn credu fod llawer o bethau yn y llyfr hwnw sydd yn beryglus o gyfeiliornus mewn athrawiaeth, a bod ei drefniadau y fath mewn llïaws o bethau fel nad allant hwy lai na'u hystyried yn ffol, ac yn anfuddiol, os nad yn beryglus. Ac heblaw hyn oll, *rhaid iddynt ymostwng i gymeryd eu hailordeinio gan Esgob*; y maent hwythau yn credu nad Preladiaeth yw y ffurf oreu o lywodraeth eglwysig, ac wedi cymeryd eu llw yn y Cynghrair a'r Cyfammod y byddent yn ffyddlawn i'w Presbyteriaeth; ac yn enwedig, *y maent wedi eu hordeinio eisoes*, ac fe fyddai eu gwaith yn ymostwng i'w hordeinio gan Esgob yn wadiad o'u hordeiniad blaenorol, ac yn gyffesiad ger bron y byd eu bod, fel twyllwyr, wedi hòni lle a swydd nad oedd yn perthyn iddynt. Ar y llaw arall, os na chydymffurfiant, *rhaid colli eu bywioliaeth*, rhaid myned gyda gwraig a phlant allan o'u cartrefi cysurus, a gwynebu, am ddim a wydd-

* "'*Estad ferme, Moise!*' gwaeddai bechgyn Seville pan fyddai heretic o Hebrëwr yn cael ei arwain at yr ystanc, a phan fyddai mynach yn gosod y groes o'i flaen. Rhag ofn i'r Iuddew truan ddadgyffesu, ac iddynt hwythau gael eu siomi o'r difyrwch o weled llosgiad heretic, fe fyddai y gweilch ieuainc hyn yn gwaeddi, 'Moses, saf yn ddiysgog!' Ac felly y dylai gelynion Eglwys Loegr waeddi yn awr. Pan y mae Arglwydd Ebury ac ychydig eraill yn ceisio gwneyd y gwasanaeth yn fwy poblogaidd trwy awgrymu ad-drefniadau a thalfyriadau, y mae lle i ofni y bydd arweinwyr yr Eglwys yn gwrthwynebu y gwelliant; ac yn y gwrthywnebiad yna fe fyddai yn ddoeth i elynion yr Eglwys sefyll yn gryf o'u plaid. 'Saf yn ddiysgog, fainc yr esgobion! saf yn ddiysgog, y *convocation!* Na adawer dim allan, na thalfyrer yr un gair. Gweddïau awr ac ugain mynyd o hyd, nes y bo eich plant yn pendwmpian, neu yn dywedyd, "O y fath flinder!"—awr ac ugain mynyd o hyd nes y bo y gweithiwr a ddenwyd i'r gwasanaeth boreol yn penderfynu na feglir ef felly byth ond hyny—y gwasanaeth priodas, bob iod a phob tipyn, o "Fy anwyl garedigion," i lawr hyd "dychryn," nes gyru llïaws i'w hûno i swyddfa y cofrestrydd neu y Capel Ymneillduol,—ac, ar bob cyfrif, yr adranau melldithiol yn Nghredo Athanasius a'r gwasanaeth "comminasiwn" ar ddydd Mercher Lludw; oblegid y mae ychydig o felldithio achlysurol mor gomffordddus. Yn ddiysgog, fainc yr esgobion! Saf yn ddiysgog, Moses.'"—*Dr. James Hamilton—Bartholomew Day* 1662, *p.* 24.

ant hwy, ar anialwch mawr ac ofnadwy tlodi a newyn; ac uwchlaw y cwbl, *rhaid colli y cyfleusdra gwerthfawr a fwynhäent i wneuthur daioni dros Dduw, a chael eu darostwng i amgylchiadau y byddant wrth ymollwng i'r demtasiwn i draethu y newyddion da, yn troseddu cyfraith y wlad, ac yn agored i gael eu bwrw i garchar fel drwgweithredwyr.* Cyfyng-gynghor!

A garech chwi gael cipolwg ar rai o'r cedyrn hyn yn yr ymrysonfa? Dacw Mr. Whitton o Thornhill, Swydd Gaerefrog, a dau weinidog gydag ef, wedi clywed fod yr Act wedi dyfod allan, yn marchogaeth i Gaerefrog ar frys i gael golwg arni, gan obeithio y gallent gadw eu cydwybod, a chadw eu lleoedd; "ond wedi ei darllen, er eu bod yn ddynion o deimlad ëang yn gystal ag o ddoethineb a dysgeidiaeth, dychwelasant gyda y penderfyniad o adael pobpeth yn hytrach na chydymffurfio." "Cyn i Act yr Unffurfiaeth ddyfod allan," ebe Mrs. Alleine, "yr oedd fy ngŵr yn bur ddifrifol ddydd a nos gyda Duw, ar fod i'w ffordd gael ei gwneyd yn amlwg iddo, ac na fyddai iddo adael ei gyfleusderau gwerthfawr i achub eneidiau oddiar unrhyw betrusder ar ei ysbryd. Ymddangosai mor gymedrol, fel yr oeddwn i ac eraill yn meddwl mai cydymffurfio y buasai, gan ei fod yn dyweyd yn aml nas gadawai ei waith am bethau bychain ac ammheus; ond wedi iddo weled y geiriau am y *diffuant gydsyniad* a'r *cymmodlonedd,* a gwadu y Cyfammod, yr ydoedd yn foddlawn i anghydffurfio." Tua'r un amser, dacw un o hen gyfeillion Alleine pan oedd yn Rhydychain, Birch, yn ysgrifenu yn ei ddyddlyfr, "Fy Arglwydd a fy Meistr,—yr ydwyf wrth dy ystôldroed: nid allaf wneuthur drwg fel y dêl daioni. Nid allaf gyflawni y pechod mawr hwn yn erbyn fy Nuw, ac yn erbyn fy nghydwybod. Yr ydwyf, gan hyny, yn rhoddi fy hun, fy enaid, fy ngweinidogaeth, fy mhobl, fy lle, fy ngwraig, fy mhlant, a phob peth arall, i dy law di, oddiwrth yr hwn y derbyniais hwynt. Arglwydd, trugarhâ wrthyf, a nertha fi byth i fod yn ffyddlawn, ac i gadw cydwybod dda." Ebe Edward Bury o Great Bolas, yn Swydd Amwythig, "Yr ydwyf yn proffesu yn ddifrifol, yn mhresennoldeb y Duw mawr, ger bron yr hwn y rhaid i mi yn fuan roddi cyfrif am fy ngeiriau a'm gweithredoedd, fy mod, yn y modd mwyaf diragfarn, wedi yr holl oleuni a allaf gael trwy ddarllen, gweddïo, meddwl, ac ymddyddan â thros ugain o dduwinyddion doeth a sylweddol o bob ochr, yn edrych arni fel fy nyledswydd i beidio cydymffurfio; a beth bynag a ddaw o honof fi, neu fy nheulu, megys nad allaf fyned ar draws fy marn, felly nid allaf fyned ar draws fy nghydwybod." "Newyddion o Lundain o lymdoster prysur," ebe Philip Henry, "yn erbyn yr Anghydffurfwyr. Fe all yr Arglwydd eto, os ewyllysia, dori y fagl. Onidê, croesaw ewyllys Duw." Drachefn, "Yr Arglwydd a'm cadwo yn yr amser peryglus hwn. Arglwydd, nac arwain fi i brofedigaeth." Ac wedi iddo benderfynu bwrw ei goelbren gyda'r Anghydffurwyr, "Nid gweithred fyrbwyll ydyw," meddai, "ond ystyriol, ac wedi ei phwyso yn dda yn nghlorian y cysegr." "A elli di," ebe Mr. Oldfield, gweinidog teilwng o Swydd Derby, gan ei gwestiyno ei hun, "feddwl am roi dy weinidogaeth heibio am beth ysgafn? O, cymer ofal, rhag os bydd i ti fel Jonah fyned ymhellach na'th neges trwy anfoddlonrwydd, i ti gael dy ddwyn yn ôl gydag ystorm. Beth os yw dynion yn feistriaid gwaith Pharaoh, ac yn gosod beichiau sydd hyd yn nôd yn peri i ti ruddfan danynt? os nad ydynt ond beichiau, ac nid pechodau, rhaid eu dwyn ac nid eu hysgwyd

ymaith. Nid oes dim ond pechu yn y weithred, a all dy ryddhâu oddiwrth yr anghenrheidrwydd sydd wedi ei osod arnat i bregethu yr efengyl." Ond yn y diwedd y mae yn dyfod i'r penderfyniad y byddai iddo barhâu gyda dyledswyddau ei weinidogaeth, dan y fath ammodau, yn ei amgylchiad ef, yn bechod. "Y mae genyf un ar ddeg o resymau dros gydymffurfio," ebe Mr. Lawrence, o Baschurch, gan gyfeirio gyda serchogrwydd dwfn gŵr a thad at ei wraig a'i ddeg plentyn; "ond y mae Crist wedi dyweyd, 'Pwy bynag a garo wraig, neu blant, yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi;' rhaid i ni ddysgu byw ar y chweched o Matthew." Gofynwyd i John Hicks, o Saltash, pa fodd y darparai ar gyfer ei deulu? "Pe byddai genyf gynifer o blant," meddai yntau, "ag sydd gan yr iar yna," gan gyfeirio at iar â llawer o gywion iddi gerllaw, "ni phetruswn na ofalai Duw am danynt oll." "Y mae Duw yn porthi cywion y gigfran," meddai un arall, "ac fe ofala am fy mhlant i." Mr. Samuel Shaw, yr hwn, wedi hyny a ysgrifenodd "Croesaw i'r Pla," a ddadganai fel hyn ei "Groesaw i Dlodi,"—"Byddai Darius yn dyweyd mai ei filwyr tlodion oedd ei filwyr goreu. A ddywed Crist Iesu felly nis gwn; ond sicr wyf ei fod yn dyweyd na ddylai ei filwyr ef ymrwystro gyda negeseuau y bywyd hwn; ac y mae profiad yn ein dysgu fod yn anhawdd ymwneyd llawer â phethau cyfoeth heb ymrwystro gyda hwynt. Am waradwyddiadau, yr effaith a gânt yn gyffredin ar galon dda ydyw ei gwneyd yn fwy dyoddefgar, gwrol, a gwyliadwrus." Ac ebe Baxter, gan rigymu,

"A raid im' gael fy ngyru oddiwrth fy llyfrau,
Fy nhŷ, fy eiddo, a'm cyfeillion gorau?
Un olwg felus, raslawn, arnat ti,
Am fwy na hyn a wna i fyny i mi."

Fe allai fod y darllenydd yn barod i ofyn, Paham y petrusent *hwy* wneuthur y fath ddadganiad o'u cydymffurfiad â'r Llyfr Gweddi, &c., tra nad yw y rhai sydd yn derbyn yr ordinhâd esgobol yn ein dyddiau ni yn petruso gwneyd hyny, er eu bod, wedi gwneyd y cyfryw ddadganiad, yn cyhoeddi ac yn amddiffyn athrawiaethau cwbl wahanol? Y mae hyny yn eithaf gwir; ond yr unig esboniad a allwn ni ar hyn o bryd ei roddi ar yr anhawsder ydyw, fod y Puritaniaid yn ddynion rhy gydwybodol i aros mewn bywioliaeth eglwysig dan ammod i bregethu athrawiaethau ag yr oeddynt yn teimlo yn sicr nad allent eu pregethu, ac i gydymffurfio â seremonïau y teimlent eu bod yn faich ar eu cydwybod. Y mae pobl dda ein dyddiau ni yn gallu trefnu pethau yn llawer mwy esmwyth. Y maent oll, o anghenrheidrwydd, yn "wŷr anrhydeddus," ïe yn wŷr ag sydd oll wedi proffesu eu bod yn cael eu hargymhell i'r swydd weinidogaethol gan Ysbryd yr Arglwydd, ac wedi derbyn yr Ysbryd Glân a'r weinidogaeth gan yr Esgob, yr hwn a ddywedai, "Derbyn di yr Ysbryd Glân, i swydd a gwaith offeiriad o fewn eglwys Dduw, yr hon swydd a roddir i ti yr awrhon trwy arddodiad ein dwylaw ni. I bwy bynag y maddeuech di eu pechodau, maddeuir iddynt," &c. Nis mynem ddyweyd nad yw dynion o'r fath broffes uchel yn ddynion cydwybodol; ond ar yr un pryd, na ddigier wrthym am addef fod yna anhawsderau pwysig iawn ar ffordd dealltwriaethau cyffredin i amgyffred cydymffurfiaeth clerigwyr yr Eglwys Sefydledig. Ymha gymundeb

eglwysig y mae cynifer o farnau hollol groes i'w gilydd yn cael eu coledd ag a geir yn yr Eglwys Sefydledig? Ac eto y mae pob un o'i gweinidogion yn Gydymffurfiwr cydwybodol! Y mae y blaid efengylaidd yn credu yr Erthyglau, ac yn gosod ystyr efengylaidd yr Erthyglau ar y gwasanaeth. Y mae y Tractariaid yn credu yn y gwasanaeth, ac felly yn myned yn Babyddion, ac yn gosod eu holl ddyfais ar waith i droi ac ystumio yr Erthyglau i fod yn gydffurf â'u syniadau hwy. Y maent hwy i bob amcan a bwriad yn ddysgyblion Eglwys Rhufain, ond yn dal bywioliaeth yn Eglwys Loegr, a hwy a ddangosant lawer o allu a dysg wrth geisio eich hargyhoeddi eu bod ymhob peth yn berffaith gyson â hwy eu hunain, yn eu dadganiad o'u cydwelediad a'u cydsyniad diffuant â'r Llyfr Gweddi Cyffredin. Ac yn ddiweddar y mae yma blaid arall wedi codi,—pobl yr *Essays a'r Reviews, &c.,—sydd yn gwadu y cwbl,* ac yn barod i daeru eu bod *hwythau* hefyd yn gyson â'r Llyfr Gweddi Cyffredin, ac yn Gydymffurfwyr mor gydwybodol a neb. "Nid yw yr Hen Destament wrthwyneb i'r Newydd," ebe y Seithfed Erthygl, "oblegid yn yr Hen Destament a'r Newydd y cynnygir bywyd tragywyddol i ddyn trwy Grist; * * am hyny nid iawn gwrando ffuant y rhai sy'n tybied nad oedd yr hen dadau yn dysgwyl ond am addewidion trancedig." Ond y mae yr *Essays a'r Reviews* wedi derbyn goleuni newydd:—"Nid yw o nemawr bwys y gallai fod rhai ymadroddion yn ammheus, un fe allai yn Zechariah, un yn Esaïah, y gellid eu cymeryd yn uniongyrchol Fessïanaidd. Y mae hyd yn nôd yr ychydig eithriadau hyn, gweddillion cymaint o hyawdledd hyderus, yn tueddu i ymdoddi, os nad ydynt eisoes wedi toddi, yn ffwrn ymchwiliad manwl."* "Fe'n cyfrifir yn gyfiawn ger bron Duw, yn unig er mwyn haeddedigaethau ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist, trwy ffydd, ac nid o herwydd ein gweithredoedd neu ein haeddiant ein hunain," ebe yr Unfed Erthygl ar Ddeg. Ond dyma ddywed yr *Essays and Reviews* ar y mater hwn, "Paham nad allai cyfiawnhâd trwy ffydd arwyddocâu yr heddwch meddwl, neu y teimlad o gymeradwyaeth Dwyfol, sydd yn dyfod o ymddiried mewn Duw cyfiawn, yn hytrach nag o'r ffug o haeddiant trwy drosglwyddiad?"† "Y mae pechod gwreiddiol," ebe y Nawfed Erthygl, "ymhob dyn a enir i'r byd hwn yn haeddu digofaint Duw a damnedigaeth." "Fe ddirywiodd bedydd," ebe yr *Essays* a'r *Reviews,* "i ffurf gyfareddol, ac mewn cysylltiad âg ef fe ddadblygwyd y syniad Awstinaidd o felldith yn cael ei hetifeddu gan fabanod."‡ "Yr ŷm ni yn rhoddi ei gorff ef i'r ddaear," meddai gwasanaeth Claddedigaeth y Marw, "mewn gwir ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol." "Fe fydd pawb," ebe yr *Essays* a'r *Reviews,* "fychain a mawrion, yn cael noddfa yn mynwes ein rhiant cyffredinol, i *orphwys* neu i gael eu bywhâu i fywyd uwch yn yr oesau i ddyfod, yn ol ei ewyllys ef."|| Yr ydym ni yn gwbl o'r un farn âg Archesgob Canterbury, fod y traethodau hyn yn "myned dan sylfeini Cristionogaeth." Ond beth sydd genych i'w wneyd? y mae y dynion hyn wedi dadgan eu cydsyniad â'r Erthyglau fel yr archesgob ei hun, ac wedi gwneyd hyny fel ammod eu hordeiniad; ac wedi hyny, cânt ddysgu athrawiaethau sydd yn myned dan sylfeini Cristionogaeth, heb i'w cydwybod beri iddynt ddim aflonyddwch, ac heb

* *First Edition, pp.* 69, 70. † *Pp.* 80, 81. ‡ *P.* 86. || *P.* 206.

fod gan yr Eglwys a ddarostyngodd y Puritaniaid i dlodi, a gauodd eu genau, a'u gorthrymodd, a'u carcharodd, ac a'u lladdodd, er mwyn sicrhâu cydymffurfiaeth, yr un gallu i'w troi *hwynt* allan o'u swyddau. Dyma yr olwg y mae Dr. Charles John Vaughan, un o gaplaniaid ei Mawrhydi, a diweddar Lywydd Ysgol Rugby, yn gymeryd ar y mater. Argymhella fod i'r esgobion gyfarch yr ymgeiswyr am ordeiniad yn y wedd ganlynol:—"Wrth ddadgan eich derbyniad o'r Llyfr Gweddi Cyffredin, nid ydych yn proffesu nad oes dim yn y llyfr hwnw na fuasech chwi eich hunain yn hoffi ei ddadgan yn wahanol. Gan edrych arno yn hanesyddol, fel crynhöad; gan edrych arno yn ddeallus, fel hen ysgrif; gan dderbyn y deongliad hwnw y mae synwyr cyffredin dynion yn osod arno mewn ymarferiad, a'r hwn y mae llywodraethwyr yr Eglwys, i'r rhai y mae eich proffes o gydsyniad i gael ei wneyd, yn ddeall ydyw yr ystyr ymha un yr ydych yn ei dderbyn;—yr ydych yn dadgan eich bod yn foddlawn i arwain addoliad cynnulleidfa yn ngeiriau y llyfr hwn, a'i gymeryd yn gyfarwyddyd eich addysgiaeth chwithau. Y mae yn ddigon i gyfiawnhâu eich lle ymysg gweinidogion Eglwys Genedlaethol, os gellwch ddywedyd o'r galon, Mai hwn, o'r holl gyfundebau Cristionogol adnabyddus i chwi yn y wlad hon, yw yr un sydd fwyaf cymeradwy gan eich barn a'ch cydwybod; mai dyma Eglwys eich dewisiad a'ch cariad; eich bod yn alluog, gyda hyder a chysur, i weinyddu yn ei ffurfiau, ac i addysgu yn ei hysbryd." Comfforddus anghyffredin yn wir! Ond a oes rhywbeth tebyg i onestrwydd mewn peth fel yma? A ydyw Dr. Vaughan yn debyg o allu maethu teimlad dwfn a grymus o fawrhydi cyfiawnder yn meddyliau y clerigwyr ieuainc wrth lefaru wrthynt mewn dull mor lac a difater? Nid oedd y Puritaniaid yn gallu cymeryd golwg felly ar y peth, ac yn ddiddadl nid dyna oedd meddwl y rhai a ffurfiasant y ddeddf. Fe ymdrechwyd cael darpariaeth ar gyfer cydwybodau tyner, trwy gyfeirio y cydsyniad at "*arfer*" y llyfr yn y gwasanaeth, ac nid at ei "*gynnwys*." Ond ni cheid hyny. Gofelid yn benodol am gau pob adwy i ryddid barn bersonol. Rhaid cael eich *diffuant* gydsyniad—ffuantus *feigned*, ebe rhyw walch fuasai fwyaf cyfaddas, ac felly, dybygid, y mae Dr. Vaughan a'i gyfeillion yn deall y dadganiad—*â'r oll a phobpeth sydd yn y llyfr.* Y mae y brenin, yr hwn y tyngwch iddo fel pen yr eglwys, yn y "Declarasiwn" o flaen yr Erthyglau "yn gorchymyn i'w holl ddeiliaid caredig barhâu yn yr unffurf hono o broffes, ac yn gwahardd yr anghydfod lleiaf oddiwrth y dywededig Erthyglau; * * ac ni chaiff neb o hyn allan, na phrintio na phregethu i ŵyro yr Erthyglau mewn un modd, eithr ymostwng iddynt yn eu meddwl eglur a chyflawn; ac ni chaiff roi ei synwyr neu ei ddeongliad ei hun i fod yn feddwl yr Erthyglau, eithr eu cymeryd yn ystyr y llythyren a'r grammadeg." "Yr ydym dan rwymedigaethau uwch i gadw Rubric," ebe Archddiacon Sharps, "nag un ddeddf eglwysig o gwbl. Yr ydym yn rhwym o ymlynu wrthi yn llythyrenol, yn fanwl, ac yn barhâus. A phwy bynag ymhlith y clerigwyr a ychwanego ati, neu a dyno oddiwrthi, neu a ddefnyddio unrhyw reol arall yn ei lle, gan ei fod yn ngolwg y gyfraith *mor bell a hyny* yn Anghydffurfiwr, y mae yn weddus iddo ystyried rhyngddo âg ef ei hun, ai nid yw, mewn cydwybod, yn tori ei air a'i ymddiried, ac yn ysgoi ei ymrwymiadau i'r Eglwys."*

* "*The Rubric,*" *p.* 9.

Yn ol hyn y mae yr Anghydffurfwyr o fewn yr Eglwys mor lïosog â'r Anghydffurfwyr y tu allan iddi! Yr oedd y Puritaniaid, sut bynag, yn ddigon gonest i ddyfod allan o'r Sefydliad, yn hytrach na cheisio llygru eu cydwybod trwy ffugio cydymffurfiad â phethau yr oedd eu calon yn ymwrthod â hwynt.

Yr oedd yn dda iawn genym weled y Dr. Lushington, barnwr galluog y *Court of Arches*, yn sefyll mor gryf o ochr gwirionedd a chyfiawnder yn y mater hwn, yn ei ddedfryd ddiweddar yn achos Mr. Heath. "Ni ddylai y llys," meddai, "byth gymeryd yn ganiatäol fod dim yn Erthyglau Crefydd neu Lyfr Gweddi Gyffredin, na fwriedid iddo gael ei lawn effaith a'i weithrediad. Rhaid ei gymeryd fel mater nad all fod ammheuaeth yn ei gylch, ac ynghylch yr hwn nad allai y llys wrando ar unrhyw ddadleuaeth, y rhaid fod y Deugain Erthygl ond un, a'r Llyfr Gweddi Cyffredin, yn cael eu cymeryd gan bob un sydd yn eu llawnodi fel yn cynnwys athrawiaethau Eglwys Loegr, a chàn belled ag y maent wedi eu dwyn allan yno, eu bod yn unol â'r Ysgrythyr." Yr oedd y tadau yn cymeryd yr olwg yma ar y pwnc, ac oblegid hyny yn gorfod cilio draw. Ac nid ydym ni yn gallu deall pa fodd y mae clerigwyr ein dyddiau ni yn gallu deall y mater yn wahanol. Y mae yn hawdd iawn genym gydymdeimlo â'r rhai sydd yn gorfod dyoddef pigau llymion yr iau sydd yn pwyso arnynt; ond paham na ddefnyddiant fesurau mwy egnïol i gael eu hesmwythâu trwy ddiwygio y llyfr? ac os yw hyny yn anmhosibl, paham na ddilynant Anghydffurfwyr 1662, ac eraill, a mynu eu rhyddid? Yn wir, y mae genym hawl fel gwladwriaeth i alw ar y gwŷr yr ydym, *fel gwladwriaeth*, yn eu cynnal i weinidogaethu yn ngwasanaeth Duw, i fod yn ddynion gonest. Yr oedd Macbeth yn melldithio y dewinesau *who trifled with him in a double sense*. Y mae yn anmhosibl i Brydain hefyd beidio ffieiddio y gwaseidd-dra a'r anonestrwydd sydd yn peri i ddynion dyngu ffyddlondeb i un dosbarth o egwyddorion er mwyn bywioliaeth, ac ar bwys y fywioliaeth hono, yn dysgu egwyddorion hollol groes, a thrwy hyny, yn aml, yn gwneyd dirfawr ddrwg i eneidiau dynion. Yr oedd y Puritaniaid, o'r ochr arall, fel dynion gonest, yn cymeryd yr hyn a osodid arnynt yn yr ystyr naturiol; ac wrth wneyd hyny yr oeddynt yn cael fod yn anmhosibl iddynt gydymffurfio. "Ni feiddiaf fi," ebe Baxter, "alw pob plentyn, yn ddïeithriad, yn ailanedig, yn unig os bydd ganddo dadau bedydd." Drachefn, "Os bydd cant o ladron, godinebwyr, meddwon, farw, neu os bydd llofruddion a bradwyr yn cael eu crogi am eu troseddau, er na fyddo iddynt gymaint a dywedyd eu bod yn edifarhâu, ond eu cyfiawnhâu eu hunain hyd yr anadl olaf, eto rhaid i ni eu claddu oll â'r geiriau hyn, 'Y mae Duw wedi cymeryd ato ei hun enaid ein hanwyl frawd hwn'—i ddysgu y bobl i daflu y celwydd i'w wyneb *ef*, yr hwn sydd yn taflu y celwydd i'w wyneb ei hun wrth bregethu nad yw y drygionus a'r anedifeiriol yn gadwedig. Dysgu y rhai mwyaf annuwiol i ddysgwyl bod cystal allan a phobl eraill! Y mae Purdan yn well athrawiaeth na hon, oblegid y mae yn gadael yr annuwiol dan ryw ddychryn. Eto rhaid i ni gydsynio i hyn, os gadewir i ni bregethu yn yr eglwysydd. Ac nid yw y rhithesgusion bychain, tlodion, a ddefnyddir dros y pethau hyn, yn werth eu hateb. Y mae dadgan fel hyn iachawdwriaeth pob bradwr, lleidr, llofrudd, meddwon, puteiniaid, ac atheistiaid, yn tueddu at lygru y Wladwriaeth. Pa fodd

y gallwn bregethu trueni pechaduriaid, neu yr anghenrheidrwydd am adnewyddiad, heb ein gwrthddywedyd ein hunain, pan y rhaid i ni ddyweyd o'r pulpud, 'Onid edifarhêwch, chwi a ddyfethir;' ac eto os bydd dyn marw, heb un gair edifeiriol, rhaid i ni ddywedyd fod 'Duw wedi cymeryd ato ei hun enaid ein hanwyl frawd hwn?" *

Yr un fath yr edrychent ar y pethau eraill. Yr oedd eu cyfeillion yn ceisio eu perswadio nad oedd yr ailordeiniad ddim ond ffurf, ac y gallent fyned trwyddi heb un niwed. Na! meddent hwythau; y mae yn wrthuni ac yn gelwydd! "Nid yw ailordeinio, ar y goreu," ebe Baxter, "yn ymddangos yn ddim gwell na chymeryd enw Duw yn ofer, a gweddïo yn ddifrifol ar Dduw am yr hyn oedd ganddynt eisoes, a chymeryd arnynt dderbyn o newydd yr awdurdod oedd ganddynt o'r blaen. Ac y mae dyfod megys ar esgynlawr chwareudŷ, i chware yn ffol fel yma â phethau sanctaidd, i foddio mympwyon a chadarnhâu hawl trawsfeddiannwyr, braidd yn anhawdd."† "Attolwg, syr," ebe Dr. Seth Ward, Esgob Exeter, mewn ysbryd tra chyfeillgar wrth John Howe, "pa *niwed* sydd mewn dau ordeiniad?" "*Niwed*, fy Arglwydd," ebe Howe; "y mae yn *niweidio* fy nealltwriaeth; y mae y meddwl yn echrydus; y mae yn wrthuni; oblegid nid all dim gael dau ddechreuad. Yr wyf fi yn sicr fy mod yn weinidog i Grist, ac yr wyf yn barod i ddadleu y pwnc yna â'ch Arglwyddiaeth, os yw eich Arglwyddiaeth yn dewis; ond nis gallaf ddechreu eto bod yn weinidog." Y mae ymddyddan y gŵr enwog a sanctaidd hwn â'i gyfaill, yr Esgob Wilkins, yn dangos yn rhyfeddol o glir beth oedd philosophi yr Anghydffurfiad. Gŵr da oedd Wilkins, a phe buasai mainc yr esgobion y dyddiau hyny yn debyg iddo, fe fuasai yn fendith ryfedd i'r wlad. Y mae Calamy yn adrodd hanesyn am dano yn myned i wahodd Dr. Cosins, Esgob Durham, i'w ginio cysegriad. Y mae y gŵr hwnw yn ymddyddan yn rhydd âg ef am gymhesuredd ar y naill law, a dal i fyny yn egnïol y cyfansoddiad eglwysig ar y llaw arall. Dadganai Wilkins yn bur groew ei fod ef, er fod llawer yn ei feïo am ei gymhesuredd, mewn gwirionedd yn fwy o gyfaill i'r Eglwys na'i Arglwyddiaeth, yr hwn oedd am ddal i fyny yn egnïol y cyfansoddiad. "Sut felly?" meddai Cosins. "Yr ydych chwi, fy arglwydd," ebe Wilkins, "am osod y top a'r pen pigfain i lawr, ac nid ellwch ei ddal i fyny yn ddim hŵy nag y parhewch i chwipio a fflangellu; ond yr ydwyf fi am osod y pen llydan i lawr, ac yna fe erys o hono ei hun." Pa fodd bynag, yn ei ymddyddan â Howe, y mae y gŵr hwn yn sylwi "fod Act yr Unffurfiaeth wedi peri canlyniadau ag oedd yn gwneyd iddo ef synu ychydig, yn gymaint a bod rhai a fuasai yn ystyried yn llawer rhy anhyblyg i syrthio i fewn â'r Sefydliad, wedi cydymffurfio; ac fod eraill, y tybiai ef fod ganddynt ddigon o *ëangrwydd* i gydymffurfio, wedi sefyll allan, ac aros yn Anghydffurfwyr." Ac awgrymai i Howe ei fod yn edrych arno *ef* fel yn perthyn i'r dosbarth olaf, ac y carai glywed ei resymau dros ei ymddygiad. Dadganodd Howe, ar unwaith, "ei fod wedi pwyso y mater mor ddiduedd ag oedd yn bosibl iddo; nad oedd efe yn gofalu mor ychydig am ei ddefnyddioldeb a'i gysur, fel ag i beidio bod yn ewyllysgar ac awyddus i aros dan y Sefydliad, os gallai yn unig wneyd hyny gyda boddlonrwydd i'w gydwybod. Nad allai ar hyn o bryd adrodd ei

* "*Life*" *by Silvester*, *pp.* 415, 416. † *Ib.*, *p.* 427.

holl resymau; *ond y gallai ddyweyd un peth yn sicr,*—fod yr *ëangrwydd* hwnw o'i eiddo, yr oedd efe wedi gweled yn dda sylwi arno, mor bell o'i dueddu ef i gydymffurfio, fel mai dyna yr unig beth oedd wedi ei wneyd a'i gadw yn Anghydffurfiwr." Gofynai yr Esgob drachefn, "ai *dysgyblaeth* yr Eglwys oedd yr hyn a wrthwynebai yn fwyaf?" Atebai Howe, "nad allai efe mewn un modd fod yn hoff o eglwys nad oedd ganddi *ddysgyblaeth* oll, a'i fod ef yn ystyried hyny yn rheswm *tra phwysig* yn erbyn y Sefydliad." Yna dywedai y Doctor ei fod yn gweled nad allent gael ymddyddan maith ar y pwnc, ond y carai iddo enwi ei brif wrthresymau. "Nid wyf yn gallu gweled," ebe Howe, "yn y cyfansoddiad presennol, yr egwyddorion uchel a godidog hyny o *gymundeb*, y rhai yr wyf fi yn meddwl y rhaid iddynt, yn fuan neu hwyr, nodweddu pob eglwys i Grist; ac o ganlyniad pan ddaw yr ystâd lwyddiannus hono ar grefydd, yr hon yr wyf fi yn meddwl fod genyf ddigon o awdurdod o air Duw i'w dysgwyl, fe fydd yn rhaid i gyfansoddiad sydd yn gorphwys ar sylfaen gul syrthio; a chan gredu mai felly y mae yr achos yn sefyll, nid wyf yn fwy boddlawn i weinidogaethu dan y fath gyfundraeth, nag y byddwn i fyw mewn tŷ wedi ei adeiladu ar sylfaen ansicr."* Nid rhyfedd i'r Doctor ateb, "Yr ydwyf yn eich deall yn dda; ac os dyna ydyw eich meddwl, cymerwch y cynghor hwn gan gyfaill; peidiwch a meddwl ennill dim trwy lechio a gwenieithio, ond sefwch i fyny yn ein herbyn yn hyf a gwrol; sefwch at eich hegwyddor, ac yn fuan neu hwyr, gellwch obeithio cario'r pwnc."

Pan ddaeth y diwrnod tywyll hwnw i ben, diwrnod sydd bellach mor ddu yn hanes eglwys Crist, fel y teimlai Bartholomëus yn ddiolchgar yn y nefoedd pe dattodid pob cysylltiad rhyngddo â'i enw ef,—fe ddangosodd tyrfa fawr o ddynion sanctaidd eu bod yn cael eu llywodraethu gan yr un ysbryd â'r gwŷr enwog yr ydym wedi bod yn son am danynt. "Yr ydwyf yn falchach o fy nghenedl heddyw nag erioed!" ebe Arglwydd Jeffrey, gan daflu y llyfr o'i law, ar dderbyniad y newydd fod y pedwar cant wedi cerdded allan o'r Gymanfa. Iawn y gallai fod! Yr ydym ninnau yn falchach o fuddugoliaeth y ddwy fil, ganwaith drosodd, na dim buddugoliaethau eraill sydd wedi eu croniclo yn ein hanesyddiaeth. "A hwy a aethant allan o olwg y cynghor yn llawen, am eu cyfrif hwynt yn deilwng i ddyoddef anmharch o achos ei enw Ef." Nid penboethiaid oeddynt. Y mae yr ysgrifenydd yn y *Saturday Review* y cyfeiriasom ato o'r blaen, mewn dygn anwybodaeth, yn dyweyd mai "cobleriaid a seiri" oeddynt, "heb fod yn ymwybodol o ddim ond llewyrch yr Ysbryd." Gwyn fyd na fyddai llawer o gobleriaid a seiri o'u bath yn ein dyddiau ninnau. Dyna nhw,—Baxter, gyda ei wybodaeth fawr, ei athrylith gref, ei lafur diflino, a'i dduwiolfrydedd seraphaidd; John Howe, yn ëangder, cyfoeth, a phurdeb ei ysbryd, yn gorfforiad o'r Deml Fywiol a bortrëadodd; John Owen, y duwinydd na chododd ei gadarnach ar y ddaear, yn gawr o nerth i ddymchwelyd y gwrthwynebwyr ac i godi i fyny ei draethodau anorchfygol yn dyrau yn ninas Duw, ac ar yr un pryd yn dyner gyda'r rhai bychain "fel mammaeth yn maethu ei phlant;" Thomas Goodwin, ei gydlafurwr enwog yn Rhydychain, a adawodd drysorau ar ei ol sydd yn fwngloddiau o ddoeth-

* "*Life of Howe*," *Calamy, p.* vii. *Rogers, pp.* 135—137. *Urwick, p.* xxi.

ineb ysbrydol; Edmund Calamy, yr hwn wrth bregethu ar "fudrelw" ger bron y Cadlywydd Monk, a daflai ei gadach llogell gwŷn i eisteddle y *General*, gan ddywedyd, "Ië, y mae rhai a fradychant dair teyrnas er mwyn 'budrelw!'" Matthew Poole, yr ysgolaig diflin a'r cristion da yr ydym yn rhwymedig iddo am y *Synopsis*, gwaith sydd yn rhoddi ger ein bron, mewn pump o gyfrolau unplyg mawrion nad all lliaws o ddarllenwyr gweiniaid ein dyddiau ni ond prin eu codi, farn a llafur esbonwyr y byd; Thomas Manton, yr hwn oedd yntau ymysg y cedyrn, a gymerai gymaint o boen gyda'i bregethau gwerthfawr a adawodd ar ei ol, ac eto mor ostyngedig a difrifol, fel wedi iddo bregethu pregeth hynod o alluog a dysgedig un diwrnod ger bron yr Arglwydd Faer, ac i ŵr tlawd gwyno wrtho wedi hyny gan ddywedyd, "Syr, mi ddaethum i'ch gwrando gan obeithio cael llesâd i fy enaid, ond fe'm siomwyd yn fawr, oblegid nid allwn ddeall llawer iawn o'r hyn a ddywedech, yr oeddych yn hollol uwchlaw i mi," a atebai, "Gyfaill, os na roddais i bregeth i *chwi*, chwi roisoch chwi un i *mi*, a thrwy ras Duw ni chwareuaf y ffwl byth mwy trwy bregethu yn y fath fodd ger bron yr Arglwydd Faer eto." Yr amser a ballai i ni fynegi am William Bates, a Matthew Mead, a Lazarus Seaman, ac Annesley, yr angelaidd, yr hwn yr ystyriai John Wesley yn ddigon o anrhydedd i'w famgû iddo gerfio ar ei bedd mai "merch ieuengaf Dr. Annesley ydoedd;" a Joseph Alleine, y gŵr a gyfansoddodd yr "Alarwm i'r Annychweledig," a fu yn foddion tröedigaeth cynifer o eneidiau; a Philip Henry, a Stephen Charnock, Flavel, Bridge, Brooks, &c., &c.; "Duwinyddion teilwng, dysgedig, duwiol, uniongred," fel y dywed John Locke yr athronydd, "y rhai na thaflasant eu hunain allan o wasanaeth, ond a fwriwyd allan trwy drais." Dyma y dynion y byddai Charles II., "Pen yr Eglwys," ac un o'r anghenfilod aflanaf a fu erioed ar y ddaear, ynghyd a'r esgobion, a'r pendefigion, a'r llênorion, a ymhyfrydent yn gymaint mewn cynffoni i'r *satyr* oedd ar yr orseddfainc,—dyma y dynion, meddwn, y byddent yn eu galw yn derfysgwyr y llywodraeth, ac yn pentyru arnynt eu holl ddirmyg a'u dygasedd! Nid rhyfedd, fel y sylwa yr awdwr clerigol, Mr. Marsden, i hyn "beri ysgariad rhwng Eglwys Loegr a holl Eglwysi Diwygiedig y Cyfandir, a'r Chwaer Eglwys yn Scotland. Hyd yn hyn yr ydoedd wedi bod ar delerau perffaith gyfeillgar â'r eglwysi tramor; ond ehudrwydd a rhyfyg a eisteddai yn awr yn eisteddle y Diwygwyr, a galwent mewn effaith ar fod i'r cydgyfeillach beidio. Càn belled ag yr ydoedd yn eu gallu, trosasant Eglwys Loegr i unigedd drengaidd, yr hyn a gamgymerent hwy am urddas." * "Ar yriad allan y Puritaniaid ar ddydd St. Bartholomëus, 1662," ebe Canon Miller, yr hwn sydd erbyn hyn yn brochi yn aruthr am ein bod yn dewis anrhydeddu eu coffadwriaeth, "o dan Act drychinebus a hunanleiddiol yr Unffurfiaeth, 'hwy a ddygasant gyda hwynt oleuni ysbrydol Eglwys Loegr.' Ac 'yn ystod deng mlynedd a phedwar ugain, yr ydoedd y genedl wedi disgyn i ystad o anghrefydd, yr ydym ni yn awr yn edrych arni gyda dychryn.'" † "Am tua chant a hanner o flynyddoedd," ebe clerigwr arall, y Parch. Isaac Taylor, "fe fu yr Eglwys yn analluog i adfeddiannu y gwresogrwydd, y

* "*Later Puritans*,' *p.* 253. † *General Preface to "Nichol's Series of Standard Divines*," *p.* xxv. Dyfyna o Marsden.

difrifwch, a'r eneiniad, oeddynt wedi eu nithio allan o honi mor ddiarbed." Yr oedd yr esgobion yn gorfod ordeinio pob math o ddynion i lanw lle y rhai a droisid allan. Fe gyhoeddodd rhyw ŵr a'i geilw ei hun yn *Glerigwr mewn bywioliaeth*, lyfr yn 1663 o'r enw "*Ichabod* neu Bum' Ochenaid yr Eglwys." Yn ol hwnw yr oedd pethau yn dra thruenus. Ordeinid "dynion ieuainc, crefftwyr anllythyrenog, dynion cwerylgar, dynion aflan, cynlluniau o annuwioldeb, rhai ar unwaith yn *ddivines* ac yn anifeiliaid, wedi eu cysegru i Dduw ac yn ymroddedig i bechod, yn ffieidd-dra yn y lle sanctaidd," &c. Y fath gyfnewidiad!

A pha beth am y rhai a dröwyd allan? Caiff Baxter ddyweyd yr hanes. "Ac yn awr," meddai, "y daeth i fewn y gorlifiad mawr o drallodion, yr hwn mewn llawer o ffrydiau a orchuddiodd filoedd o Gristionogion duwiol gyda eu gweinidogion. Er engraifft, yr oedd cannoedd o weinidogion galluog, gyda'u gwragedd a'u plant, heb dŷ na bara; canys nid oedd eu cynnaliaeth flaenorol yn gwasanaethu iddynt ond ar y pryd, ac ychydig o honynt oedd wedi rhoi dim o'r neilldu erbyn y dyfodol. Ac wedi hyny, yr oedd tlodi y bobl yn gymaint fel nad allent wneyd ond ychydig i gynnorthwyo eu gweinidogion. Ac yr oedd eiddigedd y Wladwriaeth, a malais eu gelynion, mor fawr, fel na feiddiai y rhai oedd yn ewyllysgar i wneyd fod yn adnabyddus fel rhai oedd yn rhoddi dim i'r gweinidogion a fwriasid allan, rhag iddynt gael eu cyhuddo o fod yn cynnal sism, neu o wneyd casgliad at ryw frad neu derfysg. Yr oedd y gweinidogion hyny oeddynt heb briodi, yn gallu dal eu tlodi yn haws; ond y mae yn treiddio trwy galon dyn fod ganddo blant yn llefain, ac afiechyd yn dyfod arnynt o eisieu ymborth iachus, neu o herwydd yfed dwfr, ac heb ddim i'w roddi iddynt. Clywais yn ddiweddar am ŵr da oedd yn foddlawn i nyddu, fel y gwna menywod, i gael rhywfaint at gynnal ei deulu (yr hyn nad oedd ond ychydig); a chan ei fod yn bruddglwyfus ac afiach, nid oedd yn alluog i wneyd hyny ond am ran o'r dydd. Un arall, nad ydoedd am hir amser wedi cael dim ond bara rhyg a dwfr iddo ei hun, ei wraig, a'i blant lliosog; a phan oedd ei wraig ar gael ei gwely, oedd i gael ei droi allan dros y drws am na thalai ei ardreth."—Fe allai mai y ffordd oreu i'r darllenydd gael syniad am yr amseroedd hyny, fyddai adrodd rhai o'r hanesynau sydd wedi dyfod i waered atom ni,—deilen yma a thraw wedi llifo i lawr gyda ffrwd amser yn engreifftiau o'r dail yr oedd eu lliosogrwydd y pryd hyny yn gorchuddio y goedwig. Y mae llythyr ar gael eto, wedi ei ysgrifenu gan Faer Taunton, yn desgrifio yr anrhaith a wnelid ar gapelau y Bedyddwyr a'r Presbyteriaid. "Ni a losgasom," meddai, "ddeg troliad o bulpudau, drysau pyrth, ac eisteddleoedd, yn y farchnadfa. Ni a arosasom hyd dri o'r gloch y bore, ac yr oeddym yn llawen iawn. Yr oedd y clychau yn canu trwy y nos." Y mae hanes am un o'r hen brophwydi yn gweddïo, "Agor lygaid y llanc," ac fe welodd bethau rhyfedd wed'yn; pe buasai dy lygaid dithau yn agored, Faer Taunton, ti a welsit bethau rhyfedd y noswaith hono; mae yn debyg y gwelsit fod yna *rywrai eraill* hefyd yn cydlawenychu â chwi, ac fe allai fod eich clychau a'ch crechwen yn cyrhaedd, yn rhywbeth tebyg i orfoledd, i wlad lle y mae gorfoledd yn gyffredin yn rhyfeddol o brin!—Dacw ŵr duwiol a pharchedig, un o'r rhai a fwriwyd allan, yn eistedd ar ochr y ffordd yn llesg a newynog, ac heb ddimai yn ei boced; ond yn y ffos dacw ddau ddarn o arian

yn tynu ei sylw,—y mae yn eu derbyn, medd efe, gyda'r fath syndod a llawenydd â phe buasent wedi syrthio o'r nefoedd.—Dyna un arall yn ei ystafell, â'i blant yn llefain o'i amgylch am fara, ac yntau heb damaid i'w roddi; ond yn rhagluniaethol dacw rhyw ŵr dyeithr yn dyfod ac yn gadael sachaid o flawd wrth y drws. Y maent mewn cyfyngder mawr, mae yn wir, ond mae yr Hwn sydd yn porthi y cigfrain ac yn gofalu am adar y tô, yn gofalu yn rhyfedd hefyd am ei blant sydd yn ei anrhydeddu.—Mewn cŵr anghysbell o Swydd Gaerefrog, i fod allan o gyrhaedd ei elynion sydd yn ei hela fel petrus ar y mynyddoedd, dacw ŵr arall, a ddylasai fod yn cyflawni yn nghanol y bobl y gwasanaeth pwysig y cyfaddaswyd ef iddo gan Dduw. Nid oes ganddo ffyrling yn ei boced. Gyda'r nos aeth at ffermdŷ, curodd wrth y drws, a gofynai i'r wraig, yr hon oedd o edrychiad caredig, a g'ai efe ddyfod ac eistedd trwy y nos wrth dân y gegin. Y mae Dewi Wyn yn son am,

"'Nabod iaith wyneb y dyn,—
Tecach na llawer tocyn."

Fe adnabyddodd y wraig dda hon iaith wyneb y gŵr dyeithr yn y fan, derbyniodd ef yn groesawgar, a dechreuodd barotoi swper iddo. Dymunodd ef arni beidio, canys nid oedd gan y gŵr cydwybodol ddim i dalu iddi; ond sicrhëid ef o groesaw calon. Deallid ei fod yn gydnabyddus â Halifax, a gofynai y ffermwr a wyddai efe rywbeth am Mr. Oliver Heywood, a fuasai unwaith yn weinidog yn agos i'r dref hono. "Y mae llawer o ystŵr am y dyn hwnw," meddai yntau. "Mae rhai yn siarad yn dda am dano, a rhai yn siarad yn ddrwg. O'm rhan i, nid oes genyf nemawr i'w ddyweyd yn ei ffafr." Ebai y ffermwr, â'i wynebpryd yn syrthio, "Yr wyf yn meddwl ei fod yn perthyn i'r sect y mae ymhob man rai yn dywedyd yn ei herbyn." Calonogodd hyn y gŵr dyeithr i ddyweyd, "Fy enw i yw Oliver Heywood." Gellwch feddwl y llawenydd a barodd hyn. "Y mae genyf ychydig gymydogion," ebe y ffermwr yn y man, "sydd yn caru yr efengyl, ac os rhoddwch i ni air o gynghor, mi redaf i ddyweyd wrthynt." Daethant ynghyd, a daeth Un arall gyda hwynt sydd wedi addaw bod lle byddo dau neu dri wedi ymgynnull yn ei enw; pregethodd Heywood gyda rhyddid a blas anarferol, a gwnaeth y brodyr anwyl oedd yn newynog am air y bywyd gasgliad i'w gynnorthwyo ymlaen. Yn Wiltshire, yr oedd gwraig i foneddwr yn bur glaf. Anfonwyd am weinidog y plwyf i weddïo gyda hi. Pan ddaeth y genad, yr oedd y gŵr parchedig hwnw ar gefn ei geffyl, yn ei gôb goch, ac ar gychwyn gyda'r cŵn, i lafurio gyda'r gorchwyl efengylaidd o hela. Gyrodd air y deuai i edrych am y wraig càn gynted ag y byddai yr helfa drosodd. Yr oedd y boneddwr yn teimlo yn brudd ac yn ddig wrth genadwri fel hon. "Syr," ebe un o'r gweision, wrth weled ei brofedigaeth, "os anfonwch chwi am ein bugail ni, fe all ef weddïo yn rhagorol." Anfonwyd am dano, daeth, a gweddïodd gyda phriodoldeb a difrifwch anghyffredin, nes yr oedd pawb oedd yn bresennol dan deimladau dwysion iawn. Wedi y weddi, "yr ydych chwi," ebe y gŵr, "yn rhywun gwahanol iawn i'r hyn y mae eich ymddangosiad presennol yn dangos eich bod. Yr wyf yn eich tynghedu i ddyweyd wrthyf pwy ydych?" Peter Ince ydoedd, un o'r gweinidogion y cauasid eu genau—Peter Ince, un o'r ysgoleigion Hebreig goreu yn ei oes,

periglor Dunhead, dyn hynod iawn am ei lafur a'i ffyddlondeb, ac mor hynod am ei weddïau fel yr adnabyddid ef yn Wiltshire fel y "*praying* Ince," ond yn awr yn bugeilio defaid i gael tamaid o fara! "Gan hyny," ebe y boneddwr, "chwi gewch fod yn fugail i mi," a gwnaeth ef yn gaplan teuluaidd. Pan oedd Baxter yn byw yn Coventry, fe ymunodd amryw o weinidogion Anghydffurfiol âg ef i bregethu ar gylch mewn tŷ annedd ar gyttir cymydogaethol. Yr oedd y gwasanaeth yn cael ei gynnal yn gyffredin ar awr foreuol iawn. Gadawodd Mr. Baxter Coventry yn y prydnawn, gan fwriadu pregethu bore drannoeth. Gan fod y nos yn dywell, collodd ei ffordd; ac wedi crwydro o amgylch am gryn amser, daeth at dŷ gŵr boneddig, lle y gofynodd am gyfarwyddyd. Fe ddywedodd y gwas a ddaeth at y drws wrth ei feistr, fod gŵr o ymddangosiad parchus iawn wedi colli y ffordd. Y boneddwr, yn ystyried y gallai fod yn beryglus i'r fath ŵr fod yn crwydro ar y cyttir mor hwyr, a barodd i'w was ei wahodd i fewn. Derbyniodd Mr. Baxter yn ewyllysgar y cynnygiad caredig, a chafodd dderbyniad tra chroesawgar. Yr oedd ei ymddyddan yn peri i'w letŷwr feddwl yn uchel am ei ddoethineb a'i wybodaeth ëang. Wedi swper, y boneddwr, yn awyddus i wybod beth oedd y gŵr dyeithr, a ddywedodd, "Gan fod gan bawb braidd ryw orchwyl neu alwedigaeth mewn bywyd, mae yn ddiammheu genyf, syr, fod genych chwithau rywbeth." "Oes, syr," meddai Baxter, gyda hanner gwên, "daliwr dynion ydwyf." "Daliwr dynion, ai ê?" ebai y boneddwr; "yn wir y mae yn dda genyf eich clywed yn dyweyd; chwi yw yr unig un sydd arnaf ei eisieu. Yr wyf fi yn Ustus Heddwch yn y rhan yma o'r wlad, ac yr ydwyf wedi cael gorchymyn i ddal Dick Baxter, yr hwn a ddysgwylir i bregethu mewn confenticl yn y gymydogaeth hon yn fore yfory; chwi ddeuwch gyda mi, ac mae yn ddiammheu genyf y daliwn y dyhiryn yn hawdd." Cyttunasant yn rhwydd. Bore drannoeth, y boneddwr a gymerodd Baxter yn ei gerbyd i'r fan lle yr oedd y cyfarfod i gael ei gynnal. Wedi dyfod yno, gwelsant gryn nifer o bobl yn rhyw ymaros o amgylch; canys wrth weled cerbyd yr Ustus, ac yn drwgdybio ei amcan, yr oedd arnynt ofn myned i'r tŷ. Yr Ustus yn gweled hyn, a ddywedai wrth Baxter,—"Mae arnaf ofn eu bod wedi clywed rhywbeth am fy mwriad: mae yn debyg fod Baxter wedi deall, ac am hyny na ddaw i'w gyhoeddiad, oblegid chwi a welwch nad yw y bobl yn myned i fewn i'r tŷ. Yr wyf yn meddwl, os awn ychydig ymhellach, y cymerant galon trwy ein hymadawiad i fyned i mewn, ac wrth ddychwelyd y gallwn wneyd ein gwaith." Ond wedi dychwelyd yr oedd pethau yr un fath. Yr Ynad, yn gweled ei fod wedi ei siomi yn ei amcan, a sylwai wrth ei gydymaith, "fod y bobl yn bur anffyddlawn i'r Llywodraeth, ac y teimlai yn ddiolchgar iawn iddo am ddyweyd gair wrthynt am deyrngarwch a buchedd dda." Gwyn fyd na fyddai pob anffyddlondeb i'r Llywodraeth mor rinweddol â hwna, er hyny; newyn mawr y bobl am air y bywyd yn cael ei dori iddynt gan y dynion sanctaidd, eu hathrawon, oeddynt wedi eu cornelu gan y ddeddf dduaf dan haul! "Ond," ebe Baxter, "fe allai nad ystyriant hyny yn ddigon, oblegid gan mai i wasanaeth crefyddol y daethant ynghyd, ni fyddant foddlawn ar gynghor o'r fath yna; ond os dechreuwch chwi trwy weddi, mi ymdrechaf finnau ddyweyd rhywbeth wrthynt." "Yn wir, syr," ebe y boneddwr, gan deimlo ei logell, "nid yw fy llyfr gweddi gyda mi,

onidê mi wnaethwn yn union. Pa fodd bynag, yr wyf yn meddwl y gallai gŵr fel chwi weddïo gyda hwynt yn gystal a llefaru wrthynt. Yr wyf yn erfyn arnoch chwi, gan hyny, fod cystal a dechreu trwy weddi." Wedi cyttuno ar hyn, disgynasant o'r cerbyd, ac aethant i'r tŷ, a'r bobl bellach yn eu dilyn yn ddibetrus. Dechreuodd Mr. Baxter, gan weddïo mewn dull rhyfedd iawn. Gweddïwr heb ei fath ydoedd. Yr ydoedd yr Ynad yn fuan â'i ddagrau yn treiglo. Pregethodd drachefn mewn dull bywiog a difrifol iawn. Wedi darfod troes at yr Ustus, gan ddywedyd, "Syr, myfi yw y Dick Baxter yr ydych yn ymofyn am dano; yr ydwyf yn gwbl at eich gwasanaeth." Ond yr oedd y gŵr hwnw wedi ei ddal erbyn hyn gan wŷs o lŷs uwch na llŷs llygredig y brenin Siarl, ac yn gweled pethau bellach mewn goleuni mor newydd, fel y collodd ei elyniaeth at yr Anghydffurfwyr, ac y daeth byth mwy yn gyfaill ac yn amddiffynydd cywir iddynt, a chredid hefyd iddo ddyfod yn gristion da. Cyn pen nemawr dacw Baxter o flaen Jeffries. Y mae wedi cyhoeddi Nodiadau ar y Testament Newydd, ymha rai y mae wedi dyweyd ei farn ar Breladiaeth. Y mae Jeffries yn gyru gwarant i'w ddal a'i garcharu. Ymhen rhyw ddeufis neu dri wedi ei garchariad, oblegid y poenau corfforol llymion a ddyoddefai, erfynid am ohiriad ei brawf. "Ni roddaf fynyd yn rhagor iddo i arbed ei fywyd," ebe y barnwr trugarog. "Dacw Oates yn sefyll yn y pilori, ac y mae yn dyweyd ei fod yn dyoddef dros y gwirionedd, ac felly y dywed Baxter; ond pe byddai i Baxter ond sefyll yr ochr arall i'r pilori gydag ef, mi ddywedwn i fod dau o'r dyhirod a'r mileiniaid gwaethaf yn y deyrnas yn sefyll yno." Pan ddaeth y prawf, a phan oedd dadleuydd Baxter yn ei amddiffyn, siaradai y Barnwr doeth yn y dull urddasol a ganlyn: "Hen gnaf yw hwn sydd wedi gwenwyno y byd â'i athrawiaeth Kidderminsteraidd. Hen gnaf sismaticaidd, dyhiryn rhagrithiol. I'w grogi—mae yr un hen walch hwn wedi taflu mwy o warth ar gyfansoddiad a dysgyblaeth ein Heglwys nag a olchir ymaith mewn can' mlynedd; ond mi a'i trinia i o am dano; oblegid myn ——, fe haeddai ei chwipio trwy y ddinas." Ymdrechai Baxter eglurhâu a'i amddiffyn ei hun; ond ebe y Barnwr, "Richard, Richard, a wyt ti yn meddwl y gwrandäwn arnat yn gwenwyno y llŷs? Richard, yr wyt ti yn hen walch, yn hen gnaf; yr wyt wedi ysgrifenu llyfrau ddigon i lenwi cert, pob un mor lawn o derfysg, ïe, gallaf ddyweyd bradwriaeth, ag yw ŵy o fwyd. Pe buasit wedi dy chwipio allan o dy ysgrifenu ddeugain mlynedd yn ol, fe fuasai yn dda. Y mae un troed i ti yn y bedd; y mae yn amser i ti ddechreu ystyried pa gyfrif yr wyt yn meddwl ei roddi. Os gadewir di, yr wyf yn gweled yr äi ymlaen fel yr wyt wedi dechreu; ond, trwy ras Duw, mi edrychaf ar dy ol." Wedi iddo yn yr un ysbryd roddi anerchiad unochrog i'r rheithwyr, gofynai Baxter, "A ydyw eich arglwyddiaeth yn meddwl y cymer unrhyw reithwyr arnynt basio dedfryd arnaf wedi prawf fel hwn?" "Mi'ch gwarantaf, Mr. Baxter," ebe y barnwr; "peidiwch chwi a phoeni eich pen am hyny. Yr ydwyf yn gweled llawer iawn o'ch brodyr yn dysgwyl gwybod beth a ddaw o'u *dòn;* ond trwy ras y Duw Hollalluog, mi a'ch llethaf oll." Yr oedd y barnwr yn gywir; daeth y rheithwyr â'r farn o "euog" cyn gadael eu heisteddle. Y ddedfryd oedd talu dirwy o bum' cant o bunnau, aros yn ngharchar nes ei thalu, a chael ei rwymo i fuchedd dda am saith mlyn-

edd. Aeth Baxter i garchar, canys nid allai dalu y ddirwy. Dim ond un eto: Medi yr ail, 1684, pan oedd y Parch. William Jenkyn, A.M., yn treulio diwrnod difrifol mewn gweddi, gydag ychydig o weinidogion enwog, daeth milwr i fewn a chymerodd ef yn garcharor i Newgate. Yn mis Ionawr canlynol bu farw yno. "Rhynged bodd i'ch Mawrhydi," ebe pendefig oedd wedi clywed, wrth y brenin, "y mae Jenkyn wedi cael ei ryddid." "Ai ê!" ebe ei Fawrhydi ar frys; "pwy a'i rhoddes iddo?" "Un mwy na'ch Mawrhydi," ebe y pendefig; "Brenin y breninoedd."

Ië yr oedd yr Un Mawr hwnw weithiau yn dyfod ymlaen ac yn achub ei weision ffyddlawn oddirhwng dannedd y llewod, ac yn eu hanfon i'r bedd. "Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro, ac yno y gorphwys y rhai lluddedig." Yr oeddynt hwy, pa fodd bynag, yn dyoddef yn amyneddgar iawn, ac "yn gadael ar yr Hwn sydd yn barnu yn gyfiawn." Fe allai fod *gwaed* Abel yn llefain ac yn gwaeddi o'r ddaear, ac fod RHYWUN yn gwrando arno, ond yr ydym yn meddwl fod Abel ei hun yn ddystaw. Yr oedd eu gelynion yn llygadog iawn yn gwylio; ond fel yr ydoedd yn amgylchiad eu brawd, yr Anghydffurfiwr mawr yn Babilon, felly hefyd yn eu hamgylchiad hwythau: "Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion oedd yn ceisio cael achlysur yn erbyn Daniel o ran y freniniaeth; ond ni fedrent gael un achos na bai; o herwydd ffyddlawn oedd efe, fel na chaed ynddo nac amryfusedd na bai. Yna y dywedodd y gwŷr hyn, Ni chawn yn erbyn y Daniel hwn ddim achlysur, oni chawn beth o ran cyfraith ei Dduw yn ei erbyn ef."* Er yr holl dwrf diddiwedd ynghylch bradwriaeth, pa bryd y caed yr hen Anghydffurfwyr, er mor ofnadwy oedd eu gorthrwm, yn dangos yr un osgo at y fath beth? Yr oedd yna rywbeth mae yn wir o ran cyfraith eu Duw; yr oedd yn anhawdd iawn ganddynt beidio gwneyd eu goreu drosto Ef. Yr oeddynt yn cyfarfod eu gilydd yma a thraw i gynnal gwasanaeth; ac yn 1664, pasiwyd y *Conventicle Act*, yn gwahardd, dan gosbau trymion, i neb dros un ar bymtheg oed fod yn bresennol mewn un cynnulliad lle y cynnelid un gwasanaeth crefyddol ond yn ol trefn Eglwys Loegr, a lle y byddai pump neu ychwaneg o bersonau o un ar bymtheg oed ac uchod, heblaw teulu y tŷ yn bresennol. Am y trosedd cyntaf, dirwy o bum' punt, neu dri mis o garchariad: am yr ail, deg punt, neu chwe' mis o garchariad: am y trydydd, saith mlynedd o alltudiad i'r planigfëydd; ac os dychwelai alltudiedig cyn terfynu tymmor ei alltudiaeth, yr oedd i gael ei roddi i farwolaeth trwy ddedfryd un Ustus heddwch, yn gweithredu heb reithwyr, ac ar lŵ un achwynydd. Gofelid am eu gwahardd i fyned i Loegr Newydd, lle y gallent gyfarfod â chyfeillion ymysg y Trefedigion Puritanaidd.† Yr ydych yn iawn, Arglwydd Macaulay, pan y galwch hyn yn "gywreinrwydd mewn creulondeb." Cyn pen tair blynedd talwyd dwy filiwn o bunnau i goffrau y brenin mewn dirwyon am droseddiadau o'r ddeddf hon.

Yn 1665, anfonodd yr Hollalluog y Pla i Lundain, a dychrynllyd oedd y difrod a wnaeth. Yr iaith a leferid trwy yr ymweliad ofnadwy hwn, ebe y sanctaidd Philip Henry, oedd "Gollwng fy mhobl fel y'm gwasanaethont." Aeth Charles a'i lys i Rydychain, a diangodd y

* Daniel vi. 4, 5. † "*Documents*," *pp.* 477—488.

bugeiliaid cyflogedig yma a thraw am eu bywyd, gan adael rhwng y defaid a'r blaidd. Aeth yr Anghydffurfwyr i Lundain i ganol y Pla, a dyna lle yr oeddynt yn pregethu yn yr Eglwysydd, yn ymweled â'r cleifion, yn llafurio fel Apostolion yn nghanol y dychrynfëydd, ac yn gwneyd eu goreu i barotoi y bobl erbyn y cyfnewidiad mawr. Daeth y gair i Rydychain, a phasiwyd "Deddf y Pum' Milldir," yn gwahardd i'r un o'r gweinidogion a droisid allan ddyfod, oddieithr wrth fyned heibio, o fewn pum' milldir i'r un fwrdeisdref, nac o fewn pum' milldir i'r un lle y buasent yn gweinidogaethu o'r blaen, nac i gymeryd arnynt bregethu mewn un modd, dan ddirwy o ddeugain punt am bob trosedd, y drydedd ran i fyned i'r achwynydd.* Pwy all ddirnad y creulondeb a ddangosid yn ngweinyddiad y deddfau hyn! Ond er pobpeth, nid ydynt, trwy drugaredd, yn gwadu eu Duw. Y mae efe gyda ei weision yn y ffwrn danllyd boeth, gyda hwynt yn ffau y llewod; ïe, pan losgir Gobeithiol yn Ffair Gwagedd, fe gaiff fyned adref i dŷ ei Dad mewn cerbyd o dân. Yr oedd ffydd gref y Puritaniaid yn Nuw yn eu gwneyd yn ddyoddefgar yn eu trallodion, gan eu bod yn eu hystyried fel pethau a ganiateid ganddo Ef i ddyfod arnynt, o ba rai yr oedd efe yn abl i ddwyn iddynt ddaioni mwy, ac oddiwrth ba rai cyn pen hir y caent eu llwyr waredu. Ymdawelwch, Buritaniaid enwog! yr ydych wedi gorphen eich gwaith, ac wedi gadael tystiolaeth ar eich hol o fawredd cydwybod, a gogoniant teyrnas Dduw, trwy eich Anghydffurfiaeth, sydd wedi gwneyd argraff dyfnach ar galon y byd nag a allasai unrhyw nifer hyd yn nôd o'ch pregethau sylweddol a'ch cyfrolau cyfoethog chwi eich hunain, ei adael byth. Ti gei addfedu, Baxter lafurus, i'r gwynfyd mawr sydd yn dy aros yn "Nhragywydd Orphwysfa y Saint." Y mae "Dedwyddwch y Cyfiawnion," Howe fawr a grasol, ar agor ei fynwes i'th dderbyn dithau i'w gyflawn fwynhâu. Cei dithau, Bunyan athrylithgar, garchar Bedford yn "dŷ i Dduw ac yn borth y nefoedd;" ac wrth weithio allan wëoedd gogoneddus dy freuddwydion anfarwol i fod yn ddyddanwch i'r saint hyd ddiwedd y byd, cei syllu o benau dy fynyddoedd hyfryd ar ogoniant y Jerusalem Newydd, nes y byddi ryw fynyd hapus yn dy gael dy hun yn ei chanol, heb bechod na phoen byth. Cei dithau, Owen, orphwys bellach i syllu ar ogoniant Person y Ceidwad, nes cael dy ollwng i'w weled fel y mae! "O! frawd Payne!" meddai, "y mae y dydd y bum yn hir awyddu am dano wedi dyfod o'r diwedd, pan gaf weled y gogoniant hwnw mewn dull gwahanol i ddim a gefais erioed, neu yn wir i ddim a allaswn gael, yn y byd hwn." Yr ydym yn meddwl yn naturiol, wrth edrych arnoch, ardderchog lu y merthyri, am destun pregeth ymadawol un o honoch,† "A hwy a rodiant gyda mi mewn dillad gwynion; oblegid teilwng ydynt." Yr ydym ninnau yn barod iawn i ddywedyd gydag Erasmus, "O, sit amina mea cum Puritanis Anglicanis." O! bydded fy enaid innau gyda'r Puritaniaid Seisonig!

Gofalwn yn enwedig am wrando ar y genadwri bwysig a ddanfonant atom ni o bellder dau cant o flynyddoedd. Wŷr y bedwaredd ganrif ar bymtheg! byddwch ddynion o argyhoeddiadau dyfnion; meithrinwch gydwybod uchel a phur; mynwch ddysgeidiaeth fawr; byddwch onest a

* "*Documents*," *pp.* 488—491. † *Caryl.*

difrifol; ond uwchlaw y cwbl, byddwch ffyddlawn i'r Arglwydd Iesu Grist, a chyfrifwch bobpeth yn dom ac yn golled, a fyddo ar eich ffordd i wneuthur ei ewyllys!

Fe wêl y darllenydd ein bod wedi cyfeirio amryw weithiau at y llyfrau y rhoddasom restr o honynt uwchben ein hysgrif. Mae y cyntaf ar y rhestr, y "*Documents*," yn cynnwys pob ysgrifau o bwys mewn perthynas i sefydliad yr Eglwys, o'r Dadganiad a wnaeth Charles yn Breda, hyd Act y Goddefiad, ac y mae yn anhebgorol anghenrheidiol ei astudio i gael dealltwriaeth glir am amgylchiadau yr amseroedd. Y mae Darlithiau McCrie, McLaren, Dale, Halley, a' Hamilton, yn rhagorol iawn. Y maent wedi eu cyfansoddi mewn ysbryd tra chymedrol, yn dangos meistrolaeth gyflawn ar lênyddiaeth y pwnc, ac o ran eu Puritaniaeth yn gryfion a difloesgni. Gellir dyweyd yr un peth am y traethodau a gyhoeddwyd gan y *Central Bartholomew Committee*. Nis gwyddom pwy a'u hysgrifenodd, ond y maent yn draethodau da iawn, ac yn cynnwys corff cyflawn o wybodaeth fuddiol ar y materion dan sylw. Traethodyn rhyfedd yw yr eiddo Venables; y mae ei ddirmyg a'i chwerwder yn annhraethadwy. Ond os mynwch wybod gwerth ei resymau, a'r ffeithiau hanesyddol a ddŷg ymlaen, wrth ofyn, "Pa fodd y daethant yno," ni a'ch cynghorem ar bob cyfrif i fynu Atebiad Dr. Vaughan, "Mi Dd'weda i chwi." Erioed ni *ddywedwyd* dim i bwrpas gwell. Y mae y "Pa fodd y daethant yno," yn mhalfau gewynog y "Mi Dd'weda i chwi," yn tori ffugr rhyfeddol o druenus, yn debyg fel pe meddyliech am lygoden yn safn mastiff. Carem weled diwyg well ar yr ail argraffiad o'r cyfieithiad Cymraeg o'r Atebiad meistrolgar hwn. Y mae lle i wellâu y cyfieithiad a'r argraffiad. Yr ydym wedi darllen "Y Dydd Hwnw," gyda llawer o hyfrydwch, ac argymhellwn ef yn galonog i sylw ein darllenwyr fel llyfr tra difyrus, ac fel un sydd yn rhoddi drychfeddwl tra chlir o amgylchiadau tra phwysig yr amseroedd hyny. Prin yr ydym yn edrych arno yn orchestwaith barddonol sydd yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na holl hiliogaeth awen Hiraethog; ond er hyny, y mae yn bur ddifyrus, weithiau yn dra awenyddol, a thrwyddo yn ddarlun cywir o feddwl a theimlad un o'r adegau pwysicaf yn hanes ein gwlad.

---

# CHRISTOPHER COLUMBUS A DARGANFYDDIAD YR AMERICA.

*(Parhâd o tu dalen 292.)*

PAN ddechreuodd Columbus fyned i ymbarotoi i ddychwelyd yn ôl i'r byd gorllewinol, yr oedd yr anhawsdra iddo gael cynnorthwy ar gyfer yr anturiaeth, a phobl i fyned gydag ef, yn awr wedi llwyr ddiflanu. Canys yr oedd ei lwyddiant blaenorol wedi cynhyrfu pob gradd trwy holl lyw-

odraeth Yspaen, a llawer o hanesion disail wedi cael eu taenu ar led yn ynghylch cyfoeth digyffelyb y gwledydd yn y byd gorllewinol, fel yr oedd lluoedd yn awyddus i hwylio yno i dreio eu ffawd a'u tynghed. Ei lynges y waith hon oedd yn gynnwysedig o un ar bymtheg o longau, a rhai o honynt o gryn faintioli. Ac yr oeddynt yn cludo dros bymtheg cant o bersonau, rhwng pawb o bob gradd a sefyllfa; ac yr oedd rhai o honynt yn hanu o deuluoedd anrhydeddus, ac wedi bod yn llanw sefyllfäoedd o bwys ac ymddiried yn y wladwriaeth. Y Pab, yr hwn a ystyrid yn yr oes hono megys ficer Crist ar y ddaear, yn meddu hawl ar holl deyrnasoedd y byd, a roddes feddiant i frenin a brenines Yspaen o'r holl wledydd hyny yn perthyn i *anghredinwyr* oeddynt wedi cael eu darganfod yn barod, neu a ddarganfyddid o hyny allan. Felly ar y pummed dydd ar hugain o Fedi, cychwynodd Columbus yr ail waith i ymweled â'r byd newydd, a chanddo dan ei awdurdod anturiaeth lawer mwy pwysig na'r waith gyntaf. Hwyliodd yn nês tuag at y deau y waith hon, ar ol gadael Gomera, na'r tro o'r blaen, ac ymhen chwe' diwrnod ar hugain daeth at yr ynysoedd hyny a adnabyddir yn awr dan yr enw *Leeward Islands*, yn yr India Orllewinol. Ymwelodd âg amryw o honynt, ac ymhob lle canfu'r trigolion yn anwaraidd a chreulawn dros ben; a phob tro y cynnygiai lànio, dangosent eu bod o anian ryfelgar ac ymladdgar, ac yn barod i ymosod ar yr Yspaeniaid bob tro y caent gyfle, ac felly yn dra gwahanol i'r brodorion a ganfyddasent yn yr ynysoedd eraill. Ond trwy fod Columbus yn llawn pryder ac awydd am ddychwelyd at y drefedigaeth fechan a adawsai yn Hispaniola, mor gynted ag y gallai, hwyliodd tuag yno heb ymdroi ond ychydig yn un man. Pan yn nesâu at y porthladd, dechreuai synu nad oedd yn canfod yr arwydd lleiaf bod yr un o honynt yn preswylio yno, ac ofnai y gwaethaf am eu tynghed wrth weled dystawrwydd y bedd yn teyrnasu o amgylch yr holl fro. Wedi iddynt angori, aeth yn uniongyrchol at y fan, a chanfu yr amddiffynfa wedi cael ei gwneyd yn gydwastad â'r llawr, ac nid oedd cymaint ag un dyn i'w ganfod yn agos i'r fan; y brodorion oeddynt wedi dianc ymaith, ac arwyddion amlwg bod yr Yspaeniaid wedi cael eu dinystrio mewn modd creulawn ac annynol gan yr anwariaid a'u hamgylchent. Ond daeth mab i un o'r penaethiaid ato yn fuan, a dechreuodd adrodd pa fodd y dygwyddodd pethau ar ol i Columbus ymadael. Yn ol ei adroddiad ef, dechreuodd yr Yspaeniaid fyned oddiamgylch yn fuan gan ymosod ar y trigolion, eu hyspeilio o'u trysorau, ac ymddwyn yn greulawn a barbaraidd tuag atynt, nes i'r brodorion o'r diwedd gyfodi yn eu herbyn, a lladd amryw o honynt. Ac wedi iddynt ganfod eu bod yn farwol fel hwy eu hunain, darfu yr arswyd a weithredai megys swyn ar feddyliau y trigolion, a daeth un o'r penaethiaid rhyfelgar oedd yn preswylio'r mynydd-dir gan ymosod ar yr amddiffynfa, a'i llosgi a'i dinystrio, a lladd y rhai oeddynt yn ei hamddiffyn.

Teimlai yr Yspaeniaid oedd gyda Columbus lawer iawn o ddrwgdybiaeth ynghylch y gwirionedd o'r adroddiad uchod ond ymddygodd ef yn hynod o ddoeth ar yr achlysur trwy beidio gwneyd ymosodiad ar y brodorion o'r achos, eithr cadwodd ar delerau heddychol gyda'r penaeth oedd wedi bod o'r dechreu yn ffafriol i'w hachos, ac aeth i chwilio am fan cyfleus i adeiladu dinas arno, ac i sefydlu trefedigaeth yn yr ynys. Ond wrth fyned ymlaen gyda'r gorchwyl pwysig o sefydlu trefedigaeth

newydd, cyfarfu âg anhawsderau dirfawr, a dechreuodd llawer o'i ganlynwyr rwgnach ac anfoddloni. Ac fel mae yn fynych yn dygwydd dan y fath amgylchiadau, cyfarfu llawer o honynt â siomedigaethau chwerwon, yn enwedig teuluoedd boneddigaidd a ymfudasent o'u gwlad enedigol gyda'r bwriad o gasglu cyfoeth, a byw mewn hawddfyd a moethau. Ond ni ddylai y fath bobl â hyn adael cartref, yn enwedig i fyned i drefedigaeth yn ei babandod, lle mae rhaid dyoddef caledi yn aml, a llawer iawn o bethau annymunol. Pan allodd Columbus ddwyn materion y drefedigaeth i ychydig drefn, ymadawodd oddiyno ei hunan i'r dyben o wneyd darganfyddiadau newyddion. Hwyliodd rhagddo yn y Môr Gorllewinol nes iddo gyrhaedd Ynys Jamaica; a dyoddefodd galedi mawr yn ystod y fordaith hon, yr hyn a'i taflodd i glefyd trwm, a bu agos iddo a therfynu ei fywyd yn ei glefyd. Ond dychwelodd yn ôl i Hispaniola, pryd y cyfarfu â'i frawd Bartholomew, yr hwn, fel y crybwyllasom yn barod, a anfonasai i Loegr dair blynedd ar ddeg cyn hyny. Bu hyn yn foddion i adfywio ei ysbrydoedd yn y fath fodd fel ag i adferu ei iechyd yn gyflym, am ei fod ef a'i frawd yn meddu ar yr un tueddiadau i raddau mawr, ac yn hynod o hoff o'r naill y llall. Ond yr oedd iddo elynion lawer ar waith ymysg pendefigion Yspaen yn ymdrechu yn brysur i'w ddwyn i drallod gyda'r awdurdodau yno; a thrwy fod y drefedigaeth yn Hispaniola ymhell o fod mewn cyflwr llwyddiannus, yr oedd hyn yn rhoddi cryn fantais iddynt i'w ddwyn i waradwydd gyda'r Llywodraeth gartref. A chyn pen hir bu raid iddo ddychwelyd yn ôl i Yspaen i'r dyben o amddiffyn ei achos; ac yn ei absennoldeb, gadawodd y drefedigaeth yn Hispaniola dan awdurdod ei frawd Bartholomew. Yn ystod ei fordaith i Yspaen y tro hwn eto, dyoddefodd ef, a'r dwylaw oedd gydag ef, galedi dirfawr a llawer o beryglon. Mae yn ymddangos ei fod heb dalu digon o sylw i'r anhawsdra o hwylio yn erbyn y gwynt trafnidiol, yr hyn a ychwanegodd at anhawsdra'r fordaith, ac a wnaeth iddi barhâu am yr ystod maith o dri mis.

Cafodd Columbus dderbyniad croesawgar gan y brenin a'r frenines pan gyrhaeddodd Yspaen y tro hwn eto, er gwaethaf llid a malais gelynion, y rhai oeddynt yn gwneyd pob ymdrech er dinystrio ei gymeriad. Gosodwyd llawer o gynlluniau i lawr gyda golwg ar lwyddiant y drefedigaeth newydd yn Hispaniola yn yr ymdrafod a fu rhyngddo â Llywodraeth Yspaen yn ystod ei arosiad gartref y tro hwn; a dewiswyd pobl i ddychwelyd yn ôl gydag ef yn bresennol ag oeddynt yn debyg o fod yn ddefnyddiol mewn gwladychfa newydd, a neb ond y cyfryw rai. Canys yr oeddid yn awr wedi canfod allan mai dyna fu y camgymeriad gyda'r ymfudwyr blaenorol a aethant allan, llawer o'r rhai oeddynt yn hollol anghymhwys i wynebu ar y llafur a'r caledi ag sydd bob amser yn dilyn sefydliad newydd mewn gwlad ddyeithr. Nid oedd ganddo ond chwech o longau pan yn dychwelyd yn ôl y tro hwn, a'r rhai hyny yn ddigon anghymhwys i droi allan i'r fath fordaith faith. Cymerodd lwybr gwahanol wrth ddychwelyd y tro hwn i'r ddau dro blaenorol; hwyliodd rhagddo tua'r dehau nes cyrhaedd mor bell â phump o raddau oddiwrth y cyhydedd; yna aeth rhagddo yn uniongyrchol tua'r gorllewin o flaen y gwynt trafnidiol. Yr oedd yn barod wedi gyru tair o'r llongau oeddynt gydag ef o Ynysoedd Canary i hwylio yn uniongyrchol i Hispaniola gydag angenrheidiau i'r drefedigaeth oedd yno; ac ef ei hun a gymer-

odd y llwybr a nodwyd gyda'r tair eraill, er mwyn dyfod yn fwy uniongyrchol at y cyfandir mawr ag yr oedd yn teimlo yn benderfynol a orweddai yn rhywle tua'r cyfeiriad hwnw. Bu y fordaith ar hyd y llwybr hwn eto yn orlawn o beryglon iddo ef a'r rhai oeddynt gydag ef; bu eu dyoddefiadau yn fawr oddiwrth wres angerddol yr hinsawdd boeth, a diffyg mynych o wynt digonol. Yr oedd y gwres ar brydiau mor fawr fel yr ofnent i'r llongau fyned ar dân; ac effeithiodd gymaint ar yr ymborth a'r diodydd oedd ganddynt nes eu gwneyd bron yn anghymhwys i'w defnyddio. O'r diwedd cyrhaeddasant i olwg y tir, a glàniasant mewn ynys o gryn faintioli, yr hon a enwyd Trinidad; ac adnabyddir hi wrth yr enw hwnw hyd y dydd heddyw. Ond bu agos i'r llongau, a phawb oeddynt yn perthyn iddynt, a cholli, wrth hwylio rhwng yr ynys hon â chyfandir mawr yr America, lle mae yr afon ryfeddol Orinoco yn ymdywallt i'r môr, nes peri i'r cyd-darawiad gyda'r dyfroedd gynhyrfu'r môr yn y culfôr rhwng yr ynys a'r cyfandir i'r fath raddau, hyd onid ydyw yn beryglus hwylio drwodd heb lawer o fedr a gofal. Yma daeth Columbus i'r penderfyniad, wrth weled y fath gorff grymus o ddwfr croew yn ymdywallt i'r môr, ei fod o'r diwedd wedi dyfod o hyd i'r cyfandir mawr gorllewinol; o herwydd barnai yn naturiol nad allai y fath afon fawr â hon fod mewn ynys, ond bod yn rhaid iddi redeg o bellder mawr, cyn y gallai gasglu y fath gyflawnder o ddyfroedd. Wrth hwylio o amgylch yr arfordir, yn y parthau o'r Cyfandir Americanaidd a adnabyddir yn awr wrth yr enwau Cumana, Paria, Caraccas, &c., yn Columbia, a chanfod y fath diriogaethau hyfryd a ffrwythlawn oedd ar bob llaw iddo, yr awyrgylch mor bur a dysglaer, a'r sêr yn ymddangos mor ogoneddus a phrydferth yn y nos, a'r blodau lliosog ac amryliw yn anfon eu chwaäu peraroglaidd dros y fro, daeth i'r penderfyniad mai dyma lle yr oedd gardd Eden, a thrigfa dyn pan yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd. Ac yr oedd yn meddwl mai'r Orinoco oedd un o'r pedair afon a ddarlunir yn yr Ysgrythyr yn myned allan i ddyfrhau yr ardd. Yn ystod y fordaith hon y daeth Columbus gyntaf i gyffyrddiad â chyfandir yr America, canys o'r blaen, ymysg ynysoedd yr India Orllewinol yr oedd wedi bod, ac yno y gwnaethai ei ddarganfyddiadau cyntaf. Oddiyma dychwelodd i Hispaniola, a daeth o hyd i amryw ynysoedd o'r newydd, pan ar ei ffordd tuag yno. Erbyn iddo gyrhaedd yr ynys, canfu bod y caledi a'r llafur a oddefasai wedi effeithio yn ddwys ar ei iechyd, a dymunai yn fawr am ryw ychydig seibiant er mwyn adnewyddu ei nerth a'i iechyd blaenorol.

Fel hyn canfyddwn pa fodd y bu i Columbus wneyd y byd mawr gorllewinol yn adnabyddus i ddynolryw yn mharthau eraill y ddaear, er bod oesoedd wedi myned heibio cyn i ffrwyth ei ddarganfyddiadau pwysig ddyfod yn amlwg i'r byd yn gyffredinol. Nid rhyw gyfran fechan o'r ddaear a ddygwyd i'r amlwg y pryd hwnw; ond mae yr America yn cymeryd i fyny ran helaeth o un hanner o'r ddaear, ac yn cynnwys, fe allai, y drydedd ran o'r holl fyd adnabyddus. Mae yn ymestyn o'r cylch gogleddol, lle mae rhew ac eira tragywyddol yn teyrnasu, hyd at yr un hinsawdd ar yr ochr ddeheuol o'r ddaear; ac felly yn myned drwy bob math o hinsoddau, o wres tanbaid y cyhydedd, hyd at rew ac eira oesol y pegynau gogleddol a deheuol. Mae yn cyrhaedd o'r gogledd i'r dehau, dros 9000 o filldiroedd o hyd, ac yn ddim llai na

4000 o filldiroedd o lêd mewn rhai manau, ac yn cynnwys, yn ol cyfrif Hassel, 17,303,000 o filldiroedd ysgwar o dir. A gallwn ddywedyd bod miloedd o filldiroedd o'r cyfandir mawr hwn yn aros eto, lle na fu troed yr un Ewropëad arno erioed, er maint o ymchwiliadau a wnaed yno yn ystod y can' mlynedd diweddaf, yn enwedig gan Humboldt a Boapland. Heblaw maintioli yr America, mae y gwahanol wrthddrychau a geir ynddi yn fawreddog a nodedig ar lawer o ystyriaethau. Yma ceir amryw o wrthddrychau natur, fel pe byddent wedi cael eu ffurfio ar gynllun mwy ëang nag yn yr un parth arall o'r ddaear. Y mynyddoedd, yr afonydd, a'r llynau, ydynt o faintioli cawraidd, wrth iddynt gael eu cymharu gyda'r cyffredinolrwydd o rai yr hen fyd. Mynyddoedd yr Andes, neu'r Cordilleras, a ymestynant dros 8,0C0 o filldiroedd o hŷd o'r gogledd i'r dehau; ac ystyrid hwynt am hir amser y mynyddoedd uchaf yn y byd, hyd oni fesurwyd yr Himalaya rhwng India a Thibet; ond maent eto yn aros y gadwyn hwyaf, ac yn cynnwys amryw o'r mynyddoedd uchaf, ac ar lawer o ystyriaethau gellir eu cyfrif y mwyaf rhyfeddol o holl fynyddoedd y ddaear. Amryw o'r afonydd drachefn yn America, ydynt yn rhedeg i ganol y wlad, yn debyg i foroedd o ran maintioli, megys yr Amazon, y La Plata, a'r Orinoco, yn Neheudir yr America; a'r Mississippi a'r St. Lawrence, yn y Gogledd; rhai o honynt yn dair mil o filldiroedd o hŷd neu ychwaneg, megys yr Amazon a'r Mississippi, ac mewn rhai manau yn agos i gan' milldir o lêd! Llynoedd yr America ydynt hefyd yn fawrion ac yn lliosog, yn enwedig yn y parthau gogleddol o'r cyfandir, ac nid oes dim o'r fath i'w cymharu â hwynt yn yr hen fyd. Llyn Superior, yn Canada, sydd yn bymtheg cant o filldiroedd o amgylchedd, ac yn ol tystiolaeth Humboldt, agos yn 800 troedfedd o ddyfnder; ac felly, mewn ystyr, yn debycach i fôr o ddwfr croew yn nghanol y tir nag i yr un o lŷnoedd eraill y ddaear.

Yr afonydd a'r llŷnoedd mawrion hyn ydynt yn agoryd y ffordd i fasnach a thrafnidiaeth i dreiddio i mewn i ganol y wlad, tra mae'r môr yn tori rhwng rhanau o'r cyfandir yn y fath fodd nes cynnysgaeddu pob parth o'r America gyda manteision neillduol masnach, yn pell ragori ar yr hen fyd yn hyn. Ac mae yn hawdd canfod bod llawer o ranau o honi yn meddu ar fanteision neillduol er cynnyrchu elfenau llwyddiant cenedlaethol, y tir yn ffrwythlawn a chynnyrchiol, a'r hinsawdd yn iach a thymherus. Ac nid ydyw yn anhawdd rhagweled y bydd rhai o wledydd mwyaf ènwog y ddaear cyn pen hir yn y parth hwnw o'r byd. Elfenau llwyddiant cenedlaethol ydynt yn myned rhagddynt yn gyflym; ac fe allai mai yma, cyn pen nemawr oesoedd, y bydd canolbwnc diwylliant, dysg, a gwybodaeth y ddaear, pan fyddo wedi diflanu yn Ewrop. *Tiriogaethau Prydain* yn unig, yn mharthau gogleddol America, ydynt yn fwy o faintioli na holl wledydd Ewrop, ac yn cyrhaedd o gyffiniau Newfoundland at Columbia Brydeinig ac Ynys Vancouver, ar làn Môr Mawr y Dehau, ac o'r llinell derfyn gyda'r Unol Daleithiau, hyd at ororau Greenland, a thiriogaethau gogleddol Rwssia. Llawer o'r wlad ëang hon sydd yn anial a gwyllt, ac yn debyg o barhâu felly o herwydd oerfel annyoddefol yr hinsawdd; ac mae llawer o honi hefyd yn ffrwythlawn a chynnyrchiol, ac yn meddu ar gyfoeth na wyddys eto ei werth, yn nghynnyrch y tir a'r mwngloddiau, megys y ddwy Ganada a Cholumbia Brydeinig, yr hon sydd yn debyg o daflu California i'r cysgodion yn nghynnyrch

ei chloddfëydd aur. *Yr Unol Daleithiau* ydynt y parth mwyaf nodedig ac enwog o holl gyfandir America, ac maent yn cyrhaedd o'r llinell derfyn gyda thiriogaethau Lloegr yn y gogledd, hyd at Lychlyn Mexico yn y dehau, ac o'r Môr Werydd hyd at Fôr Mawr y Dehau. Cynnwysant lïaws o daleithiau mewn undeb gyda'u gilydd; ond tra yr ydym yn ysgrifenu, mae yn ofidus genym ganfod y rhyfel cartrefol a ddechreuodd o gylch blwyddyn yn ol rhwng y Taleithiau Gogleddol a'r rhai Deheuol, yn cael ei gario ymlaen gydag ysbryd mor benderfynol, nes ei fod agos yn sicr o ddiddymu'r undeb rhwng y Taleithiau hyn â'u gilydd, ac o wneyd colled anadferadwy i'r naill blaid a'r llall, trwy ddinystrio eu masnach, eu taflu i ddyled wladol anferth, a dinystrio miloedd o'u deiliaid yn yr ymdrech o bob ochr. Nid ydyw yn unol â'n cynllun ni y tro presennol i chwilio i mewn i'r achos dechreuol o'r anghydfod gofidus hwn; ond nid ydyw yn gofyn bod dyn yn feddiannol ar ddawn brophwydoliaethol i allu rhagweled na fydd byth undeb a chydgordiad rhwng y Gogledd a'r Dehau yn rhagor, ac felly goreu po gyntaf y delont i gyttundeb i ymwahanu y naill oddiwrth y llall, a ffurfio dwy deyrnas. Nid oedd yr un wlad dan haul yn myned rhagddi mor gyflym â'r Unol Daleithiau cyn i'r rhyfel gofidus hwn dori allan; ond ni wyddombeth a fydd y canlyniad o'r anghydfod cyn iddo gael ei ddwyn i derfyn, a pha mor bell y gall ddinystrio ffynnonell llwyddiant y genedl. Mewn byr amser yr oedd y deyrnas wedi cynnyddu o ddwy neu dair miliwn i ddeng miliwn ar hugain o drigolion; a chyn pen nemawr o flynyddoedd buasai, yn ol pob tebygolrwydd, yn cynnwys dros gant a hanner o filiynau o drigolion, pe na buasai i ysbryd drwg anghydfod a gwrthryfel hau hadau marwolaeth a dinystr ar hŷd a llêd ei thiriogaethau ëang, a rhifo ei meibion wrth y miloedd i'r cleddyf.

Yn nesaf at yr Unol Daleithiau, daw teyrnas fawr a phwysig *Mexico*, yr hon, o herwydd ei chyfoeth a'i maintioli, sydd wedi bod yn enwog am oesoedd. Pan ddaeth yr Yspaeniaid gyntaf at y wlad hon, canfyddasant arwyddion o fedr a diwylliant ymysg y trigolion na welsent ddim cyffelyb iddo yn y parth hwn o'r ddaear. Yr oedd ynddi ddinasoedd mawrion a chedyrn, ac adeiladau yn dangos medr a chelfyddyd cyfartal i rai yr Aipht yn y cynoesoedd, ac yn profi bod y trigolion wedi cyrhaedd gradd helaeth o wareiddiad, ac yn meddu ar gyfoeth mawr, a medr teilwng o drigolion gwareiddiedig Ewrop. Ymosododd yr Yspaeniaid mewn dull creulawn ac anghyfiawn ar y trigolion, er mwyn dyfod i feddiant o'u cyfoeth; ac mae hanes gorchfygiad Mexico gan Cortes, ymysg y mwyaf gwarthus o holl hanesion ymddygiadau creulawn yr Yspaeniaid tuag at gyndrigolion America, a bydd yn llinell ddu ymysg cofnodau o weithredoedd mwyaf anghyfiawn cenedloedd Ewrop hyd ddiwedd amser. Gwir a ddywed y bardd,—

> "Llwybrau brâd, lle bu 'r iau bres,
> Ac artaith lladdfëydd Cortes!"

*Peru* sydd deyrnas fawr a chyfoethog arall, yn gorwedd yn Neheudir America; ac yr oedd hon hefyd yr un modd â Mexico, yn wlad gyfoethog, yn meddu ar lywodraeth wedi ei threfnu a'i chynllunio yn ddoeth, a'r trigolion wedi cyrhaedd gradd uchel o wareiddiad pan ddaeth yr Yspaeniaid gyntaf i'w tir. Ac os ydyw enw Cortes yn dwyn arno warth a

gwaradwydd o herwydd ei greulonderau yn Mexico, nid llai felly y ceir enw Pizarro, cadfridog Yspaenaidd arall, yn ei gysylltiad gyda theyrnas Peru, pan gafodd ei dwyn dan lywodraeth Yspaen. Holl feddylfryd calon yr Yspaeniaid, pan ddaethant at wledydd cyfoethog America, oedd yspeilio y trigolion o'u cyfoeth, a chael meddiant o'r aur a'r arian a'r meini gwerthfawr oedd ganddynt yn drysoredig. Ac os gwelwyd y cadfridogion hyn, pan ddychwelasant yn ôl i Yspaen, ar ol ennill goruchafiaeth ar freninoedd Mexico a Peru, yn marchog mewn cerbydau wedi eu hadduro âg aur, trwy brif heolydd Madrid, a'u meirch wedi eu gwisgo a'u pedoli âg arian, yr oedd melldithion trigolion diniwed y gwledydd a yspeiliasent, a gwaed Montezuma Mexico, a Juca Peru, yn galw am ddial ar eu gweithredoedd anfad, ac yn trysori digofaint ar eu cyfer hwy a'u hiliogaeth hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth. Gwnaeth cyfoeth yr America Yspaen yn enwog a chyfoethog am beth amser; ond yr oedd melldith anghyfiawnder yn drysoredig gyda'i haur a'i harian, yr hyn erbyn heddyw sydd wedi ei dwyn yn un o'r teyrnasoedd mwyaf dinod yn Ewrop. Yn nyddiau Phillip II., yr oedd yn meddu awdurdod ar yr holl gyfandir. Yn Asia yr oedd ganddi drefedigaethau lliosog, yn India yr holl ynysoedd amgylchynol hyd at ororau China, ac yn America yr oedd yn meddu y gwledydd mawrion sydd yn cyrhaedd o bob tu i'r cyhydedd hyd at yr Unol Daleithiau, a gororau Brazil a Patagonia, yr oedd y tir a'r môr dan ei hawdurdod; ond cyfoeth America, yr hwn a fu yn foddion i'w dyrchafu hyd y nefoedd, a fu yn foddion hefyd, ymhen ychydig ganrifoedd, i'w thynu i lawr hyd yn uffern!

Gwlad fawr arall yn Neheudir America ydyw *Brazil*, yr hon a gafodd ei darganfod gan un o'r Portugiaid yn y flwyddyn 1500. Bernir ei bod yn cynnwys o gylch3,000,000 o filldiroedd ysgwâr o arwyneb; ond mae llawer o honi yn anadnabyddus i drigolion Ewrop, a rhai parthau o honi yn un goedwig fawr anhygyrch, lle na fu dim ond crëaduriaid gwylltion yn preswylio o oes i oes er ys miloedd o flynyddoedd. Barna Humboldt bod un goedwig anferth yn cyrhaedd o wastadedd Venezuela, yn lledred 8° gog., hyd at lled. 19° dehau, yn Buenos Ayres; ac nad oes dim o'r fath i'w gymharu â hi yn un rhan o'r byd. Mae mewn maintioli yn gymaint ddeuddeg gwaith a'r oll o Germany! Nid ydyw yn ddichonadwy myned o'r naill fan i'r llall yn y parthau hyn oddigerth mewn badau ar hyd yr afonydd; mae pob man arall mor anhygyrch, o herwydd y coedwigoedd mawrion â phe byddai yr oll yn anialwch gwyllt heb breswylydd. Nid oes yn y coedwigoedd mawrion hyn ddim ond anifeiliaid gwylltion, ac adar o bob math, yn preswylio, lle maent yn dinystrio y naill y llall, ac yn adferu tô ar ol tô o'u gwahanol rywogaethau yn ddiddiwedd. Dyma'r darluniad a rydd Humboldt o'r parth nodedig hwn o'r ddaear,—

"I'r dehau mae anialwch gwyllt ac anhygyrch yn amgylchu'r gwastadedd. Coedwigoedd, wedi bod yn tyfu am filoedd o flynyddoedd, yn un llwyni annhreiddiol, ydynt yn gorchuddio yr ardaloedd corsog rhwng yr Orinoco a'r Amazon. Creigiau anferth o wenithfaen o liw plwm ydynt hefyd yn gwasgu ar welyau yr afonydd mawrion hyn, tra mae'r mynyddoedd a'r coedwigoedd amgylchynol yn adseinio gan ruad taranllyd eu dyfroedd, a chrochwaedd y dywalgi, a chri syfrdanol yr epa barfog yn rhagddywedyd bod gwlaw yn agos.

"A'r lle mae traethell yn ymddangos yn yr afon, gellir canfod y crocodil, a'i safn

anifeirth yn agored, ac mor ddigyffro â'r graig, a lliaws o adar hyd-ddo; tra mae y *Boa Constrictor* amryliw, a'i chynffon wedi ymglymu o amgylch darn o goeden, yn gorwedd yn dorchau mewn cynllwyn ar y lân, yn barod i ruthro gyda chyfeiriad sicr ar ei hysglyfaeth. A cheir ei gweled yn ymddattod yn gyflym i gymeryd gafael ar y tarw ieuanc, neu ryw anifail gwanach, yr hwn a ddichon ddyfod i gyrau'r afon, a thrwy fro yr ysglyfaeth gyda'r llŷs, mae yn raddol yn ei yru i lawr drwy ei gwddf."—*Views of Nature.*

Dyna'r darluniad sydd yn cael ei roddi o'r golygfeydd a ganfyddir yn nghoedwigoedd canolbarthau America.

Gorllewin yr America, o'r cylch cyfrgledd hyd at y cylch deheuol, sydd yn cael ei olchi gan Fôr Mawr y Dehau, y mwyaf nodedig o holl foroedd y byd. Y corff mawr hwn o ddwfr sydd yn gorchuddio mwy na hanner y belen ddaearol, ac yn ymestyn o Orllewin yr America at Australia a China. Mae yn cynnwys uwchlaw can' miliwn o filldiroedd ysgwâr o arwynebedd. Darganfyddwyd ef gyntaf gan Yspaeniad o'r enw Vasco Nunez de Balboa; ond yr oedd Columbus yn gwybod am dano cyn ei farwolaeth, er na chafodd yr hyfrydwch o'i weled. Cychwynodd Balboa o Darien i chwilio am y môr hwn, wedi cael hysbysrwydd yn ei gylch gan yr Indiaid oedd yn preswylio yno. Ac er nad oedd y pellder ar draws y cyfyngdir sydd yn uno Gogledd a Deheudir America gyda'u gilydd, yn ddim dros driugain milldir, eto yr oedd anhawsderau mawrion i groesi y darn hwn o dir, am ei fod i gyd yn fynyddoedd uchel, ac yn orchuddiedig gan goedwigoedd mawrion, a chorsydd bron yn annhreiddiol. Cafodd ei wrthwynebu hefyd gan y penaethiaid brodorol a breswylient y wlad, y rhai a ddaethant i'w erbyn gyda byddinoedd arfog; ond aeth rhagddo er pob peth, a bu am bum' diwrnod ar hugain cyn gallu cyrhaedd ar draws y cyfyngdir. O'r diwedd, dywedai yr arweinyddion oedd ganddo y caent olwg ar y môr o ben y mynydd oedd gerllaw. Ac wedi cyrhaedd ei ben trwy lafur mawr, gorchymynodd Balboa i'w wŷr sefyll, ac aeth rhagddo ei hunan i'r fan yr oedd y môr i'w weled. Mor fuan ag y canfu y Môr Mawr Deheuol, yn ymestyn yn ddiderfyn o'i flaen, syrthiodd ar ei liniau, a chan gyfodi ei ddwylaw i'r nef, diolchodd i Dduw am ei arwain i wneyd y fath ddarganfyddiadau ag oeddynt mor llesol i'w wlad, ac mor anrhydeddus iddo ef ei hun. Ei ganlynwyr, wrth ei weled yn y fath fodd yn ymlawenychu, a frysiasant ymlaen i fod yn gyfranog yn ei lawenydd a'i orfoledd. Aethant rhagddynt i lawr o'r mynydd at làn y môr gyda llawenydd mawr, a Balboa a aeth rhagddo i'r dwfr hyd at ei hanner, yn cludo ei darian a'i gleddyf, a chymerodd feddiant o'r môr yn enw brenin Yspaen, ei feistr, gan addunedu ei amddiffyn gyda'r arfau hyny yn erbyn pob gelyn.

## RHIANGERDD.

"Mi 'th welais do, flynyddau 'n ol,
  Cyn imi adwaen serch,
Na deall beth yw 'r iasau ffol
  Wna 'r swyn sy 'n ngolwg merch;
Er hyny 'th wedd a'th ruddiau llon,
  A'th lygad dengar llawn,
Ennynodd rywbeth drwy fy mron
  Nas gwyddwn beth yn iawn;
Ond torai atat ar ei hynt
  Fel ffrydiau 'r glŷn i lawr;—
Meddyliais fy mod yn dy garu gynt,—
  Mi wn fy mod yn awr.

"Mi 'th welais wed'yn, lanaf ferch,
  Dy wedd, dy ddwyrudd dlôs,
A'th lygaid du 'n gwreichioni serch
  Tan aeliau fel y nos;
Ac yna 'th wylaidd wên yn dwyn
  Ail nefoedd dros dy bryd;
O! bendith ar dy wyneb mwyn—
  Mae 'n swyn a serch i gyd:
Dy foes a'th wylder hawddgar ynt,
  A thyner fel y wawr;—
Meddyliais fy mod yn dy garu gynt,—
  Mi wn fy mod yn awr.

"Dy ddelw fyth geid ger fy mron
  Yn holl hawddgarwch bun,
Hawddgarwch pena 'r ddaear hon,
  A'r nefoedd fel ynglŷn:
Ond O! dy lais eglurodd im'
  Lawn rym hudoliaeth merch,
A byth o hyny hyd yn hyn
  Ni chauodd emrynt serch;
Ennynai 'r oll fel fflam mewn gwynt
  Fy mron yn eirias fawr;—
Meddyliais fy mod yn dy garu gynt,—
  Mi wn fy mod yn awr."

Fel yna 'r llanc Meredydd
  Bêr bynciai 'i ganig rydd,
Ar bellaf gŵr y weirglodd,
  Ryw foreu gyda 'r dydd;

Yn nghwmni ei ddeadell
Uwch ymgyrch byd a'i sèn,
A'i serch yn llifo 'n wastad at
Ei hoffus gariad Gwen.

Holl lanciau 'r fro ran hyny
Yn hyn geid o un fryd;
Prydferthwch merch y Tyddyn
Ddyrysai 'r cwm i gyd.

Ac yn ei gwedd, nid rhyfedd
I'r llanciau adwaen serch;
Er hyny byddar hollol
I'w hymbil oedd y ferch.

Ond i Meredydd weithiau,
Trwy amnaid bach neu ddau,
Ac ambell wên serchiadol,
Rhoid awgrym i barhâu.

Ac wrth ymadael unwaith,
Wrth gamfa 'r weirglodd draw,
Gan dd'weyd "Nos dawch" yn serchus,
Estynai Gwen ei llaw.

Cyfododd gwrid y llencyn,
Ail fflamiodd serch ei fron,
Ac ar yr awgrym hwnw
Bu fyw bythefnos gron!

Ar awel boreu drannoeth,
O'r nant wrth odreu 'r bryn,
Yn ngwres y nos flaenorol,
Dyrchafai 'r geiriau hyn:—

"Clyw iaith fy nghalon, wyryf hardd,—
Fel hyn dechreuaf ar fy araeth,
Prif rôs y maes a lili 'r ardd,
Anfeidrol deg uwchlaw cymhariaeth.

"Prydferthwch fynai wel'd ei hun
Un dydd yn un corffoliad cyfan,
Ac er ei foddio, lluniwyd di,
Yn harddach bron nag ef ei hunan!

"Wrth sylwi ar dy wên a'th bryd,
Fy nheimlad oll yn unllais dystia—
'Diwedda 'n union oes y byd,
Pan ddiffydd haul y wyryf yma.'"

Pallodd swynol lais Meredydd
  Yma 'n mhoethder serch ei fron;
Syllai 'n fud ar lif yr afon
  Mewn teimladau trist a llon;
Yna nodai gamrau Hywel
  Fry hyd gribyn Moel y Llyn,
Gan gyfnewid cerdd ei obaith
  I'r galarus eiriau hyn:

"Ond rhaid cofio 'r gŵg a welais
  Echdoe ar dy brydwedd glân,
Ac ammheüaeth a phetrusder
  Leddfa 'n union dôn fy nghân;
Oes, mae nant a chlogwyn arall,
  Edwyn sain dy enw di,—
Dewis Hywel, ac ar unwaith
  Gwâni 'r cledd i'm calon i.

"Tyred, tyred, selia bellach
  Dy ymrwymiad, O! fy mun;
D'wêd y gair, y gair bâr dd'wedyd
  'Dyna 'r ddeuddyn yna 'n un;'
Neu bydd man fy medd yn gofeb
  O galedi mynwes merch,
A'r holl ardal yn ei adwaen
  Fel gorweddle merthyr serch!"

'Mhen diwrnod neu ddau gyda blwyddyn,
  'R ol troi o'r amaethon yn fardd,
Hyd lwybyr drws goreu y Tyddyn,
  A'i gosgordd nodedig o hardd;
Pelydru ei bendith i waered
  Ar fodrwy 'r cyfammod wnai 'r nen,
A chyrchai 'r holl ardal i weled
  *Priodas Meredydd a Gwen!*

Pengrymu eu croesaw i'r ddeuddyn
  Yn awr wnai henuriaid y bau;
Edmygai 'r holl gwm y dewisiad,
  Gan draethu rhinweddau y ddau;
A rhwydd y maddeuid am unwaith
  I'n gwron, os tybiai ei hun,
Yn mraich y fath angel o lodes
  Yn rhywbeth amgenach na dyn.

A llawen y wledd a ddilynai,
  Ac uchel y grechwen a'r gân,—
Gosgeddiad a llais y lodesi
  Ddyrysent y llanciau yn lân;

Tra 'r naill yn nidwylledd ei anian,
  Trwy wên o serchogrwydd di ball
Yn darllen ei fonwes ei hunan
  A'i deimlad yn llygad y llall.

Ond darfu 'r wledd "yn bell, yn bell,"
A mwyniant dyddiau 'r cyfarch gwell,
  A llawer blwyddyn gyda hyny;
A gwenai 'r holl gym'dogaeth hon
Yn awr ar deulu Pen y fron—
Ein gwron hoff a'i rian lon
  Mewn hedd a chysur yn trigiannu.

Ceid Gwen yn nghegin fach y tŷ
Yn swyno pawb â'i llygad du,
  Ac yntau fry mor llon a dyddan
Hyd lethrau 'r bryniau fel erioed,
A phlentyn prydferth seithmlwydd oed
Yn dechreu dilyn ôl ei droed
  O'r tŷ yn awr hyd lwybrau 'r gorlan.

Rho'i gwŷr y cymoedd, fawr a mân,
Eu bendith oll yn ddiwahân,
  Mewn cusan serch ar rudd yr hogyn;
A chodai cartre 'r teulu 'n awr,
Rhwng tònau byd y cystudd mawr,
Fel Eden ddedwydd ar y llawr
  O fwyniant nefoedd wedi disgyn.

Bob hwyr a bore chwyddai sain
Mawl-weddi rhwng y muriau rhai'n,
  A da 'r adwaenai cylch anwylaf
Hen aelwyd bwthyn Pen y fron
Acenion pêr caneuon llon,
Tra 'r teulu ynghyd âg ysgafn fron
  Yn pyncio arni hirnos gauaf.

Fel hyn hyd diroedd henaint draw
Y rhodient rhagddynt law yn llaw,
  A'u serch at amgen byd yn tynu;
Ac erbyn hyn yn nghladdfa 'r llan,
Yn nghysgod trwch y muriau ban,
Ceir càreg las yn nodi man,
  Gorweddle tawel llwch y teulu.

Mae cof am danynt eto,
  Eu henwau mynych y'nt,
Yn chwedlau teulu 'r cymoedd,
  Am dadau 'r dyddiau gynt.

Ac er nad oes ond symledd
Yn chwedl Pen y fron,
Pwy na ddymunai farw
Am deyrnged megys hon?

Cael huno 'n nghyd i ddysgwyl
Yn llwch eu hunig gell,
Am fendith pob cenedlaeth
Ac adgyfodiad gwell.

ISALED.

---

# HENAFIAETHAU YN MON.

*(Parhâd o tu dalen 322.)*

O FODORGAN ni a aethom i gael golwg ar hen balasdŷ Bodeon, ac ymlaen oddiyno gyda glàn y môr tua Dinas Llwyd. Gelwir y draethell yn y fan hon, fel y mae yn hysbys, Malldraeth; a hynod briodol, feddyliem, ydyw yr enw. Mae yn lle peryglus iawn, gan fod y tywod mewn amryw fanau megys plisgyn teneu uwchben dyfnder mawr, ac mewn amryw leoedd yn rhy wan i ddal pwysau gwŷr traed. A dywedid wrthym y llwnc unrhyw beth o olwg mewn ychydig amser; a phan y dygwydd i long gael ei chwythu i'r glànau, y bydd yn suddo yn gwbl o'r golwg mewn ychydig ddyddiau. Ar ol crwydro fel hyn gyda glàn y traeth, daethom i Ddinas Llwyd, sef creigiau danneddog yn ymestyn i'r môr, ac ychydig olion hen amddiffynfa yma ac acw arnynt. Gellir meddwl fod amddiffynfa o gryn faintioli wedi bod yma gynt; ond nid oes genym unrhyw hysbysiad hanesyddol ynghylch y lle. Pwy oedd y Llwyd y gelwir y fan ar ei enw, na pha wasanaeth a fu i'n cyndadau, nis gwyddom; a chan hyny rhaid i ni ei adael heb allu rhoddi unrhyw eglurhâd hanesiol am dano. O'r fan hon ni a ddaethom, gan ddal mor agos at y môr ag oedd bosibl nes cyrhaedd Dinas Trefri. Mae y fan yn lled debyg i Ddinas Llwyd, sef creigiau yn ymestyn i'r môr; ond nis gallem ganfod yma un math o olion muriau; a'r unig beth a'n tueddai i feddwl y gallasai fod yn fath o amddiffynfa ydyw ei sefyllfa. Mae yn debyg mai math o orsafau gwyliadwriaethol fu y manau hyn pan ydoedd llŷs y Tywysogion Cymreig yn yr Aberffraw. O'r fan hon, a hi yn hwyrhâu, ni a ddaethom ymlaen tua'r dref, heb gyfarfod âg unrhyw olion henafiaethol ar ein taith. Yn wir nid oes odid lanerch yn Môn â llai o henafiaethau ynddo na phlwyf helaeth Aberffraw; a chan belled ag y gallasem gael allan, nid oes ond olion hen amddiffynfa Dindryfal yn y cŵr dwyreiniol, ac Ogof Llewelyn ar y bryn yn agos i'r dref, ag y gellir eu hystyried yn olion henafol o fath yn y byd. Erbyn i ni gyrhaedd y dref, yr ydoedd mantellau y nos wedi ein dal; ond cawsom bob caredigrwydd, a llety cysurus, yn y *Prince Llewelyn Hotel;* nid yn aml y ceir y fath *accommodations* mewn lle gwledig.

Nis gwyddys pa mor fore y dechreuodd y Tywysogion sefydlu eu llŷs yn yr Aberffraw. Mai yma yr ydoedd am lawer o oesoedd, yn enwedig ar amserau, sydd amlwg. Yr hanes cyntaf a allwn gael ydyw, bod yma amddiffynfa Rufeinaidd a elwid Gadavia, oddiwrth Gadalus, fe allai, sef braich, neu drwyn o dir.* Wedi hyny, yr ydym yn cael fod Cadwallon yn symud ei lŷs o'r Aberffraw i Gaerseiont (Caerynarfon), oblegid fod y Gwyddelod yn peri aflonyddwch parhâus iddo, trwy fod y porthladd mor gyfleus iddynt lànio; gan hyny, rhaid fod y llŷs yma cyn amser Cadwallon. Tua 873, cawn fod Rhodri, a gyfenwid y Mawr, yn symud y llŷs yn ôl o Gaerseiont i'r Aberffraw, ac yn rhanu Cymru yn dair talaeth, sef Aberffraw, Denefor, a Mathrafael; ond nid ymddengys i Rhodri gael fawr o lonyddwch mwy na'i hen dadau; oblegid "yn 876 y bu waith Duw Sul yn Môn, ac yno y las Rodri Mawr, ac Gwriad ei frawd" (yn ol llyfr Du Basing ei fab), "a Gweyrydd ap Owain Morganwg, gan y Saeson, ac yn eu llawn angerdd y cymerth gwragedd Môn arfau, ac a ruthrasant ar y Saeson, a'u lladd yn greulawn oni orfu arnynt ffoi."

Ar ol marwolaeth Rhodri, rhanwyd Cymru rhwng tri o'i feibion. Anarawd a gafodd Aberffraw; a'r flwyddyn ganlynol y bu brwydr Cerinwyd, a adnabyddir mewn hanesyddiaeth wrth yr enw "Dial Rhodri," pryd y gorchfygwyd y Saeson a'r Daniaid gan Anarawd, ac y lladdwyd amryw filoedd o honynt. Ymddengys i'r wlad gael seibiant ar ol hyn hyd y flwyddyn 900, pan y daeth "Igmwnt a'i Baganiaid duon i Fôn, ac yna y bu gwaith Rhos Melion, neu Meloren." Mae yn debyg mai yn Ynys Cybi y bu y frwydr hon, sef y lle a elwir yn awr Penrhos Feilw. Mae tŷ a elwir Tŷ Milo yno yn awr. Drachefn, yn y flwyddyn "915 y dyfethwyd Môn gan wŷr Dilyn." Oddeutu 940, cawn Hywel Dda yn penodi Aberffraw yn brif lŷs barn y Dalaeth Ogleddol, ac yn gorchymyn i ysgrifen o'r cyfreithiau a ffurfiwyd ganddo trwy gymhorth deuddeg o brif Henuriaid yr oes, gael ei chadw yma, ynghyda Dinefwr a Mathrafael.

Yn "958, tiriodd Abloic Brenin Dilyn yn Môn, ac y llosgodd Gaerbybi, a dyfethwyd yr ynys yn gwbl gan feibion Bloic."

Yn "962, y dyfethodd Cadbrig ab Eyrlaid Fôn, ac ef a wnaeth drafael fawr yn yr ynys, ac yna y daeth Edgar, Brenin y Saeson, â llu dirfawr yn erbyn holl Gymru, ac ef a ddodes wŷr Denmarc yn Ynys Môn, lle y gwledychasant er gwaetha gwŷr y wlad."

Eto yn "966, tiriodd y Gwyddelod yn Aberffraw, pryd y llosgasant y llŷs a'r dref yn llwyr"—"pryd y lladdwyd Rhodri ap Idwal yn Aberffraw." Fel mae yn hysbys, torcalonus i'r eithaf fu cyflwr Môn am hir amser wedi hyn. Sathrwyd hi gan y naill orchfygwr ar ol y llall; ac yr ydym yn methu cael un sicrwydd i lŷs yr Aberffraw gael ei adeiladu ar ol hyn, na'r dref ychwaith i'r un cyflwr ag y bu cyn hyny. Mae yn amlwg mai yn Rhosfair, neu Niwbwrch, yr ydoedd y llŷs pan y cymerwyd y wlad gan y Saeson, ac nid oes air o son yn *Extent* Iorwerth y Trydydd am balas breninol o fath yn y byd yn Aberffraw. Ar yr un pryd, y mae amryw henafiaethwyr yn tueddu i feddwl mai yn yr ardaloedd hyn yr ydoedd Rhosfair, ac yn rhywle yn lled agos i'r Llŷn a elwir Llŷn Coron, ac yn codi yr englyn canlynol i gadarnhâu y dyb!

* "*Dictionarivm Britannico Latinvm*" y Dr. J. Davies, dan y gair "Gadalus."

"Mae Llŷs yn Rhosfair—mae Llŷn,—mae eurglych,
Mae arglwydd Llewelyn;
A gwŷr tàl yn ei ganlyn,
Mil myrdd mewn gwyrdd a gwŷn."*

A chaniatâu bod yr englyn càn hened âg amser Llewelyn, nid yw yn profi y naill le mwy na'r llall, gan y gall mai Llŷn Rhosddu yn agos i Niwbwrch a feddylid, ac nid Llŷn Coron yn agos i'r Aberffraw. Ond y mae yr *Extent* yn profi allan o bob dadl fod palas Tywysogion Cymru yn agos i'r lle cyntaf. Dyma ychydig o'r *Extent* fel y mae yn yr ysgrif sydd wrth law genym. "Quod tenentes R. Comoti de Meney teneantur repare manor Rs de Rosfeyr." * * "Inquis Capta apud novu Burgu in comoto Meney in Com Anglesey coram Willo de Shaldeford locu tenente dni Rici com Arundél Justic dni Reg in Northwall die px post festum aptor petri et pali anno Regn Reg E. 3tij," &c. Cofier mai yn nghwmwd Malldraeth y mae yr Aberffraw.

Ond er nad oes air o son yn yr *Extent* o'r Aberffraw am balas y Tywysogion yno, eto y mae yn dra dyddorol i'r henafiaethydd, trwy y dangosir ynddo pa fodd yr ydoedd y Tywysogion Cymreig yn derbyn eu cynnaliaeth oddiwrth y wladwriaeth, ynghyd a'r gwaith a'r gwasanaeth oedd yn ddyledus iddynt. Mae yn debyg na welodd un o gant o ddarllenwyr y Traethodydd erioed gopi o hen ysgriflyfrau yr *Extent*, y rhai sydd yn awr yn yr Amgueddfa Frutanaidd yn Llundain. Y mae amryw adysgrifau, yn enwedig o ranau o honynt, yma a thraw ar lêd y gwledydd; gan hyny fe allai nad annyddorol fyddai i ni roddi crynodeb byr o brif ranau y gwasanaeth a delid, a chyfieithiadau achlysurol o'r taliad personol a ofynid oddiwrth drigolion Aberffraw.

Dylid deall yn gyntaf mai eiddo y Tywysog ydoedd yr holl dir, yn ol cyfreithiau Hywel Dda. "Y brenin biefydd tyr y deyrnas oll." A gellir gweled hyn yn amlwg oddiwrth yr *Extent*. Yr oeddid i dalu am dano mewn amrywiol ddulliau, megys blwydd-dal o arian, y rhai a delid ar amserau penodol, yn gyffredin bob chwarter. Gosodid y tiroedd yn rhanau helaeth i ddechreu gan y Tywysogion, a elwid cantrefi, wedi hyny rhenid y cantref gan y cymerwr yn chwe' chwmwd; ac yna rhenid y cwmwd gan y cymerwyr yn driugain tref. Mae yn debyg bod y gair tref yn deillio o'r gwreiddyn Celtaidd, tyr-ef—a diammheu bod yr enwau tref sydd mor aml ynglŷn âg enwau tyddynod yn y wlad yn deilliaw o'r rhaniadau hyn. Yr ydoedd ardreth y tir y pryd hyny yn ychydig iawn mewn cymhariaeth i ardrethiad melinau. Yr ydoedd "Cenryg ap Eignion i dalu pymtheg swllt a phedair ceiniog yn chwarterol am rhandir Bodoneyck." Yr oedd y rhandir yma o leiaf yn dri chant o erwau, pan y mae Hywel ap Iorwerth, am felin "Hywel, i dalu pum' punt y chwarter." Felly yr ydoedd un felin yn ardrethu yn uwch chwe' gwaith na thyddyn o dri chant o erwau. Yr ydoedd eraill i dalu am eu tir mewn anifeiliaid, megys ychen, defaid, &c.; rhai llaeth ac ymenyn, wyau, &c. Pan y byddai y taliad am y pethau lleiaf, yn aml cymerid eu gwerth yn arian. "Derbynir gan ddeiliaid Tep-lerwych ddau swllt a phedair ceiniog yn flynyddol, yn daliad yn lle ymenyn"—"gan Ieuan ap Phillip, pum' swllt a phedair ceiniog yn lle blawd ceirch," &c.

* "*History of the Island of Mona.*" A. Llwyd. Tu dal. 311.

Yr oedd eraill i dalu trwy wasanaeth, a gelwid hwy o wahanol enwau yn ol natur eu gwasanaeth, megys "gwŷr tyr y porth," y rhai oedd i ofalu am gyfran benodol o gynnyrch y tir at anghenion uniongyrchol y llŷs, adgyweirio y palas a'r adeiladau cylchynol, ynghyd a gofalu am y melinau, &c. "Gwŷr mael," sef y rhai oeddynt yn rhwym i wasanaeth milwraidd o amgylch person a phreswylfod y Tywysog, a dderbynient geiniog am bob diwrnod y byddent mewn gwasanaeth; a hefyd "gwŷr gwaith," y rhai oeddynt i gyflawni pob math o waith anghenrheidiol o amgylch y palas, a gwasanaethu ar gylch. Yr oeddynt i ofalu am danwydd, dwfr, a phob peth anghenrheidiol at wasanaeth y tŷ.

Dyledswyddau eraill yr ydoedd y tir-ddeiliaid yn rhwym o'u cyflawni, oedd ymddangos yn bersonol yn y llŷs neu mewn unrhyw lys taleithiol pan y gelwid am danynt, talu yr holl drethi a ofynid oddiwrthynt, a chanlyn y Tywysog i ryfel pan y gelwid am eu gwasanaeth. Yr oeddynt oll hefyd i ofalu am y cylchau gwasanaeth a roddid yn eu siars, megys "cylch halon," sef lle i feirch y Tywysog a'u marchogwyr, ynghyd a'u porthiant; "cylch rhaglaw," sef derbyn a chroesawu swyddogion y llŷs, pryd bynag y gelwid am hyny; "cylch hebogyddion," sef gwneyd yr un modd tuag at hebogwyr neu helwyr eu meistr; "cylch greorion," a elwid hefyd "arian greorion," sef croesawu casglwyr y trethi; ac yn olaf "cylch dorgwn" neu "dorgon" a elwir hefyd "porthi cŵn," sef cadw nifer penodol o gŵn eu harglwydd, yr hyn arferiad sydd eto heb ei ddileu. Ni cheir yn bresennol odid dyddyn o nemawr faintioli yn y wlad nad ellid gweled un neu ddau o gŵn y meistr tir yn cael eu cadw a'u porthi yno.

Yr ydoedd rhai o'r deiliaid hefyd yn ddarostyngedig i fath o dreth ddirwyol *(mulcts)*, a elwid "obediw," ynghyd a "gober," ac "amober." Obediw ydoedd arian a delid ar farwolaeth deiliad a fyddai farw heb etifedd, ac amober a gober ydoedd dâl arianol a delid gan werinwr ar briodas ei ferch, yn y cyffredin deg swllt, yr hyn ydoedd yn swm mawr y pryd hyny.*

Yr ydoedd y cyfoethogion hefyd dan orfod i wasanaethu fel gosgordd i'r Tywysog, yr hyn ydoedd sefyllfa o fri ac urddas. Hwy oeddynt gadbeniaid y fyddin, ac aelodau llŷs uchaf y wladwriaeth. Yr ydoedd y canlynol yn Môn yn amser Owain Gwynedd: "Hwfa ap Cynddelw o Bresaddfed, Llywarch ap Bran o Borthaml, Tegerin ap Carwedd o Lwydiarth, Einion ap Gwalchmai o Drefeilir, a Chadrod Hardd o Fodafon."

Yn yr *Extent*, enwir y personau canlynol yn yr Aberffraw, yn dal tir perthynol i'r Brenin Iorwerth, sef yr un tir, mae yn debyg, ag a berthynai i'r Tywysogion, ac ydoedd o amgylch eu preswylfod yn y lle,—"Cynrig ap Gryffydd, Ieuaf ap Iorwerth, Gryffydd ap Dafydd Fychan, Hywel ap Llewelyn, Gryffydd ap Dafydd Gethin, Ifan ap Hywel, Eignion Tomos, Ednyfed Goch, Hywel ap Dafydd ap Robert, Ifan ap Phillip, Bleddyn ap Madog, a Chynrig ap Eignion, y rhai hyn ynghyd a dalent

* *Mulcta* quaedam apud Britannos quae olim domino solvebatar pro virginum castitate, hac fortasse de causa quôd anti sidem Christi acceptam, domini virginitatem clientum suorum sibi vendicabunt, et volunt quiedum. Hoc precium virginitatis patri debitum fuisse existimo, si vivus esset, mortuo patre domino solvendum Hinc forte virgo dicetar Diffaeth Brenin," &c., &c. Dr. Davies Dictionarum Britannieo Latinvm, dan y gair "Amober."

yn flynyddol, cant a phum' pynt yn ardreth i'r Brenin." Yr ydoedd etifeddion "Rhandir y Porthorion i gael eu tir yn rhad, sef Hywel a Dafydd, meibion Meilir, ond yr oeddynt i dalu pum' swllt a thair ceiniog yn chwarterol am falu eu grawn yn melin y Brenin yn yr Aberffraw." Oddiwrth y dyfyniadau hyn (a gellid cael llawer yn ychwaneg, ond rhag meithder afreidiol ymattaliwn), gwelir fod y diriogaeth hon yn cael ei hystyried yn eiddo personol i'r Brenin, hyd gyhoeddiad breinlen Harri Tudor. Yn amser yr *Extent,* yr ydoedd amryw leoedd yn y wlad yn gorfod bod yn ddidriniaeth o eisieu tyddynwyr. Erbyn hyn, am a wyddys, nid ydyw y Goron yn hòni unrhyw hawl yma oddieithr penodi gweinidog i'r Bersoniaeth, yr hyn ynghyd â Llangadwaladr a Niwbwrch, a gedwir hyd heddyw yn meddiant y Goron.

Mae llawer o olion henafiaethol wedi eu cael o dro i dro yn yr Aberffraw. Oddeutu can' mlynedd yn ol, cafwyd nifer fawr o'r modrwyau gwydr hyny, a elwir "Glain Neidr," yn agos i'r hen ysgubor ddegwm. Cafwyd hefyd ddarn o efydd toddedig wrth gloddio ffos yn agos i'r dref, ar lun teisen o gŵyr gwenyn, ac arno yn ysgrifenedig "SOCIO ROMÆ." Y mae yn pwyso dau bwys a deugain, ac yn awr yn cael ei gadw yn Nghallestr, yn llyfrgell Arglwydd Mostyn. Mae y darganfyddiad yma yn ddyddorol trwy ei fod yn profi, feddylir, bod y Rhufeiniaid wedi darganfod trysorau mŵnawl Môn ddeunaw can' mlynedd yn ol. Nid oes yma yn awr ddim o olion hen balas y Tywysogion. Dywedid bod rhan o'r mur i'w weled yn sylfeini yr hen ysgubor ddegwm, yr hon erbyn hyn sydd wedi ei llwyr ddileu. Mae traddodiad mai ar y maes sydd o'r tu ol i gapel y Methodistiaid Calfinaidd y safai y palas; ac fe'n hysbyswyd gan yr henafgwr parchus, Mr. Williams, Tyddyn Hwrdd, ei fod yn cofio, pan yn fachgen, wrth wastadhâu y maes dan sylw, iddynt gael llawer o gèryg, darnau o goed a llestri, âg ôl tân i'w weled yn amlwg arnynt.

Yr unig *hen* adeilad sydd yma yn awr ydyw Eglwys y plwyf. Dywedir ei chysegru gan Beuno, Abad Clynnog Fawr yn Arfon, yn y flwyddyn 616. Nid oes o'i mewn unrhyw gofadeiladau henafol. Adgyweiriwyd hi lawer gwaith, a'r tro diweddaf ychydig flynyddau yn ol. Yn amser Harri VIII., yr ydoedd y fywioliaeth yn werth ugain punt pymtheg swllt a deg ceiniog; yn awr y mae yn werth oddeutu naw cant o bunnau. Yr ydoedd y pryd hyny ddau gapel perthynol i'r Eglwys i'w gwasanaethu, sef Capel Mair, yn agos i hen amddiffynfa Dindryfal, a Chapel y Beili yn y dref. Mae amryw feddau o dro i dro wedi eu darganfod yn agos i'r hen gapel hwn; a thybir mai Capel y Beddi yw y gwir ystyr. Mae Capel Mair yn adfeilion er ys oesoedd, a gwnaed y llall yn ysgoldŷ gan Syr Arthur Owen o Fodowen, yn y flwyddyn 1729; a dyma brif ysgol ddyddiol y dref hyd heddyw. Mae y plwyf yn cynnwys chwe' mil a dau gant o erwau, pum' cant o ba rai sydd yn dywyn tywodlyd, a'r gweddill yn dir amaethyddol.

Nid oes ond dau gapel perthynol i Ymneillduwyr yn y dref, sef capel y Methodistiaid Wesleyaidd, a adeiladwyd oddeutu deng mlynedd yn ol. Y mae yn gapel helaeth a chyfleus, yn perthyn i gylchdaith Caergybi. Rhif y cymunwyr sydd oddeutu chwech ugain, a'r gwrandäwyr oddeutu dau cant a hanner. A chapel y Methodistiaid Calfinaidd, a adeiladwyd yn 1861, yr hwn yw y pedwerydd er y cyntaf a adeiladwyd

tua 1772. Mae yn adeilad brydferth, ac un o'r capelau harddaf yn y wlad. Mesura ddeunaw llath wrth un ar bymtheg oddifewn, a gall oddeutu pum' cant eistedd yn gysurus i wrando o'i fewn. Mae yr achos yma dan ofal y Parch. John Williams, yr hwn sydd ŵr ieuanc gobeithiol, ac yn llenwi cylch o ddefnyddioldeb helaeth yn y lle. Bellach, ddarllenydd, rhag blino dy amynedd, gadawn weddill y daith ar hyn o bryd, a thebyg y ceir y rhelyw, os byw ac iach, cyn pen hir.

---

# DUW A NATUR.

Y MAE natur y cysylltiad sydd rhwng y Crëawdwr â'i weithredoedd yn un o'r cwestiynau ag y gwyddom leiaf am dano. Y mae y gwahaniaeth anfesurol sydd rhwng ei natur ysbrydol Ef â natur pob peth crëedig, yn gwneyd yn anmhosibl cael allan y cysylltiad sydd yn bod rhwng Duw a natur. Nis gallwn amgyffred y modd y mae y naill yn effeithio ar y llall. Y mae y modd y mae ysbryd yn dal cymundeb âg ysbryd, a'r modd y mae mater yn effeithio ar fater, yn ddirgelwch i ni; a llawer mwy felly y modd y mae ysbryd yn effeithio ar fater. Y wybodaeth uchaf ydyw gwybodaeth am gysylltiadau; ond yr ochr isaf yn unig o'r wybodaeth hon sydd yn nghyrhaedd dynion. Yr oll a wyddant ydyw, fod rhyw gysylltiadau neillduol yn bod. Mae yr ochr uchaf o'r wybodaeth uwchlaw eu hymchwiliadau; nis gwyddant pa fodd y mae y cysylltiad yn bod, neu beth yw ei natur. Fel hyn y mae ymhob gwybodaeth. Nid yw y wybodaeth dduwinyddol uchaf yn cyrhaedd ymhellach nag ymgydnabyddu â'r ffaith fod rhyw gysylltiadau yn bod, y rhai a amlygir i ni gan ddadguddiad. Y mae dadguddiad wedi amlygu i ni gysylltiadau sydd yn bod yn y byd ysbrydol, megys y mae ymchwiliadau i natur yn amlygu i ni gysylltiadau sydd yn bod yn y byd gweledig. Ond y mae natur y cysylltiadau hyn, yn y ddau fyd, yn gorwedd ymhell tu hwnt i'n dirnadaeth. Gwyddom eu bod yn bod, ond nis gwyddom pa fodd y maent yn bod. Un o wirioneddau mwyaf eglur y Bibl ydyw fod Trindod o Bersonau yn y Duwdod; ond y mae deall pa fodd y maent yn cydhanfodi,—pa fath weithrediad yn yr Hanfod Ddwyfol ydyw cenedliad y Mab o'r Tad, neu ddeilliad yr Ysbryd o'r Tad a'r Mab,—yn beth nas gallwn ei gyrhaedd. Er fod astudio athrawiaeth y Bibl am y Drindod yn cryfhâu ein cred yn y ffaith fod y cyfryw berthynasau yn bod yn yr Hanfod Ddwyfol, eto nid yw yr astudiaeth hono yn symud y tywyllwch am ddull y perthynasau hyny. Cyffelyb ydyw gyda thestun yr erthygl hon. Y mae rheswm yn ein harwain i gredu fod cysylltiad parhâus rhwng Duw a natur, ac y mae y Bibl yn cadarnhâu casgliadau rheswm; ond y mae natur y cysylltiad, natur y dylanwad hwnw sydd yn deillio bob moment o'r Crëawdwr i'r grëadigaeth, i'w chynnal a'i

llywodraethu, yn gwestiwn nas gallwn ond gwneyd tybiaethau ansicr mewn ffordd o atebiad iddo.

Y mae daliadau yr Epicuriaid a daliadau y Pantheistiaid yn ffurfio y ddau eithafnod gyda golwg ar y cwestiwn yma. Yr athrawiaeth gywir am gysylltiad y Crëawdwr a'r grëadigaeth ydyw hono sydd yn gorwedd rhyngddynt—sydd yn cymeryd i fewn yr holl wirionedd, ac yn ymwrthod â'r cyfeiliornadau sydd yn perthyn i'r ddwy gyfundraeth. Ni fyddai yn deg dyweyd fod y naill na'r llall o honynt yr un peth ag Atheistiaeth. Celwydd digymysg ydyw Atheistiaeth. Ond y mae Epicuriaeth a Phantheistiaeth yn cynnwys gwirioneddau mawrion. Yr un pryd, y mae y ddwy yn arwain yn y diwedd i wadiad o fôd Duw. Mewn ymddangosiad, y mae y ddwy gyfundraeth yn llawn o Dduw, ond mewn gwirionedd y mae y naill a'r llall heb Dduw. Yr oedd Epicurus yn rhoddi lle mawr i'r gair Duw yn ei philosophi, ond yr oedd yn amddifad o'r syniadau sydd yn hanfodol i'r gwir ddrychfeddwl am Dduw. Nid yw Duw yn bod yn un man (yn ol ei gyfundraeth ef) o fewn i'r grëadigaeth: y mae y duwiau yn eistedd mewn tawelwch didor mewn rhyw ucbelderau goruwch y byd, mewn rhyw diriogaeth ddigyffro ymhell oddiwrth dwrf peiriant mawr natur, ac allan o swn a dadwrdd y crëaduriaid. Hapusrwydd gwastadol y duwiau ydyw peidio gwneuthur dim; bod yn berffaith rydd oddiwrth bob llafur a gofalon, hanfodi heb weithio na meddwl. Nid ydynt eto wedi llawn ddeffro i ymwybyddiaeth o'u bôd eu hunain. Bywyd esmwyth ydyw eu gwynfyd uchaf. Nid oes gan ddynion ddim a wnelont â hwy, na hwythau â dynion; ofer ydyw gweddïo arnynt na galw eu sylw at ein hachosion; y maent yn rhy fawr i ymostwng i edrych ar ein hachosion bychain; a byddai hefyd yn greulondeb ynom ddeffro eu sylw, am yr aflonyddem ar rediad tawel eu pleserau. Os teimlwn awydd, gallwn, eu haddoli, ar gyfrif eu dedwyddwch a rhagoriaeth eu natur ar yr eiddom ni; ond rhaid i ni ofalu rhag galw eu sylw at ein gwaith yn eu haddoli; dyrysai hyny eu perlewygfeydd, a gwnaem hwynt yn anhapus.

Gwreiddyn y syniadau ffol yma oedd tyb yr Epicuriaid am *natur* y duwiau. Nid ysbrydion ydynt, ond rhyw fath o fodau elfenol, ar ffurf dyn; nid ydynt yn meddu cyrff o fath cyrff dynion, ond o fater awyrol teneu; felly y maent yn fodau ysbrydol mewn cymhariaeth i fodau eraill mwy anianol. "Nid cnawd," ebe Cudworth, "ond rhywbeth tebyg i gnawd; nid gwaed, ond rhywbeth tebyg i waed; math o gnawd a gwaed awyrol." Am eu bod y cyfryw fodau, yr oedd Epicurus yn eu cau allan o'r byd hwn, o drugaredd arnynt; pa fodd y gallasai bodau mor lednais eu cyfansoddiad fyw mewn byd mor erwin? Gwnai hyny hefyd oddiar anghenrheidrwydd. Gan eu bod yn lliaws, nis gallasai un o honynt, ac nis gallasent oll ynghyd, fod yn ddiderfyn. Mewn trefn i synied am Dduw yn llanw nefoedd a daear, mae yn rhaid i'r meddwl gael gafael ar y gwir ddrychfeddwl am Dduw; mae yn rhaid cael y syniad am ei Undod a'i Ysbrydolrwydd. Mae yn eglur gan hyny nad oedd Epicuriaeth yn llawer amgenach nag Atheistiaeth, a'i bod yn arwain i hyny. Yr oedd y gwir syniad am Dduw fel bôd ysbrydol, diranau, a diderfyn, yn cael ei gau allan o'r gyfundraeth. Ac nid yw y duw nas gellir dal cymundeb âg ef, ei garu a'i addoli—duw heb un berthynas â dyn, uwchlaw y grëadigaeth yn y fath fodd ag i beidio bod yn treiddio trwy-

ddi, yn Dduw o gwbl. Yn wir, yr oedd duwiau Epicurus yn waelach na dyn. Mae y drychfeddwl cywir am natur dyn yn uwch nag oedd ei ddrychfeddwl ef am natur y duwiau. Nid oedd ei gyfundraeth am Dduw ond cynnyrch y meddwl mwyaf anianol; a syniadau o'r nodwedd iselaf oedd ei syniadau am elfenau dedwyddwch.

Yr eithafnod gwrthgyferbyniol ydyw Pantheistiaeth. Mae yn rhaid addef fod mwy o wirionedd yn y gyfundraeth hon nag sydd yn y llall. Ar ryw olwg, y mae gwedd oruchel ar gredo y Pantheistiad; y mae yn ymgymhell yn rhwydd i feddyliau coeth ac ysbrydol, y rhai sydd yn cilio mewn adgasedd oddiwrth y gyfundraeth arall. Y mae Pantheistiaeth yn cyfarfod â lliaws o ofynion y meddwl; a dyma yr achos fod y rhan fwyaf o athronwyr y gwahanol oesoedd yn dueddol ati. Y mae gwahaniaeth mawr, mewn ymddangosiad, rhwng Pantheistiaeth ac Annuwiaeth; cymaint o wahaniaeth fel nas gellir meddwl am ei fwy. Ar y golwg cyntaf y maent yn hollol wrthwyneb i'w gilydd; oblegid tra y dywed yr olaf, Nid oes Duw, dywed y gyntaf, Nid oes neb na dim ond Duw. Y mae credo neu yn hytrach diffyg credo yr Annuwiad yn ymddangos i bob meddwl sydd yn feddiannol ar y radd leiaf o duedd grefyddol, fel perffeithrwydd rhyfyg ac ynfydrwydd; ond nid yw Pantheistiaeth ar y golwg cyntaf yn cyflwyno ei hun iddo dan y cymeriad hwnw, ond yn gwbl i'r gwrthwyneb. Gallai un dybied mai y gyfundraeth sydd yn rhoddi mwyaf o barch i'r Duwdod ydyw yr hon sydd yn ei wneuthur oll yn oll, trwy amcanu profi nad oes dim yn bod ond Efe. A'r ymddangosiad yma o dduwioldeb ac ysbrydolrwydd sydd yn hynodi Pantheistiaeth—ei bod yn cyfleu ei hun yn y pegwn gwrthgyferbyniol i Atheistiaeth, sydd wedi ennill ffafr iddi i ryw fesur yn ngolwg meddyliau duwiolfrydig ymhob oes. Mae yn wir nad ydynt yn derbyn yr holl gyfundraeth. Arswydent rhag dilyn rhai o ymadroddion y prif Bantheistiaid hyd eu canlyniadau eithaf, er eu bod wedi llefaru ymadroddion eu hunain rhy debyg iddynt. Ond er fod Pantheistiaeth yn ymddangos ar y golwg cyntaf yn unol â rhai o eiriau y Bibl, megys, er enghraifft, y geiriau sydd yn gosod yr Anfeidrol allan fel Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd—yr Hwn sydd oll yn oll, yn yr Hwn y mae pob peth yn cydsefyll, eto, wrth gario y gyfundraeth allan i'w chasgliadau naturiol, fel y gwnaed gan Spinoza ac eraill, nid yw yn amgen nag Atheistiaeth ddigymysg. Y mae y dyn sydd yn cau Duw allan o'r grëadigaeth, a'r dyn sydd yn edrych ar natur fel dadblygiad o'r Duwdod, yn cyfarfod yn y diwedd yn yr un man, sef mewn gwadiad o'i Fôd. Nid yw y gwir a'r bywiol Dduw i'w gael ymysg duwiau lawer yr Epicuriad, nac yn yr Oll yn nghredo y Pantheistiaid. Nid oes gan y Pantheistiad ddim ond Duw, eto y mae, fel y mae yn hawdd gweled, heb Dduw, mor wirioneddol a'r Annuwiad. Yr oedd y gair Duw yn cael cymaint o le yn nghyfundraeth Spinoza fel y cafodd ei alw yn *god-intoxicated man;* ond enw yn unig oedd ei dduw; oblegid, yn ol ei farn ef, nid oes un person yn bod yn yr holl grëadigaeth: nid yw dyn yn berson, oblegid nid yw ond rhan o Dduw,—un o'r ffurfiau dirifedi ymha rai y mae yr hyn a eilw efe yn Dduw yn dadblygu ei hun. Nid yw Duw ychwaith yn berson: y mae y gyfundraeth hon yn ei yspeilio o holl hanfodion personoliaeth. Nid oes ganddo ewyllys i wneuthur fel y gwelo yn oreu; er dyweyd ei fod yn Fôd rhydd, nid yw ei ryddid yn

deilwng o'r enw rhyddid, oblegid nid yw yn rhyddid uwch na rhyddid oddiwrth rwymau oddiallan. Ond yn ol cyfundraeth Spinoza a'i ganlynwyr, nid yw y math hwn o ryddid yn rhyddid o gwbl; oblegid, pa ystyr sydd i'r ymadrodd *rhwymau oddiallan*, gan nad oes neb oddiallan iddo, neb heblaw Efe, yn bod i gyfyngu dim ar ei ryddid? Ofer ydyw son am ryddid ar wahân oddiwrth ewyllys; ond nis gall Duw y Pantheistiad ewyllysio—nid yw yn feddiannol ar ewyllys; nid yw yn gwneuthur dim, ac nis gall; nid yw yn Grëawdwr; ni fu adeg erioed pan ddarfu iddo ewyllysio y grëadigaeth i fodolaeth; nid ar ei ewyllys yr oedd nac y mae y bydysawd yn dibynu; deillio o anghenrheidrwydd y mae y cyfan, pawb a phob peth, o hono ef fel yr Un Sylwedd diderfyn. Nid creu o benarglwyddiaeth a wnaeth yr Anfeidrol; ond dadblygu ei hun o anghenrheidrwydd ac er tragywyddoldeb y mae, a'r dadblygiad hwnw ydyw yr holl grëadigaeth, a rhan o'r dadblygiad hwnw ydyw dyn; a rhanau o'r Sylwedd diderfyn ydyw pob crëadur—pe byddai y gair crëadur yn briodol; ffurfiau anghenrheidiol y Sylwedd diderfyn ydyw mater a meddwl. A'r un modd, y mae yn anmhosibl, yn ol y gyfundraeth hon, ffurfio y syniad am ddealltwriaeth fel un o briodoliaethau y Bôd diderfyn; oblegid nid yw yn feddiannol ar ymwybyddiaeth, nac, o ganlyniad, ar feddwl, oddieithr fel y mae yn dadblygu ei hun yn meddwl dyn. Y mae ymwybyddiaeth a meddwl yn Nuw, gan hyny, yn dibynu ar ymwybyddiaeth a meddwl yn y crëadur. Ni buasai y meddwl Anfeidrol yn bod oni bae am y meddwl terfynol; yn y dyn y mae Duw yn cael ei berffeithio; ïe, yr un yw Duw, dyn, a'r grëadigaeth; nid yw y ddau olaf ond ffurfiau anghenrheidiol y cyntaf. Yn awr, y mae yn eglur fod yn naturiol i wadiad o wyrthiau fod yn rhan o'r gyfundraeth hon; oblegid os ffurf anghenrheidiol ar Dduw ydyw natur, y mae yr anghenrheidrwydd hwn yn peri nas gall fod yn wahanol i'r hyn ydyw; mae yn rhaid i'r dadblygiad fod yr un fath o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb. Pe byddai Pantheistiaeth yn wirionedd, pe byddai yn wir nad oes gan Dduw ewyllys, na fu ac nad yw yn gweithio, am nas gall,—mai dadblygiad anghenrheidiol o hono Ef ydyw holl natur, yna byddai y syniad am yr anmhosiblrwydd i wyrthiau gymeryd lle yn wirionedd hefyd. Ond wedi unwaith y dadseilier y cyntaf, y mae yr olaf yn syrthio o hono ei hunan.

Nid yw yn anhawdd cael ystyriaethau o'r byd naturiol sydd yn ddigonol i ddadymchwel y syniadau crybwylledig am natur Duw. Mae y dyn a sylwo ar natur gyda meddwl gonest yn sicr o ganfod olion o *lywodraeth* arni—o lywodraeth sydd yn dwyn tystiolaeth i fod llywodraethwr, a'r llywodraethwr hwnw yn feddiannol ar ddeall anfeidrol ac ewyllys hollalluog. Nid Duw yn ymdreiddio yn unig trwy y cwbl, ond Duw sydd hefyd yn ymyryd â'r cwbl, ydyw arglwydd natur; nid gallu yn cynnal, ond meddwl hollbresennol yn gweithio yn ddidor, yn cyfaddasu y naill beth at y llall, ac yn cyrhaedd amcanion trwy y cyfaddasiadau hyny. Ond y brif ddadl sydd yn profi geudeb yr athroniaeth annuwiaidd yma ydyw y ddadl sydd yn codi, nid o'r byd oddiallan ond o'r byd oddifewn, y ddadl oddiwrth dystiolaeth ein hymwybyddiaeth ein hunain. Pe caniatëid nas gellir cael rheswm digonol oddiwrth natur oddiallan i ni, y mae yn ddiammheuol fod y meddwl ei hun yn ein cynnysgaethu â rheswm diwrthddadl yn erbyn egwyddorion sylfaenol Pantheistiaeth. Ac

y mae yn deilwng o sylw mai athroniaeth natur, mewn gwrthgyferbyniad i athroniaeth y meddwl, sydd fwyaf tueddol at Bantheistiaeth ac Annuwiaeth. Wrth astudio natur, nid yw dyn yn gweled dim ond pethau difywyd, creäduriaid yn cael eu rheoli gan reddfau cyson yn eu gweithrediad, deddfau unffurf, ac ymddangosiadau yn dilyn eu gilydd yn wastadol yn yr un cylchoedd diwyrni; ond wrth adael y byd oddiallan, a myned i mewn i fyd ysbrydol y meddwl, y mae y dyn yn teimlo yn y fan ei fod mewn byd cwbl wahanol; y mae yn ymgydnabyddu â gwrthddrychau na chanfyddwyd ganddo yn y byd gweledig; mae yn dyfod yn wybyddus fod y fath wrthddrychau ag ewyllys, cydwybod, rhyddid, a dyledswydd yn bod. Ac y mae y galluoedd hyn yn profi geudeb Pantheistiaeth ar unwaith. Mae yn anmhosibl meddwl y gallai dyn sydd wedi ei ddeffro i ymdeimlo â bod ac â gallu y sylweddau hyn yn myd y meddwl syrthio am fynyd mewn cariad â Phantheistiaeth mwy nag âg Annuwiaeth ei hun. Mae yn ymwybodol o'i bersonoliaeth ei hun; mae ei ymwybyddiaeth yn tystio iddo ei fod yn greädur rhydd; ofer fyddai ceisio ei resymu i gredu yn wahanol; y mae yn gwybod ac yn teimlo fod ganddo ewyllys, a bywyd yr ewyllys hono ydyw rhyddid. Gŵyr ei fod yn gyfrifol am ei weithredoedd ac am ei feddyliau. A chofier mai y prawf oddiar ymwybyddiaeth ydyw y prawf uchaf sydd mewn bod; dyma y prawf sydd yn gweithio y grediniaeth fwyaf diysgog yn y meddwl o bob prawf. Y mae gan y meddwl dystiolaeth sicrach am hanfodiad gwrthddrychau ei ymwybyddiaeth nag sydd ganddo trwy gyfrwng synwyrau y corff am hanfodiad y byd oddiallan. Y mae ganddo ymwybyddiaeth uniongyrchol o'i ryddid a'i bersonoliaeth. Y mae o anghenrheidrwydd yn credu hyn; nid canlyniad ymresymiad ydyw ei grediniaeth, ond un o reddfau y meddwl; y mae yn teimlo ei fod yn rhydd; nis gallai trwy un ymdrech ymddyosg oddiwrth y syniad. Pe bae holl athronwyr y byd yn ceisio ei ddarbwyllo i'r gwrthwyneb, pe yr ymresymid ef ganddynt i fudandod, byddai yn y diwedd yr un mor bell oddiwrth gredu eu hymresymiadau, er heb eu hateb, â phe buasai yn alluog i'w hateb oll. Byddai ei ymwybyddiaeth o'i ryddid yn annhraethol gryfach i weithio crediniaeth o hyny na'r dadleuon cadarnaf i'r gwrthwyneb; oblegid ar dystiolaeth ymwybyddiaeth y mae yr egwyddorion cynhenid sydd yn seiliau pob ymresymiad yn gorwedd. Felly y mae gan ddyn y prawf neu y dystiolaeth uchaf mewn bod o hanfodiad byd arall—elfenau mawrion yr hwn ydyw ewyllys a chydwybod. Trwy rym y galluoedd hyn y mae dyn yn teimlo ei fod yn berson, a chan hyny ei fod yn hanfodi ar wahan oddiwrth Dduw ac oddiwrth natur. Gan mai ei bersonoliaeth ei hun ydyw rhagoriaeth ei fôd, y mae oddiar hyny yn ymresymu at bersonoliaeth y Bôd Goruchaf. Eto, nid trwy ymresymiad yn unig y mae y meddwl yn cael gafael ar y syniad am Dduw a'i bersonoliaeth. Y mae y drychfeddwl hwn yn un o reddfau dyfnaf ei feddwl: nid dringo ar hyd grisiau ymresymiad at yr Anfeidrol y mae, ond y mae ynddo yn gynhenid ragsyniad am dano, a hanfodiad y rhagsyniad hwn sydd yn rhoddi bod i bob cais i gael allan yr Anfeidrol trwy ymresymu. Ac am yr Anfeidrol fel Person y mae yn synied. Heblaw hyny, y mae yr ymwybodolrwydd sydd yn meddwl dyn o'i gyfrifoldeb yn gwneuthur y syniad am Dduw fel Bôd personol yn anghenrheidiol. Nis gallasai yr ymwybodolrwydd o gyfrifoldeb fod yn y

meddwl oddieithr iddo ymdeimlo â dau beth—sef ei fod ef ei hun yn berson, a bod Duw yn berson ar wahân iddo. Fod dwy ewyllys yn bod, a bod perthynas rhwng yr isaf, ewyllys y dyn, a'r uchaf, ewyllys Duw, ydyw gwreiddyn y syniad am gyfrifoldeb.

Ni fyddai yn anhawdd dangos fod braidd yr oll o gyfeiliornadau y gwahanol oesoedd am sylfeini crefydd—am Dduw, am Grist, am ddyn, am natur crefydd, yn codi oddiar y ddau wreiddyn yma, Epicuriaeth a Phantheistiaeth. Yr un o ran sylwedd ydyw Annuwiaeth yr oesoedd diweddaf ag oedd credo Epicurus. Y mae y cyntaf fel yr olaf yn cau Duw allan o'i fyd ei hun, er nad yn hollol ar gyfrif yr un ystyriaethau. Gwnai yr Epicuriaid hyny oddiar eu golygiadau am natur y Duwdod; ond y mae Annuwiaid yr oesoedd hyn yn gwneuthur hyny oddiar y golygiadau sydd ganddynt am natur y bydysawd. Gyda'r duwiau yr oedd anffyddiaeth yr Epicuriaid yn cychwyn, ond gyda'r grëadigaeth y mae anffyddiaeth eu holynwyr yn cychwyn. Yr oedd duwiau yr Epicuriaid yn cael eu cau allan o'r grëadigaeth, ar gyfrif eu hanmherffeithrwydd; ond y mae Annuwiaid yr oesoedd diweddar yn cau Duw allan o lywodraeth y byd, nid am eu bod yn tybied ei fod ef yn anmherffaith, ond fod y grëadigaeth mor berffaith, fel na raid iddi wrth un ymyriad byth â hi; y mae ynddi ei hun yn hollddigonol. Darluniant hi megys oriadur, yn gyfangorff cyflawn o'i mewn ei hun, ac wedi ei dirwyn i fyny, ac yn parhâu i fyned yn rheolaidd, heb ofal yr oriadurwr: gall ei gwneuthurwr groesi y Werydd, os myn; ond nid effeithiai hyny yn y mesur lleiaf ar ysgogiadau y peiriant perffaith a wnaed ganddo. A'r un modd, gall Duw anghofio gwaith ei ddwylaw; y mae natur yn beiriant cyflawn a pherffaith arno ei hun; dirwynwyd ef i fyny ar y cyntaf; cynnysgaethwyd ef â'r nerthoedd oedd yn eisieu er sicrhâu ei ysgogiadau rheolaidd. Byddai yr ymyriad lleiaf âg ef yn ddigon i daflu y cyfan i annhrefn. Dywedant fod y Crëawdwr fel y llongadeiladydd, yr hwn ar ol gorphen y llong, a'i gwthio i'r dwfr, sydd yn ei hymddiried i ofal y llongwyr; y llongwyr ydyw deddfau natur; iddynt hwy y mae y grëadigaeth wedi ei hymddiried. Deddfau sydd wrth y llyw, ac nid Duw. Nid ydyw yn cael ei wadu na fu Duw yn gweithio filiynau o oesau yn ol, ond nad yw yn gweithio yn awr. Os bu y Shecinah unwaith yn nheml anian, gellir cerfio Ichabod bellach ar ei thalcen. Natur heb Dduw ydyw y cwbl. Hon, fe allai, ydyw y ffurf fwyaf cyffredin ar anffyddiaeth; y mae wedi bod ymhob gwlad ac oes, ac y mae yn frigog heddyw yn Mhrydain. Amlygodd Leibnitz graffder mawr wrth ddyweyd y geiriau hyny: "*Naturalism*, nid Atheistiaeth, fydd yn heresi olaf, yr wyf yn ofni, a gaiff ei phroffesu yn gyhoeddus." Cyffelyb, ar y llaw arall, ydyw hanes Pantheistiaeth; y mae o ran ei hanfod wedi cael ei phroffesu er pan y mae dynion wedi dechreu meddwl yn ddwfn am Dduw a'r grëadigaeth. "Ymhob ffurf arni," ebe Isaac Taylor, "y mae ganddi ei henafiaeth (*ancestry*), ac ni ddylai ddysgwyl am i ni ei chyfarfod yn awr, fel pe na buasem eisoes, ac er ys talm, yn gydnabyddus â hi." Yr oedd, fel y gwelsom, yn bod cyn cyfodiad Cristionogaeth; hi oedd cyfundraeth ddwyfyddol yr Indiaid oesoedd cyn cof hanesiaeth. Pantheistiaeth oedd credo yr Eleatiaid. Barn Zeno oedd nad oes un sylwedd yn y bydysawd, ac mai gwahanol agweddau y sylwedd hwnw ydyw pob peth sydd yn ymddangos. Gwnaed Pantheistiaeth yn gyfundraeth berffeithiach

gan Spinoza, ac y mae yn treiddio trwy gyfundraethau Hegel, Shelling, ac eraill o athronwyr Germani. Y mae y cyffelybrwydd mwyaf rhwng yr hyn a elwir ganddynt hwy yn ysbryd y bydysawd ac un-sylwedd yr Eleatiaid a Brahma yr Hindwad.* Ac y mae yr holl wrthwynebiadau a godir y dyddiau hyn yn Mhrydain yn erbyn Cristionogaeth, yn gyfryw ag y gellir eu holrhain at y naill neu y llall o'r cyfundraethau uchod—y gyfundraeth sydd yn ysgaru y Crëawdwr oddiwrth y grëadigaeth, neu y gyfundraeth sydd yn gwneuthur y Crëawdwr a'r grëadigaeth yn un. Wrth ddarllen yr "*Essays and Reviews,*" y mae yn hawdd canfod y ddau eithafnod mewn cydgyfarfyddiad; y mae traethawd Baden Powell wedi ei ddwfn lefeinio gan y cyntaf, ac eiddo Dr. Williams yr un mor drwyadl gan yr olaf.

Ond ni a edrychwn am ychydig ymhellach ar un neu ddau o'r golygiadau a gymerir ar berthynas y Crëawdwr a'i weithredoedd. Un golygiad, fel y crybwyllasom eisioes, ydyw fod natur yn ymgynnal ac yn ysgogi heb un ymyriad presennol o eiddo y Crëawdwr â hi. Unig gysylltiad Duw â'r grëadigaeth ydyw ei gysylltiad â hi fel Crëawdwr. Dygodd hi i fod yn y dechreuad, rhoddes iddi y pryd hyny ei holl ddeddfau—lluniodd hi yn beiriant mor berffaith fel y mae byth mwy yn myned yn ei blaen, ac yn cyflawni ei holl amcanion, heb y gweithrediad lleiaf o eiddo ei Gwneuthurwr. Ond y mae yn amlwg fod y golygiad hwn yn milwrio yn erbyn pob drychfeddwl cywir, nid yn unig am natur Duw, ond hefyd am natur y grëadigaeth. "Y mae y golygiad hwn," ebe McCosh, "yn gollwng yn anghof lawer mwy o wirioneddau nag y mae yn gofio. Mae yn anghofio fod y Duw hollbresennol yn bresennol yn ei weithredoedd; fod y Duw hollwybodol yn gwybod am bob peth a weithredir; fod y Duw anfeidrol dda yn teimlo dyddordeb yn llwyddiant ei holl grëaduriaid ymhob lle ac ar bob amser; a bod Llywodraethwr sanctaidd y bydysawd yn wastad yn gwylio ar eu holl weithredoedd." "Y mae Duw," ebe Calfin, yn ei *Institutes*, "yn hawlio hollalluogrwydd iddo ei hun; nid yr hollalluogrwydd ofer, diwaith, marwaidd, a ddychymygir gan ffugathronwyr, ond gallu sydd bob amser yn gwylio, yn gweithredu, ac yn effeithioli,—nid hollalluogrwydd nad yw ond yn gweithio yn unig fel egwyddor gyffredinol o ysgogiad diamcan, ond sydd yn hytrach yn achosi ysgogiadau neillduol. Edrychir ar Dduw fel un hollalluog, nid am y gallai weithredu er iddo beidio, neu am ei fod yn cynnal trefn natur, yr hon a ordeiniwyd yn flaenorol; ond am ei fod yn llywodraethu nef a daear trwy ei ragluniaeth, ac felly yn goruwchreoli pob peth fel nad oes dim yn dygwydd heb ei gynghor." Rhagoriaeth pob hanfodiad o radd uchel ydyw gweithrediad. Yn wir, y mae yn anhawdd ffurfio syniad am un math o hanfodiad ar wahân oddiwrth ryw fath o weithrediad. Y mae pob peth yn bod mewn rhyw berthynas, ac y mae perthynas yn tybied fod y gwrthddrychau fyddont o fewn y berthynas hono yn gweithredu ar eu gilydd. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae y gwrthddrychau sydd yn feddiannol ar hanfodiad o radd uchel yn profi hyny trwy eu meddiant o duedd fwy gweithgar nag sydd gan fodau eraill o rywogaeth îs. Y mae rhagoriaeth y gweithrediad yn cynnyddu yn gyfatebol i ragoriaeth yr hanfodiad.

* *Vaughan's "Age and Christianity."*

Dyn ydyw yr uchaf o fodau y byd hwn, ac o herwydd hyny y mae ei weithgarwch yn rhagori yn ei natur ar weithgarwch pob crëadur arall; y mae yn weithiwr ymwybodol, oddiar gymhellion ewyllys, ac nid fel y crëadur direswm, oddiar gynhyrfiadau greddf. Os esgynwn at yr angel, ni a'i cawn ef yn rhagori cymaint ar ddyn yn ei weithgarwch ag ydyw arno yn ei fôd. Darlunir ef yn y Bibl fel crëadur ag y mae gweithgarwch parhâus a diflino yn un o'i ragoriaethau; cyffelybir ef i elfenau cyflymaf anian, i'r gwyntoedd a'r fflamau tân. Y mae yn sefyll bob amser ger bron Duw yn barod i'w wasanaethu, ac i ufuddhâu i'w orchymynion. Yn awr, os ydyw yr urddau uchaf o greaduriaid, y rhai sydd yn dwyn arnynt fwyaf o ddelw eu Crëawdwr, yn cael eu hynodi gan y gweithgarwch hwn, pa faint mwy y Crëawdwr ei hun? Nid ydyw gweithgarwch fe allai yn un o'i briodoliaethau, yn ol fel yr ydym yn cael ein dysgu am ei briodoliaethau; eto y mae mor hanfodol i Dduw fod yn wastad yn weithgar ag ydyw iddo fod. Cyfyd hyn o anghenrheidrwydd oddiar ei fywyd a'i ewyllys. Mae yn wir mai nid o anghenrheidrwydd natur y darfu i Dduw grëu y byd. O'i ewyllys y daeth y grëadigaeth i fod; ac ar ei ewyllys y mae ar bob moment yn dibynu am ei pharhâd. Eto yr oedd Duw yn weithgar yn y tragywyddoldeb diddechreu; yr oedd y meddwl Dwyfol yn gweithredu erioed ynddo a thuag ato ei hun, ac ni wnaeth crëu ond rhoddi ffurf newydd ar ei weithrediad. Nid oedd dwyn y grëadigaeth i fod ond amlygu yr hyn oedd erioed yn meddwl ac ewyllys Duw. Byddai meddwl yn wahanol yn ein harwain i'r ddau gyfeiliornad mawr a grybwyllwyd o'r blaen. Dywed y Pantheistiad mai yn y grëadigaeth y mae y Duwdod yn dyfod yn ymwybodol o hono ei hun; ac yr oedd yr Epicuriaid yn gwadu pob gweithgarwch o radd uchel i'w duwiau. Yn awr, byddai gwadu fod yr Anfeidrol yn y tragywyddoldeb diddechreu yn weithgar, a hyny i'r graddau uchaf o berffeithrwydd, neu ddyweyd ei fod yn *fwy* gweithgar ar ol dwyn y grëadigaeth i fod, yn gyfeiliornad o'r un rhywogaeth â'r ddau a grybwyllwyd, ac yn gwbl anghydweddol â natur berffaith yr Anfeidrol. A'r un modd drachefn am gynnaliad y byd; yr un ewyllys ag a grëodd y byd sydd hefyd yn ei gynnal; ac fel y gallasai Duw beidio crëu, felly hefyd y gallai adael i'r grëadigaeth syrthio i'w diddymdra dechreuol. Eto, gan mai ei ewyllys ydyw fod iddi barhâu, y mae ei bresennoldeb yn y grëadigaeth o anghenrheidrwydd yn bresennoldeb gweithgar. Y mae y syniad y gall y presennoldeb Dwyfol dreiddio trwy y bydysawd, ac heb weithredu dim—nad yw natur yn teimlo dim oddiwrth ei bresennoldeb ynddi a thrwyddi, mwy na phe buasai yn wag o hono—yn syniad afresymol a chableddus. Yr oedd gweithgarwch diflino y Mab yn y byd yn ddangosiad o'r un peth yn y Tad o ddechreu hyd ddiwedd amser. Dywedodd Ef fod yn *rhaid* iddo weithio gwaith yr Hwn a'i hanfonodd tra yr oedd yn ddydd; ond nid rhaid ymrwymiad yn unig oedd hwn, ond yr anmhosiblrwydd i'r fath Berson fyw ar y ddaear heb fyw bywyd gweithgar. Ac fel y Mab y mae y Tad. "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finnau hefyd yn gweithio." Ac megys y mae natur gweithgarwch dyn yn codi oddiar natur ei fod, felly y mae hefyd gyda Duw. Y mae perffeithrwydd ei fod yn sicrhâu perffeithrwydd ei weithgarwch. Gall weithio ymhob lle, am ei fod yn llanw pob lle; ac ar bob moment, am ei fod yn holl gyflawnder ei fod yn preswylio pob moment o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb; gall

weithio yn a thrwy yr holl grëaduriaid o'r lleiaf hyd y mwyaf, oblegid iddo Ef, yr Anfeidrol, nid oes gwahaniaeth rhwng y lleiaf a'r mwyaf. Nid ydym yn gweled paham y ceisir cyfyngu gweithrediad ei allu yn y grëadigaeth mwy na gweithrediad y priodoliaethau eraill. Os ydyw Duw o anghenrheidrwydd yn llenwi y nefoedd a'r ddaear, os ydyw yn rhinwedd ei hollwybodaeth yn hysbys o'r cyfan, os ydyw yn ei ewyllys da yn ymhyfrydu yn hapusrwydd ei grëaduriaid, paham hefyd nad yw ei allu yn treiddio trwy yr holl grëadigaeth? Mae yn rhaid ei fod: dybygem y gallesid ymresymu oddiwrth berffeithiau Duw, heb gynnorthwy dadguddiad, ei fod yn wastadol yn gweithredu trwy yr holl grëadigaeth. A thrwy y cyfryw ymresymiad y cafodd rhai o'r athronwyr Paganaidd ryw drem ar yr athrawiaeth o ragluniaeth a llywodraeth barhâus Duw ar y byd. Bôd diranau ydyw Duw; y lle y mae Duw y mae yr oll o hono yno; nid rhan o hono yn y nefoedd a rhan ar y ddaear, ond y mae yr oll o Dduw ymhob man ar yr un waith. Felly, os ydyw ei bresennoldeb yn treiddio trwy yr holl grëadigaeth, y mae yn ei hollalluogrwydd yn treiddio trwyddi; a pha beth ydyw preswyliad hollalluogrwydd ynddi ond preswyliad Duw yn ei weithrediad? Ei fod yn bresennol ymhob man yn ei wybodaeth ydyw ei fod yn berffaith hysbys o bob peth; a bod ei hollalluogrwydd yn preswylio yn y grëadigaeth ydyw ei fod yn gweithio bob moment yn ei chynnaliad a'i llywodraethiad. Nid yw y golygiad hwn yn cynnwys y diraddiad lleiaf ar ei berffeithrwydd fel gweithiwr. Dylid cofio yn wastad mai nid dyn yw Duw. Pan y mae y celfyddwr yn gweithio peiriant, perffeithrwydd celfyddyd ynddo fyddai cwblhâu y peiriant yn y fath fodd ag i gyrhaedd ei amcan, heb fod un anghen am arolygiaeth barhâus drosto. Ond, a chaniatâu mai peiriant anferth ydyw natur, ni fyddai yn arwyddo anmherffeithrwydd yn y Crëawdwr anfeidrol i'w harolygu. Byddai i ddyn edrych ar ol ei beiriant bychan yn flinder mawr iddo; ond nid yw felly i Dduw. O ran natur ei hun, am ddim ar a wyddom, gallasai Duw ar y cyntaf ei chrëu a'i chynnysgaethu â galluoedd i weithio o honi ei hun, heb ei ymyriad gwastadol ef â hi; er y dichon na fuasai hyny yn unol â hanfodiad personau yn y grëadigaeth. Ond y mae y syniad, fel y dangoswyd, yn anghydweddol â natur Duw. Nis gallwn goledd y drychfeddwl y buasai yn gydweddol â'i berffeithiau iddo roddi bod i'r cyfryw gyfundraeth ag a allasai hebgor ei weithrediad cyson a digyfrwng. Y mae natur anmherffaith a therfynol dyn yn gwneyd y dull hwn o weithio yn anghenrheidiol iddo ef, ond i'r gwrthwyneb y mae natur Duw. Y mae y rhan fwyaf o'r dadleuon a ddygir ymlaen yn erbyn rhagluniaeth y Goruchaf ac yn erbyn gwyrthiau yn cyfodi oddiar gysylltu ansoddau bodau terfynol â'r Anfeidrol. Addefir fod gwyrth yn weithred sydd yn wahanol i drefn sefydlog natur; mai Duw sydd yn gwneuthur y wyrth, ac mai Efe hefyd a ordeiniodd gwrs natur. Ond gwrthddadleuir oddiar hyn, Onid ydyw gweithredu yn groes, neu yn wahanol i'r drefn a sefydlwyd ganddo Ef, yn ei wneuthur yn Fôd cyfnewidiol? Nac ydyw yn y mesur lleiaf. Y mae atebiad Aquinas yn ddigon i'r wrthddadl: "Pan sefydlodd Duw fath o drefn mewn pethau, eto cadwodd iddo ei hun yr hawl, pan fyddai achos yn gofyn, i weithredu fel arall." Heblaw hyny, nid y byd elfenol ydyw holl fyd Duw; y mae ei gynllun tragywyddol Ef yn cynnwys llawer mwy na natur a'i deddfau; ac yr oedd gwyrthiau yn rhan o'r cynllun

hwnw yn gymaint â threfn natur. Eithriadau ydyw gwyrthiau wrth edrych arnynt yn eu cysylltiad â natur, ond nid eithriadau ydynt yn eu cysylltiad â chynllun y meddwl Dwyfol. Y mae cofio mai nid dyn yw Duw yn ddigon i symud ymaith bob gwrthddadl yn erbyn ei orchwyliaethau.

Ond, i ddychwelyd; nid peiriant ydyw natur. Gwir a ddywed Carlyle mai un o'r tybiau mwyaf arwynebol ydyw meddwl am Dduw fel peiriannydd hollalluog. Y mae mater a'i briodoliaethau yn barod wrth law y peiriannydd; ond galwodd y Crëawdwr bob peth i fod, nid o bethau gweledig. Gall y celfyddwr gwblhâu ei beiriant a'i adael iddo ei hunan. Yr achos o hyny ydyw mai nid y gweithiwr ei hun sydd yn rhoddi bod ar y cyntaf i ysgogiadau y peiriant. Y mae y galluoedd yn bod yn y defnyddiau eisoes. Y mae natur, neu yn hytrach ei Chrëawdwr, wedi bod yn gweithio o flaen celfyddyd; a gwaith Duw ydyw y rhan fwyaf o beiriant y dyn: natur ydyw sylfaen celfyddyd. Nid yw y gweithiwr wedi gwneyd dim mwy na chyfaddasu ei ddefnyddiau at y deddfau sydd eisoes yn bod. A chan eu bod yn hanfodi cyn gwneyd y peiriant, gall y peiriant fyned yn ei flaen wedi i'r dyn ei adael. Ond nid felly y mae natur. Mae yn wir ei bod, yn unffurfiaeth ei hysgogiadau, yn peri i un feddwl am beiriant anferth; ond yr unffurfiaeth yma ydyw yr unig gyffelybrwydd sydd ynddi i beiriant; ymhob peth arall y mae y tebygrwydd yn diflanu. Y mae cysylltiad Duw â'r grëadigaeth yn gwbl wahanol i gysylltiad y celfyddwr â'i beiriant. Y mae y galluoedd hyn sydd mewn natur, y rhai sydd yn barod wrth law y peiriannydd wrth ddechreu ei beiriannwaith, i gael rhoddi cyfrif am danynt cyn y gellir cyffelybu y grëadigaeth i beiriant. Gan nad oes dim gwir gyfatebrwydd rhyngddynt, yr unig olygiad rhesymol ydyw fod y grëadigaeth yn cydsefyll ar bob moment yn rhinwedd gweithrediad digyfrwng y Crëawdwr. Y mae mor anhawdd dychymygu am y grëadigaeth yn ymgynnal arni ei hun ag am y grëadigaeth wedi rhoddi bod iddi ei hun. Nid ydyw deddfau ond dim ar wahân oddiwrth Dduw. Nid ydynt ond ei ddulliau ef o weithredu. Yn eu cysylltiad â ni y maent, o herwydd eu hunffurfiaeth, yn deilwng o'u galw yn ddeddfau; ond nid ydynt ond ewyllys Duw; nid ydynt yn bod iddo ef, ac ar wahân oddiwrtho. Y mae Duw yn edrych ar y crëaduriaid lleiaf fel yn bod ar wahan iddo, ond nid yw yn edrych felly ar yr hyn a elwir yn ddeddfau natur; yn eu cysylltiad âg ef nid ydynt ddim amgen na'i fod yn ewyllysio llywodraethu y byd mewn trefn; ac y mae yn ewyllysio gwneuthur hyny, nid am fod deddfau yn lleihâu ei ofal neu yn esmwytho ei faich—fel y mae y dyn sydd yn ofalus am drefn yn ei holl arferion yn gwneyd ei drafferthion yn esmwythach trwy hyny, ond am ei fod yn caru trefn, ac am fod llywodraethu y byd o oes i oes, ac o ddydd i ddydd, yn yr un drefn, yn anghenrheidiol i hapusrwydd ei grëaduriaid.

Hen syniad pobl dduwiol syml, y rhai sydd yn derbyn eu holl wybodaeth am y Crëawdwr a'i weithredoedd allan o'r Bibl yn unig, ydyw y mwyaf athronyddol a chywir, wedi'r cwbl. Yn eu golwg hwy, Duw sydd yn gwneuthur y cwbl. Nid yn unig y maent yn gweled Duw heibio, a thrwy, ac o'r tu cefn i'r deddfau, eithr nid ydynt yn gweled neb ond Efe. Efe *yn unig* sydd yn gweithio; nid *cyd*weithio â deddfau y mae, ond gweithio ei hunan. Llwybrau Jehofah ydyw deddfau natur,

"Ewyllys Duw," ebe Augustine, "ydyw natur pethau." Yn eu perthynas â gallu Duw y mae cwrs cyffredin natur ar yr un tir yn hollol â gwyrthiau; ac yn yr ystyr yma yr un peth ydyw crëu a chynnal. Nid ydym i feddwl fod mwy o allu mewn gwyrth nag yn y pethau a welwn yn cymeryd lle o flaen ein llygaid bob dydd o fewn y grëadigaeth, y rhai, o herwydd ein cynefindra â hwynt, sydd wedi peidio a bod yn rhyfedd i ni. Ond pe yr edrychem yn gywir ar natur, ni a ryfeddem at bob peth o'i mewn; ni a adnabyddem anfeidrol allu a Duwdod ynddi bob dydd, ac nid yn unig wedi bod yn gweithio gynt yn ei ffurfiad cyntaf; ni a edrychem ar bob peth fel effaith gallu crëawl y Duwdod y fynyd hono. Nid oedd mwy o allu yn mywhâd corff Lazarus nag sydd yn nghynnaliad bywyd un dyn yn awr; ac ni fydd adgyfodi yr holl feirwon yn y dydd diweddaf yn nês i fod yn orchest i'r Hollalluog nag ydyw ei waith parhâus yn anfon ei Ysbryd i grëu, ac i adnewyddu wyneb y ddaear. Nid oes dim yn wyrth yn ei gysylltiad â Hollalluogrwydd Duw mwy nag yn ei gysylltiad â'i gynllun tragywyddol. Ac nid yn unig y mae yr un gallu yn gweithredu yn nhrefn gyffredin natur ag yn y wyrth, ond y mae yn gweithredu hefyd yr un mor ddigyfrwng. Effaith ei ewyllysiad uniongyrchol ydyw pob peth ond gweithredoedd person. Beth bynag ydyw y gwahaniaeth rhwng gwyrth a gweithrediadau Rhagluniaeth gyffredin, gallwn fod yn sicr mai nid hwn ydyw,—Mai Duw ei hun sydd yn gweithio yn y wyrth, ond mai ei ddeddfau sydd yn gweithio mewn Rhagluniaeth gyffredin. Nid all deddfau *weithio;* mae yn rhaid wrth berson, wrth ewyllys, i weithio. Mae y dyn wrth symud ei fraich yn ei symud wrth ddeddfau; mae yn rhaid iddo ei hysgogi yn y ffordd yma neu y ffordd arall; ond nid y dulliau hyny o'i hysgogi, a wneir yn anghenrheidiol gan gymmalau a chyhyrau y fraich, ydyw y *gallu* sydd yn ei hysgogi. Y gallu ydyw ewyllys y dyn. Er fod yn rhaid iddo ei symud mewn ychydig o ffyrdd, ac nas gallai ei symud heb yr esgyrn a'r cyhyrau, eto ni fyddai yn briodol dyweyd mai hwy ydyw y gallu sydd yn ei hysgogi. Llawer llai y gellir ystyried fod dim gallu yn neddfau natur. Nid oes anghenrheidrwydd i Dduw am danynt i weithio; gallai weithio hebddynt yr un fath a chyda hwynt. Ynddo Ef yn unig y mae y gallu yn trigo, a'i ewyllys ef ydyw yr achos o holl ysgogiadau y bydysawd. Mae yn rhaid i ni olrhain pob gweithrediad at ewyllys, fel y cysylltir pob dealltwriaeth â bod deallgar. Y mae natur yn dwyn arni arwyddion diymwad, a'r rhai hyny yn ddirifedi, o ddoethineb a deall; ond nid yw y doethineb a'r deall hwnw yn trigo o fewn natur ei hun, ond yn Nuw. A'r un modd y mae nerthoedd mawrion yn ymddangos i ni fel yn trigo mewn natur; eto nid ynddi hi y maent yn trigo, ond deilliaw yn barhâus iddi oddiwrth y Crëawdwr, yn gwbl yr un fath a'i bod. "Y mae pob peth a wneir yn y byd," ebe Dr. Samuel Clarke, yn cael ei wneuthur naill ai yn ddigyfrwng gan Dduw ei hun, neu gan fodau deallgar crëedig, oblegid nid yw mater yn alluog i feddu unrhyw ddeddfau neu alluoedd, mwy nag y mae yn alluog i feddu dealltwriaeth. Felly, nid yw holl ansoddau mater a holl deddfau anian, wrth lefaru yn fanwl, yn ddim amgen nag effeithiau gweithrediad parhâus Duw ar fater. Yr ydym yn addef fod amryw o athronwyr a duwinyddion galluog, y rhai sydd yn addef llywodraeth Duw ar y byd, yn dal y gwrthwyneb i'r golygiad uchod. Credant mai Efe sydd yn llywodraethu, eto fod gan fater

a moddion rywfath o allu yn trigo yn gynhenid ynddynt eu hunain. Ond yr ydym ni yn tybied fod y golygiad am ddylanwad digyfrwng y Crëawdwr yn fwy athronaidd ac yn fwy Ysgrythyrol. Nid ellir ystyried y golygiad cyntaf o duedd anffyddol, cyhyd ag y mae ymdreiddiad y Crëawdwr trwy holl natur, a'i gynnaliad parhâus o'i deddfau, yn cael eu credu a'u proffesu. Eto y mae yn fwy cywir ystyried deddfau anian fel *moddau* ei weithrediad nag fel *cyfryngau*. Y mae y gair "moddion" yn y Gymraeg yn gyson â'r dybiaeth a farnwn yn fwyaf cywir. Pan ddywedir fod Duw yn gweithredu trwy foddion, nid y meddwl yw, fod gallu yn y moddion ei hun; pe felly, cydweithredu â'r moddion a wnai Duw; ond mai y *modd* y mae yn gweithio ydyw. Y mae y rhai sydd yn sefyll dros ddylanwad digyfrwng y Crëawdwr yn dadleu nad ydyw ysgogiad yn perthyn i natur corff materawl, ond mai ansawdd ddamweiniol ydyw; nad oes o'i fewn ei hun un achos o ysgogiad, ond ei fod yr un mor dueddol i ysgogi neu i beidio ysgogi. Felly mae yn rhaid fod achos ei ysgogiad y tu allan iddo ei hun, sef yn y Crëawdwr. Gan mai gyda Duw y mae ysgogiad yn dechreu, efe hefyd sydd yn ei barhâu. Mae yn rhaid i bethau wrth yr un achos tuag at eu parhâd ag er mwyn eu dygiad i fod ar y dechreu.

Hon hefyd ydyw athrawiaeth y Bibl ar lywodraethiad y byd. Mae yn wir y lleferir ynddo am ddeddfau ac ordeiniadau. "Fe roddes yr Arglwydd ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd na thorent ei orchymyn ef; cauodd Efe y môr â dorau; gosododd y cwmwl yn wisg iddo, a niwl tew yn rhwymyn iddo; gosododd ei orchymyn arno, i attal ymchwydd ei dònau; gosododd derfyn fel nad elai drostynt." "Gwnaeth hefyd ddeddf i'r gwlaw." Dywedir am y lloer a'r sêr fod Duw wedi eu hordeinio; nid yn unig galwodd hwynt i fod, ond penododd iddynt hefyd eu cylchoedd, yn y rhai y maent yn olwyno yn rheolaidd er dydd eu crëad. Ond eto, nid yw y crybwylliadau hyn am "ddeddfau," "gosodiadau," ac "ordeiniadau," y rhai a benodwyd yn y dechreuad, pan ddygwyd y bydoedd i fod, yn ein rhwymo i feddwl fod y Crëawdwr wedi ymddiried llywodraethiad y grëadigaeth i ddeddfau, fel cynifer o raglawiaid dano; neu ei fod yn adeg crëu pob peth yn gweithio yn ddigyfrwng, a'i fod byth ar ol hyny yn gweithio trwy gyfryngau; fod ei berthynas â'r byd yn fwy agos yn ei grëad nag yn ei gynnaliad a'i lywodraethiad. Na, y mae yn rhaid i ni esbonio y geiriau sydd yn son am ordeiniadau y nefoedd, a deddfau yr holl grëadigaeth, yn unol â geiriau eraill sydd yn dangos fod Duw yn gweithio yr un mor uniongyrchol ar ol hyny. Yn wir, y mae yr ymadroddion a ddyfynasom, rai o honynt, yn awgrymu nad ydyw deddfau yn ddim amgen nag ewyllys Duw. Beth ydyw deddf y môr? Nid yw yn ddim ond ufudd-dod y dyfroedd i'w "orchymyn ef." Nid gallu wedi ei gyfranu unwaith am byth i'r elfen ddwfr, yn ngrym pa un y mae yn gweithio yn rheolaidd o honi ei hun trwy yr oesoedd, ydyw deddf y môr, ond effaith ewyllys y Crëawdwr ydyw. Iaith gyffredin y Bibl ydyw fod Duw yn gweithio yn barhâus; mai efe sydd yn rhinweddu, yn bywhâu yn ysgogi yr holl grëadigaeth ddireswm, a bod crëaduriaid rhesymol yn dibynu arno bob moment am eu bywyd, eu galluoedd, a'u cysuron. "Efe sydd yn rhoddi i bawb fywyd ac anadl, a phob peth oll." "Ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod." Mae y tri gair yma yn cynnwys y syniad mai i Dduw yr ydym yn ddyledus am ein cysuron—

"yn byw,"—am barhâd galluoedd corff a meddwl—"yn symud,"—ïe, hyd yn nôd am ein hanfodiad—"yn bod." Mae y crëaduriaid a ddygir i fod trwy genedliad naturiol yn grëaduriaid Duw mor wirioneddol â phe buasent wedi eu crëu ar y cyntaf ganddo o ddim. (1 Tim. iv. 6; Preg. xii. 1). "Ysbryd Duw a'm gwnaeth i, ac anadl yr Hollalluog a'm bywiocâodd i." Y mae y darluniad arddunol o ragluniaeth Duw yn Salm civ., yn darllen yn debyg i hanes Duw yn crëu ar y pryd. Efe sydd yn gyru y ffynnonau i'r dyffrynoedd, y rhai a gerddant rhwng y bryniau. Y mae efe yn dyfrhâu y bryniau o'i ystafelloedd; y ddaear a ddigonir o ffrwyth ei weithredoedd. Y mae yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifail, a llysiau i wasanaeth dyn. Efe sydd yn gwneuthur tywyllwch. Ar y ddaear, y mae y cenawon llewod yn ceisio eu bwyd gan Dduw; ac yn y môr mawr llydan, y mae ymlusgiaid heb rifedi, bwystfilod bychain a mawrion, a'r lefiathan eu brenin, oll yn dysgwyl wrtho, am roddi o hono iddynt eu bwyd yn ei bryd. Yr hyn a rydd Efe a gasglant hwythau; o'i law agored diwalla hwynt oll â daioni. Mae bywyd pob un yn dibynu ar ei weithrediad digyfrwng Ef, a threngant yn ol ei ewyllys. "Ti a guddi dy wyneb, hwythau a drallodir; dygi ymaith eu hanadl, a threngant, a dychwelant i'w llwch. "Pan ollyngych dy Ysbryd, y crëir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear." Ac yn yr un ysbryd ac ystyr y llefara yr holl Fibl am lywodraeth Duw ar y byd. Pwy a ddarpar i'r gigfran ei bwyd, pan lefo ei chywion ar Dduw?"—dyna gwestiwn nad oes ond un ateb i'w roddi iddo. Duw "sydd yn rhoddi y gwlaw cynnar a'r diweddar yn ei amser; ac Efe sydd yn cadw i ni ddefodol wythnosau y cynauaf." Nid oferedd y cenedloedd, na'r nefoedd o honi ei hun, a wna iddi wlawio; ond Jehofah, Duw Israel; "ti a wnaethost hyn oll." Ac nid desgrifiadau o ragluniaeth yn llawn o'r rhyddíd, ac o'r dull cyffredin o bersonoli pethau meirwon, a berthyn i farddoniaeth, ydyw y rhai hyn; ond wrth droi at eiriau mwy syml y Testament Newydd, yr ydym yn canfod yr un wedd yn cael ei rhoddi ar lywodraeth Duw. Eich Tad yn y nefoedd, ebe Iesu Grist, sydd yn peri i'w haul godi, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn; efe sydd yn porthi adar y nefoedd; efe sydd yn gwisgo lili y maes; llawer mwy y dillada efe chwi, ei grëaduriaid rhesymol, ïe, ei blant! Dywed Paul hefyd fod Duw yn rhoddi tystiolaeth am dano ei hun, trwy roddi gwlaw o'r nefoedd, a thymmorau ffrwythlawn. "Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling? ac ni syrth un o honynt ar y ddaear heb eich Tad chwi." Mae y gair a gyfieithir yma *heb* (ανευ) yn gyfystyr â heb wybodaeth a chydsyniad.—*(Kypke).* Pan syrth yr aderyn bach i'r ddaear yn farw, nid yw yn anadlu yr anadl olaf y tu cefn i lywodraeth Duw; na, nid yn unig y mae ein Tad yn y nef yn gwybod am y peth, ond y mae y dygwyddiad yn cymeryd lle yn ol ei ewyllys; y mae yn effaith ewyllysiad Duw ar y pryd, mor wirioneddol ag oedd crëu y byd ar y cyntaf. Yn awr, onid yw golygiad y Bibl, a golygiad yr athroniaeth oreu, ar lywodraeth Duw ar y byd, yn cymhell ei hun i feddwl a theimlad dyn fel yn annhraethol ragori ar yr athroniaeth sydd yn ceisio gwneyd y grëadigaeth yn beiriant? Nid yn unig y mae yn fwy cydweddol â phob gwir syniad am natur Duw, ond y mae hefyd yn fwy unol â holl deimladau goreu dyn; a'r cyntaf ydyw yr achos o'r olaf. Y mae athrawiaeth Rhagluniaeth, fel y mae yn cael ei dysgu yn y Bibl, yn ymasio â holl deimladau goreu dyn, am ei bod yn unol â phriodoliaeth-

au a chymeriad Duw. Mae yr athrawiaeth wrthwyneb yn cloi y fynwes rhag pob teimlad tyner o fawl, diolchgarwch, a defosiwn. Y mae oerder a phrudd-der y syniad am natur heb Dduw yn annyoddefol i'r meddwl. Mae yn yspeilio dyn o'i gysuron penaf. Ofer fyddai ceisio perswadio yr hwn sydd yn dal nad oes a wnelo yr Anfeidrol â llywodraethu y byd, i weddïo arno, oddiar y rheswm fod tuedd mewn gweddi i drefnu a dysgyblu y meddwl. Mae yn ddiammheu fod hyn yn wir am weddi; ond am weddi y ffydd, y mae yn wir; y mae sylweddu yr Anweledig, a chredu yn Nuw fel Duw agos atom, yn hanfodol i gyfranu i weddi ddigon o nerth i effeithio ar y dyn ei hun. Mae yn rhaid i'r weddi fyddo yn meddu dylanwad yn yr ystyr yma fod yn weddi ffyddiog, a thaer, a llawn ymdrech; ond y mae yn anmhosibl iddi feddu ar yr ansawdd yma, heb fod y gweddïwr yn credu â'i holl galon fod Duw yn ei wrando, fod clustiau ei Dad yn y nef yn agored i'w lefain, a'i fod yn barod i ateb ei weddïau. Y rhai sydd yn bur o galon, ac yn gweled Duw ymhob peth, ac yn sylweddoli ei ragluniaeth effro, feunyddiol, ei sylw ar bob peth o'r mwyaf hyd y lleiaf,—yn edrych arno yn parhâu i gyfranu yr un rhinwedd crëawl bob dydd ag ar ddyddiau cyntaf y grëadigaeth, ac ar y bydoedd a'u hysgogiadau yn cael eu bôd o hyd gan ei air,—y rhai sydd yn synied fel hyn ydyw gweddïwyr mawr pob oes. Ar ol olrhain ffyrdd rhagluniaeth trwy yr holl fydysawd—ar ol rhodio ochr yn ochr â'r Jehofah trwy holl faesydd anian, ac edrych arno yn gweithio, yn cyfranu bywyd, ac yn gweinyddu cysuron aneirif trwy holl ranau ei ymherodraeth,—yn awr yn uchder yr wybrenau, yna yn nyfnder y môr mawr llydan, yn y man ar wyneb y ddaear,—wedi gweled fod holl ysgogiadau natur yn dyfod oddiwrth ewyllys Duw, a holl hapusrwydd ei grëaduriaid yn deilliaw o'i galon haelionus trwy ei law agored, y mae serchiadau calon y Salmydd yn ymddyrchafu fel arogldarth pêr at orsedd yr Anfeidrol; y mae y meddyliau hyn am ei lywodraeth yn cynnyrchu yn y galon deimlad cyfatebol iddynt: "Canaf i'r Arglwydd trafyddwyf fyw; canaf i'm Duw tra fyddwyf. Bydd melus fy myfyrdod am dano; mi a lawenychaf yn yr Arglwydd."

---

# TREM AR YR AMSERAU.

"Llais angeu 'n arllwys ingoedd—
Gwaed! gwaed! yw ei lais ar g'oedd!"

DYNA y llais ofnadwy sydd yn parhâu ac yn cryfhâu yn yr America anffodus, lle nad oes un argoel am derfyn ar yr ymryson difäol. Troi a throi y mae y rhôd yno; yr ochr oedd uchaf yn awr yn isaf, a'r isaf yn myned drachefn yn uchaf. Wedi i'r Gogleddwyr ddechre yn orchestol a llwyddiannus, gorfu iddynt mewn llawer o frwydrau diweddar encilio

rhag y Deheuwyr. Cafodd y gwrthryfelwyr amryw o fuddugoliaethau pwysig ar yr Undebwyr; ac yr oedd yn amlwg fod y byddinoedd Deheuol dan lywyddiad llawer medrusach ac effeithiolach nag yr oedd y lleill. Yr oedd yn ddrwg genym weled y Llywydd Lincoln a'i weinidogion yn rhoddi "sain anhynod," mwys, ac aneglur, ynghylch diddymiad caethiwed, yr hyn oedd yn oeri cydymdeimlad y gwledydd gyda'u hachos; ac nid ydynt hyd yn hyn wedi dangos eu hunain mewn un ystyr yn meddu cymhwysderau cyfaddas i'r cyfwng presennol. Eto y mae gobaith y dysg y Gogleddwyr ddoethineb, ac y deuant i weled ac i wneuthur eu dyledswydd; eithr nid ydym yn dysgwyl dim daioni oddiwrth eu gwrthwynebwyr. Y mae holl gaethion y Taleithiau Deheuol yn cael eu cadw o'r tu allan i amddiffyn y gyfraith, eu hamddifadu o holl foddion addysg, a'u trîn yn ol mympwy eu meistri, megys pe na byddent ond anifeiliaid, ac nid dynion yn perchen eneidiau rhesymol ac anfarwol; ac nid yw caethiwyr y Dehau wedi rhoddi allan erioed fymryn o obaith hyd yn nôd am ryddfreiniad graddol eu caethion. Mae yn anhyfryd genym, gan hyny, weled neb Prydeinwyr yn gwastraffu dim o'u cydymdeimlad ar y Deheuwyr. Pa fodd bynag, mae pobl y Dehau yn gweled yn awr mai nid da yw bod yn rhy feiddgar. Wedi gorchfygu yn yr amddiffynol, daethant allan yn hyf yn yr ymosodol, gan groesi drosodd i derfynau y Gogledd. Yno gorfuwyd hwynt, ar ol ymladdfëydd a lladdfëydd mawrion, i encilio yn frysiog ymaith, gan adael y Gogleddwyr yn fuddugoliaethus arnynt. Dysgwyliwn y caiff yr uchder ysbryd—yr ymchwydd tostfawr—sydd mor ymlynol wrth yr Americiaid, ei glwyfo a'i wanhâu trwy ddygwyddiadau y rhyfel presennol. Pe buasai ein câr Jonathan wedi llwyddo i ddarostwng y gwrthryfel càn gynted âg y dysgwyliasai, buasai ei ymffrost yn annyoddefol i'r hollfyd. Yn awr nis gŵyr pa pryd y daw y diwedd, na pha beth a fydd.

Y mae dyoddefgarwch y myrddiynau yn y wlad hon sydd mewn caledfyd o herwydd yr attalfa ar y gweithfäoedd cotwm, mewn canlyniad i ryfel cartrefol America, yn achos syndod a chanmoliaeth cyffredinol. Gwnaed a gwneir llawer gan bob dosbarth yn ein teyrnas i estyn cynnorthwyon iddynt; ond ychydig yw yr help wrth ei ranu rhwng cynifer. Cynnyrchir daioni, pa fodd bynag, oddiwrth yr aflwydd presennol. Nid ymddibynir mor llwyr rhagllaw ar yr America am gotwm, gan yr amaethir ef yn fwy cyffredinol mewn gwledydd eraill; ac y mae dyfeisiau o bwys ar gael eu perffeithio i godi defnyddiau, haws eu cynnyrchu na chotwm, ac a wasanaethant i'r un perwyl.

Italy a Garibaldi sydd wedi tynu sylw dwys y byd yn yr wythnosau diweddaf. Aeth gwladgarwch a rhyddfrydedd yr arwr dewr yn drech na'i ddoethineb. Wedi cynhyrfu a digio wrth weled Ratazzi, prif-weinidog Victor Emmanuel, yn ymostwng yn wasaidd i ddwyn ymlaen amcanion Louis Napoleon, ac heb weled argoel am un ymdrech effeithiol gan y llywodraeth i gael Rhufain yn ddinas rydd i Italy, ac yn ganolbwynt ei dylanwad, efe a gododd faner i'r Italiaid, gan waeddi, "Rhufain neu angeu!" ac a aeth rhagddo, mewn anufudd-dod i gyhoeddiad awdurdodedig y llywodraeth, a nifer o bobl dwymgalon gydag ef, gan gyfeirio tua Rhufain. Anfonwyd byddin i'w rwystro a'i ddal, dan arweiniad y Milwriad Pallavicino, y rhai a'i cawsant ef a'i wŷr, yn newynog ac yn lluddedig gan y daith; yno ymosodwyd yn giaidd ar gyfaill goreu Italy,

a chlwyfwyd y ffyddlawn Garibaldi pan yr oedd efe ar y weithred o roddi siars i'w bobl beidio codi llaw yn erbyn milwyr y brenin. Bellach, yr oedd y gwron gonest yn cael ei ddal yn garcharor gan lywodraeth yr Italy a ryddfreiniwyd ganddo, ac yn unig am ei orawydd dros ei rhyddid a'i gogoniant. Erbyn hyn y mae cydymdeimlad cyffredinol holl wledydd Ewrop wedi cael ei amlygu ar ran Garibaldi; ac anfonodd pobl Lloegr feddyg hyfedr o Lundain i ymweled âg ef yn ngharchar, ac i drin ei archollion. Y newydd sydd yn ein cyrhaedd pan yn ysgrifenu hyn ydyw, fod Garibaldi, a'r rhai oedd gydag ef, wedi eu rhyddhâu, a bod cyfringynghor Victor Emmanuel yn cymeryd mantais oddiar yr amgylchiad diweddar i wasgu ar Ymherawdwr y Ffrancod i alw bellach ei filwyr adref o Rufain. Cywilydd i Ffrainc a'i phenaeth, sydd wedi siarad cymaint am ryddid ac uniondeb, eu bod yn dal i fyny ormes y Pab yn Rhufain, ar draws teimladau y Rhufeinwyr a holl Italy. Hyderwn na oddefir i'r dyn pechod gael ei wynfyd ar y ddinas a'r ardaloedd a fathrwyd ac a fallwyd mor hir ganddo, ac y bydd rhyddid, iawnder, a chrefydd bur, yn troi ar fyrder yr anialwch yno yn ardd yr Arglwydd.

Yr oedd yr Eisteddfod ddiweddar yn Nghaernarfon yn boblogaidd iawn; ond, o herwydd byrder yr amser i gyfansoddi, neu rywbeth, prin y tybygir fod y cyfansoddiadau buddugol y tro hwn o ansawdd uwchraddol. Er cymaint a siaradwyd ac a ysgrifenwyd am ddiwygio yr eisteddfodau, ac er holl eisteddiadau pwyllgorau gyda yr amcan proffesedig o'u puro, yr oedd yn amlwg fod yr Eisteddfod ddiweddaf ymhell iawn oddiwrth fod yn "*model*," ac yn gymhwys i amgylchiadau ac anghenrheidiau yr oes hon. Mae y wlad yn edrych yn ddrwgdybus ar waith y cystadleuwyr a'r beirniaid yn gwneyd peth tebyg i chwareu y bêl y naill i ddwylaw y llall. O bosibl y bydd y beirniad y tro hwn yn gystadleuwr y tro nesaf, a'r un a farnodd efe yn awr yn fuddugwr a fydd eto arno yntau yn farnwr. A pheth nad oedd yn ymddangos yn hardd y tro diweddaf ydoedd gweled yr un gŵr yn feirniad yr Awdl ac yn fuddugwr y Bryddest. Pan yr oedd Henry Rogers wedi ei benodi yn feirniad traethawd arobryn Seisonig, efe a adnabu lawysgrif un o'r cystadleuwyr; ac o herwydd hyny efe a ymwrthododd â'r swydd feirniadol. Ond ceir yr un llawysgrifau fyth a hefyd yn cystadlu ymhob Eisteddfod, a'r llawysgrifwyr yn wŷr o ddylanwad a swyddogaeth gyda y sefydliad, yr hyn sydd yn debyg o gynnyrchu yr hyn y gweddïir yn ymddangosiadus yn ei erbyn,—"*Na'd gamwaith.*" Y mae canu caneuon gweigion, hefyd, heb ddim nôd iddynt ond cynnyrchu chwerthiniad, yn rhy annheilwng i gynnulliad mawr cenedlaethol. Yr oedd darlleniad y papyrau ar gelfyddyd, masnach, a materion buddiol eraill, ar y pedwerydd dydd, yn newyddbeth daionus, ac yn haeddu llawer mwy o gefnogaeth nag a roddwyd i hyny. Dyrchafu a llesâu y genedl a ddylai fod prif amcan yr Eisteddfod, ac nid yn gymaint ddifyru ar y pryd y lliaws cynnulledig. Os gellir gweinyddu addysg mewn modd difyr, da iawn; ond gresynol, a pheryglus yn wir, yw galw am Samson i chwareu er mwyn rhoddi help i Philistiaid chwerthin.

# NODIADAU LLENYDDOL.

DAN ddylanwad y rhyfel ofnadwy yn America sydd wedi effeithio mor niweidiol a rfasnach gyffredin y byd, ac amgylchiadau cynhyrfus ac ansicr rhai parthau o Gyfandir Ewrop, y mae llênyddiaeth ein teyrnas yn ei holl gangenau, yn y misoedd diweddaf, wedi dyoddef yn ddirfawr, a'r fasnach mewn llyfrau o bob math, oddieithr y rhai a fyddont yn dal perthynas uniongyrchol â chwestiynau neillduol yr amserau, yn hynod o drymaidd a difywyd. Dichon i ni ddywedyd gormod hefyd trwy ddywedyd fod llênyddiaeth "yn ei holl gangenau" wedi dyoddef, gan, yn ddiammheu, y dylasem wneuthur eithriad gyda golwg ar y newyddiaduron. Y mae yn ammheus a fu erioed fwy, os cymaint, o alwad am danynt hwy, gan faint yr awydd sydd ar bawb i wybod rhywbeth ynghylch helyntion yr amseroedd pwysig yr ydym yn byw ynddynt, ac i wneyd allan ystyr y dygwyddiadau dychrynllyd sydd yn cymeryd lle yn ein dyddiau, gyda golwg ar ansawdd rhyddid, a gwareiddiad, a chrefydd, mewn oesoedd dyfodol ar y ddaear. Ond am lyfrau mawr, pwysig, sylweddol, yn olrhain yn hamddenol, yn ofalus, ac yn benderfynol, y naill neu y llall o'r testynau hyny ag y mae y meddwl dynol yn naturiol yn gysylltu, mewn rhyw wedd neu arall, â'i dynged uchaf, y mae yn rhaid i ni aros hyd adeg lai cynhyrfus ar amgylchiadau y byd, cyn—pe byddai iddynt gael eu dwyn allan, y gellid dysgwyl ond am ychydig gefnogaeth iddynt. Y mae, er hyny, rai llyfrau da—rhagorol felly—wedi eu dwyn allan yn ddiweddar, y dymunem gyfeirio sylw ein darllenwyr atynt.

Llyfr gwerthfawr iawn ydyw, "*A Plain Introduction to the Criticism of the New Testament. For the use of Biblical Students. By* Frederick Henry Scrivener, M.A., *of Trinity College, Cambridge, Rector of St. Gerrans, Cornwall.* Cambridge: Deighton, Bell, *and* Co. London: Bell *and* Daldy. 1861. Y mae enw Mr. Scrivener yn dra adnabyddus i Lênorion Biblaidd mewn cysylltiad â'r llafur mawr y mae wedi gymeryd, er ys blynyddoedd bellach, i gasglu ynghyd yr amrywiol ddarlleniadau a geir mewn gwahanol lawysgrifau ar destyn gwreiddiol y Testament Newydd, tuag at sefydlu, ymhen amser, pan y gorpheno yr ymchwiliad, y gwir ddarlleniad i bob rhan o hono, ar seiliau helaethach a chywirach na dim yr amcanwyd ato hyd yn hyn. Nid ydym yn gwybod am neb, oddieithr, fe allai, Tischendorf, a Tregelles, ag sydd wedi cymeryd arno ei hunan, i'r amcan hwnw, gymaint llafur, nac am neb mwy gofalus am fanylder perffaith yn yr adroddiad a wneir ganddo o'r darlleniad a gyflwynir mewn unrhyw ysgrif o'r testyn gwreiddiol. Y mae yn hyny yn un y gellir dibynu yn llawer mwy hyderus arno na Tischendorf. Mae yn cymeryd tir gwahanol i Lachmann, a Tregelles, ac Alford, a Tischendorf hefyd i fesur i benderfynu y darlleniad cywir o'r testun gwreiddiol. Yn lle gorphwys yn unig ar y llawysgrifau henaf, fel y gwnant hwy gan mwyaf, y mae am gymeryd i mewn yn gystal rai diweddarach, gan olygu, yn gwbl briodol, y dichon i'r rhai diweddarach fod wedi eu

copïo o rai llawn mor hen, os nad hŷn, nag yr un o'r llawysgrifau henaf sydd ar gael yn awr. Y mae yn eglur i bawb a sylwo ar ogwydd y meddyliau mwyaf pwyllog y dyddiau hyn, fod syniadau Mr. Scrivener yn dra thebyg yn fuan o ddyfod yn rhai cwbl gyffredinol, a bod y tir a gymerir gan Tregelles yn dechreu cael ei ystyried yn gwbl anamddiffynadwy. Mae yn amlwg yn wir nad ydyw Tregelles ei hunan yn gallu sefyll arno yn hollol, ond ei fod yn rhydd i ddefnyddio rhai o'r llawysgrifau diweddar a ymddangosont iddo ef yn cytuno â'r rhai henaf. Nis gall y cwestiwn ynghylch purdeb y testyn gwreiddiol byth syrthio yn isel yn meddwl y sawl sydd yn cydnabod yr Ysgrythyrau Sanctaidd wedi eu rhoddi trwy ysbrydoliaeth Ddwyfol, ac nid ydym yn gwybod am yr un llyfr gwell ar hyny, gyda golwg ar y Testament Newydd, na'r un yn awr ger ein bron gan Mr. Scrivener. Mae yn rhoddi golwg manwl ar ansawdd bresennol y testyn cysegredig; adroddiad helaeth am y defnyddiau, a'u cyflwr, sydd ar gael tuag at ei berffeithiad; olrheiniad pwyllog i'r egwyddorion a ddylent ein llywodraethu yn ein hymdrech i gael allan y gwirionedd gyda golwg ar hyny; a cherfluniau prydferth a desgrifiadol o rai o'r copïau mewn llawysgrifen;—y cwbl yn gwneuthur i fyny drysor anmhrisiadwy i'r efrydydd Ysgrythyrol, ac y gallwn ei gymhell i'w sylw yn y modd mwyaf calonog. Pris y llyfr ydyw pymtheg swllt.

Llyfr arall cysylltiedig â'r un testyn, ac y bydd yn llawenydd gan bob gwir efrydydd galluog i'w fwynhâu, glywed am ei gyhoeddiad ydyw,—*Bentleii Critica Sacra. Notes on the Greek and Latin Text of the New Testament, Extracted from the Bentley MSS., in Trinity College Library. With the Abbe Rulotta's Collation of the Vatican Codex B. A Specimen of Bentley's Intended Edition, and an Account of his Collations. Edited by* Arthur Ayres Ellis, M.A., *Vicar of Stotfold, Beds., late Fellow and Junior Dean of Trinity College, Cambridge, and Divinity Lecturer in Christ's College. With Appendix containing Six Letters of Bentley.* Cambridge: Deighton, Bell, *and* Co. London: Bell *and* Daldy. 1862. Yr oedd yn mryd Dr. Bentley, un o'r ysgoleigion goreu, a'r beirniad galluocaf yn ddiammheu, a fagodd y deyrnas hon erioed, gyhoeddi Argraffiad Beirniadol o'r Testament Newydd, yn yr hwn yr amcanai ddwyn y testyn mor agos ag y gallai at yr hyn ydoedd fel y daeth odditan law yr ysgrifenwyr sanctaidd. Gwnaeth barotöadau helaeth tuag at ddwyn yr amcan hwn oddiamgylch, trwy gymharu y gwahanol lawysgrifau o'r testyn gwreiddiol, yr amrywiol hen gyfieithiadau, a'r cyfeiriadau Ysgrythyrol a geir yn ysgrifeniadau yr hen Dadau; ac yr ydoedd, o leiaf ar y cyntaf, yn dra sicr yn ei feddwl ei hunan y gallai adferu y testyn sanctaidd braidd yn gwbl i'w burdeb cyntefig. Aeth i lawer iawn o draul arianol er sicrhâu yr amcan hwn; ac yr oedd y dysgwyliad am ymddangosiad y gwaith, nid yn unig yn y deyrnas hon ond ar Gyfandir Ewrop, fe allai, yn fwy nag am ddim o natur gyffelyb a gynnygiwyd erioed i'r byd. Ond, wedi blynyddoedd o barotöi a blynyddoedd o ddysgwyl, ac wedi cyfranu tua *dwy fil o guineas* gan danysgrifwyr fel rhan o'r tâl am y gwaith, oblegid amrywiol amgylchiadau cysylltiedig â'r Brifysgol a ddygwyddasant i chwerwi diwedd ei oes, yn gystal, fe allai, â'r anhawsderau anorfod erbyn hyn a deimlid ganddo i ddyfod i fyny â'r

hyn a addawsai yn ei hysbysiadau, bu farw gan adael ei waith heb ddechreu ei gyhoeddi, a'r defnyddiau heb eu trefnu yn hollol yn y fath fodd ag i wneuthur cyfiawnder â'i gymeriad beirniadol ef ei hunan, pe cyhoeddasid hwynt gan ryw un arall. Fe'u gadawodd, pa fodd bynag, yn ei ewyllys i'w nai, gan ddysgwyl, dybygid, y buasai efe yn eu cyhoeddi; ond gan naill ai anallu ai diofalwch, ni wnaeth hwnw ond gadael iddynt aros yn ei feddiant, a dychwelyd yr arian a danysgrifiwyd i'r rhai oedd wedi rhoddi eu henwau at y gwaith. Gadawyd y defnyddiau heb gyffwrdd â hwynt hyd 1786, pan, ar farwolaeth y nai, y daethant yn eiddo Trinity College, Cambridge, lle y maent yn aros hyd heddyw, yn syndod i bob ysgolaig Ysgrythyrol a gafodd olwg arnynt, tra nad oedd cymaint ag un, fe allai, heb deimlo y gresyni fod defnyddiau mor werthfawr yn aros mor hir yn anghyhoeddedig. Y mae yn ammheus yn awr a gyhoeddir y cwbl byth:—yn wir, yn ganlynol i ymchwiliadau Griesbach, Birch, Scholz, Lachmann, Tischendorf, Tregelles, a Scrivener, y mae hyny yn llai anghenrheidiol, a chasgliadau Bentley, er mor rhagorol, mewn cymhariaeth yn llai gwerthfawr. Ond y mae y gyfrol fechan ger ein bron yn rhoddi golwg dra chyflawn o'r hyn a allesid ddysgwyl yn y gwaith pe cawsai ei gyhoeddi yn ol amcan yr awdwr, ac yn cynnwys y cwbl o'r Nodiadau Beirniadol o'i eiddo ar y testyn Groeg a Lladin a fwriedid ganddo. Y mae yma hefyd gynllun dedwydd iawn o'r gwaith fel y buasai wedi ei orphen, yn y testyn a roisid ganddo o'r Epistol at y Galatiaid, a'r cyfieithiad Lladin o hono, fel yr oedd wedi ei barotöi gan Bentley ei hun. Y mae yma hefyd adroddiad manwl o'r cymhariad a wnaed gan yr Abbe Rulotta ar y llawysgrif hen o'r Testament Newydd sydd yn llyfrgell y Vatican yn Rhufain,—adroddiad a deimlir gan yr efrydydd yn fwy gwerthfawr oblegid gwallau amlwg ac addefedig yr argraffiad o'r cyfysgrif hwnw a wnaed yn ddiweddar gan y Cardinal Mai. Y mae y gyfrol hon, nid yn unig fel golygiad ar yr hyn a fuasai Testament Newydd Beirniadol Bentley, ond fel cyfraniad i feirniadaeth Ysgrythyrol, yn teilyngu sylw pawb a deimlont dros ddilysedd y testyn sanctaidd. Ei phris ydyw saith a chwech.

Cyfrol werthfawr arall, heb fod mewn un modd yn anmherthynasol i'r rhai blaenorol ydyw,—*Discussions on the Gospels. In Two Parts. By the Rev.* Alexander Roberts, M.A., *Minister of the Presbyterian Church, St. John's Wood, London.* London: James Nisbet *and* Co., 21 Berners Street. 1862. Cwestiwn ag y mae llawer o ddadleu wedi bod arno o bryd i bryd er ys oesoedd bellach ydyw, ymha iaith yr ysgrifenwyd Efengyl Matthew yn wreiddiol. Yn ol y golygiad a dderbynid yn yr oesoedd cyntaf, yn gyffredin ac yn ddïeithriad, yr Hebraeg neu yr Aramaeg oedd yr iaith hono, a'r Efengyl bresennol sydd genym ni yn gyfieithiad gan ryw un anhysbys o'r Efengyl wreiddiol. Yn yr oesoedd diweddaraf y mae cryn wahaniaeth ar hyn: rhai, megys Tregelles, Davidson, ac amryw eraill, yn dadleu yn gryf iawn dros olygiad yr hen Dadau; eraill, mor benderfynol, yn dadleu mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifenwyd hi gyntaf; ac eraill yn tybied i Matthew ei pharotöi yn y ddwy iaith—yn yr Hebraeg yn gyntaf er mwyn y Cristionogion Iuddewig yn Palestina, ac wedi hyny, ryw bryd, yn y Groeg, er mwyn Cristionogion yn gyffredinol. Mae awdwr y llyfr hwn yn gryf iawn dros y golyg-

iad mai yn yr iaith Roeg y cyfansoddwyd hi gyntaf, yn gystal a'r cwbl o'r Testament Newydd; ac i brofi hyny y mae yn cymeryd y tir uchel mai y Groeg oedd iaith gyffredin Palestina yn nyddiau ein Harglwydd a'i apostolion, tra ar yr un pryd y gallent fod yn achlysurol yn llefaru yn yr Hebraeg. Mae yr awdwr yn gwneuthur ymchwiliad helaeth, manwl, a gonest, i'r cwestiwn yn ei amrywiol gysylltiadau; ac os na bydd y darllenydd yn cytuno âg ef yn gwbl yn y gosodiad mawr yr amcana ei sefydlu, nis gall lai na theimlo fod mwy i'w ddywedyd yn ei blaid nag sydd yn hawdd ei wrthbrofi, a bod y sylwadau call a chraffus a dysgedig a wneir gan yr ysgrifenydd ar yr amrywiol gwestiynau achlysurol sydd yn dyfod dan ei sylw yn gysylltiedig â'r prif bwnc, yn gyflawn o addysg, ac yn arddangos meddwl ag y gellir dysgwyl oddiwrtho, os caniatëir einioes iddo, aml gyfraniad gwerthfawr i ddysgeidiaeth Ysgrythyrol. Pris y gyfrol ydyw deunaw swllt.

Mae yn dda genym hysbysu fod bellach wedi eu cyhoeddi,—*The Works of the Rev.* Edward Williams, D.D. *Edited by* Evan Davies. London: James Nisbet *and* Co., 21 Berners Street. 1862. Mae y gwaith mewn pedair o gyfrolau trwchus, wedi eu dwyn allan yn y wedd oreu, gyda darlun hardd a chywir o'r awdwr, hanes byr am ei fywyd, nodiad byr neu ddau o eiddo y Golygydd ar ryw bethau yn nghorff y gwaith—a Mynegai i'r Materion a'r Testynau yn y pedair cyfrol. Nid oes ond 700 o gopïau wedi eu hargraffu; ac y mae yn sicr y bydd y gwaith cyn llawer o amser yn brin ac anhawdd ei gael: gan hyny ni a gynghorem bawb a ddymunent ei feddiannu i wneuthur hyny yn ddioed. Y mae heb fod eto yn rhy ddiweddar, ond anfon at y cyhoeddwyr, i'w gael am bris y tanysgrifwyr, deg swllt ar hugain—ond fe godir y pris yn fuan i ddau gini.

Mae yn llawen iawn genym allu hysbysu i'n darllenwyr am gyhoeddiad y gwaith canlynol:—*The Works of* John Howe, M.A., *some time Fellow of Magdalen College, Oxon. With a General Preface by* Henry Rogers. London: The Religious Tract Society. 1862. Mae John Howe yn adnabyddus, ni a hyderwn, i nifer mawr o'n darllenwyr fel Duwinydd o'r dosbarth blaenaf, ac un yn uno, fe allai, i raddau mwy nag odid neb a ellid enwi yn yr oesoedd diweddaf, ragoriaethau uchaf a phuraf y rheswm, gyda theimladau tyneraf a choethaf y galon. Ond ni chyfarfuom â neb erioed o'i hoffwyr mwyaf na byddent dueddol i gwyno oblegid aflerwch ei gyfansoddiadau, a'r ffurfiau clogyrnaidd anghymmalog a geir yn gyffredin ar ei frawddegau, yn peri yn fynych yn anghenrheidiol eu darllen lawer gwaith drosodd, cyn y gellid gwneyd allan eu hystyr, ac weithiau yn gorfodi un, er pob ymdrech, i anobeithio yn gwbl allu llwyddo i hyny byth. Y mae yn ddïau fod hyn yn un achos fod ei ysgrifeniadau yn llawer llai poblogaidd nag eiddo rhai awdwyr eraill, nad oes dim cymhariaeth rhyngddynt â'r eiddo ef. Ond y mae Mr. Rogers wedi dangos yn amlwg fod yr aflerwch a'r tywyllwch y cwynir cymaint o'u plegid ynddo, yn fwy mewn ymddangosiad nag mewn gwirionedd, ac nad oes dim yn anghenrheidiol ond ychydig gyfnewidiad ar wedd allanol ei ysgrifeniadau er eu symud ymaith braidd yn hollol. Yn ganlynol, yn yr argraffiad hwn, heb ychwanegu *dim* at y cyfansoddiadau cyntefig, na thynu *dim* oddiwrthynt, na chyfnewid un gair

ynddynt,—heb wneuthur dim ond gwella y gwahannodiad, dodi y cyfeiriadau Ysgrythyrol ar odreu y dail, yn lle yn y testyn, defnyddio llythyrenau cyffredin yn fynych yn lle rhai Italaidd, a chymeryd cynllun symlach er nodi allan yr is-raniadau,—heb ddim oll ond ychydig gyfnewidiadau o'r fath ar ffurf y cyfansoddiadau, y mae y gwaith wedi ei ddiwygio yn rhyfedd, fel y mae yn darllen yn rhwydd ac yn eglur, lle nad oedd o'r blaen ond anystwyth a dyrys, ac nad rhaid i neb gwyno mwy oblegid yr hyn a deimlid unwaith mor boenus ynddo. Mae enw y Golygydd yn ddigon o sicrhâd am y gofal mwyaf am bob cywirdeb cyrhaeddadwy mewn cyhoeddiad o'r fath. Mae y gwaith, fel y gwelir, yn cael ei gyhoeddi gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, ac y mae dwy gyfrol eisoes wedi eu dwyn allan. Bwriedir iddo gael ei gyhoeddi oll mewn chwech o gyfrolau, ac un arall i gynnwys adargraffiad, gydag ychwanegiadau a diwygiadau, o'i Gofiant, gan y Golygydd, a gyhoeddwyd rai blynyddoedd yn ol. Ni fwriedir yn awr ond dwyn allan yr ysgrifeniadau a gyhoeddwyd gan Howe ei hunan; ond os bydd galwad am y "*Posthumous Works*," fe ëir ymlaen â'r rhai hyny. Y mae y gwaith yn cael ei ddwyn allan yn wythplyg, wedi ei argraffu yn lanwaith, ar bapyr da, ac â llythyren fras ac eglur, a'r holl ymddangosiad allanol y fath ag i ateb i ryw fesur i ragoroldeb y cynnwysiad. Y mae gyda hyny yn nodedig o radlawn, gan nad ydyw pris pob cyfrol ond pum' swllt.

Yn ddiweddar fe gyhoeddwyd,—"*An Attempt to Explain and Establish the Doctrine of Justification by Faith only, in Ten Sermons upon the Nature and the Effects of Faith, preached in the Chapel of Trinity College, Dublin. By* James Thomas O'Brien, D.D., *formerly Fellow of Trinity College, and Archbishop King's Divinity Lecturer in the University of Dublin, now Bishop of Ossory, Ferns, and Leighlin. Second Edition.* Macmillan *and* Co., London *and* Cambridge: *and* William Robertson, Dublin. Fe gyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf o'r llyfr hwn yn y flwyddyn 1833, ac fe'i gwerthwyd oll yn fuan iawn. Yr ydoedd, er ys ychydig flynyddoedd, wedi myned mor nodedig o brin fel y rhoddai llyfrwerthwyr ail law ddwy bunt yn rhwydd am gopi o hono, ac weithiau fe gyrhaeddai mewn arwerthiadau cyhoeddus i'r pris uchel o dair punt a deg swllt neu bedair punt. Yn yr argraffiad presennol, y mae y gwaith drwyddo wedi bod dan adolygiad a diwygiad manwl gan yr awdwr, ac y mae ychwanegiadau helaeth iawn wedi eu gwneuthur ganddo at y Nodiadau Attodiadol yn ei ddiwedd, fel ag y mae y Nodiadau yn awr yn llawer helaethach na'r Pregethau. Nid ydym yn gwybod am un llyfr, na hen na diweddar, yn yr hwn y gwneir ymchwiliad mor fanwl, a gofalus, a theg, i'r gwirionedd Ysgrythyrol ar yr athrawiaeth bwysig am gyfiawnhâd pechadur trwy ffydd, ag a wneir yn y llyfr hwn; ac nid ydym yn cofio i ni erioed gyfarfod â gwell cynllun o'r modd y gellir cyfuno yn y pulpud, y manylder anghenrheidiol er eglurhâd pynciol ar y gwirionedd, gyda'r symledd gofynol mewn cyfansoddiadau o'r fath, er peri iddynt beidio bod yn feichus i'r gwrandäwyr, nag a geir yn y pregethau hyn. Yn wir, nid ydym yn meddwl i ni weled dim cyffelyb iddynt yn hyn, oddieithr fe allai y pregethau yn Nghorff Duwinyddiaeth y Dr. Dwight; tra y mae yn hawdd gweled fod ein hawdwr yn ysgolaig llawer rhagorach, wedi darllen llawer mwy ar Dduwinyddiaeth yr holl oesoedd, yn feirniad

Ysgrythyrol llawer mwy galluog, ac wedi ei drwytho yn llawer mwy yn ysbryd yr efengyl, na'r Duwinydd Americanaidd. Nis gallwn wneyd yn well na chymhell ein holl ddarllenwyr, yn enwedig y rhai sydd yn bregethwyr ieuainc, i fynu y llyfr yn ddioed, ei ddarllen yn fanwl, ei astudio yn ddyfal, a gwneyd ei holl gynnwysiad yn eiddo hollol i'w meddyliau eu hunain. Ni a sicrhäwn iddynt na bydd byth yn edifar ganddynt am hyny. Pris y gyfrol ydyw pedwar swllt ar ddeg.

Cyfrol nodedig o alluog a thra dysgedig ydyw,—"*The Reformers; and the Theology of the Reformation. By the late* William Cunningham, D.D., *Principal and Professor of Church History, New College, Edinburgh. Edited by his Literary Executors.* Edinburgh: T. *and* T. Clark, 38, George Street. London: Hamilton, Adams, *and* Co. 1862. Y mae y gyfrol hon y gyntaf o gasgliad o holl ysgrifeniadau y diweddar Ddoctor ag y bwriedir yn awr eu cyhoeddi. Dysgwylir dwy eraill yn fuan o'r un nodwedd a'r un bresennol, ac fe allai ddwy neu dair eraill ar ol hyny o'i ysgrifeniadau mwy cyffredin ar amrywiol destynau Duwinyddol ac Eglwysig. Y mae cyhoeddiad y cwbl wedi ei ymddiried gan Dr. Cunningham ei hunan i'w gyfeillion a'i gydathrawon, y Doctoriaid Buchanan a Bannerman, ac y mae yn ddiammheu nad ymattaliant rhag cyhoeddi dim a olygir ganddynt yn deilwng o'r awdwr, tra, o'r tu arall, y cymerant bob gofal rhag cyhoeddi dim a ddichon fod wedi ei adael ganddo mewn gwedd mor anmherffaith ag y byddai y cyhoeddiad o hono yn niwed i'w goffadwriaeth. Y mae y gyfrol bresennol wedi ei gwneyd i fyny agos yn gwbl o Erthyglau a gyhoeddasid yn y blynyddoedd diweddaf yn y *British and Foreign Evangelical Review*, i'r hwn yr oedd efe yn Olygydd. Fe dynodd yr Erthyglau hyny sylw mawr ar eu cyhoeddiad cyntaf, nid yn unig yn y deyrnas hon, ond ar Gyfandir Ewrop, ac yn neillduol yn yr America, fel cyfansoddiadau yn arddangos cydnabyddiaeth helaethach a manylach â hanes Duwinyddiaeth y Diwygiad Protestanaidd, ac yn achlysurol â'r oesoedd blaenorol iddo, na dim braidd a welsid o'r blaen, nid yn unig mewn cyhoeddiadau cyfnodol, ond hyd yn nôd mewn llyfrau proffesedig ar y testyn. Ac yn sicr, pan yr edrychir ar y cwbl wedi eu dwyn at eu gilydd, megys ag y maent yn y gyfrol hon, y mae yn anmhosibl peidio synu at y cyfoeth mawr meddyliol a drysorasid gan yr ysgrifenydd, ac at y gallu mawr a ddangosid ganddo i ddefnyddio y golud hwnw yn ol yr amrywiol amgylchiadau a'i cyfarfyddent, a hyny, dybygid, mor ddiboen iddo ei hunan. Mae rhywbeth yn tueddu, yn ein teimlad ni, braidd at fod yn drahâus, ac yn terfynu ar yr anffaeledig, yn nhôn amrywiol o'r Erthyglau, ac yn sicr yr oedd nodwedd meddwl yr awdwr yn rhy bynciol, ac o ogwydd rhy ddadleugar, i'w wneuthur mewn un modd yn gynllun i'r Duwinydd Efengylaidd; ond yr oedd ei argyhoeddiadau yn ddyfnion ac yn sefydlog, ei ymchwil yn ddiflin ac yn ddyfal, a nerth ac yni ei gymeriad y fath fel nad oedd modd iddo fod heb ddylanwad dirfawr ymha gylch bynag y gallasai fod yn troi ynddo; ac yr oedd ei ymadawiad, yn nghyflawnder ei nerth, ac yn nghanol ei ddefnyddioldeb, nid yn unig yn golled anadferadwy i Eglwys Rydd Scotland, ond hefyd i'r holl Eglwys Gristionogol, yn enwedig gyda golwg ar yr hyn yr oedd, fe allai, yn fwy cymhwys na neb yn y byd yn ei amser, i arwain y byd rhagddo ynddo—sef hanes duwin-

yddiaeth a dadleuon duwinyddol, yn ngwahanol gyfnodau yr Eglwys Gristionogol, o'r oesoedd cyntaf hyd y dyddiau presennol. Pris y gyfrol ydyw deg swllt a chwe' cheiniog.

Cyfeiriasom uchod at y *British and Foreign Evangelical Review*, a byddai yn dda iawn genym pe gallai ein cyfeiriad ato fod yn foddion i'w ddwyn i sylw ein darllenwyr, a pheri iddynt roddi pob cefnogaeth iddo. Ei olygydd presennol ydyw y *Professor Smeaton, New College, Edinburgh*, ac y mae yn cael ei gyhoeddi gan Nisbet *and* Co., Llundain. Ei bris yn drimisol ydyw tri a chwech. Mae yn well i'r Duwinydd nid yn unig nag yr un *Review* arall, ond, ar ryw ystyr, braidd yn well na'r cwbl gyda'u gilydd. Mae ei Erthyglau oll, pa un bynag fyddont ai rhai yn cael eu codi o rai o'r *Reviews* yn America neu ar y Cyfandir, ai ynte yn gynnyrchion gwreiddiol wedi eu parotoi i'w ddalenau ef ei hunan, braidd oll yn dra galluog; ac y mae y gofal mwyaf yn cael ei gymeryd ar gadw ei ddarllenwyr yn ddiogel rhag derbyn unrhyw niwed oddiwrth y syniadau gwrth-Fiblaidd neu anefengylaidd sydd mor gyffredin yn y byd y dyddiau hyn. Nid ydym yn gwybod paham, ond yn sicr y mae yn myned ymhell at brofi rhywbeth, nad ydyw Mudie yn rhoddi dim cefnogaeth i'r fath gyhoeddiad, pryd y mae pob ysgarthion o'r braidd yn cael eu derbyn ganddo a thrwyddo i'w taenu trwy ein gwlad. Y mae eisieu y *Library Limited Company* i ddysgu i Mudie nad ydyw i gael arglwyddiaethu yn hollol ar lênyddiaeth ein gwlad.

Yr ydym newydd dderbyn o'r America, "*A Text Book of the History of Doctrines. By* Dr. K. R. Hagenbach, *Professor of Theology in the University of Basle. The Edinburgh Translation of* C. W. Buch, *Revised with large Additions from the fourth German Edition, and other Sources. By* Henry B. Smith, D.D., *Professor in the Union Theological Seminary of the City of New York. In Two Volumes.* New York: Sheldon *and* Co. Boston: Gould *and* Lincoln. 1862. Mae gwaith Hagenbach, yn nghyfieithiad Buch, a gyhoeddwyd gan Clark yn Edinburgh, yn adnabyddus i, ac yn ddiammheu yn meddiant, lliaws o'n darllenwyr. Ond y mae yr argraffiad presennol yn rhagori tu hwnt i bob cymhariaeth ar yr eiddo Clark, yn gymaint felly, yn wir, ag i beri i ni resynu fod ein hefrydwyr yn y wlad hon yn gorfod defnyddio y naill pan y mae y llall yn bod, a phan y byddai yn hawdd iddo fod yn gyrhaeddadwy. Y mae yn ymddangos i ni fod y fath wahaniaeth rhwng y ddau lyfr fel ag y gellir gwerthu yn gwbl gyfreithlawn yr Argraffiad Americanaidd yn y wlad hon heb fod gan Clark ddim i'w ddywedyd yn erbyn. Ei bris ydyw pedwar swllt ar hugain.

Yr ydym hefyd newydd dderbyn argraffiad Americanaidd Diwygiedig gan yr un gŵr o Gieseler's *Church History*, cyhoeddedig gan Harper *and* Brothers, New York. Pedair cyfrol sydd eto wedi eu cyhoeddi, ond y mae y pedair hyn yn dwyn yr hanes ymhellach ymlaen na'r pump a gyhoeddwyd yn Edinburgh, y rhai ni chyrhaeddant yn îs na'r flwyddyn 1525; ond fe'i dygir i lawr yma hyd y flwyddyn 1648, ac y mae cyfrolau eraill yn cael eu parotoi, y rhai a gyhoeddir yn fuan, yn dwyn y gwaith ymlaen hyd 1848. Nid yw gwedd allanol y rhai hyn yn llawn cystal a'r eiddo Hagenbach, yn gymaint a bod y llythyren yn y Nodiadau yn

fanach; ond y mae y gofal a gymerwyd gan y Golygydd yn niwygiad y cyfieithiad, a'r cyfeiriadau ychwanegol a wneir ganddo at awdwyr eraill Seisonig a Germanaidd, yn peri ei fod, yn annibynol ar ei fod yn cynnwys llawer mwy o'r gwaith gwreiddiol, yn rhagori yn annhraethol ar argraffiad Edinburgh. Y mae y gwaith yn gwerthu yn y wlad hon am tua deg a chwech y gyfrol.

Cyfrol nodedig o alluog a thra dyddorol a gyhoeddwyd yn ddiweddar ydyw,—*Essays on Scientific and other Subjects, contributed to the Edinburgh and Quarterly Reviews. By* Sir Henry Holland, Bart., M.D.,F.R.S.,D.C.L. Oxon., &c., &c. *Fellow of the Royal College of Physicians: Physician in Ordinary to the Queen.* London: Longman, Green, &c. 1862. Fel y gwelir, adgyhoeddiad yw y gyfrol o erthyglau i ddau brif gyhoeddiad trimisol y deyrnas, ac y mae, fel traethodau Dr. Cunningham y cyfeiriasom atynt eisoes, yn brawf eglur o'r ddysgeidiaeth ëang, yr wyddoniaeth uchel, yr ymchwil manwl, a'r ysbryd crefyddol, sydd yn addurn ar, ac yn treiddio trwy, gyfraniadau ein prif ysgrifenwyr i'n cyfnodolion goreu. Nid ydym yn gwybod am yr un llyfr gwell i arwain y darllenydd i'r casgliadau diweddaraf y mae ein gwyddonwyr mwyaf wedi dyfod iddynt ar rai o'r cwestiynau uchaf cysylltiedig â'r byd elfenol,—gan gynnwys yn hyny "y nefoedd uchod a'r ddaear isod a'r dwfr tan y ddaear," —na'r gyfrol yn awr ger ein bron; ac y mae yn gwneyd hyny mewn iaith syml, rydd i fesur mawr oddiwrth lyffetheiriau a ffurfiau gwyddoniaeth fel y cyfryw, fel y gall y darllenydd cyffredin, gydag ychydig ofal ac ymdrech, wneyd allan yn foddlonol ei holl ystyr. Pris y gyfrol ydyw pedwar swllt ar ddeg.

Daeth i'n llaw yn ddiweddar, *Dammeg y Mab Afradlon, yn ei chymhwysiad at Ddyn, yn ei gyflwr cyntefig o Burdeb a Dedwyddwch; ei gyflwr syrthiedig o Bechod a Thrueni, a'i gyflwr adferedig o Ras a Gogoniant; ynghyd a Rhagdraethawd ar Ddammegion yr Arglwydd Iesu yn gyffredinol; (mewn Cyfres o Ddarlithiau.) Gan yr* Henuriad William Rowlands, *Golygydd gwreiddiol y* "Cyfaill o'r Hen Wlad." Rome, N. Y. Argraffwyd gan R. R. Meredith. 1860. Mae yn hyfryd dros ben genym gael y cyfleusdra i wneuthur yn hysbys i'n cydwladwyr yn Nghymru gyhoeddiad y gyfrol hon, ac i alw eu sylw yn arbenig at ei theilyngdod. Yr ydym braidd yn synu na buasai yr awdwr parchedig ei hunan neu rai o'i gyfeillion, adnabyddus o honi, wedi gwneuthur rhywbeth tuag at hyny cyn hyn. Ond felly y mae. Pe buasai y llyfr hwn wedi ei ysgrifenu yn gyntaf yn y Saesonaeg, a'r awdwr heb fod yn adnabyddus megys Cymro, y mae yn fwy na thebyg y buasai rhywrai cyn hyn wedi ymgymeryd â'i gyfieithu i'r Gymraeg, a'i glod yn cael ei udganu o "Gaergybi i Gaerdydd." Yn sicr y mae yn llawn bryd i ni ddiwygio gyda golwg ar ein llênyddiaeth ein hunain; a chredu, bellach, y gall rhywbeth da ddyfod allan o Gymru, ac oddiwrth Gymro, pa un bynag ai yn ei wlad ei hunan ai yn America; ac un peth, yn sicr, anghenrheidiol i hyny ydyw defnyddio moddion priodol i wneuthur ein cynnyrchion llênyddol yn adnabyddus i'n gilydd. Ond i ddychwelyd at y gyfrol hon. Mae yn cynnwys, ar ol darlith ragarweiniol ar ddammegion yn gyffredinol, un ar bymtheg o ddarlithiau ar amrywiol faterion cysylltiedig â'r pynciau a nodir ar y

wyneb-ddalen, sydd yn codi yn naturiol o'r olwg a gymerir gan yr awdwr ar amcan ysbrydol Dammeg y Mab Afradlon. Mae hyn yn rhoddi mantais iddo i egluro yn syml, Ysgrythyrol, ac efengylaidd, brif athrawiaethau ein crefydd, mewn iaith rwydd, ystwyth, gref, sydd yn codi ar adegau yn wir hyawdl, a chyda llawer iawn o allu i ddefnyddio egluriadau o bob math er dwyn y gwirioneddau yr ymdrinir ganddo â hwynt mewn modd bywiog ac effeithiol ger bron meddyliau ei ddarllenwyr, fel ag y gellir ei olygu a'i gymeryd gyda'i gilydd yn cyfansoddi Corff cryno o Dduwinyddiaeth iachus, mewn ffurf nodedig o ddeniadol i'r meddwl ieuanc. Mae y gwaith wedi ei addurno â lliaws mawr o gerfluniau, er egluro yn ychwanegol yr amrywiol destynau sydd yn dyfod dan sylw ynddo; ac y mae ynddo hefyd ddarlun o'r awdwr, am gywirdeb yr hwn nis gallwn ddywedyd dim, gan na chawsom yr hyfrydwch o weled ein brawd parchedig erioed. Yn ol y darlun ni a'i cymerem yn un o dymher siriol, o feddwl craffus a bywiog, o ysbryd dewr, beiddgar, a phenderfynol, yn gymaint felly nes gwneyd o bwys iddo ef ac i eraill ar i'r golygiadau a gymero fod yn gywir, ac i'r mesurau a bleidio fod yn uniawn, gan fod yn amlwg fod tu ol i'r penderfyniad cryf sydd yn dyfod i'r golwg yn y wynebpryd, allu mwy na chyffredin er dylanwadu yn mhlaid yr amcan a osodo iddo ei hun, ymha gyfeiriad bynag y byddo hwnw. Mae y llyfr hwn yn dwyn tystiolaeth eglur fod y meddwl gwrol y mae yn gynnyrch iddo wedi ei drwytho yn ngwirioneddau yr efengyl; ac y mae yn llawenydd mawr i'n calon fod ein cydgenedl yn America yn mwynhâu gweinidogaeth â'r fath eneiniad arni. Dymunem hir oes i'r awdwr, a byddai yn hyfryd genym glywed fod y llyfr yn cael lledaeniad helaeth yn Nghymru. Tybygem y gellid ei werthu yma am tua phum' swllt.

Daeth allan yn ddiweddar, fel rhan o'r GYFRES GYMRAEG, *Y Sabboth yn Etifeddiaeth Dyn. Gan y diweddar Barchedig* John Hughes, *Liverpool. Gydag Amryw Ychwanegiadau gan y Parch.* J. Hughes, *Everton.* Wrexham: R. Hughes *and* Son. Pris swllt. Traethawd bychan da ragorol, ar destyn tra phwysig, ac anghenrheidiol iawn galw sylw ato y dyddiau hyn. Bwriadesid y traethawd gan y diweddar Mr. Hughes i gael ei gyhoeddi ar gychwyniad "Y Gyfres Gymraeg;" ond wrth ail edrych drosto, penderfynodd ei adysgrifenu, gan ychwanegu ato ryw bethau a dybiai yn anghenrheidiol. Ond cyn cwblhâu ei fwriad, fe'i galwyd ef oddiwrth ei waith at ei wobr. Ond y mae ein hanwyl gyfaill, Mr. Hughes, Everton, wedi gwneyd yn ardderchog yr hyn y lluddiwyd ei ragflaenor i'w ddwyn i ben; a rhwng y ddau y mae y darllenydd Cymreig yn cael ei roddi yn y fantais oreu i ddeall y meddwl Dwyfol ar y testyn dan sylw, a hyny mewn cyferbyniad i'r ffurfiau diweddaraf ar y dadleuon cyffredin yn erbyn parhâd a moesoldeb y Sabbath dan oruchwyliaeth yr efengyl. Ni buasai neb o'r darllenwyr nac o'r prynwyr ychwaith, ni a dybiem, yn cwyno pe chwyddasid cryn lawer ar y traethawd, er rhoddi i mewn sylwadau helaethach ar Hanes y dydd Sabbath. Mae yn dda genym weled yr yni newydd a gymerir gyda'r "Gyfres Gymraeg," a hyderwn y derbynia y gefnogaeth a deilynga oddiwrth holl grefyddwyr y Dywysogaeth.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.



